holl ymresymiad wedi ei sylfaenu. Er gosod ei olygiadau yn eglur ger bron ein darllenwyr, ni a ddyfynwn ychydig eto :—" Mae pedwar peth i'w hystyried.—1. *Mawredd y person oedd yn prynu*, yr oedd yn wir Dduw.—2. *Glendid y natur ddynol*, gwaed yr hon a dywalltwyd mewn undeb â'r natur ddwyfol.—3. *Mawredd y dyoddefaint yr aeth danynt.* Mae rhai yn meddwl fod yn rhaid cael y tri pheth yma, pe buasai dim ond un yn cael ei brynu. Diammau nad allasai un llai na Duw brynu un; ac fod yn rhaid cael natur ddynol lân, berffaith, i farw mewn undeb â natur Duw, i brynu un. Ond mae yn gwestiwn am y trydydd peth, a fuasai yn angenrheidiol fod y dyoddefaint cymmaint; canys dylai y *pridwerth fod yn gyfatebol i raddau y beiau, o ran rhif, pwys, a mwyhâd.* Yr oedd Aaron yn *rhifo pechodau, gan gyffesu holl anwiredd meibion Israel, a'u holl gamweddau hwynt yn eu holl bechodau* (Lev. xvi. 21); megys o ran rhif a phwys, yn ol trefn rhifyddiaeth, a phwysedigaeth. Gan fod yr Ysbryd Glân yn arfer y fath eiriau i osod allan ei bethau mawrion, ni ddylem ni eu gwrthod, er mwyn hanneru y ddadl âg Arminiaid, pe byddem yn abl darlunio pethau Duw: ond rhy fyr ydyw synwyrau y ddaear hon. Ond tebygid y gallwn weled (1.) Fod cyfiawnder yn galw am gosp fwy, a dangosiad o anfoddlonrwydd mwy, mewn trefn i gael iawn, am y *pump cant ceiniog, yn fwy na'r deg a deugain.* Mae graddau mewn pechodau: mae rhai fel *porphor* ac *ysgarlad.* Ni fyddai achos, fe allai, yn ol cyfiawnder, i fod y dyoddefaint cymmaint i wneyd iawn dros blentyn bach, a thros Saul o Tarsus. (2.) *Nid y rheol, debygid, wrth yr hon yr oedd Crist yn dyoddef, oedd fel yr aberthau gynt, sef dyoddef yr hyn a allai.* Wrth ystyried anfeidroldeb Person Crist, oni ellir dweyd, er cymmaint o raddau o anfeidroldeb a ddyoddefodd, y gallasai ddyoddef ychwaneg; ïe, digon dros yr angylion syrthiedig hefyd? Gallasai, mewn syndod a pharch y dymunwn ddywedyd, yfed i fynu eu cwpan hwy, yn gystal a chwpan ei bobl yr oedd yn ben iddynt. (3.) *Nid y rheol oedd iddo yn mawredd ei Berson ymddangos dan ryw boenau, ond hefyd fod yr un dyoddefaint, ac yn gyfatebol o ran grâdd, i ofynion gwreiddiol y gyfraith ar ei bobl.* Pe felly, gallasai wneyd iawn heb ddyoddef yn llwyr eu melldith hwy, ond rhyw beth llai, a bod urddas ei Berson yn gwasanaethu yn lle hyny. Diammau fod urddas Person Crist, yn rhoi iddo gymhwysder i sefyll yn ein lle, ac i ddyoddef y cwbl oedd ddyledus arnom ni; ond nid i atteb yn lle cyflawniad perffaith o'r ddeddf, yn ol ei gofyniad arnom ni" (*tu dal.*, 13, 14).

Eto:—"Mae hyny yn dangos fod pechod yn cael ei gospi yn uffern, yn ol *rhif* a *phwysau;* megys, rhai yn cael eu curo â mwy o *ffonnodiau*, ac ereill â llai; ac mae hyny yn tarddu oddiwrth ofynion cyfiawn y ddeddf arnynt; ac nid ydyw yn profi nad oes rhywbeth anfeidrol yn y gosp, a eglurir trwy ychydig o *ffonnodiau*. Gan fod graddau y gosp am bechod yn uffern yn cyd-raddu â *rhif* a *phwys* y pechodau a wnaethpwyd, paham nad yw y ddau beth hyn yn amlwg yn y gwrth-barth, *(counterpart)*—1. Fod Crist wedi dyoddef mwy dros rai o'i bobl na'u gilydd; ond y cwbl oedd ddyledus i bawb o honynt, fel yr oedd gofynion y ddeddf; a rhai o honynt yn cynnwys llawer o *ffonnodiau;* ac yn cynnwys ychydig o ffonnodiau ar ereill.—2. Ac pe buasai yn marw dros y rhai a fyddant yn uffern, buasai *ffonnodiau* dyledus i'r rhai hyny hefyd yn disgyn arno ef. Golygir yn anrhydedd i bob cyfraith, ei bod yn cysylltu cosp gyfatebol i bob bai; ac nid yn arfer cospedigaethau direol, heb fod yn cyd-raddu â *rhif a phwysau y beiau* (*tu dalen* 15).

Ystyr hyn oll, mae yn amlwg, ydyw,—nid yn unig fod Iesu Grist wedi dioddef dros bersonau neillduol fel eu Meichniydd, a bod pechodau y rhai hyny yn cael eu cyfrif iddo, yn yr ystyr o'u bod mewn gwedd gyffredinol, yn cael eu rhoddi yn ei erbyn yn gyfreithiol, ac yntau yn cael ymddwyn tuag ato yn gyfatebol; ond fod y pechodau arno "o ran rhif, a phwys, yn ol trefn rhifyddiaeth a phwysedigaeth;"—hyny yw, y pechodau yn cael eu rhifo a'u pwyso, a bod rhyw fesur neillduol o gosbedigaeth yn ddyledus i bob pechod yn ol ei bwys, sef, yn ol ei ysgelerder; a'i fod yntau felly wedi dioddef rhyw gymmaint dros bob un arno ei hunan, a rhyw gymmaint dros bob pechod i bob un; fel, pe buasai mwy i'w hachub, neu y rhai a achubir yn fwy pechadurus, y buasai raid iddo yntau ddioddef mwy. Y canlyniad naturiol ac angenrheidiol oddiwrth hyn ydyw, nad oes digonolrwydd gwirioneddol a hanfodol yn ei aberth ond ar gyfer yr etholedigion yn unig. Y mae, weithiau, yn wir, yn llefaru fel pe byddai yn gadael y digonolrwydd i orphwys ar y gosodiad, heb son am ddioddef ychwaneg; fel, pe buasai wedi ei osod dros bawb, y byddai digon ynddo, â'r dioddefiadau yr aeth tanynt, ar gyfer pawb. "Nid oedd eisiau," meddai, gwaed o fwy ei rinwedd i brynu pawb, na'r gwaed a brynodd lawer; ond ei osod gan ewyllys Duw yn bridwerth: mae hyny yn angenrheidiol" (*tu dal.* 17). Ond, erbyn dodi ei amrywiol ymadroddion wrth eu gilydd, y mae yn eglur mai y cymhwysder gwreiddiol, hanfodol ynddo, fel Person dwyfol,

a gallu ganddo i ddioddef dros bawb, pe gosodasid hyny arno, a olygid ganddo wrth hyn. Dyna fel y mae efe ei hunan yn esbonio ei ddigonolrwydd :—" Dywed rhai, 'nad oes achos gofyn dros bechodau pwy y dyoddefodd, gan ei fod yn ddigon dros yr holl fyd.' Nid digon," medd yntau, "i'w hachub; canys ni achubir pawb: ond rhyw ddigon arall, anaddas i'w briodoli i waed y cyfammod. Yr ydym yn barod," meddai, "i gyfaddef fod gwaed Crist ynddo ei hun o'r fath werth anfeidrol, yn tarddu o *ddwy ffynnon:* yn gyntaf, *mawredd ei Berson, a mawredd y dyoddefaint a ddyoddefodd;—a'i anfeidrol allu i oddef mwy, yn gystal a chreu mwy o fydoedd*" (*tu dal.* 17). Eto :—" Yr oedd yr Iesu yn holl-ddigonol i brynu dynion cwympiedig, ac angylion syrthiedig, o ran ei gymhwysder: ond appwyntiad a gosodiad Duw o hono, oedd yn gosod terfyn i'w helaethrwydd, pa un ai dros ychydig, llawer, neu bawb, y byddai ef; *Hwn a osododd Duw yn iawn trwy ffydd yn ei waed ef.* Nid y peth oedd yn ddigonol o hono ei hun, a'i gwnaeth yn iawn dros neb; ond ei gymhwysiad i hyny oedd ynddo ei hun; eithr y gosodiad dwyfol o hono, gan ewyllys Duw yn ol trefn cyfammod. Yr oedd yn ddigon i fod dros Judas, pe buasai Duw yn ei osod ef. Nid yw ei holl ddigonoldeb ynddo ei hun, ddim yn ei wneuthur yn iawn dros derfynau ewyllys Duw yn y cyfammod, gwaed yr hwn yw efe. Yr oedd yr hen *Schoolmen* pabaidd yn dwëyd, 'fod Crist wedi marw dros bawb, o ran digonoldeb yr iawn.' Ni allasai, heb ei osod yn iawn iddynt, meddaf" (*tu dal.* 18). Y mae yn amlwg, oddiwrth yr ymadroddion hyn, nad oedd efe yn golygu fod digonolrwydd gwirioneddol yn aberth Crist ond yn unig ar gyfer y rhai neillduol y gosodwyd ef drostynt, ac y dioddefodd, yn ol "gofyniad y gyfraith ar bob person," y gospedigaeth ddyledus i'w pechodau, "*yn ol eu rhif, eu pwys, a'u mwyhad*"; a phan y sonia, weithiau, am yr holl ddigonoldeb sydd yn Nghrist ar gyfer pawb, mai ei feddwl ydyw, nid *ei fod fel iawn felly,* ond fod y fath gymhwysder yn hanfodol ynddo, fel Person dwyfol, ag y *gallasai* fod felly, pe buasai wedi ei osod dros bawb, ac yntau yn myned tan "raddau anfeidrol fwy o ddioddefiadau" yn eu lle. Y mae yr ymadroddion canlynol yn profi yr un peth :—" Dywedir fod yr iawn yn holl-ddigonol dros bawb," gan rai: ond pa ddigonoldeb ydyw hwnw, ar ran y rhai colledig? Mae yn rhaid mai rhyw ddigonoldeb ag sydd yn ymddibynu ar ryw beth arall heblaw ei werth tufewnol ei hun. Mae digonoldeb mewn gwaith i alw am ei gyflog; teilwng i'r gweithiwr yw ei gyflog,

os caiff cyfiawnder le. Mae priodoli unrhyw ddigonoldeb arall i waed Crist, yn ddianrhydedd iddo, ac yn anysgrythyrol, yn ddychymygol, yn gwasanaethu o du Arminiaeth" ( *tu dal.* 83).

Yr ydym, er mwyn gosod ein darllenwyr ar dir manteisiol i ddeall y ddadl a achlysurwyd trwy gyhoeddiad y llyfr hwn, wedi ceisio gosod allan yn fanwl ac yn helaeth y golygiadau neillduol, a ddysgid gan Mr. Christmas Evans ynddo. Ac y mae yn rhaid i ni gydnabod fod y golygiadau hyny, yn ein bryd ni, y fath, fel mai y peth sydd yn ymddangos ryfeddaf i ni yw, nid fod un hen weinidog, yn mhen amryw flynyddoedd, wedi dyfod allan yn llym yn eu herbyn, ond na buasai caredigion y gwirionedd trwy yr holl wlad, ar unwaith, yn ymgynhyrfu drwyddynt, er amddiffyn gogoniant yr efengyl, a holl-ddigonolrwydd haeddiant yr hwn a ymddangosodd "i ddileu pechod trwy ei aberthu ei hun." Yr ydym yn ofni fod hyny yn arwyddo fod meddwl cryn lawer o Galviniaid Cymru, yn eu gwrth-darawiad yn erbyn Arminiaeth, ar y pryd yn tueddu yn yr un cyfeiriad a Mr. Christmas Evans, er, fe ddichon, nad oedd ond ychydig iawn wedi myned mor bell felly, ag yr oedd efe. Yr un pryd, fel y daw i'r golwg eto, ni a gawn rai ereill, yn mhen amryw flynyddoedd, yn amddiffyn yn gwbl yr un golygiad, o ran hanfod, ag y mae efe yn dadleu drosto yn y llyfr hwn.

Eithr yr oedd meddyliau amryw, erbyn hyn, yn dechreu cymmeryd cyfeiriad gwahanol, hyny yw, tu ag at y wedd gyffredinol ar farwolaeth Crist; ond ar y cyntaf yn hynod o ddistaw a gochelgar, gan wybod fod rhagfarn mawr, yn mhlith yr holl bleidiau Calvinaidd, yn erbyn pob peth a allai ymddangos fel yn dal unrhyw gyfathrach âg Arminiaeth. Hyny, ni a dybiem, a barodd i rai blynyddoedd fyned heibio cyn i ddim ymddangos trwy y wasg yn pleidio y cyfryw olygiad. Ond yn mhen amser, fe gyhoeddwyd,—"Cynnygiad gostyngedig, i Egluro yr hyn a ddysgir i ni, yn Ysgrythyrau y gwirionedd, am *Ddybenion Cyffredinol a Neillduol* Dyoddefaint Iesu Grist, mewn Dau Lythyr at Gyfaill, gan John Roberts, Llanbrynmair. Caerfyrddin: argraffwyd gan J. Evans, 1814." Nid ydyw hwn ond llyfryn bychan, yn cynnwys, rhwng y wyneb-ddalen a'r cwbl, ond 24 o du dalenau. Pwy oedd y cyfaill ieuanc, y cyfeiriwyd y llythyrau ato, nid ydym yn gwybod, er ein bod yn tueddu i feddwl mai y diweddar Mr. John Breese, gynt o Liverpool, ac wedi hyny o Gaerfyrddin, ydoedd. Yr oedd efe, y pryd hyny, yn wr ieuanc yn yr Athrofa yn Ngwrecsam, ac fel un genedigol

o Lanbrynmair, ac aelod o'i eglwys ef yno, ac hefyd yn gâr naturiol iddo, ac â meddyliau uchel am ei alluoedd, yr oedd yr awdwr yn teimlo hoffder neillduol tu ag ato a gofal annghyffredin am dano. Ond, at bwy bynnag y cyfeiriwyd hwynt, yr ydym yn teimlo yn sicr eu bod yn llythyrau gwirioneddol, hyny yw, eu bod wedi eu hanfon, megis ag y maent yn argraffedig, at ryw gyfaill ieuanc, cyn eu dwyn allan trwy y wasg, tra, ar yr un pryd, y mae yn debygol fod bwriad wrth eu Cyfansoddi i'w hargraffu ar ol hyny. Mae y "Cynnygiad Gostyngedig" hwn, yn mhob modd, yn cyfateb i'w enw. Mae yr awdwr ynddo, yn y dull mwyaf syml a dirodres, yn ymgais at ateb rhyw nifer o ofyniadau cysylltiedig â'r pwnc dan ei sylw, a gyfeiriasid ato gan y "Cyfaill ieuanc" a annerchir ganddo. Y gofyniad cyntaf y sylwa arno yw,—"A oedd rhyw ddybenion i ddyoddefaint Iesu Grist, heblaw iechydwriaeth yr etholedigion?" Yn Atebiad i'r gofyniad hwn, y mae yn golygu, "fod yr Ysgrythyrau yn ein dysgu, fod bendithion" (tymhorol) "yn cael eu cyfranu i bechaduriaid yn gyffredinol trwy ddyoddefaint Iesu Grist" *(tu dal.* 3); mai "yn unig gyda golwg ar farwolaeth Iesu Grist, mae Duw yn gwneuthur cynnygiad didwyll o iechydwriaeth dragywyddol i bechaduriaid, yn gyffredinol, yn yr efengyl" (*tu dal.* 4, 5); "fod yr un berthynas rhwng gwaed Iesu Grist a phechaduriaid yn gyffredinol, ag sydd rhwng galwad yr efengyl a phechaduriaid yn gyffredinol" (*tu dal.* 6); ac heb hyn nad oes un "priodoldeb" mewn "dywedyd, fod pechaduriaid yn gwrthod Crist a'i iechydwriaeth" (*tu dal.* 7). Y gofyniad nesaf sydd yn dyfod dan ei sylw yw,—"A fu Iesu Grist ddim farw dros yr etholedigion yn fwy neillduol na thros ereill?" Yn Atebiad i'r gofyniad hwn, y mae yn sylwi, fod "yr Ysgrythyrau Santaidd yn ein dysgu yn eglur iawn y bydd cynnifer o bechaduriaid ag a gedwir i fywyd tragywyddol, yn cael eu cadw yn ol etholedigaeth gras;" "fod *perthynas neillduol* rhwng y cwbl o gyfryngwriaeth Iesu Grist a'i etholedigion" *(tu dal.* 8); eu bod "yn perthyn i Grist, yn yr un ystyriaeth ag y mae holl ddynolryw yn perthyn i Adda"; eu bod "yn cael eu hystyried fel eglwys a phriodasferch Iesu"; ac "nad oes le i ammeu nad oedd Iesu Grist, wrth ddyoddef, yn edrych ar yr etholedigion, fel *rhan neillduol* o wobr ei lafur" *(tu dal.* 9). Yr un pryd, na ddylid "rhanu gwerth dyoddefaint Iesu Grist"—mai "yr un dyoddefaint gwerthfawr yw sail yr holl fendithion o bob rhyw mewn amser a

thragywyddoldeb, ag y mae Duw yn gweled fod yn dda i gyfranu i ddynion" *(tu dal.* 9, 10). Hyd yma y mae yn myned yn ei Lythyr Cyntaf.

Yn yr Ail Lythyr, y mae yn ymgais i ateb rhai gwrthddadleuon a ddygasid yn mlaen gan ei "gyfaill ieuanc," yn erbyn yr hyn a ddysgasid ganddo yn y Llythyr cyntaf. Yr wrthddadl gyntaf ydyw—"Od oes perthynas rhwng gwaed Iesu Grist a phawb sydd yn clywed yr efengyl, oni thywalltodd ei waed yn ofer gydà golwg ar y rhai sydd yn annghredu?" Mae yn cyfarfod yr wrthddadl hon, trwy ymwrthod yn hollol â'r dybiaeth, "i'r Cyfryngwr mawr dywallt ei waed yn ofer mewn un ystyriaeth;" y mae yn honi, fod "yn ogoniant neillduol i Iesu Grist fod ei aberth, a'i waed, yn cael eu cyfrif o'r fath werth, a Duw wedi cael y fath foddlonrwydd ynddynt, fel ag y mae edifeirwch, a maddeuant pechodau, yn cael eu pregethu yn ei enw ef, yn mhlith yr holl genedloedd;" y "bydd Iesu yn cael ei ogoneddu yn y gosp gyfiawn a ddisgyn ar esgeuluswyr iechydwriaeth;" a bod holl ddeiliaid yr ymerodraeth ddwyfol sydd mor eang, "yn cael eu llywodraethu trwy waed a chyfryngdod Iesu Grist" (*tu dal.* 11, 12). Yr ail wrthddadl y sylwa arni yw,—"Pa fodd mae cynnygiad o iechydwriaeth trwy waed Crist, yn fendith i'r rhai sydd yn ei wrthod, yn gymmaint ag y bydd eu trueni yn fwy na phe buasent heb gael y cynnygiad?" Y mae yn ateb yr wrthddadl hon, trwy sylwi mai "yr un peth fyddai gofyn, Pa fodd mae iechyd da, cynneddfau cryfion, cyfeillion dymunol, meddiannau helaeth, &c., yn fendithion i'r cyfryw sy'n eu camddefnyddio;" "nad ydym i farnu gwerth bendithion wrth y modd y caffont eu hiawnddefnyddio neu eu camddefnyddio;" "nad oes neb yn ammeu, nad bendith werthfawr yw y gair santaidd," ac eto ei bod yn "fendith sydd yn cael ei chamddefnyddio gan filoedd;" ac mai "dyben Duw, fel daionus lywodraethwr ei greaduriaid rhesymol, yn gwneuthur cynnygiad grasol o iechydwriaeth dragywyddol, trwy'r gwaed, i bawb, yn gyffredinol, *ydyw i bawb i gredu a bod yn gadwedig*" (*tu dal.* 13). Mae hyn yn ei arwain i wneuthur gwahaniaeth rhwng "ewyllys naturiol, hanfodol Duw," a'i "ewyllys benarglwyddiaethol;" y naill yn golygu ei greaduriaid fel deiliaid ei lywodraeth, ac felly i gael ymddwyn tuag atynt bob amser mewn cyfiawnder; a'r llall yn eu hystyried fel gwrthddrychau annheilwng, ac felly pob daioni a weinydder iddynt, tu allan i gylch cyfiawnder pur, yn tarddu yn unig o ras. Mae, yn niwedd y Llythyr,

yn cyfarfod y gofyniad,—"Pa fodd mae dybenion cyffredinol, a dybenion neillduol marwolaeth Iesu Grist, yn gyson â'u gilydd?" Mae yn cyfaddef yr "anhawsder i gysoni y dybenion hyn â'u gilydd"; ac eto yn methu gweled fod mwy o annghysondeb rhyngddynt, yn eu cysylltiad â marwolaeth Crist, nag yn eu cysylltiad â gweinidogaeth yr efengyl; a pha annghysondeb bynnag a allai ymddangos rhyngddynt, os ydyw y gair yn dysgu y naill a'r llall, y rhaid eu bod yn gyson â'u gilydd, pa un bynnag a allwn ni weled eu cysondeb ai peidio. (*Tu dal.* 16.) Mae yn terfynu yn yr ysbryd a'r teimlad mwyaf efengylaidd ac addolgar:—"At y gair ac at y dystiolaeth. Gochelwch ymhyfrydu mewn dadleuaeth—ac yn benaf, gochelwch ddadleu yn ysgafn, ac yn rhyfygus, am waed yr Emmanuel. Pan fyddom yn myned i feddwl, neu ymddiddan am hyn, gweddai fod cryndod santaidd yn ein meddiannu, rhag i ni ddywedyd neu feddwl yn anaddas. Sicr yw, ei fod yn cynnwys dyfnderoedd anchwiliadwy! O! o'r fath ganlyniad tragywyddol fydd angeu'r groes i bob dyn sydd yn byw yn ngwlad efengyl! Caffir [caffer] chwi a minnau, fy anwyl gyfaill, wedi ein golchi yn y gwaed, oddiwrth ein holl bechodau; ac wedi'n, ein gwaith hyfryd fydd canu am ei rinwedd, gyda'r holl dyrfa waredigol, tra parhao tragywyddoldeb. Amen" (*tu dal.* 17). Mae yn ychwanegu ychydig Sylw-nodau ar y diwedd; un o'r rhai sydd ar yr Ewyllys Ddwyfol, wedi ei ysgrifenu, er nad yw ei enw wrtho yma, gan Mr. James Griffiths, Tŷ Ddewi.

Yr ydym wedi rhoddi golygiad lled helaeth a manwl ar gynnwysiad y llyfryn dan ein sylw, er mwyn galluogi ein darllenwyr i ffurfio barn deg drostynt eu hunain, am y tir neillduol a gymmerid gan Mr. Roberts, ar y testyn pwysig yr ymdrina âg ef ynddo, pan y cyhoeddodd gyntaf y syniadau hyny a barasant, mewn blynyddoedd canlynol, y fath gynhwrf yn Nghymru. Mae yn hawdd, dybygem, iddynt ganfod, oddiwrth y crynodeb a gyflwynwyd genym ger eu bron, nad oes dim eithafol iawn yn athrawiaeth, nac yn nhôn y llyfr; ac y mae drwyddo, hyd ag y gallwn ni weled, wedi ei ysgrifenu yn y modd mwyaf cymhedrol, ac yn arddangos yr ysbryd mwyaf heddychlawn a boneddigaidd. Ond nid mewn ysbryd felly y derbyniwyd ef gan liaws yn y wlad. Ac, megis yr ydym eisoes wedi datgan ein syndod na buasai y syniadau cyfyng a dieithrol ac anysgrythyrol, a gyhoeddasid gan Mr. Christmas Evans, wedi cynhyrfu rhyw rai yn llawer cynt, i ysgrifenu a dadleu yn eu herbyn, felly, y mae yn ymddangos i ni braidd yn hynod,

fod golygiadau Mr. Roberts, y rhai oeddent mewn cymhariaeth, a dywedyd y lleiaf, mor ddiniwed, ac yn cael eu gosod allan mewn dull mor dawel a llariaidd a llednais, wedi cynhyrfu y fath wrthwynebiad. Nid ydym yn gwybod pa fodd i roddi cyfrif am hyny, oddieithr trwy fod y wlad yn gyffredin wedi ei lefeinio, i gryn raddau, â syniadau tra Uchel-Galvinaidd. Mae yn wir ei fod yn defnyddio rhai ymadroddion lled annedwydd, ac nas gallent, ar y pryd, lai na swnio yn ddieithrol yn Nghymru; megis, fod ein "trugareddau tymhorol oll yn dyfod i ni *ar hyd llwybr y gwaed (tu dal.* 4); fod yr holl ymerodraeth ddwyfol yn cael ei "llywodraethu trwy waed a chyfryngdod Iesu" (*tu dal.* 12); ac y bydd "Iesu Grist yn gweled o ffrwyth llafur ei enaid, nid yn unig yn iechydwriaeth yr etholedigion, ond yn y modd ag y bydd gogoniant llywodraeth Duw yn ymddysgleirio yn nghosp y rhai anufudd i'r efengyl" (*tu dal.* 11, 12). Pe buasai y geiriad ychydig yn wahanol,—pe na ddywedasai ond mai i Iesu Grist fel Cyfryngwr y mae llywodraeth yr holl greadigaeth yn awr wedi ei hymddiried, a bod y llywodraeth hono yn seiliedig ar ei ddyoddefiadau a'i angeu, gan mai trwy ei aberth yr esgynodd i'r orsedd, a, chan belled a hyny, fod gweinyddiad trugareddau rhagluniaeth i'r byd yn gyffredinol yn dal rhyw berthynas â'i aberth ef,—pe buasai yn geirio fel yna, yr ydym braidd yn tybied na chawsai unrhyw wrthwynebiad; ac, eto, y mae agos yn ddiddadl nad oedd efe ei hunan yn amcanu dysgu dim amgen, trwy yr ymadroddion a arferid ganddo. Mae braidd yn syn genym na buasai yr Awdwr, yn rhywle, wedi cyfeirio at olygiadau Mr. Christmas Evans, ac, o leiaf, wedi gwneyd gwrthdystiad pendant yn eu herbyn. Ond nid yw yn cymmeryd arno gymmaint ag unwaith ei fod yn gwybod dim yn eu cylch. Dichon fod hyny yn cyfodi, nid yn unig oddiar ei anmharodrwydd i ymddangos yn gwrthwynebu yn uniongyrchol un yn ddiammheuol a berchid yn fawr ganddo, ond hefyd oddiar awydd am i'w olygiadau ei hunan ymddangos ger bron y byd yn y modd symlaf a mwyaf manteisiol, er eu cymharu yn deg â dysgeidiaeth Gair Duw.

Yn mhen ychydig amser ar ol cyhoeddiad y llyfryn hwn gan Mr. Roberts, fe ddygwyd allan,—"Ymddyddanion rhwng Dau Gyfaill, *Ymofynydd a Henwr*, ar Brynedigaeth. Gan T. Jones, Dinbych. Argraffwyd gan Thomas Gee. 1816." Y tri Ymddyddan cyntaf yn unig sydd yma, heb na Rhagymadrodd nac Ol-ysgrifen na dim arall, yn

llyfryn bychan, o 58 o du dalenau. Yn mhen tua thair blynedd, fe ail-gyhoeddwyd hwn, wedi ei helaethu yn fawr, ac yn awr yn llyfr 192 o du dalenau, gydâ'r wyneb-ddalen,—"Ymddyddanion rhwng Ymofynydd a Henwr, ar Brynedigaeth. Hefyd, Sylwadau gwahanol ar ddau Lyfryn; Un yn tueddu at ryw fath o gyffredinolrwydd yn ý Prynedigaeth; a'r llall, yn waeth, i'r ochr arall, yn gosod terfyn i werth aberth Crist! A Chywydd, &c., ar yr un Matterion. Gan T. Jones. Dinbych, argraffwyd gan Thomas Gee. 1819."—Mae y llyfr hwn yn hynod yn hanes Dadleuon Duwinyddol Cymru, nid yn unig, oblegyd, y gallu a arddengys, a'r cyfoeth o Dduwinyddiaeth a geir ynddo, ond, yn arbenig, oblegyd yr ymrysonau a'r teimladau annghysurus a achlysurwyd trwy y cyhoeddiad o hono. Y mae, yn yr Ymddyddan cyntaf, yn mlaenaf oll, yn nodi allan y gwahaniaeth rhwng golygiadau Duwinyddion Calvinaidd ar Brynedigaeth, yr hyn a wneir ganddo ef, fel y canlyn:—"Yr oedd o ddechreuad y Diwygiad Protestanaidd ddau olygiad, *gwahanol i ryw radd*, yn mysg y Diwygwyr; un o honynt yn debyg i hyn: '*Fod Crist i'w gyfrif yn Brynwr i bawb oll o ddynolryw; am fod rhyw bethau daionus wedi dyfod trwyddo ef i holl hiliogaeth Addu, ond yn enwedig i'r rhai oll a gawsant air ac ordinhadau Duw; ac am fod pawb oll, trwyddo ef, mewn cyflwr neu 'stâd gymmodadwy a chadwadwy* (nid cymmodedig a chadwedig)*;* hyny yw, *heb eu gadael yn anobeithiol eu cyflwr, fel y cythreuliaid, neu yr angylion a bechasant.*' Yr oedd y gwŷr hyn hefyd yn chwanegu i'r perwyl hwn; '*Mai i'r rhai etholedig yn unig y mae, ac y bydd Prynedigaeth yn llawn effeithiol, am mai iddynt hwy y mae Duw wedi rhad-fwriadu, ac mewn amser yn rhad-roddi, gwir ffydd effeithiol.*' Y lleill o'r Protestaniaid a gyhoeddasant eu barn i'r perwyl hwn: '*Fod Crist yn Brynwr* (yn ol ystyr penaf y gair) *i aelodau ei wir gorph ysprydol, neu ei wir eglwys, yn unig; ei fod wedi rhoddi ei hunan dros ac yn lle y rhai'n, a elwir hefyd ei ddefaid, ei gyfeillion, ei bobl briodol, y rhai a roddwyd iddo mewn cyfammod tragywyddol, gan ei Dad, i'w prynu a'u hachub allan o'r cyflwr gelynol a thruenus y maent ynddo wrth naturiaeth, ac i'w dwyn, trwy wir heddychiad a sancteiddiad, i fywyd tragywyddol: Yn fyr, mai tros, ac yn achos y rhai'n yn bennodol yr aeth Crist yn Fechnïydd ac yn Brynwr, ac mai drostynt hwy y mae efe yn Iawn, yn ol cynghor, cyfammod, ac arfaeth rasol y Personau Dwyfol*" *(tu dal.* 18). Wedi nodi y gwahaniaeth, fel hyn, rhwng y ddau olygiad, y mae, tan gynnwys yn ei feddwl barch neillduol a theilwng i nifeiri o wyr enwog oedd, ac

sydd, yn cofleidio y golygiad cyntaf, yn myned rhagddo i nodi amryw ddiffygion neu golliadau, yn ol ei feddwl ef, a berthyn iddo. Y rhai canlynol a nodir ganddo: ni wnawn ni ond rhoddi ychydig gydâ'r penau:—(1.) "Yr oeddynt, heb achos, yn deall ac yn dehongli yn yr ystyr helaethaf yr ymadroddion hyn, o eiddo Yspryd Duw: *Efe a fu farw dros bawb—yn bridwerth dros bawb—dros bechodau yr holl fyd;* a rhai o'u cyffelyb." (2.) "Y mae golygiad y gwŷr da uchod ar y Prynedigaeth trwy Grist, yn ymddangos i mi *yn gymmysglyd*, o ddiffyg gwahaniaethu'n well, neu edrych yn fanylach ar wahanol ystyr y geiriau a gyfieithir *prynu, prynwr, prynedigaeth, prynedigion*, &c. Y maent yn cael y cyfryw eiriau wedi eu harferyd am *waredu, gwaredydd, ymwared, gwaredigion*, &c., ac am hyny, mi dybygwn eu bod yn barnu, heb sail ddigonol, nad yw Crist, Prynwr ei Eglwys, ddim wedi rhoddi ei hun yn iawn neillduol dros ei phechodau hi, nac yn bridwerth pennodol a chyfammodol dros bersonau ei bobl, ei ddefaid, &c., ond ei fod megis wedi rhoddi ar y bwrdd swm o anfeidrol werth, ar gyfrif pa un y gallai Duw, heb wneuthur cam â'i gyfiawnder, faddeu i'r personau, ac i'r nifer y gwelai yn dda wneyd felly â hwynt. Yn awr, er mai gwirionedd sicr ydyw, fod yr hyn a dalodd Crist, wrth ei roddi ei hun, yn swm *anfeidrol*, yn ol ystyr helaethaf y gair; eto gwir yw hefyd, fod llawer o ymadroddion eglur y Bibl yn arwyddo ac yn dangos pryniad personau, a phersonau pennodedig gan y Personau dwyfol; a'u pryniad hwynt hefyd trwy werth a phridwerth, yn ol cyfammod cadarn, a sicr ei luniaethiad. Ac er mai gwirionedd yw, mai rhodd Duw yw ffydd, a'i rodd ef i'w eiddo etholedig yn unig; eto gwir yw hefyd, mai oddiwrth ac oddiar y pryniad a fu arnynt, sef ar eu personau, trwy bridwerth ac iawn anfeidrol, y mae *pryniad gwaredigol* (os gallaf ei alw felly) neu yn fwy eglur, gwaredigaeth rasol oddiwrth euogrwydd a llywodraeth pechod yn dyfod i ran y rhai a brynwyd gan Grist; yr hwn a roddodd ei hun yn eu lle, ac yn iawn drostynt." (3.) "Mi a feddyliwn fod hyn yn fai ynddo; y mae ei ddiffynwyr yn cyfrif Crist yn Brynwr i fyd cyfan o bechaduriaid, am fod rhyw bethau da, a thrugareddau yn dyfod trwyddo ac er ei fwyn, i bawb oll o ddynolryw." (4.) "Ni fedraf lai na beio etto ar y golygiad yr ydym yn son am dano o herwydd hyn; Am weithred oruchel y Jehova, yn rhoddi ei Fab, a gwaith anfeidrol raslawn y Mab, yn ei roddi ei hun, tan y ddeddf ac i angau'r groes, nid yw y cyfryw olygiad yn ein dysgu i weled ynddo ddaioni a chariad y Personau

dwyfol mewn ymgynhyrfiad caruaidd at yr eglwys, ond megis yn yr un radd o wresogrwydd, a thu ag at yr anwir fyd, yr hwn y mae Duw wadi 'ewyllysio dangos ei ddigofaint' yn ei erbyn; (er nad yw Duw yn ddig wrth ddyn, fel ei greadur, ond fel y mae yn bechadur.) Yn ol y golygiad neu y dyluniad hwn, meddaf, nid yw cariad *neillduol* Duw ddim yn dyfod i'r golwg, nac i gael ei arddangos, hyd pan y byddo efe yn rhoddi y gras o ffydd i'w rai dewisedig. Nid fel hyn y mae gair Duw yn egluro'r mater; ond gan ddangos, *yn gyntaf peth*, gariad goruchel ac arbenig y Personau Dwyfol at yr eglwys, yn rhoddiad y Mab i ddyoddef drosti, a'i phrynu, ac yna ei bywhau, ei heddychu, a'i hachub. Ioan iii. 16, a xv. 13. Rhuf. v. 8, 9. Eph. v. 2. 1 Ioan iii. 16. a iv. 9, 10." (*tu dal.* 20—30.)

Nid ydym ni, yn awr, wedi gallu rhoddi ond crynöad byr ac anmherffaith iawn o'i Sylwadau yn yr Ymddyddan cyntaf. Mae ganddo, yn enwedig, sylwadau helaeth a manwl a dysgedig, er "dangos fod Crist wedi *prynu* ei bobl, trwy bridwerth ac iawn dros eu personau; a hyny yn wahanol oddiwrth ac hefyd yn myned o flaen eu *gwarediad*, neu eu *pryniad* oddiwrth euogrwydd, llywodraeth, ac effeithiau pechod"; ac hefyd amryw sylwadau call a chymhedrol, ar y cysylltiad, a dybid gan rai, ac, fel y gwelsom, a ddysgid gan Mr. Roberts, sydd rhwng cyfraniad bendithion tymhorol i bawb, a marwolaeth Crist drostynt. Y mae Mr. Jones yn caniatâu fod "rhyw bethau da yn dyfod i rai pechaduriaid sy'n byw ac yn marw yn annuwiol," trwy "had y wraig"; ac eto yn dadleu, nad ydym i edrych arnynt fel deilliadau *uniongyrchol* oddiwrth Brynedigaeth, neu fel ffrwyth ac effaith gwaed Crist i bersonau sydd, ac a fyddant byth, yn elynion iddo; ond eu bod yn eu cael *er mwyn* (sef o gariad at, a gofal am), ac megis dan gysgod yr eglwys, yr hon y mae ei Harglwydd a'i Phrynwr yn dewis ei magu, ei chynnal, a'i meithrin, yn nghanol byd o annuwiolion, ie, ac mewn amryw olygiadau, trwy eu defnyddioldeb hwynt hefyd" (*tu dal.* 22—27, 28). Mae yr Ymddyddan hwn, er nad yw mewn cymhariaeth ond byr, yn cynnwys amddiffyniad galluog, ac mewn tôn nodedig o gymhedrol, i'r athrawiaeth o Brynedigaeth Neillduol, yn briodol felly trwy bridwerth,—ar wahan oddiwrth, ac eto yn sicrhau, rhyddhad gweithredol y prynedigion o'u caethiwed.

Mae y tri Ymddyddan olaf ar "*Holl-ddigonedd y Prynwr, neu annherfynol werth ei Aberth,*" yn erbyn y syniad fod y cyfammod a fu

rhwng y Personau Dwyfol, am Brynedigaeth yr eglwys, fel pe byddai yn debyg i gytundeb, neu gyfammodau sy'n gyffredin yn mysg dynion; —pob plaid yn gofyn, ac yn rhoddi, gwerth am werth manwl-gyfatebol; ac felly iawn Crist dros bersonau a phechodau ei bobl, yn gwneyd cymmaint ag a ellir ei gyffelybu i *glorianau gwastad*, y naill o'r uu bwys a'r llall, heb un gronyn o fantoliad, neu o bwysau gydâ digon." Y mae yma yn amlwg yn ysgrifenu oddiar deimlad dwfn a dwys, ac yn tynu allan ei holl nerth er amddiffyn anfeidroldeb aberth Crist, gan edrych ar y golygiad gwrthwyneb yn mhob gwedd arno, er mwyn dangos ei wrthuni a'i afresymoldeb. Y mae yr "Ymddyddanion" hyn yn arddangos yr un nodwedd ag a welsom ar ei Ysgrifeniadau blaenorol yn erbyn Arminiaeth: y mae, yn gyntaf, yn gwneuthur ymchwiliad teg â manwl i ystyr y tystiolaethau ysgrythyrol ar y testyn dan sylw; yna, yn ymresymu yn naturiol a phriodol oddiwrthynt yn mhlaid yr hyn y dadleua drosto, ac yn erbyn y syniad a annghymmeradwya; ac, wedi hyny, yn dwyn yr elfen hanesyddol i mewn, ac yn cadarnhau ei ymresymiadau ei hunan â thystiolaethau y prif ysgrifenwyr Protestanaidd, yn y deyrnas hon ac ar Gyfandir Europe. Mae yn dadleu dros holl-ddigonedd aberth Crist ar gyfer y byd yn gyffredinol a diwahaniaeth, oddiwrth Urddas anfeidrol y person sy'n aberth: 'a'i hoffrymodd EI HUN' 'EFE YW YR IAWN—"*nid yr un a dalodd iawn â rhywbeth oedd ganddo*" (*tu dal.* 34); oddiwrth alwad gyffredinol, ddihoced yr efengyl ar bawb (*tu dal.* 47—49); ac oddiwrth gyfrifoldeb ac euogrwydd gwrthodwyr yr efengyl, a chyfiawnder eu cosbedigaeth (*tu dal.* 49, 96). Mae ei sylwadau er prawf o holl-ddigonedd yr aberth, oddiwrth alwad gyffredinol yr efengyl, yn dra rhagorol: *Ymofynydd.* Er hyn oll, fe allai y tybia ambell un, na ddylai pregethwyr ddatgan gwahoddiad, nac annog eu gwrandawyr, ond yn debyg i hyn; 'Y mae digon i chwi oll yn Nghrist, *os* bydd i chwi oll gredu ynddo;' gofynaf etto eich sylwad a'ch ateb ar hyn. *Henwr.* Y mae'r dywediad yn wir; etto nid yr *holl wir* ydyw: nid yw yn fynegiad o 'holl gynghor Duw,' fel y mae wedi ei ddatguddio ar y matter hwn. Peth arswydus fyddai i ni feddwl, fod i ddigonedd Crist ymddibynu ar gred y dyn! Y mae'r hyn a ddywedwyd o'r blaen, yn tueddu i ddangos (ac mi obeithiaf y dangoswyd allan o air Duw), fod Crist yn *aberth ac yn iawn holl-ddigonol*; ac nad yw ei osodiad i fod yn *aberth ac iawn dros ei eglwys* yn lleihau dim ar ei rinwedd a'i *werth hanfodol*, neu werth ei Berson a'i waith dwyfol. Yma

cymmerwn etto olygiad byr, trwy gyffelybiaethau, er eu bod yn anmherffaith; am nad oes dim mewn natur a etyb yn llawn i bethau ysprydol. Y mae tyrfäoedd o bobl yn byw tan y ddaear, mewn gweithiau halen, a gweithiau ereill, o fewn rhai gwledydd: Pe dywedai un wrth y rhai'n, Y mae digon o oleuni a gwres haul i'w cael, *os* deuwch chwi i fynu o'ch celloedd dyfnion: pe dywedid hefyd wrth dyrfa gwlad, y mae digon o ddwfr yn y ffynon, neu'r afon, i dorri eich syched, *os* bydd i chwi ei yfed; neu wrth dyrfäoedd y byd, y mae yn y môr mawr ddigon er eich trochiad a'ch glanhâd, *os* chwi a ymdrochwch ynddo; byddai hyn oll yn wir. Ond er hyn, oni allai rhyw rai, ffol neu gyfrwys, ateb, 'Gan mai felly y dywedwch, heb ddim ychwaneg un amser yn eich gwahoddiad, yr ydym ni yn barnu nad oes dim digonedd yn yr haul i oleuo ac i wresogi, yn yr afon i ddisychedu, nac yn y môr i olchi, *ond yn unig mewn cyfatebiad manwl i nifeiri ac anghenion y bobl a geir i'w defnyddio.*' Erbyn hyn, oni fyddai yn llawn bryd i ni geisio eu haddysgu yn well? gan ddangos mai un peth yw y *cyflawnder naturiol* a osododd Duw yn ei greaduriaid hyn, ac mai peth arall yw ei *waith rhagluniaethol*, yn trefnu dynion i'w defnyddio at eu hanghenion priodol? Cymhwys ynte, weithiau o leiaf, fyddai gadael yr *os* allan, a dywedyd yn groyw, Pa un bynnag ai tan y ddaear, ai arni, yr anneddwch chwi, yr un yw goleu a gwres yr haul; pa un bynnag ai yfed o'r afon, ai peidio, a wnewch chwi, yr un yw ei digonedd hi; ac er i chwi wrthod ymdrochi, yr un yw cyflawnder y môr.—Y cymhwysiad o hyn yn fyr yw (a bydded yn argraffedig byth ar ein calonau), y gweddai i ni oll lefain am adnabod Crist fel aberth ac offeiriad *holl-ddigonol*, 'wedi ei berffeithio yn dragywydd;' ac y dylai pob gweinidog i Grist feddu deall ac ysbryd i'w gyhoeddi fel y cyfryw, gan ddysgwyl wrtho ef ei hun am gymhwyso rhinweddau ei waed at ei eiddo prïodol, yn ol y cyfammod tragywyddol. Ac heb y fath olygiad, ni fedraf fi ddeall fod modd i un gweinidog yn ddibetrus, wahodd ei wrandawyr oll at Grist, gan nad yw efe yn barnu fod *digonedd* ynddo ond i'w eiddo prïodol, ac nas gall efe wybod eu bod *oll* wedi eu rhoddi iddo yn yr arfaeth, a'r cyfammod o brynedigaeth" (*tu dal.* 47—49).

Fel y canlyn, y mae efe yn amcanu cysoni hyn oll, â'r golygiad y dadleuai drosto am Iesu Grist, "fel Mechniydd, fel Iawn, ac fel Prynwr, dros, ac i'w wir eglwys yn unig:"—"Fy ateb yn fyr i hyny yw, trwy gael ein dysgu i edrych ar Berson a gwaith neu ufudd-dod Crist,

fel gwrthddrych a matter mawr, *ar ei ben ei hun*, ac ar y cyfammod o ras a phrynedigaeth, fel matter arall, *gwahanol mewn rhyw ystyr;* er fod y naill a'r llall, fel dwy ddolen o'r un gadwyn euraidd, i'w cyd-ryfeddu, a'u cyd-fwynhau; a phob un o honynt yn gofyn ein hymdrechiadau a'n herfyniadau dwysaf am gael iawn farn a chred am danynt, a mwynhâd efengylaidd ac iachusol ynddynt. Yn ngoleuni Duw, mi a feddyliwn, y dysgir ni i farnu, wrth ac yn ol tystiolaeth gair Duw, fod person a gwaith Crist, neu (yr hyn a gyrhaedd i'r un peth) fod iawn Crist yn annherfynol ei werth a'i wiwdeb. . . . . Ond, yn nesaf, os edrychwn i'r amlygiad a roddodd Duw yn ei air, am ei gyfammod tragywyddol o brynedigaeth a gras, ni a gawn weled yno, fod nifer o ddynolryw colledig (nifer sy'n derfynedig gan Dduw, ac yn hyspys iddo ef yn unig) wedi cael eu '*rhoddi* i'r Mab, tan ammod dwyfol, sef, fel y byddai iddo, trwy bryniad *drud iawn* iddo ef, a *chwbl raslawn* iddynt hwythau, eu '*llwyr brynu* oddiwrth felldith y ddeddf,' eu codi o'u trueni dwfn, a'u dwyn i ogoniant tragywyddol. Ioan vi. 39; x. 28, 29; xvii. 2, 6, 9, 24" (*tu dal.* 37, 38). Mae yn sicr ei fod ef yn tybied fod yn haeddiant yr aberth, ac edrych arno yn arbenig *ar ei ben ei hun*, ryw eglurhâd ar yr anhawsder a deimlid ganddo oedd yn gysylltiedig â'r digonolrwydd cyffredinol, y dadleuai drosto, ar wahan oddiwrth bridwerth cyffredinol. Yr oedd yn golygu fod y fath wiwdeb mewnol, anfeidrol ac annherfynol, yn aberth Crist, ynddo ac o hono ei hun, ag sydd yn cyfansoddi digonolrwydd er iachawdwriaeth dynolryw yn gyffredinol, er nad ydyw wedi ei osod, yn nghyfammod y prynedigaeth, yn daliad er rhyddhâd gweithredol, ond y gwrthddrychau neillduol yr oedd wedi ymgymmeryd â'u hachos, ac wedi meichnïo drostynt: ac, ar yr un pryd, yn golygu nad ydyw y gosodiad hwnw mewn un modd yn terfynu ei ddigonolrwydd, ond yn unig yn pennodi y gwrthddrychau yr oedd yn bridwerth drostynt, gydâ'r amcan grasol o'u llwyr waredu. Fel hyn, yr oedd efe yn gosod neillduolrwydd y prynedigaeth i orphwys, nid fel Mr. Fuller, yn y bwriad dwyfol o berthynas i gymhwysiad yr iawn, ond yn y taliad o'r iawn ei hunan; tra yn dadleu dros ddigonolrwydd ynddo ar gyfer y rhai na osodwyd ef yn neillduol drostynt, oddiar ei werth anfeidrol ac annherfynol ynddo ei hun.

Nid oes un crybwylliad am enw Mr. John Roberts na Mr. Christmas Evans yn yr "Ymddyddanion" hyn, er fod cyfeiriadau eglur at Mr. Roberts, yn yr "Ymddyddan" cyntaf, ac at Mr. Christmas Evans, yn

y tri ereill. Ond yn niwedd y llyfr, fel math o Attodiad, y mae yn cyfarfod yn uniongyrchol â'r naill a'r llall; ac yn dechreu, gydâ—"Sylwadau (o'r un tuedd a'r Ymddyddan I.) ar rai pethau sy'n ymddangos yn wahanol oddiwrth y wir athrawiaeth o Brynedigaeth neillduol, mewn dau Lythyr, a gyhoeddwyd yn ddiweddar, gan Mr. John Roberts, Gweinidog, yn Llanbrynmair."—Y mae Mr. Jones, yn y "Sylwadau" hyn, yn trin Mr. Roberts yn nodedig o esmwyth, ac yn ymddangos yn amlwg fel un yn teimlo nad oedd y gwahaniaeth rhyngddynt a'u gilydd ond bychan, ac mewn cymhariaeth ond dibwys, tra yr un pryd, nad oedd heb ofni fod tuedd yn ngeiriad Mr. Roberts i arwain ei ddarllenwyr i golli golwg ar beth, a dybid ganddo ef, oedd yn hanfodol i'r Prynedigaeth, yn ol ystyr y Bibl o hono, y gosodiad neillduol ar Iesu Grist dros bersonau ei bobl. Ychydig bethau yn y llyfr a wrthwynebir yn bendant ganddo; a chydâ golwg ar y rhai hyny, ni a geisiwn ddangos i ba raddau y cytunent, a pha mor bell y gwahaniaethent. Y peth cyntaf y sylwa arno ynddo yw, yr hyn y mae Mr. Roberts yn dechreu gydâg ef,—"Fod bendithion yn cael eu cyfranu i bechaduriaid yn gyffredinol trwy ddioddefaint Iesu Grist," a bod trugareddau cyffredin Rhagluniaeth yn dyfod "*ar hyd llwybr y gwaed.*" Yr ydym wedi sylwi eisoes ein bod yn ystyried fod geiriad Mr. Roberts yma yn dra annedwydd, ac nas gallai yr ymadroddion a ddefnyddir ganddo lai na swnio yn ddieithrol, ar y pryd, yn Nghymru. Yr oedd Mr. Roberts, y mae yn eglur, yn golygu fod parhâd y ddynoliaeth, wedi y cwymp, oddieithr yn mhersonau ein rhieni cyntaf, yn dibynu yn gwbl ar y drefn gyfryngol, ac felly yn naturiol yn casglu fod pob trugaredd o bob rhyw, a dderbynir gan bawb yn ddiwahaniaeth, trwy yr holl fyd a thrwy holl oesoedd amser, yn dyfod "ar lwybr y gwaed." Yr oedd Mr. Jones, o'r tu arall, yn ystyried fod y trefniant gwreiddiol rhwng y Goruchaf a'n rhieni cyntaf, yn golygu parhâd y ddynoliaeth yn annibynol ar y cynllun cyfryngol, ac felly gweinyddiad cynnifer o ddoniau cyffredin rhagluniaeth iddynt ag a fuasai yn sicrhau y parhâd hwnw. Eto yr oedd "yn cydnabod na buasai y byd hwn, ar ol cwymp Adda, yn ddim gwell na charcharle anobeithiol, heb un rhodd gysurol a bendithiol iddo ef a'i hiliogaeth, oni buasai *had y wraig*, a'r addewid foreuol o hono, yn Waredwr i'w bobl" (*tu dal.* 119). Yr oedd yn golygu y buasai cyflwr y ddynoliaeth megis cyflwr troseddwr collfarnedig yn y carchar, ac yspaid o amser o arbediad yn cael ei ganiatau iddo cyn dydd y dienyddiad, a

hyny yn unig, ni a dybygem, trwy weithrediad digyfrwng yr amynedd a'r hir-ymaros dwyfol. Tybiai ei fod yn cael awgrymiadau, yn yr ysgrythyrau, fod gradd o rywbeth *tebyg* i hyny yn nghyflwr presennol "yr angylion, y rhai ni chadwasant eu dechreuad," y rhai sydd, fel y dywedir i ni," "mewn cadwynau tywyllwch yn cael eu cadw *i farn y dydd mawr;*" yr hwn a ofnir ganddynt yn gymaint fel y cawn fod un o honynt yn gofyn i Iesu Grist, "A ddaethost ti i'n poeni ni *cyn yr amser?*" Anmhrïodol, yn ol Mr. Jones, ydyw dywedyd fod Iesu Grist wedi prynu dim ond pechaduriaid,—ei eglwys; a thra yn addef mai "ynddo ef y mae pob peth yn cyd-sefyll," y mae yn cael y gwahaniaeth rhwng cyflwr y byd yn bresennol, gydâ golwg ar fendithion tymhorol, â'r hyn, yn ol ei dybiaeth ef, a fuasai heb y drefn gyfryngol, yn y ffaith fod llywodraethiad pob peth yn awr yn llaw Crist, yr hwn, fel Pen yr eglwys, yn ei gariad ati a'i ofal am dani ac er mwyn ei chynnal hi, sydd yn defnyddio ei holl "awdurdod yn y nef ac ar y ddaear," ac yn cyfranu i'w elynion, yn ol ei ewyllys ei hunan, yr hyn oll a welo yn angenrheidiol er cyrhaedd ei amcanion gydâ golwg arni hi. Dyma felly y gwahaniaeth rhwng y ddau ar y pen hwn. Yr oedd Mr. Jones yn addef fod gwedd bresennol y byd, o ran cysuron tymhorol a mwynhâd doniau cyffredin rhagluniaeth, i'w briodoli i lywodraeth gyfryngol yr Arglwydd Iesu arno; llywodraeth a gyrhaeddodd trwy ei angeu, ac a weinyddir ganddo er cyrhaedd ei amcanion tuag at ei eglwys; tra, yr un pryd, y golygai y buasai dynoliaeth yn parhau ar y ddaear, mewn cyflwr o drueni ofnadwy, dan felldith Duw ac yn aros y gweinyddiad o honi, yn annibynol ar ei gyfryngdod ef: yr oedd Mr. Roberts, o'r tu arall, yn prïodoli parhad a llïosogiad dynolryw ar y ddaear, a'r holl drugareddau o bob math a fwynheir ganddynt, yn gwbl i'w gyfryngdod a'i aberth ef, ac felly eu bod oll yn dyfod "yn llwybr y gwaed." Nid oedd y gwahaniaeth yna rhyngddynt a'u gilydd, yn sicr, ond bychan; ac yr oedd yn fwy, dybygem ni, yn y geiriad neillduol a ddefnyddid gan y naill a'r llall, nag yn hanfod y meddwl a goleddid ganddynt. Ond nid ydym yn hollol sicr ai nid allai fod dan y gwahaniaeth hwn wahaniaeth arall. Nid ydym yn gwybod a oedd Mr. Roberts yn ei gydnabod ei hunan yn Uwch-gwympiedydd *(Supralapsarian)* ai peidio. Un felly oedd ei hen athraw a'i gyfaill, ac i'r hwn y proffesai yntau fod yn ddysgybl ffyddlawn,—Dr. Williams o Rotherham. Mewn un o'i "Nodiadau" ar Ddarlithiau Duwinyddol

Dr. Doddridge, y mae ganddo y geiriau canlynol, gydâ chyfeiriad at Uwch ac Is-gwympiedyddiaeth: "O'r ddwy gyfundraeth hyn, y mae Uwch-gwympiedyddiaeth, ond ei diosg o rai pethau a ychwanegir ati sydd yn rhoddi arni erwindeb nad yw yn briodol yn perthyn iddi, yn ymddangos yn teilyngu y flaenoriaeth yn dêg; yn gymmaint a'i bod yn ymgydweddu yn fwy unol â ffeithiau diammheuol; yn fwy cyfaddas i arddangos trugaredd benarglwyddiaethol a llywodraeth uniawn ac anmhleidiol; ac i roddi cyfrif boddlonol am y rhan arswydlawn hono o'r goruchwyliaethau dwyfol, dyfodiad drwg moesol i'n byd, a'n gwaredigaeth oddiwrtho trwy Gyfryngwr" (Doddridge's *Works*, Williams *and* Parsons' *edition*; *Vol.* V., *page* 261. Leeds, 1804). Yn awr, fel y dywedasom, nid ydym yn gwybod a fuasai Mr. Roberts, yn hyn, yn dewis cael ei restru gyda Dr. Williams; ond y mae yn ymddangos i ni fod ei olygiadau, yn y mater yn awr dan ein sylw, yn fwy cydweddol â'r ffurf yna ar Galviniaeth, nag â'r ffurf arall. Yn ol Is-gwympiedyddiaeth, ac yn ol Mr. Jones, y mae trefn cadwedigaeth yn tybied ac yn golygu dynolryw yn bod, ac wedi syrthio, trwy bechod, i afael euogrwydd a thrueni nad oedd obaith iddynt mewn unrhyw fodd, o honynt eu hunain, ymryddhau oddiwrthynt byth; ac, yna, i'r Duw mawr, gan eu rhagweled felly, o gariad a gras hunan-gynhyrfiol a hollol benarglwyddiaethol, ethol rhyw rai o honynt i fywyd tragywyddol; ac, er sicrhau yr amcan hwnw, iddo roddi ei anwyl Fab i ddioddef a marw yn eu lle. Ond yn ol Mr. Roberts, a chan belled a hyny, beth bynag, y mae yn cytuno âg un wedd ar Uwch-gwympiedyddiaeth, ni buasai neb yn bod o ddynolryw, oddieithr Adda ac Efa, oni buasai am y drefn gyfryngol: ond, er mwyn dwyn oddiamgylch amcanion hono, y mae y byd yn cael ei gynnal, dynoliaeth yn cael ei pharhau, trugareddau yn cael eu gweinyddu, a'r cwbl mewn cysylltiad âg aberth yr Arglwydd Iesu, ac "ar lwybr ei waed ef."

Peth arall a annghymeradwyir gan Mr. Jones yw, fod Mr. Roberts yn dadleu,—"fod yr un berthynas rhwng gwaed Iesu Grist a phechaduriaid yn gyffredinol, ag sydd rhwng galwad yr efengyl a phechaduriaid yn gyffredinol." Ond nid ydym ni yn gweled fod gwahaniaeth mawr, na dim hanfodol, rhwng y ddau ar y pen hwn; ac y mae yn amlwg fod gwrthwynebiad Mr. Jones yn benaf i'r gair "*perthynas*," a ddefnyddir yma gan Mr. Roberts." "Ar hyn," medd Mr. Jones, "yr wyf yn sylwi, fod y geiriau *perthynas* a *galwad*, yn ymddangos i mi yn

wahanol eu hystyr, neu, o leiaf, yn ddau air, a ellir eu harfer mewn ystyriaethau pell oddiwrth eu gilydd; a'r un modd, os chwanegir at y gair *galwad*, y fath eiriau a *gwahoddiad*, *cynnygiad &c.*," (*tu dal.* 123). Prin, ni a dybiem, y mae craffder beirniadol arferol Mr. Jones, yn cael ei arddangos ganddo yma. Nid y geiriau i'w dwyn i gymhariaeth neu gyferbyniad yma oedd, "*perthynas*" a "*galwad*," ond "*gwaed*" a "*galwad*;" oblegyd dadl Mr. Roberts oedd, fod yr un "*berthynas* rhwng y *gwaed* a phechaduriaid, ag sydd rhwng *galwad* yr efengyl a phechaduriaid." Ond y mae Mr. Jones yn myned rhagddo, ac yn addef, "mai gwir yw, am Grist, fel Duw-ddyn, fod perthynas rhyngddo a'n natur ni, bawb oll o ddynolryw: ac yr wyf fi yn credu fod ynddo nid yn unig *addasrwydd*, ond *digonolrwydd* hefyd, at eisiau pawb oll o honynt, fel dynion, ïe, fel dynion pechadurus; a'i fod hefyd wedi rhoi gorchymyn i'w weinidogion ei bregethu, ei gynnyg, a'i gymhell i dderbyniad pawb oll o'u gwrandawyr, a hyny nid fel pobl etholedig, prynedig, a sancteiddiedig, ond fel pobl euog, halogedig, a cholledig. Pe buaswn yn deall mai yn ol un neu oll, o'r golygiadau hyn, ac nid mewn ystyr pellach, y mae J. R. yn arfer y gair *perthynas*, ni buasai i mi feio, na dadleu, yn yr achos" (*tu dal.* 123). Yn awr, nid ydym ni yn gweled fod geiriad Mr. Roberts yn angenrheidiol yn cynnwys dim mwy nag a addefir yma gan Mr. Jones, ac felly mai annheg ynddo ef oedd dadleu, fel y mae yn tueddu i wneyd yn y tu dalen canlynol, fel pe buasai Mr. Roberts yn dal fod yr un fath berthynas rhwng aberth Crist a phechaduriaid yn gyffredinol, ag sydd "rhwng plant a'u rhieni, etifedd mabwysiedig a'i fabwysiadwr, neu wraig a'i phriod." Mewn gwirionedd, tra yr oedd Mr. Jones yn gosod "i weinidogion yr efengyl sail ddigonol i ddatgan *galwad gyffredinol* yr efengyl, a *chynnygiad* o Grist, i bawb oll o'u gwrandawyr, yn Holl-ddigonedd Crist, neu werth anfeidrol ei aberth a'i iawn" (*tu dal.* 125), nis gallwn ni weled fod dim gwahaniaeth, oddieithr mewn geiriau, rhyngddo a Mr. Roberts ar hyn.

Y peth nesaf y mae Mr. Jones yn dadleu yn ei erbyn ydyw, yr ystyr gyffredinol hollol, a roddir gan Mr. Roberts, ar y geiriau "*pawb*," "*pob dyn*," a "*holl fyd*," a arferir yn yr ysgrythyrau mewn cysylltiad â marwolaeth Crist. Y mae ymresymiad Mr. Jones ar hyn (*tu dal.* 127—130) yn gymmedrol a galluog a dysgedig; ac yn myned yn mhell at brofi nad yw y defnydd o ymadroddion cyffredinol o'r fath, ynddo ei hunan, mewn un modd yn ddigon i benderfynu y ddadl gyda golwg ar

gyffredinolrwydd neu neillduolrwydd y prynedigaeth. Ond nid ydym yn ei gael yn gwneyd un ymgais at ddangos pa fodd, neu ar ba dir, y mae yn cydnabod fod yr un ymadroddion yn ddigonol i brofi galwad gyffredinol yr efengyl, ac eto yn gyson â galwad neillduol ac effeithiol, tra yn dadleu nad ydynt ond hollol annigonol i brofi iawn cyffredinol, a allai fod, ac y dadleuir ei fod, yn gyson â phrynedigaeth neillduol effeithiol.

Ond y peth, dybygem ni a ymddangosai yn fwyaf annghymmeradwy o'r cwbl yn ngolwg Mr. Jones, yn llyfryn Mr. Roberts, ydyw, yr hyn a ddywedir ganddo, pan yn ateb yr wrthddadl fod ei athrawiaeth ef yn peri i Iesu Grist ymddangos fel "wedi tywallt ei waed yn ofer, gydâ golwg ar y rhai sydd yn anghredu." Yn mhlith pethau ereill, yn atebiad i hyn, yr oedd Mr. Roberts wedi dywedyd, "y bydd Iesu Grist yn gweled o lafur ei enaid, yn y modd y bydd gogoniant llywodraeth Duw yn ymddysgleirio yn nghosp y rhai anufudd." Mae Mr. Jones yma yn cwyno na buasai Mr. Roberts "yn ystyried yn well y gwahaniaeth mawr sy rhwng gwaith Duw fel Llywydd a Barnydd cyfiawn, yn dial ar ei elynion, a gwaith y Person Dwyfol, mewn cnawd, yn rhoddi ei hun *dros* bechaduriaid, i'w hachub rhag y pechod, a'r dial hefyd" (*tu dal.* 135). Y mae geiriad Mr. Jones yma yn sicr, dybygem ni, yn agosach i ysbryd ac ystyr ac iaith y Bibl, na geiriad Mr. Roberts; er fod yn amheus genym a oedd Mr. Roberts yn meddwl dim amgen, na rhywbeth tebyg i'r hyn a ddywedir gan Mr. Jones ei hunan, mewn lle arall yn y llyfr hwn, gyda golwg ar ddigonoldeb Crist, ar ran y rhai na chedwir yn y diwedd trwyddo; y "bydd yn ddigonoldeb" 'er *tystiolaeth* iddynt,' ac yn eu herbyn, os byddant wedi clywed yr efengyl (Matt. xxiv. 14); ac yn ddigonoldeb a fydd er tystiolaeth am fawredd Crist a'i aberth, o flaen holl luoedd nefoedd ac uffern, i dragywyddoldeb" (*tu dal.* 169, 170). Ar y cwbl, yr ydym ni yn methu gweled fod, hyd yma, ond gwahaniaeth bychan iawn rhwng y ddau ŵr da hyn a'u gilydd; ac nis gallwn lai na gofidio, fod y dull neillduol a gymmerid gan Mr. Roberts i osod allan y meddwl oedd ganddo, wedi peri i'r naill a'r llall dybied fod y gwahaniaeth rhyngddynt yn llawer iawn mwy nag ydoedd mewn gwirionedd.

Wedi darfod a Llyfr Mr. Roberts, y mae Mr. Jones yn myned rhagddo i wneuthur "SYLWADAU (o'r un tuedd a'r ymddyddanion ii, iii, iv.) *ar rai pethau sydd i'w gweled mewn Traethawd o eiddo Mr. Christmas Evans,*

*o Fôn, ac a gyhoeddwyd ganddo, ychydig flynyddoedd yn ol, ar* Neillduolrwydd y Prynedigaeth." Yr ydym eisoes wedi rhoddi golygiad lled helaeth a manwl ar y syniadau neillduol a ddysgir yn y llyfr y cyfeirir yn awr ato, fel y mae ein darllenwyr, ni a obeithiwn, yn gydnabyddus â hwynt. I'r rhai sydd felly, nid ymddengys yn rhyfedd fod y "Sylwadau" hyn wedi eu cyfansoddi, mewn teimladau tra gwahanol i'r rhai yr oedd yr awdwr ynddynt pan yn ysgrifenu ei "Sylwadau" ar lyfr Mr. Roberts. Y mae yn amlwg ei fod yn awr yn dra phoenus a briwedig ei feddwl fod y fath syniadau, ag a wrthwynebir ganddo, wedi eu cyhoeddi drwy y Wasg yn Nghymru; a hyny, yn enwedig, gan un o safle a phoblogrwydd Mr. Christmas Evans, yn y Cyfundeb y perthynai iddo, ac yn y wlad yn gyffredin. Yr un pryd, nid yw yn ysgrifenu yn chwerw ac annghyfeillgar, nac, yn wir, yn anngharuaidd ac anfrawdol, ond, yn hytrach, yn archolledig a gofidus. Y peth mawr y mae yn ymosod yn ei erbyn, yn ngolygiadau Mr. Christmas Evans, yw, ei fod yn dadleu dros wneyd dioddefiadau ein Gwaredwr, yn gyfatebol i raddau beiau "y rhai y bu farw drostynt," "o ran rhif, pwys, a mwyhâd;" fel, yn ganlynol, pe buasai ychwaneg i'w hachub, neu y rhai a achubir yn fwy pechadurus, y buasai raid i Iesu Grist ddioddef ychwaneg. Yr oedd Mr. Christmas Evans, fel y gwelsom, wrth amddiffyn ei olygiad, wedi dywedyd,—"Yr oedd Aaron yn *rhifo pechodau*, 'gan gyffesu holl anwiredd meibion Israel, a'u holl gamweddau hwynt, yn eu holl bechodau' (Lef. xvi. 21)." I hyn y mae Mr. Jones yn ateb:—"Nid oes dim sôn am *rifo pechodau*, yn Lef. xvi. 21, nac mewn un lle arall yn y Bibl, ar yr achos hwn. Dylem edrych yn ofalus, a gwylio yn ddwys, rhag i ni osod ein dychymygion ein hunain yn lle gair Duw. Ac, am y *Gyffes* a arferai yr Arch-offeiriad ar yr achos (fel y mae i'w gweled gan *Ainsworth*, ac awdwyr ereill), un gyffredinol ydoedd, *o holl anwireddau Israel*, heb enwi un, nac un math, o'u pechodau, a llai o lawer *eu rhifo*. A pha un o honynt a allasai *rifo* ei bechodau ei hun, heb sôn am bechodau yr holl genedl?" (*tu dal.* 146). Wedi sylwi ar fanyldra y cyffesiad hwn, ei fod, "megis o ran rhif a phwys, yn ol trefn rhifyddiaeth a phwysedigaeth," y mae Mr. Christmas Evans yn ychwanegu. "Gan fod yr Ysbryd Glan yn defnyddio y fath eiriau i osod allan ei bethau mawrion, ni ddylem ni eu gwrthod, er mwyn hanneru y ddadl âg Arminiaid, &c." I hyn y mae Mr. Jones yn ateb:—"Gan *nad ydyw* yr Ysbryd Glan wedi arfer y

fath eiriau a *rhifo pechodau Israel*, &c., nac yn ein dysgu yn ol y fath drefn o 'rifyddiaeth a phwysedigaeth,' na fydded i ni osod ein tyb a'u trefn ein hunain, yn lle ei air a'i drefn ef" (*tu dal.* 147). Mewn atebiad i haeriad Mr. Christmas Evans, "Fod cyfiawnder yn galw am gosp fwy, a dangosiad o anfoddlonrwydd mwy, mewn trefn i gael iawn am y pump cant ceiniog, yn fwy na'r deg a deugain;" ac "na byddai achos, fe allai, yn ol cyfiawnder, i fod y dyoddefaint cymmaint i wneyd iawn dros blentyn bach, a thros Saul o Tarsus;" ac, yn ganlynol, "fod Crist wedi dyoddef mwy dros rai o'i bobl na'u gilydd;"—y mae Mr. Jones "yn addef, y cawn ddangosiad yn ngair Duw, fod graddau mwy a llai, mewn pechodau; ac hefyd fod graddau mwy a llai, yn y gosp am bechod yn uffern. Eto cofier," meddai, "mai creaduriaid terfynol o ran eu gwerth, a gwerth eu taliad (*pe byddai yn daliad*) sydd, yn uffern, yn dyoddef bob un ei gosp am ei feiau ei hunan, neu yn cael eu gofyn, yn llwyr gyfiawn, a hyny yn ol graddau a phwys eu beiau, ond *heb dalu dim hyd byth!* Ac wrth ystyried creaduriaid euog, gelynol, a gorwael, na allant dalu dim o'u dyledion, na dyoddef byth hyd ddilëad ar *un* o'u pechodau, pa gyffelybrwydd, neu sail i gymhariaeth, a ddichon fod, yn y matter a'r achos goruchel hwn, rhyngddynt hwy a'r Person goruchel, dwyfol, a pherffaith, yr hwn y cafodd y gyfraith ei hanrhydeddu ganddo, a'r Tad ei foddloni ynddo, a hyn oll mewn yspaid byr, ac megis ar unwaith, am byth?" (*tu dal.* 147, 148). Ac, yna, y mae yn myned rhagddo i ddadleu, gydag eglurder a grym ac effeithiolrwydd mawr, yn erbyn y syniad,—"fod Crist wedi dyoddef mwy dros rai o'i bobl na'u gilydd." Buasai yn dda iawn genym allu cyflwyno ger bron ein darllenwyr, yn gyflawn, y sylwadau ardderchog a wneir ganddo ar hyn; ond rhaid i ni foddloni yn unig ar nodi penau ei ymresymiad:—"Yr wyf yn dadleu yn erbyn y casgliad, oherwydd, (1.) Mi dybygwn nad oedd *iddo, nac ynddo ef*, achos am hynny; o herwydd ei fod yn dyoddef, ac yn talu drostynt oll *ar unwaith*, ac nid trwy roddi megis ar y bwrdd amryw symiau, mwy a llai, tâl mwy tros un, a thal llai tros un arall (y rhai ni thalasent ddim ychwaith yn y gorchwyl anfeidrol hwn), ond trwy ei offrymu *ei hun*, a hynny *unwaith*." (2.) "Nid oedd modd i hyn fod: Oherwydd, nid oes i ni sail i feddwl am ddim llai na'r *cyfan* o farwolaeth Crist yn ddigonol i brynu un." (3.) "Os dyoddef '*llawer o ffonnodiau*' dros rai, ac '*ychydig ffonnodiau*' dros ereill (neu boenau trymach yn achos pechodau rhai, ac ysgafnach yn

achos y lleill), 'yn ol rhif, pwys, a mwyhad,' beiau ei bobl, a wnaeth Crist (ac yn ol yr hyn a gawn gan C. E. yn *tu dal.* 18, a 15), paham na ellid tybied a dywedyd yn yr un fath *fodd rhanedigol* am ei ufudd-dod gweithredol ef hefyd? ac felly, ei fod wedi ufuddhau i'r ddeddf yn fwy, neu dros amser hwy, 'tros rai o'i bobl na'u gilydd?'" (4.) "Os oedd y fath gyd-bwysiad manwl i fod rhwng yr Iawn a'r pechodau y rhoddwyd ef drostynt, ai nid yw'r golygiad yn arwain i ddychymygu am yr un fath werth cydbwysol yn ei Berson ef, a holl bersonau y prynedigion? neu ynte, o leiaf, fod *rhan fwy* o'i fawredd personol (gan mai '*Efe yw'r iawn*') wedi myned 'dros rai o'i bobl na'u gilydd?'" (*tu dal.* 148—158). Y mae fel hyn yn myned o ymadrodd i ymadrodd, dros y pethau mwyaf annghymeradwy ganddo yn y llyfr y sylwa arno, gan ddangos eu hannghysonedd â thystiolaethau eglur a phendant y dadguddiad dwyfol, a'u tuedd uniongyrchol i ddarostwng anrhydedd y Gwaredwr, a gwerth anfeidrol ac annherfynol ei aberth a'i iawn. Cyn terfynu, y mae yn datgan ei obaith, y byddai i "argyhoeddiad ac ymostyngiad duwiol" beri i Mr. Christmas Evans "alw yn ol y pethau beius," a nodasid ganddo, "a hyny mor gyhoedd ag y taenesid hwynt;" ac mewn sylw-nod (*tu dal.* 178), y mae yn dywedyd ei fod yn fwy gobeithiol am hyny, oblegyd iddo glywed gan ŵr o sir Ddinbych, fod Mr. Christmas Evans wedi gwirio wrtho ef ei hun, fod cyfnewidiad wedi cymmeryd lle yn ei farn ar y Prynedigaeth, er y pryd y cyhoeddasai y Traethawd yr oedd efe yn awr yn sylwi arno. "Pa fodd bynnag," meddai, "yr wyf yn heddychol a hyderus yn hyn, mai mewn ofn a pharch tuag at Dduw a'i wirionedd, a dymuniad am fod o les i'm cydwladwyr, nid mewn cenfigen, nac anfoddogrwydd at Mr. C. E. nac un blaid na pherson dynol, y bu i mi ysgrifenu'r pethau hyn" (*tu dal*, 178). Nid oes bosibl, ni a dybygem, i neb a ddarlleno yr "*Ymddyddanion*," a'r "*Sylwadau*" ar lyfr Mr. Christmas Evans, ammeu hyn. Yr oedd yr awdwr, yn amlwg, yn teimlo i'r byw fod y fath syniadau ag yr ymosodir ganddo yn eu herbyn, yn cael eu taenu a'u derbyn yn mhlith ei gydwladwyr; ac y mae crefydd Cymru, hyd y dydd heddyw, ac fe fydd eto am oesoedd lawer, dan ddyled ddirfawr iddo am y dynoethiad a wnaed ganddo arnynt, a'r dyrnod angeuol a roddwyd ganddo iddynt.

Ond nis gallwn ei ganmol am ei Gywydd. Yn anffodus, yr oedd y tyb cableddus, a gyhoeddasid gan Mr. Christmas Evans, wedi cynhyrfu cymmaint arno fel nad digon ganddo oedd ei ladd, fe fynai ei yspedu

hefyd. Ac er fod cam dirfawr wedi cael ei wneuthur âg ef, trwy haeru yn ngwyneb ei wrthdystiad pendant a difrifol, fod y geiriau difriawl ac atgas a ddefnyddia am y syniad a gondemnir ganddo, wedi eu bwriadu yn erbyn Mr. Christmas Evans ei hunan, eto y mae, yn sicr, wedi ei gyfansoddi mewn iaith rhy lem a garw a thraws, ac, ar y cwbl, heb fod yn gweddu i un o gymeriad crefyddol a gweinidogaethol Mr. Jones. Y mae ynddo rai llinellau nodedig o brydferth a dysgrifiadol; eto nis gallwn lai na theimlo fod yr awdwr, pan yn cyfansoddi y Cywydd, mewn tymher go wahanol i'r un a'i meddiannai pan yn cyfansoddi yr Hymnau rhagorol sydd yma yn ei ddilyn; ac, yn angerddoldeb ei eiddigedd dros yr hyn a garai mor fawr, wedi rhoddi y ffrwyn yn ormodol i'r awen, yn y duchan, a'r gwawd, a'r dirmyg, oeddent mor naturiol iddo, ac a'i gwnelsent, pe buasai yn greadur diras, yn un o ogan-feirdd mwyaf pigog a choeglym unrhyw oes neu wlad.

Yr ydym wedi cymmeryd cryn lawer o drafferth i roddi golygiad cywir a manwl ar gynnwysiad ac ystyr y tri llyfr cyntaf hyn, yn nadleuon Calviniaid Cymru â'u gilydd, er mwyn gosod ein darllenwyr ar dir manteisiol i ddeall natur y cwestiynau y dadleuent arnynt, a natur a graddau y gwahaniaeth rhyngddynt â'u gilydd yn eu cylch; ac yr ydym yn gobeithio fod hyny, erbyn hyn, yn eithaf eglur. Yr anhawsderau, fe welir, yn ngolygiad Mr. Roberts ydynt,—pa fodd y gallai Iesu Grist fod yn iawn dros bechodau pawb, ac heb ei osod dros bersonau pawb, gan nad oes pechodau ond yn gysylltiedig â phersonau; ac, os ydyw wedi ei osod dros bersonau pawb, yn mha le y mae y berthynas neillduol, y dadleuai drosti, oedd rhyngddo, yn ei farwolaeth, a'r etholedigion fel eu Meichnïydd? Yr anhawsderau cysylltiedig â golygiad Mr. Jones, ydynt,—pa fodd i gysoni digonolrwydd cyffredinol dros bawb, â dim ond gosodiad neillduol a thros rai; ac, os gall fod digonolrwydd ynddo i'r rhai na osodwyd ef drostynt, pa angenrheidrwydd oedd am osodiad arno dros neb? A'r anhawsderau yn ngolygiad Mr. Christmas Evans, ydynt,—pa fodd i gysoni gonestrwydd dihoced galwad gyffredinol a diwahaniaeth yr efengyl ar bawb, â digonolrwydd yn unig i'r etholedigion; ac, os nad ydyw digonolrwydd yr aberth ond yn gyfatebol i rifedi ac ysgelerder pechodau y rhai y dioddefodd drostynt, a'i fod wedi dioddef mwy dros rai o'i bobl na'u gilydd, ac nas gallasai fod digonolrwydd ynddo dros fwy heb iddo ddioddef ychwaneg,—pa fodd y mae i ni gyfrif am y fath eiriau âg,—

"EFE yw yr iawn," "yr awrhon unwaith yn niwedd y byd yr ymddangosodd efe, i ddileu pechod trwy ei aberthu ei HUN," a geiriau cyffelyb; ac, yn enwedig, pa fodd y gellir cysoni y fath syniad â chyfiawnder cospedigaeth y rhai a geir yn y diwedd yn wrthodwyr o hono?

Yn mhen ychydig fisoedd wedi ymddangosiad y diweddaf o'r llyfrau a fuant yn awr dan ein sylw, fe gyhoeddwyd, mewn Atebiad iddo,—"Prynedigaeth o fewn Cylch Etholedigaeth, neu Neillduolrwydd y Prynedigaeth, yn Mhryniad yr Eglwys yn unig; a'r neillduolrwydd hwn yn iawn Crist, yn gynhwysedig, nid mewn un terfynolrwydd, na diffyg yn ei Aberth ef, yn ei fewnol werth a'i urddas; ond yn y terfyniad cyfammodol o hono, gan ewyllys Duw, yn ol bwriad yr offrymydd a'r derbynydd o'r aberth; i fod o fewn Cylch Etholedigaeth yn unig, ac ynddo arddigonedd tystiolaethedig, yn y Cylch hwn i achub pawb a gredant, heb wahaniaeth. Ynghyd a Gwrthbrofiad i gam-ddarluniadau Mr. Thomas Jones, o Ddinbych, o Lyfrañ o'r un enw a hwn. Gan Christmas Evans. Caernarfon: argraffwyd gan L. E. Jones, 1819."—Ni a allem dybied fod y llyfr hwn wedi ei ysgrifenu gydâ brys annghyffredin: mae ei gynllun yn dra annghelfydd, ac y mae ei gyfansoddiad drwyddo yn hynod o drwsgl ac aflerw. Mae ganddo, yn gyntaf, "Ragymadrodd," o ddau tu dalen; yna, "Arweiniad i Mewn," o wyth tu dalen; yna, "Prynedigaeth Neillduol, &c.," mewn tua phump tu dalen; ac yna, y gweddill yn "Sylwadau ar Lyfr Thomas Jones;"—y cwbl yn gwneyd i fynu lyfryn o ddeuddeg a deugain o du dalenau. Yr oedd yr Awdwr, y mae yn amlwg, wedi teimlo i'r byw oddiwrth y fflangelliad a gawsai gan Mr. Jones: ac, fel un wedi hanerymddyrysu, yn methu gwybod yn iawn pa beth i'w wneuthur, y mae yn rhedeg o'r naill beth i'r llall,—yn haeru, ac yn gwadu, ac yn haeru drachefn; ac fel creadur mewn magl yn methu ymryddhau, ac, er pob ymdrech i ymysgwyd, yn myned yn dynach dynach yn ei masgau. Mae yn cydnabod ei fod, er y pryd y cyhoeddasai ei lyfr blaenorol,—y llyfr a wrthwynebasid gan Mr. Jones—wedi cyfnewid yn ei olygiadau ar yr iawn megis "taliad arianaidd," ond oddieithr hyny, nad oedd wedi newid "dim," meddai, "o ran sylwedd yn nghorph y llyfran, o herwydd yr wyf eto o'r un farn." . . . . "Yr wyf yn gweled fod fy llyfr i yn hynod o ddifai; ie, yn llawer gwell nac yr oeddwn gwedi tybied ei fod, wrth ddarllen llyfr T. Jones" (*tu dal.* 19, 20). Y mae yn fynych fel hyn, yn y llyfr hwn, yn amddiffyn yn gwbl y llyfr blaenorol,

gydâ'r eithriad a nodwyd eisoes :—"Er fy mod," meddai, "yn gweled angen i beidio arfer y golygiad arianaidd, o leiaf i'r fath bellder, yr hyn ydyw yr unig ddiwygiad sydd yn fy ngolwg, i'w wneuthur yn fy llyfr" (*tu dal.* 24). Yn wir, y mae yn hòni,—"na ddywedodd un pwngc, nad yw yn ol y gwirionedd" (*tu dal.* 42). Ond tra y mae fel hyn am amddiffyn pob rhan o'i lyfr blaenorol, nid oes eisiau ond ychydig sylw er gweled fod yr hyn a amddiffynir ganddo yma yn dra gwahanol i'r hyn y dadleuai drosto yno ; er fod yn ddrwg iawn genym fod yr hyn a amcenid ganddo ef fel eglurhad ar ystyr yr ymadroddion y cwynid o'u plegid yn y llyfr hwnw, yn lawer llai têg, a syml, a gwyneb-agored, nag a fuasem yn ddysgwyl oddiwrth hen arwr Cristionogol fel Mr. Christmas Evans. Yn ei anmharodrwydd i gydnabod ei fod wedi cyfeiliorni, tra yr un pryd y mae yn ymddangos megis un, os nad wedi cyfnewid yn ei farn, eto heb feiddio ei gosod allan yn yr un ffurf, y mae yn ddigrifol iawn yn dadleu mai rhywbeth tra gwahanol i'r hyn a dybiesid gan bawb ereill fel eu hystyr naturiol, a amcanai efe yn y geiriau a ddefnyddiasid ganddo. Nid oedd dim yr oedd yn fwy pendant drosto, yn y llyfr blaenorol, na bod ein Gwaredwr mawr yn dioddef dros bechodau dynion,—"yn ol eu rhif, eu pwys, a'u mwyhâd ;"—ac, felly, na buasai raid iddo ddioddef cymmaint, neu y buasai raid iddo ddioddef mwy, pe buasai nifer y rhai y dioddefasai drostynt yn llai neu yn fwy, neu pe buasai pechodau y rhai y dioddefodd drostynt yn llai neu yn fwy ysgeler. Yr oedd wedi traethu hyny, nid yn achlysurol a damweiniol, neu anuniongyrchol, ond wedi ymgais, yn ei ffordd ef, i ymresymu yn mhlaid y golygiad. Y mae y dyfyniadau helaeth a wnaed genym (*tu dal.* 405—409) yn ddigon, ni a dybygem, i wneuthur hyny yn eithaf eglur a diymwad. Ond y mae yn y llyfr hwn, yn ceisio cilio yn gwbl oddiwrth hyn, ac yn rhoddi i'r ymadroddion a arferasai ystyr hollol wahanol i'w hystyr naturiol, a hollol wahanol, fel yr oeddem ni yn tybied, i'r ystyr a amcenid ganddo ef ei hunan iddynt pan yn eu defnyddio,—a hyn oll gan barhau i'w hamddiffyn. Sylwer ar y dyfyniadau canlynol :—"Cwbl sicr hefyd yw, pe buasai lai o nifer na'r dyrfa fawr a fydd ddiangol, yn cael eu hachub, yn ol bwriad grasol Duw yn ei Arfaeth, trwy farwolaeth Crist, na fuasai natur ddynol yn llai pur,—na pherson dwyfol yn llai teilwng, —nac ufudd-dod i'r gyfraith ond un perffaith,—na dioddefaint llai ei ddigonedd, na hwnw yr aeth Crist trwyddo, yn gwneuthur y tro, ac

yn ateb y diben i'w prynu hwynt, neu i fod yn bris eu gollyngdod." Eto: "Cwbl amlwg hefyd, dybygid ydyw, pe buasai bwriad Arfaethol y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glan, yn y cyfamod, i'r rhan a fydd yn golledig o ddynolryw, ac o angylion; neu o ryw fydoedd ereill, os mynwch, i waed Crist gael ei wneuthur yn bridwerth, neu bris gollyngdod iddynt—na fuasai trai ar ei arddigonedd i atteb y diben drostynt hwy; mwy na thros yr Eglwys, y gwneuthpwyd ef yn bris gollyngdod. Ni fuasai yn ofynol cael Person dwyfol teilyngach, na natur ddynol lanach, nac ufudd-dod perffeithiach, a aeth yn ddiwedd i'r ddeddf; na darostyngiad a dioddefaint dyfnach, na'r hwn yr aeth ein Harglwydd dano, na gwaed o fwy ei werth, a'i fewnol urddas, na'r hwn a liwiodd y croesbren garw, un prydnawn ar bren y groes" (*tu dal.* 18, 14). Er fod yma rai geiriau braidd yn amwysawl, a rhai heb fod yn hollol briodol, eto y mae yn eglur fod y syniadau yn dra gwahanol i'r hyn a welsom a gynnwysid yn ei lyfr blaenorol, lle y dysgai,—"fod y taliad, neu y dyoddefaint, wedi ei gydraddu â haeddiant y beiau, yn ol eu rhif, eu pwys, a'u mwyhâd;"—ac, "er cymmaint o raddau o anfeidroldeb a ddyoddefodd y gallasai ddyoddef ychwaneg;" "a phe buasai yn marw dros y rhai a fyddant yn uffern buasai ffonnodiau dyledus i'r rhai hyny hefyd yn disgyn arno ef;"—ac amryw ymadroddion i'r un perwyl. Ond, wedi y cwbl, y mae yn hòni fod "y pethau rhag-grybwylledig, y rhai oeddynt mor ddisglaer," i'w cael "yn y llyfrân a ddirdynodd fy mrawd Jones, mor ddidrugaredd, a digyfiawnder" (*tu dal.* 15). A chyda golwg ar y dybiaeth am Iesu Grist yn dioddef mwy, y mae yn hòni mai yr ystyr a amcenid ganddo ef oedd,—"dioddef mwy mewn modd effeithiol, er achubiaeth pawb pe gwnelsid ef i ddioddef (neu farw) dros ychwaneg. Ni feddyliais ddim, ac nid yw y geiriau mewn posiblrwydd i'w deall, ond yn golygu mwy o ddioddefaint nid a'u hystyried ynddynt eu hunain, ond mewn modd effeithiol dros ychwaneg" (*tu dal.* 23). Yn sicr, os hyny a amcenid ganddo, fe gymmerodd ddull hynod iawn i osod allan yr amcan hwnw; ac, yn lle bod anmhosiblrwydd deall y geiriau yn yr ystyr y mae efe yn awr, dybygid, yn wrthod, y gwirionedd yw, nid oes fodd eu deall mewn un ystyr arall, os na ddadleuir fod dioddef *mwy* yn arwyddo yn gwbl yr un peth a dioddef yr *un faint* ond *dros* fwy; a dioddef dros bechodau yn ol graddau eu hysgelerder,—"yn ol eu rhif, eu pwys, a'u mwyhâd,"—yr un peth a dioddef dros bechodau yn gwbl annibynol ar eu graddau.

"Mae Sylwadau Mr. Jones," meddai drachefn, "gymaint yn erbyn Dameg Crist, Luc vii. am y pum can ceiniog, a'r ddeg a deugain; ac oeddynt yn fy erbyn inau. Yr hon sydd fel yn dangos fod rhai yn cael maddeuant mawr, ac un arall un o lai; fel y dywedais inau, 'fod Crist gwedi dioddef mwy dros rai na'i gilydd o'i bobl, gydâ golwg ar ei effeithiolrwydd'" (*tu dal.* 24, 25). Fe welir ei fod wedi rhoddi y rhan olaf o'r frawddeg hon megis dyfyniad o'i lyfr blaenorol; ond y mae yn ddrwg genym nad oes y fath eiriau, yn hwnw, a "gyda golwg ar ei effeithiolrwydd," er cymmedroli ryw fodd y syniad am Iesu Grist yn dioddef ychwaneg. Y mae unwaith ac eilwaith, yn y llyfr hwn, yn dadleu mai dyna yr ystyr a olygid ganddo yn yr ymadrodd. "Nid oeddwn," meddai, "yn meddwl, ond yr un peth a hyny, wrth ddywedyd y gallasai ddioddef mwy, o ran effeithiolrwydd, ac nid o ran y dioddefiadau eu hunain, y rhai oedd o natur anfesurol i ddynion, ac anghyson ynddynt eu hunain" (*tu dal.* 37). Y mae geiriau i'r un ystyr i'w cael drachefn, yn *tu dal.* 40. Nid ydym ni yn gallu gweled un priodoldeb yn yr ystyr a roddir ganddo i'r geiriau "dioddef mwy, gydà golwg ar ei effeithiolrwydd,"—ystyr oedd, y mae yn amlwg, yn ei feddwl ef, yn gwneyd gwahaniaeth dirfawr yn neongliad ei eiriau i'r hyn a roddid arnynt gan Mr. Jones: ond pa ymwared bynnag a allai gael ynddynt, y mae yn sier nad oedd ganddo ef un hawl iddo; gan nad oedd wedi defnyddio y geiriau, na dim cyfatebol iddynt, yn ei lyfr cyntaf; a bod ei holl ymresymiad, yn hwnw, yn milwrio yn ei erbyn, ac yn mhlaid yr ystyr a roddasid gan Mr. Jones.

Ond y mae trwy yr holl lyfr hwn, yn lle cydnabod ei fod wedi cyfeiliorni,—ac hyd yn nod pan yn haner cydnabod fod y geiriad a ddefnyddiasai yn anmhriodol, yn dadleu mai mewn ystyr wahanol i'r hyn i'r darllenydd cyffredin a ymddangosai fel eu hystyr naturiol yr oedd efe yn defnyddio y geiriau. Er esiampl: pan yn ceisio ateb gwrthddadl Mr. Jones yn erbyn y syniad fod Crist wedi dioddef mwy dros rai o'i bobl nag ereill, ei fod yn milwrio yn erbyn y gwirionedd am ei Aberth ef megis "un swm anwahanol, anfeidrol, a hollol annherfynol ei werth," y mae Mr. Christmas yn sylwi:—"Os oes dim coll yma, yn nilyniad y dull arianaidd o dalu dyled y bu, ac yn cael ei ystyried mewn perthynas i effeithiolrwydd yr Aberth yn ei gymmwysiad at bechaduriaid bychain a mawrion, yn nghylch cyfamod Duw; ac nid gydà golwg ar y môr mawr, anherfynol yr Aberth ynddo ei hun" (*tu dal.* 25). Mae

yn sicr mai "yn nilyniad y dull arianaidd o dalu dyled y bu" y "coll;" ond y mae mor sicr, dybygem ni, mai nid gydâ golwg ar "effeithiolrwydd yr Aberth yn ei gymmwysiad," y dadleuai efe, yn ei lyfr blaenorol, dros "y dull arianaidd;"—pe felly, ni wnelsid unrhyw wrthddadl yn ei erbyn, ac ni buasai raid iddo yntau alw dim o hyny yn ol;—ond yr oedd yn dadleu drosto, gydâ golwg ar natur y taliad ei hunan,—swm neillduol dros bob un a thros bob pechod i bob un, "yn ol eu rhif, eu pwys, a'u mwyhâd," "yn ol trefn rhifyddiaeth a phwysedigaeth." Yn wir y mae ei duedd i gymmysgu, a'i anallu i wahaniaethu ystyr geiriau, yn ymddangos i ni braidd yn anesboniadwy. Yr oedd Mr. Jones wedi sylwi, gydâg annghymmeradwyaeth mawr, ar ddywediad o'i eiddo, yn yr hwn y gwadai "fod yr iawn yn holl-ddigonol dros bawb;" ac yr haerai am y digonoldeb, y dadleua rhai drosto, sydd ynddo "ar ran y rhai colledig" y "rhaid mai rhyw ddigonoldeb ydyw ag sydd yn ymddibynu ar rywbeth arall heblaw ei werth tufewnol ei hun." Er egluro ac amddiffyn hyn, y mae yntau yn sylwi,—"Hyny yw meddaf yn y cymmwysiad a'r effeithiolrwydd o hono, canys pe byddai helaethrwydd effeithiolrwydd yr iawn yn ymddibynu ac yn cael rhedeg i derfynau anfesurol ei dufewnol werth, gallai achub heb derfyn byth, ac na byddai creadur colledig mwyach" (*tu dal.* 84). Hyny yw, y mae yn amlwg, dybygem ninau, yn ol ei ymresymiad ef, y mae y digonoldeb sydd yn yr iawn, y dadleuai Mr. Jones drosto, er achub y rhai, oblegyd eu gwrthodiad o hono, na byddant yn y diwedd yn gadwedig trwyddo, yn cyfodi nid oddiar "ei werth tufewnol ei hun," er fod hwnw, yr un pryd, yn ddigon i "achub heb derfyn byth, ac na byddai creadur colledig mwyach," tra y "rhaid fod y digonoldeb sydd ynddo ar ran y rhai colledig yn codi oddiar "rywbeth arall,"—"ewyllys Duw, yn nhrefn y cyfamod,"—ewyllys sydd yn penderfynu ei effeithiolrwydd ac felly ei ddigonoldeb i'r etholedigon yn unig!!

Mae yr awdwr yn terfynu trwy ddwyn yn mlaen amryw resymau, yn erbyn Mr. Jones, er profi fod digonolrwydd yr iawn yn cael ei gyfyngu gan y gosodiad o hono:—(1.) "Mae y pwngc o ddal digonedd at achub anghredinwyr, wedi ei osod yn Aberth Crist gan ewyllys Duw tu hwnt i gylch y cyfamod, yn cynnwys cymmysgiad, a diffyg iawn wahaniaethu, rhwng anfeidrol *wiwdeb Aberth Crist ynddo ei hun*, a'r *gosodiad cyfamodol* o hono yn bridwerth dros yr Eglwys yn unig,—dros yr hon y bu efe farw; ac nid yw yn bridwerth helaethach nag y bu

efe farw." Mae yn iawn i ni sylwi fod Mr. Christmas Evans yma, a thrwy y llyfr, wrth ddarlunio Mr. Jones fel yn dadleu dros ddigonedd yn aberth Crist "at achub annghredinwyr," yn defnyddio geiriau a allant gamarwain yr annghyfarwydd am wir ystyr y golygiad a ddysgid ganddo, fel pe buasai yn amcanu dysgu possiblrwydd, neu debygolrwydd, neu sicrwydd cadwedigaeth annghredinwyr trwyddo. Yr oedd yr hyn a amcenid gan Mr. Jones yn beth tra gwahanol. Yr hyn y dadleuai efe drosto oedd, nad ydyw y "digonoldeb" sydd yn Aberth Crist yn dibynu ar gredu nac annghredu y pechadur; ei fod yn beth tufewnol, priodol iddo ei hun, ac annibynol hollol ar y defnydd a wneler gan neb o hono. (2.) "Yn y pwngc yma hefyd, mae T. Jones yn gwrth-ddywedyd ei hun: Oherwydd mae'n dywedyd tu dal. 133. 'Na roddes Crist ei waed dros neb ond ei wir Eglwys.' Pa fodd y gallasai y gwaed fod yn ddigonol at achub y rhai ni roddwyd ef drostynt?" Y mae yr awdwr yma yn taro yn uniongyrchol ar anhawsder gwirioneddol cysylltiedig â golygiad Mr. Jones. (3.) "Mae pwngc T. J. o ddal digonedd bridwerthol yn Aberth Crist, at achub y colledigon neu anghredinwyr, yn gosod gwaed Crist fel pridwerth Brynedigol, tu draw i derfyn y cyfamod a chylch Etholedigaeth gras." (4.) "Mae y digonedd Prynedigol i achub y colledigion yn taro yn erbyn y cyssylltiad machnïol sydd rhwng Crist â phawb, y rhoddes efe ei hun yn bridwerth drostynt." Nid ydyw hwn ond yr un peth, mewn geiriau ereill, â rhif (2). (5.) "Mae y digonedd bridwerthol neu daliadol yn Aberth Crist at achub anghredinwyr, gwedi arwain T. J. i osod yr hyn na osodwyd gan Dduw erioed tu hwnt i gylch y cyfamod, yn sylfaen o bregethu yr Efengyl i bawb a chyfiawnder colledigaeth anghredinwyr; a geirwirdeb Duw yn ei wahoddiadau yn sylfaenedig, a'r bridwerth yngwaed Crist tu allan i gylch y cyfamod i achub anghredinwyr, sylfaen ryfedd iawn ! !" Yr ydym ni yma wedi copïo yr awdwr yn fanwl, ac efe yn unig sydd gyfrifol am ba annghelfyddgarwch bynnag a ganfyddir yn y frawddeg. (6.) "Mae y digonedd o bridwerth i achub anghredinwyr dros y rhai ni bu Crist farw chwaith yn llwyr anysgrythyrol ! !"

Mae yn ddrwg genym nas gallasem ysgrifenu yn wahanol am y llyfr hwn. Ond y gwirionedd yw nad yw yn arddangos nemawr ddim o'r allu, na dim o'r tegwch a fuasem yn ddysgwyl oddiwrth Mr. Christmas Evans. Yr oedd Mr. Jones, yn y Rhagymadrodd i'w lyfr (*tu dal.* 11), wedi galw y *tyb* am derfynolrwydd Aberth Crist, a wrthwynebid ganddo,

"*y gwenieithydd a'r cablydd estronol hwn.*" Nis gallasai ei eiriau, yn ol unrhyw gystraweniad têg arnynt, gyfeirio at ddim arall. Ond y mae Mr. Christmas Evans, unwaith ac eilwaith yn y llyfr hwn, yn eu defnyddio fel pe buasent wedi eu bwriadu i'w cymhwyso ato ef; ac nid yn unig hyny, ond y mae Mr. William Morgan, Caergybi, yn y "Cofiant" a gyhoeddwyd ganddo iddo ef (*tu dal.* 124), gan gymmeryd ei arwain gan yr amddiffyniad hwn, yn dywedyd fod Mr. Jones wedi ei alw yn "*Gablydd estronol.**" Bu Mr. Christmas Evans hefyd yma mor anngharedig ag awgrymu— "nid wyf yn gweled un achos iddo ysgrifenu yn erbyn J. R. ond i daflu hug ar wyneb ei gyfeillion, ei fod ef yr un farn a hwy,—ac yn wrthwynebwr i Helaethrwydd y Prynedigaeth—er ei fod yn dal mwy na John Roberts o ddigonedd (Prynedigol oherwydd nid all un arall i achub) yn Nghrist i achub anghredinwyr; nid pe credant fel dywed J. Roberts, ond i achub anghredinwyr" (*tu dal.* 11). Y mae yma, y mae yn amlwg, yn camddarlunio yn gwbl olygiadau Mr. Roberts a Mr. Jones; a gwaeth,—yn awgrymu y fath anonestrwydd amcan i Mr. Jones, âg ydoedd i un mor gywir a dihoced âg ef yn anoddefol, ac yn fwy nag y gallai fyned drosto; ac, felly, fe benderfynodd na byddai dim a wnelai efe âg ef byth mwy, yn uniongyrchol, mewn ffordd o ddadl. Mae yn ddrwg genym hyny: oblegyd yr ydym yn credu fod y fath hynawsedd plentynaidd yn ysbryd Mr. Christmas Evans, trwy y cwbl, fel y buasai yr ymryson rhyngddynt yn terfynu yn dra gwahanol, pe buasai Mr. Jones yn amddiffyn ei olygiadau, ac yn rhoddi yr eglurhâd a dybiasai yn angenrheidiol ar rai o'i eiriau, mewn atebiad brawdol i'w lyfr, ac wedi ei gyfeirio ato ef yn bersonol.

Pa fodd bynag, fel arall y bu. Yn mhen ychydig wythnosau, fe ymddangosodd—"Llythyr oddiwrth T. Jones at y rhai oll a'i darlleno, ac yn enwedigol at Weinidogion ac Aelodau y Corph o Bobl, a elwir y Bedyddwyr, yn achos Llyfryn o eiddo Mr. Christmas Evans. Dinbych,

* Mae yn ddrwg genym weled fod Mr. David Rhys Stephen, yn ei "Gofiant" Seisonig i Mr. Christmas Evans, yn dwyn yr un cyhuddiad yn erbyn Mr. Jones. Mae yn anhawdd genym gredu fod Mr. Stephen ei hunan wedi darllen llyfr Mr. Jones, pan yr ysgrifenodd felly; o leiaf, os ydoedd, prin y gallwn dybied fod ei gynnwysiad, ar y pryd, yn fywiog iawn yn ei feddwl. Y mae, tra yn condemnio yn hollol y golygiad neillduol y dadleuid drosto gan Mr. Christmas Evans, yn amlwg yn gwneyd cam mawr â Mr. Jones. Y mae yn dywedyd ei fod,--"yn ymdrechu, yn ei ddull nerthol ei hunan, i ddangos fod golygiadau Mr. Roberts yn 'efengyl arall;'" ac nid hyny yn unig, ond ei fod hefyd,—"yn cyfyngu gwahoddiadau didwyll yr efengyl yn unig i'r rhai hyny y rhoddes [Crist] ei hunan yn neillduol drostynt" (*pages* 84, 85). Nid ydym ni yn cael fod Mr. Jones, yn unlle, yn meddwl, nac yn llefaru, mor galed am olygiadau Mr. Roberts, ag y darlunir ef yma: ac y mae yn sicr genym fod y darluniad hwn o'i olygiad ar alwad yr efengyl, yn gwbl groes i'r hyn y dadleuai drosto, ac a arferid ganddo.

argraffedig gan T. Gee." Mae y "Llythyr" hwn wedi ei ddyddio, "Dinbych, Ionawr 31, 1820," ac ni a dybiem ei fod, oddieithr Nodiad bychan yn "Ngoleuad Gwynedd," am Mehefin 1820, tu dal. 318, y peth diweddaf o'i eiddo a ymddangosodd trwy y Wasg cyn ei farwolaeth. Nid ydyw y "Lythyr" hwn ond byr iawn, dim ond wyth tu dalen. Y mae yr awdwr ynddo, y mae yn amlwg, yn friwedig a siomedig ei deimladau, oblegyd ymlyniad Mr. Christmas Evans wrth ei syniadau, ac, yn enwedig, oblegyd y dull a gymmerasid ganddo i'w hamddiffyn, ar ol yr ymdrafod blaenorol cyfeillgar a fuasai rhyngddynt a'u gilydd, gydâ golwg arnynt. Y mae yn rhoddi Adroddiad manwl o'r ymdrafod hwnw. Y mae yn ymddangos fod Mr. Christmas Evans, tra ar daith yn Llangollen, Hyd. 18, 1819, wedi anfon llythyr tra Christionogaidd at Mr. Jones, yr hwn a roddir yma yn gyflawn, yn hysbysu iddo ei fod wedi deall ei fod yn bwriadu ysgrifenu yn ei erbyn ef, ac yn dymuno arno oedi hyny hyd oni chai ei weled ef, yn Ninbych, yr wythnos ganlynol. Y mae yn datgan hefyd ei fod yn "llwyr ymwrthod" â'r dull o ymresymu oddiwrth bwysau a mesurau, a arferasid ganddo yn ei lyfr cyntaf, fel peth "yn tueddu i roi terfyn i'r hyn oedd yn anherfynol, yn anherfynol ynddo ei hun." Y mae, yn mhellach, yn ei hysbysu, ei fod y dyddiau hyny yn ail olygu y pwnc, ac y cai Mr. Jones weled ei ysgrifen arno; ac yn mynegi iddo y byddai yn dda ganddo gael ei farn ef arni a'i gymhorth, a chyd-ymgynghoriad ar y mater. Mae yn terfynu fel y canlyn:—"Dichon ein bod yn bresennol yr un farn a'n gilydd; ac os felly mae'r peth yn bod cyfrifaf hyny yn radd ehelaeth o hyfrydwch. Cewch glywed pan y byddaf yn Dinbych; y pryd yr ydwyf yn addaw llawer o hyfrydwch wrth ymgynghori, a chael eich barn ar yr hyn a ysgrifenais. Mae'n ymddangos fel goleu newydd i mi; ond dichon mai fy niffyg sylw ydyw hyny, a fy ngwendid. Gras mawr i chwi. Anwyl frawd, ydwyf yr eiddoch, Christmas Evans."

Ni a ddyfynwn ychydig o Mr. Jones ei hunan, yn yr Adroddiad a roddir ganddo o'r hyn a ganlynodd:—"Yr oedd yn dda iawn genyf dderbyn y Llythyr hwn oddiwrth y gwr: (Ond yr oedd fy Llyfryn wedi ei gyhoeddi erbyn hyn:) Ac, er chwanegiad i'm llawenydd, a'm gobaith da am dano ef, o ran ei ymostyngiad i'r gwirionedd, efe a ddaeth i'm tŷ, ar ddiwrnod o'r wythnos ganlynol, â chyfaill gyd âg ef, *Mr. Richard Foulks:* Yn fuan iawn, ar ol eistedd i lawr, efe a ddywedodd fel hyn,

neu yn gwbl i'r perwyl hwn, Ei fod wedi dyfod *i ymostwng dan y cerydd a roiswn iddo, fel plentyn tan wialen ei dad.*—Bu ar ol hyn ymddyddan cwbl dirion a heddychlawn rhyngom: ac, yn ol ei grybwylliad yn ei Lythyr, efe a ddangosodd i mi *Gopy*, neu Lyfryn oedd ganddo yn *ysgrifenedig*, oddiar *ei olygiad newydd* ar brynedigaeth: Efe a ddymunodd arnaf ei ddarllen, ac ysgrifenu iddo ychydig o fy sylwadau arno, erbyn ei ddyfodiad i ymweled â mi eilwaith, yn nechreu yr wythnos ganlynol. Minnau (er fy mod i ryw radd yn salwach nâ chyffredin yn y dyddiau hyny) a ufuddheais i'w ddeisyfiad. Cefais ei lyfryn *ysgrifenedig* yn tebygu (o ran addysg am y prynedigaeth) i'r hyn a gawn gan y *Dr. Bellamy*, a rhai ereill, a chan Mr. J. Roberts yn Gymraeg, ac mi a geisiais yn fyr, ddangos rhai o'r rhesymau, neu ddadleuon, oedd yn peri i mi anghydsynio â'i ysgrifen. Anfonais hyn i dŷ R. F. y dydd Sadwrn canlynol: ac y mae genyf *Gopy* o'r hyn a ysgrifenais yn yr achos hwn. Erbyn y bore ddydd Llun yr oedd i mi amryw newyddion cysurol, am y modd yr oedd C. E. wedi *galw yn ol ei dyb gau*, wedi pregethu yn rhagorol, ac yn llwyr unol â'r hyn a ysgrifenaswn innau, am *werth annherfynol aberth Crist.* I chwanegu at hyn, daeth efe, a'i gyfaill R. F. i'm tŷ drachefn y dydd hwnw (*Tach.* 1, 1819) a bu drachefn ymddyddan llwyr heddychol rhyngom. Yn un o'r ddau ymddyddan, yr wyf yn cofio ei fod wedi gofyn i mi, ai nid oeddwn wedi myned yn rhy bell, i ryw radd, mewn un darn ymadrodd (*sentence*) yn erbyn Mr. J. R. ac mi a ddeallais mai y geiriau sy genyf yn *tu dal.* 129 o'm llyfryn (ac yn agos i waelod y ddalen) yr oedd efe yn eu golygu; sef, 'Y mae y fath eiriau (*uper* yn enwedig) yn aml yn y Bibl,' &c., &c. hyd yn agos i waelod y ddalen. Gall pob un a chwennycho, weled y lle, a barnu yn yr achos. Er hyn, yn y dydd cyntaf, na'r olaf, ni bu un radd na math o ymrafael rhyngom: Ond, fel yr wyf yn cofio, ac R. F. yn cofio yn well nâ mi, yr oedd y cwbl o'r ail ymddyddan hwn yn *tueddu* ar ran C. E. i addef a datgan ei ymwrthodiad â'r tyb, neu â'r farn, yr oedd wedi ysgrifenu o'i hochr, yn y *Copy* a fuasai am rai dyddiau dan fy ngolygiad i.—Yn fyr, yn y *ddau* ymddiddan hyn, y mae yn gymhwys a chyfiawn i mi ddywedyd, fy mod wedi cael C. E. nid yn unig yn ŵr tra mwynaidd a hynaws (a hyn, tybygwn, pan ydoedd wedi newydd-weled, ac ystyried fy llyfryn, y Cywydd a chwbl o hono) ond ei fod hefyd yn ymddangos yn ŵr tra ymostyngol o herwydd ei fai, ei fai mawr, o gyhoeddi llyfryn, sydd â chryn lawer o

ymadroddion ynddo yn tueddu at osod terfyn i werth aberth Crist; gan ymwrthod hefyd â'r tyb newydd oedd yn ei ysgrifenwaith. Ac, am ei eiriau parchus, os nid rhy-barchus, am danaf fi, bryfyn gwael, yn wir nid wyf yn cofio am ddim a ddywedwyd wrthyf erioed, gan neb o'm cyfeillion anwylaf, yn cyrhaedd i bellach gradd o barch, &c., nâ geiriau a gefais o enau C. E.—Etto llwyr reidiol i mi gofio geiriau Duw, '*trwy barch ac anmharch.*' Hefyd, yr wyf yn galw i gof, fy mod (yn ein hymddyddan *cyntaf*, yr wy'n meddwl) wedi gofyn iddo, A wel'sai efe gan ryw ysgrifenwyr, neu awdwyr, bethau yn tueddu at y tyb yn ei lyfr *argraffedig*, yr hwn yr oeddwn i (ac yntau ei hun bellach) yn ei wrthwynebu? Efe atebodd i'r perwyl hwn, Mai un llyfryn a wel'sai efe, i gael yr addysg hwnw ynddo;—nad oedd yn gwybod enw yr awdwr; ond ei fod yn un a ysgrifenasai lyfryn arall, a elwir *The Refuge*; ac mai mewn gwrthwynebiad i ryw ran o waith y diweddar *Mr. Andrew Fuller* (Gweinidog yn mysg y Bedyddwyr) yr oedd y gwr hwnw wedi ysgrifenu yr hyn a'i tueddasai ef i'r cam-lwybr: Ychwanegodd C. E. hefyd, mai am o *ddeutu blwyddyn* y buasai efe o'r farn hono; a'i fod, o hyny allan, wedi newid ei farn" (*tu dal.* 2, 3, 4). Y mae yma Adroddiad cyflawn a manwl, ac ar ei wyneb yn dwyn delw gwirionedd, o'r modd yr oedd pethau yn sefyll rhyngddynt a'u gilydd, pan yr ymgyfarfuasent yn Ninbych, yn lled fuan wedi ymddangosiad Sylwadau Mr. Jones, a phan oedd Mr. Christmas Evans, dybygid, wedi darllen y llyfr gydâ'r fath fanylder, fel yr oedd yn gallu ymliwio â'r Awdwr yn nghylch priodoldeb un ran o hono, fel yn gogwyddo, y mae yn amlwg, yn rhy bell, wrth wrthwynebu un syniad—syniad Mr. Roberts—i dir y syniad arall, a amddiffynasid ganddo ef. Y mae yn ymddangos fod Mr. Jones yn gwbl dan yr argraff, y pryd hyny, fod Mr. Christmas Evans nid yn unig wedi galw yn ol y tyb a wrthwynebasid ganddo ef trwy y Wasg, ond ei fod hefyd wedi gweled nas gallasai amddiffyn y golygiad newydd ag oedd wedi ei daro ef ar y pwnc, yr hwn a gytunai, dybygid, â golygiad Dr. Bellamy a Mr. Roberts, ac felly, fe dybiai Mr. Jones ei fod ef ac yntau yn gwbl yr un farn â'u gilydd. Nid rhyfedd, gan hyny, fod cyhoeddiad llyfr Mr. Christmas Evans, yn mhen ychydig gydâ *deufis*, yn dadleu braidd yn gwbl dros ei hen olygiad, ac yn dadleu yn y fath ddull, wedi peri iddo siomedigaeth ddirfawr. Ar ol rhoddi yr Adroddiad am yr ymdrafod a fuasai rhyngddynt a'u gilydd, y mae yn myned rhagddo i'w amddiffyn ei hunan yn erbyn y cam-

achwyniadau a wnaethid gan Mr. Christmas Evans arno ef, ac yn gwrthdystio yn ddifrifol a phendant yn erbyn y cyhuddiad mai gydâ golwg arno ef yn *bersonol*, yr oedd wedi defnyddio y geiriau, "y gwen-ieithydd, a'r cablydd estronol," a'r geiriau gerwin ereill, a arferasai yn y Cywydd, ac yn sicrhau mai gydâ golwg yn unig ar y tyb cabl-eddus a wrthwynebid ganddo yr ydoedd wedi eu defnyddio. Ac y mae hyn yn ymddangos i ni mor eglur a hawdd ei ganfod, fel y mae yn syn genym ei fod yn cael ei osod dan angenrheidrwydd i'w amddiffyn ei hunan yn erbyn y fath gyhuddiad. Pe buasai yn terfynu y "Llythyr" yn frawdol gydâ'r amddiffyniad hwn, nid ydym ni yn gweled y buasai gan neb air i'w ddywedyd yn ei erbyn, ac fe fuasai wedi rhoddi arddang-osiad tra dysglaer o'r goddefgarwch, a'r ymaros, a'r lledneisrwydd, a'r boneddigeiddrwydd, a ddysgwyliasid mewn hen weinidog Cristionogol, pan yn ei amddiffyn ei hunan yn wyneb yr hyn a dybid ganddo ef yn gam-achwynion arno o eiddo hen weinidog arall. Ond, yn anffodus, nid ydoedd Mr. Jones bob amser yn gwybod yn mha le i derfynu: yn arben-ig, nid oedd byth yn foddlawn i fod ar yr amddiffynol yn unig, yr oedd raid iddo gael bod ar yr ymosodol; ac, ar yr ymosodol, nid oedd byth yn foddlawn ar daro i *lawr*, heb daro *yn farw*. Felly yma: y mae yn diweddu y "Llythyr" trwy gyfeirio braidd yn rhy anfrawdol, ac mewn ysbryd lled edliwgar, at yr amrywiol gyfnewidiadau yr ydoedd yn gydnabyddus â hwynt, yr aethai Mr. Christmas Evans drwyddynt yn ei olygiadau athrawiaethol; ac y mae yn gwneuthur hyny, yn ol y ddawn arbenig oedd ganddo yn y cyfeiriad hwnw, mewn dull rhy wat-warus, a choegaidd, a cholynaidd, i wellau dim ar deimladau archoll-edig hen frawd ag y buasai ychydig diriondeb, fe allai, yn feddyginiaeth drwyadl iddo. Ac yr ydym braidd yn sicr nad oedd efe ei hunan, yn y canlyniad, yn gwbl ddibigiadau. Yr ydym yn cofio clywed Mr. Henry Rees yn adrodd am dano ei hunan, pan yn ŵr ieuanc, ac yn ngwasanaeth Mr. Jones, yn Syrior, yn agos i Abergele, pan y dy-gwyddai, weithiau, ddywedyd rhyw air garw wrtho ef, oblegyd rhyw-beth fyddai heb ei foddhau yn gwbl: "Mi fyddwn yn deall yn bur-fuan," meddai Mr. Rees, "fod y brathiad a roisai i mi yn dechreu ei frathu ef ei hunan; ac yn dywedyd wrthyf fy hun, 'Wel, yr wyt ti wedi briwo llawer mwy arnat dy hunan, nag a wneist ti arnaf fi.'" Ac nid ydym yn ameu dim nad felly yr ydoedd yn yr amgylchiad hwn.

Yn mhen ychydig iawn o amser wedi cyhoeddiad hwn, fe ymddang-

osodd Atebiad iddo, mewn—"Llythyr oddiwrth ychydig o Aelodau y Corph o Bobl a elwir y Bedyddwyr, yn Sir Ddinbych, at Mr. Thomas Jones, Pregethwr, y'mhlith y bobl a elwir y Methodistiaid Calfinaidd. Mewn atebiad i Lythyr a ysgrifenodd efe atom ni yn achos Llyfr Mr. Christmas Evans, ar Neillduolrwydd y Prynedigaeth. Trefriw: Argraphwyd gan John Jones, 1820." Y mae y "Llythyr" wedi ei ddyddio, Rhuthyn, Chwef. 18, 1820." Nid yw hwn eto yn cynnwys ond wyth tu dalen. Yn blaenori y "Llythyr" yn briodol, y mae "Holiadau i'r gwr a annerchir, i'w hateb, gan yr awdwr." Nid yw yr "Holiadau" hyn, gan mwyaf, ond tra dibwys, megis (1.) "Paham na buasech yn ateb yr ail lyfr, fel y cyntaf?" (2.) "A ddarfu i chwi weled fod yn haws athrodi, ac absenu, nag ateb yr ail lyfr?" (3.) "Oni fuasai yn fwy boneddigaidd ynoch chwi ateb y llyfr, yn lle difrïo'r awdwr?" &c. Mae rhai o'r "Holiadau" yn amlwg wedi eu bwriadu i awgrymu nad oedd y golygiadau y dadleuai Mr. Jones drostynt yn cael eu cymmeradwyo gan ei frodyr ei hunan:—(6.) "Onid yw eich barn chwi ar brynedigaeth yn wrthwynebol i'r corph y perthynwch iddo? Ac oni ddarfu i chwi gyhoeddi 'ch llyfr heb genad y corph, trwy y twyll ddarluniad a roddasoch o flaen Cymmanfa Pwllheli?" (9.) "Oni ddylasech chwi fod mewn undeb ffydd â'ch corph eich hun, ac nid bod yn derfysgwr ynddo, cyn myned allan i chwynu gwinllanoedd ereill?" (14.) "A ydyw eich dadleuon presenol â'ch corph eich hun, a'r eiddoch gynt yn erbyn *Arminiaid*, yn eglur oleu eich bod yn rhy anghraff a charbwl, gydâ'ch holl sachaid o ddyfnddysg ac ystorion gwybodau i drafod y cyfryw bethau a hyny yn ol barn gyffredinol y gwŷr mwyaf craffus yn eich corph eich hun?" (15.) "A fedrwch chwi brofi nad yw fy nau lyfr yr un farn â'r Dr. Owen, a Mr. Charles o'r Bala, a chorph y Methodistiaid?" Mae rhai o'r "Holiadau" yn ymgais at awgrymu fod y golygiad y dadleuai Mr. Jones drosto yn gyfeiliornus:—(7.) Onid yw eich tyb ar Brynedigaeth yn sawrio o *Sosiniaeth*, gan eich bod yn dal digonedd yn Nghrist i achub colledigion, heb iddo farw drostynt, gan led-ddangos fod ffordd i achub heb iddo roddi ei hun dros y cyfryw?" (8.) "Onid yw eich tyb chwi yn cynnwys gwadiad o fod Crist yn cynnrychioli ei bobl wrth farw, a chyfrifiad eu pechod hwy arno ef, pan ydych yn dywedyd nad oes son am gyfrif, neu rifo pechod ar yr Aberth mewn un lle yn y Bibl?" Mae un o'r "Holiadau" yn awgrymu nad oedd un blaid gan Mr. Jones yn holl hanes Duwinyddiaeth er cefnogi

ei olygiad:—(10.) "Ai anrhydedd i chwi yw eich bod yn blino tri o lwythau Israel â phwngc neu dyb, anghyson, yr hwn nid ydych, debygem, yn ei ddeall eich hun, ac yn gyfryw na ddaliwyd, gan neb awdwyr o'ch blaen, pan y dadleuwch dros ddigonedd yn Nghrist i achub heb iddo farw drostynt—ac ar yr un anadl yn dywedyd, Y digonedd hwn nid yw at eu hachub? Oni flinasoch eich brodyr yn Nghymdeithasfa y Bala, gydâ eich pwnc dieithr?" Mae yr Holiedydd yn ei gyfenwi ei hunan, "*Your Opponent.*" Ac, yn sicr, y mae braidd yn ddigrifol, oni b'ai ei fod yn alarus, gweled Mr. Christmas Evans yn dannod i Mr. Jones o Ddinbych ei fod "yn rhy anghraff a charbwl" i drafod y pynciau mewn dadl!! Nid yw yr "Holiadau" hyn, mwy na dim arall a ysgrifenwyd ganddo, yn tueddu i beri i neb dybied fod ei ragoriaethau ef, yn anad neb, yn arbenig, yn ymddangos mewn craffder a destlusrwydd. Ond hynod mor ddieithr yw dyn iddo ei hun! Nid yw y "Llythyr" sydd yn canlyn, pwy bynnag oedd ei awdwr, ond cyfansoddiad tra chyffredin. Y mae yn parhau i haeru, er holl wrthdystiad Mr. Jones, mai cyfeiriad personol at Mr. Christmas Evans, mor eglur a phe buasai wedi ei enwi, oedd ganddo yn y dynodiad "y gwenieithydd a'r cablydd estronol," a'r geiriau ereill hefyd a arferasai yn y Cywydd, am y tyb a wrthwynebid ganddo. Gyda golwg ar un ffaith, yn yr Adroddiad am yr ymdrafod blaenorol, y mae y "Llythyr" yn rhoddi gwedd wahanol i'r hyn a roisid gan Mr. Jones. Yr oedd Mr. Jones, fel y gwelsom, yn dywedyd fod Mr. Christmas Evans, yn ei dŷ ef, yn ymddangos "yn wr tra ymostyngol," oherwydd "cyhoeddi y llyfryn sydd â chryn lawer o ymadroddion ynddo yn tueddu at *osod terfyn i werth aberth Crist*" (*tu dal.* 4). Yn y "Llythyr" hwn, fe ddywedir,—"Yn nesaf, sylwn ar y gyfeillach a fu rhyngddo ef a chwithau yn nghlyw R. F.; ni wyddem ni ddim am hyny, hyd nes i chwi roddi gwybod i ni yn eich llythyr argraffedig at bawb a'i darllenai: maent hwy eill dau yn tystio i C. E. ddweud y pryd hwnw, yn eich tŷ chwi, mai o farn yr hen lyfr yr oedd efe yn parhau, oddieithr dau air neu dri oedd ynddo, y rhai y mae efe yn eu hesponio yn ei lyfr diweddaf" (*tu dal.* 4). Mae yma gryn radd o wahaniaeth. Yn awr, ni fynem ni er dim osod tystiolaeth noeth yr un o'r gwŷr da hyn, y naill yn erbyn y llall, nac, yn enwedig, rhoddi tystiolaeth Mr. Jones yn erbyn y ddau ereill; ac yr ydym yn mhell o feddwl fod y naill na'r llall yn amcanu datgan ond yr hyn a olygid ganddynt hwy yn wirion-

edd hollol: ond, yn sicr, heblaw ei Lythyr blaenorol at Mr. Jones, y mae y ffaith fod Mr. Christmas Evans ei hunan *ar y pryd* yn tybied ei fod wedi cael "*goleu newydd*" ar y pwnc, ac wedi ysgrifenu Llyfryn yn dadleu, yn ol y "goleu newydd" hwnw, dros olygiad hollol wahanol arno i'r hyn a ddysgid ganddo yn flaenorol, yn ddigon, ni a dybiem, i benderfynu nad oedd yn bosibl ei fod y pryd hwnw, pa beth bynag am cyn neu gwedi hyny, yn "parhau" "o farn yr hen lyfr," "oddieithr dau air neu dri." Ac y mae yr hyn a gydnabyddir, hyd yn nod yn y "Llythyr" hwn ei hunan, am gyd-olygiad yr ysgrif a adawsid yn llaw Mr. Jones â syniadau Dr. Bellamy, yn ymddangos i ni yn gwbl annghydweddol â'r dybiaeth y gallasai Mr. Christmas Evans, ar y pryd, honi ei fod o'r un farn â'i hen lyfr. Y mae y "Llythyr" hwn yn cynnwys digon o brawf fod teimladau tra annymunol wedi eu cynnyrchu, trwy y ddadl hon, nid yn unig rhwng y ddau hen Gristion oeddent flaenaf ynddi, eithr hefyd rhwng cyfeillion, o un tu,—ac y mae mor sicr a hyny, o'r tu arall hefyd.

Ni wnaeth Mr. Jones un sylw o'r Llythyr hwn. Yr oedd ansawdd ei iechyd ar y pryd, y fath, fel, pe buasai yn tueddu at hyny, nad hawdd y gallasai; ac yr oedd wedi penderfynu na byddai dim dadl mwy rhyngddo a Mr. Christmas Evans, ac yr oedd yn gweled mai efe oedd y prif ysgogydd, os nad awdwr uniongyrchol, y llythyr a gyfeiriasid ato. Yn mhen ychydig amser fe gyhoeddwyd,—"Yr ail Lythyr, o Attebiad ac Amddiffyniad at Mr. Thomas Jones, o Ddinbych, Pregethwr y'mysg y Methodistiaid Calfinaidd: yn achos ei Lythyr ef at y Corph o Fedyddwyr. Gan un o'r Bedyddwyr." Ar y Diwedd ceir—"Trefriw: Argraffwyd gan J. Jones, dros un o'r Bedyddwyr."—Un bychan ydyw hwn eto, dim ond wyth tu dalen. Nid oes un amheuaeth yn ein meddwl ni, nad Mr. Christmas Evans ei hunan oedd awdwr y "Llythyr" hwn. Y mae yma amcan, y mae yn hawdd gweled, i ymddieithro, er mwyn defnyddio dull braidd atgasach i ymosod ar Mr. Jones, nag a ddymunasai dan ei enw priodol. Ond y mae yr amcan yn hollol aflwyddiannus. Y mae y "Lythyr" drwyddo yn yr un ffurf â'r "Holiadau," yn nechreu y "Llythyr" blaenorol, ond yma yn helaethach. Y maent, gan mwyaf, yn ymosodiad ar Mr. Jones am *gyhuddo, absenu, difenwi, athrodi, difrio, cablu, a goganu* Mr. Christmas Evans, am ddim ond cyhoeddi yr un peth ag a ddysgid gan Mr. Charles yn y Geiriadur, a chan y gweinidogion enwocaf yn ei Gorph ef ei

hunan. Wele rai engreifftiau o hono:—(2.) "Oni ddywedasoch mai o'ch corph eich hun y cawsoch eich gofidio?—Ac onid ydych yn nodi ymadrodd gwŷr enwog yn eich corph, tu dalen 12, 118, o'ch Llyfr, fel yn cynhwys holl ddrwg y pwngc, sef eu bod yn sôn am '*daliad manyl-bwys—a chlorian wastad heb fantoliad.*'—ac mae T. Charles yn gwneuthur defnydd o'r ymadrodd, *iawn cyd-bwys*, ac wedi y cwbl cuddiasoch eu henwau hwy, a gwaradwyddasoch enw gweinidog oedranus o'n corph ni, yr hwn ni wnaeth un trosedd, ond dal yr un peth a hwynt? A oed l ddim yn greulon ynoch i wneuthur caregfarch o hono ef, a'r corph o Fedyddwyr, i chwi ddringo i *esgynfa uchel*, i ddangos eich hun yn *union-gred*, a Mr. Charles, o'r Bala, gydà ei iawn *cyd-bwys*, yn cael ei osod genych yn goleddwr tyb difrïawl ar aberth Crist: a'ch corph eich hun yn gyffredinol hefyd?" (3.) "A oeddech chwi ddim yn rhemp i osod gweinidog o *blaid arall*, allan yn gablydd, am ddal yr un farn am y prynedigaeth ag sy'n y Bibl ac yn Ngeirlyfr T. Ch. a'r corph o Fethodistiaid?" (4.) "Onid oeddech yn tu dal. 14, yn gosod archiad ar y Bedyddwyr i roddi eu hen *weinidog i fynu i farn Duw*, am arfer y dull arianaidd, neu *iawn cyd-bwys*, fel Mr. Ch.? A oeddech chwi hefyd yn bwriadu bod yn ddidderbyn wyneb yn eich dysgyblaeth, trwy ddiaelodi esgyrn y gwr duwiol hwnw, a holl bregethwyr eich corph eich hun, am ddal cyfeiliornad *tra dwys*—sef *iawn cyd-bwys*, yr un fath ag yntef? Os felly, dylid diolch na ddringasoch eto i'r orsedd archoffeiriadol y flwyddyn hon." (9.) "A ellwch roddi siampl o un ysgrif cyn llawned o athrod, ac enllib, ag ydyw eich Cywydd a'ch Llythyr, a hyny ar ddyn oherwydd dim amgen, ond ei fod yr un farn am y prynedigaeth a'r Dr. Owen, a Mr. Charles, o'r Bala, a chorph y Methodistiaid? A feddyliech chwi ddim, Syr, pe buasai Michael yr archangel, gwedi dysgu ar ei dafod leferydd eich *Cywydd*, a'ch *Llythyr*, ac yn rhydd i'w *traethu*, y buasai yn baeddu y Diafol, y *pen difrïwr* yn ei drefn a'i ddulliaith ei hun; yn y ddadl gynt yn nghylch corph Moses?" (10.) "Onid ydych chwi yn *reddfol ddibris* o barch, anrhydedd, a heddwch pleidiau ereill, o Gristionogion, ac yn aflonyddwr yn eich plaid eich hun, agos cymmaint a phe magasid chwi yn nghymmydogaeth y *Chwil-lys*, yn *Ysbaen*—pan mae yn eglur-oleu yn eich Llyfr, mai o'ch corph eich hun y cawsoch eich gofidio cyn drymed gan y fath orlwyth o drallod, anhawsach ei ddioddef na bod dan ddwylo y meddygon—ac yn cyfaddef i chwi ennill yr enw '*cyfeiliornwr, terfysgwr*,' tu dal. 10, 16 o'ch Llyfr, yn

eich corph eich hun; etto gwedi y cwbl, arllwysasoch y *gynddaredd*, a'r *athrod*, a'r *absen*, yn eich Llyfr, a'ch Cywydd, a'ch Llythyr, ar y Bedyddwyr a'r Independiaid?" (18.) "A ydych chwi yn ystyried mai chwi a ollyngodd y môr i mewn i foddi cantre'r gwaelod ein cymmydogaethau tawel, trwy eich *Llyfr*, eich *Cywydd*, a'ch *Llythyr*? A'ch bod yn gyfrifol am yr holl ddrygau a wneir gan y llifogydd o *lysenwi, cablu, difrïo, a thaenu chwedlau*, trwy holl Gymru, a rhan o Loegr? . . . . A fedrwch chwi edrych ar y drygau hyn a achlysurasoch, yn yr un dymer a *Nero*, yn *tremio* ar ddinas Rhufain yn fflam gwedi ei hennyn ganddo ef ei hun? Oni ddarfu i chwithau gyda'ch llyfr, eich Cywydd, a'ch llythyr, fel tri phentewyn i ennyn anghydfod mewn tair o drefedigaethau *alegoraidd*, perthynol i dair sect sydd heddyw yn Nghymru?"—Fel hyn, os nad yn waeth, y mae yn myned rhagddo hyd 31 o adranau, rhai yn fyr a rhai yn hwy, ond y cwbl yn llawn o'r un arddangosiad o chwerwedd a surni ysbryd, ac o awgrymiadau annhêg a disail, ag sydd yn y rhai a ddyfynwyd genym. Gan ddynwared Mr. Jones yn ei Lythyr yn cyfeirio at "ymnewidiau" Mr. Christmas Evans, y mae yr ysgrifenydd yma mewn un adran (y seithfed), yn nodi *deuddeg* o'i newidiadau yntau. Y mae yn terfynu gydâg,—"Anghysondeb Mr. Jones, fel mae Thomas yn erbyn Jones, a Jones yn erbyn Thomas."

Mae yn ddrwg genym fod gonestrwydd i'r Hanes ydym yn geisio roddi, yn gosod anghenrheidrwydd arnom i dynu y gorchudd oddiar gymmaint â hyn o anmherffeithrwydd dynion mor dda, dynion mor ddefnyddiol, dynion y mae genym y fath barch i'w coffadwriaeth, a dynion nid ydym yn ammeu dim, pe buasai dull ychydig yn wahanol yn cael ei gymmeryd ganddynt yn nechreuad y ddadl, a fuasent yn sicr yn dyfod i ryw well dealltwriaeth â'u gilydd, ac yn ymadael yn gyfeillion calon. Anaml y gwelsom brawf amlycach o'r gwirionedd,—"Pen y gynnen sydd megis ped agorid argae." Fe ymddangosai unwaith, hyd yn nod wedi cyhoeddiad Llyfr Mr. Jones, y Cywydd anffodus, a'r cwbl, y buasai heddwch yn cael ei adfer. Ond, fel y bu gwaethaf y modd, wedi i Mr. Christmas Evans adael tŷ Mr. Jones, a chyn gadael Sir Ddinbych, fe gyfarfu â rhai cyfeillion heb fod yn gwbl mor ddiniwed ag ef ei hun, y rhai,—fel yr oedd efe yn dra hawdd dylanwadu arno gydâg ychydig weniaith,—a'i perswadiasant i beidio tynu dim yn ôl o sylwedd ei lyfr, ond sefyll ato, a'i amddiffyn i'r eithaf. Wedi cyrhaedd Sir Fon, a'r meddwl hwn a awgrymasid iddo yn Sir

Ddinbych, erbyn hyn wedi ei feddiannu yn hollol, fe gyfarfu â chyfaill arall, yn Nghaergybi, yr hwn oedd eisoes i ryw fesur yn adnabyddus fel Bardd, yr hwn hefyd a roddes iddo yr un cynghor, ac a addawodd fod yn bob cynnorthwy iddo yn ei amddiffyniad, ac, yn enwedig, a sicrhäodd iddo y cyfansoddai yntau Gywydd i ateb Cywydd Mr. Jones, a'i gwnelai yn ddigon edifar ganddo iddo erioed ymyryd a dim felly yn y ddadl. Ac fe gyfansoddodd Gywydd: ond mor llawn o ddifrïaeth ar Mr. Jones yn bersonol, fel na fynai y gwr y cyfansoddasid ef yn ei blaid wneyd unrhyw arddeliad o hono. Ac, yn sicr, nid ydoedd Mr. Christmas Evans yn un a allai yn hir gadw digofaint. Yr oedd ei sefyllfa yn mhlith y Bedyddwyr yn y Gogledd, ac yn enwedig yn Sir Fôn, yn peri ei fod yn dra eiddigus o bob peth a dueddai i gyffwrdd â'i awdurdod a'i anrhydedd ei hun; ac yr ydym braidd yn tybied nad oedd wedi cyfarfod â dim cyn hyny ag oedd wedi bod yn gymmaint blinder iddo yn y golygiad hwnw, a'r ymosodiad a wnaethai Mr. Jones arno; ac y mae hyny yn ddigon i gyfrif am yr holl ddifrïaeth, a daflwyd ganddo yntau yn ol, ar Mr. Jones. Ond, yn mhen blynyddoedd wedi hyn, pan yn adolygu y ddadl, ni a'i cawn yn ysgrifenu fel y canlyn:—"Yr oedd yn ddieithr yn mhulpitau Çymru er ys deugain mlynedd, yr wyf fi yn cofio, i glywed un pregethwr yn dywedyd yn erbyn gwahodd pawb at Grist, ac annog pawb i gredu yr efengyl, heb gwestiyno digonoldeb y cymmod ar gyfer pawb a gredent: ac ni chlywyd un yn gwadu, nad oedd y ddeddf foesawl yn rheol bywyd, ond yn gwaeddi am ei chael wedi ei hysgrifenu â gwaed Iesu o'r newydd ar y galon. Ac ni chlywais i sôn, ac yr oedd yn beth dyeithr i bregethau a llyfrau Cymru i roddi terfyn ar yr iawn ynddo ei hunan, ond golygai yr enwadau Calfinaidd ef wedi ei *osod dros* y rhai yr oedd yn eu *cynnrychioli*. Myfi, yn y llyfr bach oedd y cyntaf, hyd eithaf fy ngwybodaeth, a soniodd (yn Nghymru, mewn llyfr argraffedig,) am iawn cydbwys â beiau, ac nid iawn yn cyd-raddu â theilyngdod y person dwyfol, yr hwn oedd yn ei roddi. Mae yn edifar genyf am y geiriau cydbwys, gwell genyf eiriau Williams :—

'Pe buasai mil o fydoedd yn cael eu prynu 'nghyd,
A'r cyfryw bris, buasent yn llawer yn rhy ddrud.'"

A thrachefn :—"Yr oeddwn fy hun wedi anghymmeradwyo gosod terfyn ar Sanct yr Israel yn yr iawn, gan fod yn amlwg mai Crist ei

hun, yn ei waed gwerthfawr, yw yr iawn. Rhuf. iii. 25. 'Y prynedigaeth sydd yn Nghrist Iesu.' 'Yr hwn a osododd Duw yn iawn.' Pe buasai ef [Mr. Jones] ond ysgrifenu ataf i dynu rhai geiriau yn ol, buasai yn cael ei ddymuniad mewn modd brawdol, mor belled a hyn, 'Fod yr iawn, cynnwysedig o Grist a'i werthfawr waed, yn ddigonol i ateb dros unrhyw nifer o fydoedd pe buasai Crist yn ben iddynt, ac yn eu cynnrychioli fel yr oedd yn cynnrychioli ei eglwys, neu yr holl gadwedigion, y rhai a dderbyniant faddeuant pechodau trwyddo ef" ("*Cofiant, neu Hanes Bywyd, y diweddar Barch. Christmas Evans. Wedi ei gasglu gan mwyaf o'i Ysgrifeniadau a'i Gofnodion ef ei hun, gan W. Morgan, Caergybi.* Caerdydd: Argraffwyd gan Ll. Jenkins, 1839," *tu dal.* 46 a 124). A dyma dystiolaeth arall i'w deimladau allan o Gofiant Seisonig iddo:—"Cefais yn fynych fy archolli gan ysbryd rhagfarn, a'i barodrwydd i gondemnio yn haerllug a hunanol olygiadau rhai ereill. Attaliodd hyn fi yn fynych i wneuthur daioni. Ond arweiniwyd fi gan yr Arglwydd i'w ffieiddio. Galarwn wrth weled mor fynych yr oedd ysbryd sectol yn rhwystro pobl dda i gynnorthwyo eu gilydd. Os tramgwydda ein cymmydog nid oes ond ychydig obaith o'i ennill; tynerwch yw y goreu. O'r fath boen a barwyd i mi trwy fy nadl â Mr. Jones, o Ddinbych! Fel y gofidiwyd fi iddo ef farw a myned i'r nefoedd, fel yr wyf yn cwbl gredu iddo ef fyned, tra yr oeddem yn dadleu â'n gilydd! Yn sicr ni thriniwyd fi ganddo mewn ysbryd boneddigaidd; ond pe gallaswn ragweled y canlyniadau, gadawswn i'r ystorm chwythu drosodd, er gerwined ydoedd, heb ddywedyd yr un gair. Yr ydwyf yn awr yn gweled llawer o'm ffolineb mewn dadleuon ereill; ac, er yr ymddygid tuag ataf yn annhirion, dylaswn ddioddef yn amyneddgar yn hytrach nag amddiffyn fy hun mewn dull sarhaus" ("*Christmas Evans: A Memoir; including Brief Sketches of some of his Contemporaries, and Glimpses of Welsh Religious Life: with Selections from his Sermons. By the Rev. D. M. Evans. London:* 1863," *pages* 221, 222). Nid oes un amheuaeth genym nad ydynt yn awr *ill dau* yn y nefoedd, yn cyd-dreiddio i ryfeddodau natur yr iawn, yn cyd-ddiolch am ei rinwedd, ac, fe allai, yn cyd-synu at eu hymrysonau yn ei gylch yma, pan nad oeddent ond megis bechgyn dan oed!

Ond nid yn erbyn Mr. Christmas Evans yn unig yr oedd Mr. Jones wedi ymosod, ac felly nid oddiwrtho ef yn unig yr oedd i ddysgwyl

Atebiad; ac, yn ganlynol, yn mhen ychydig amser, wele lyfr arall yn dyfod allan yn ei erbyn yntau:—"*Galwad Ddifrifol ar Ymofynwyr am y Gwirionedd, i ystyried Tystiolaeth yr Ysgrythyrau ynghylch Helaethrwydd Iawn Crist, yn cynnwys Sylwadau ar* Lyfr o waith y Parch. Thomas Jones, o Ddinbych, ar Brynedigaeth. *Gan John Roberts, Llanbrynmair.* Dolgelleu, argraphwyd dros yr Awdwr, gan Richard Jones."—Nid oes amseriad ar y wyneb-ddalen, ond y mae yr "Hyspysiad" sydd yn rhagflaenu y llyfr, wedi ei ddyddio, "Llanbrynmair, Mawrth 19, 1820." Mae y llyfr hwn hefyd yn hynod yn Hanes Dadleuon crefyddol Cymru, yn arbenig oblegyd ei fod yn cael ei ystyried fel Mynegiad neu Ddatganiad o syniadau y gweinidogion hyny, yn mhlith yr Annibynwyr yn ein gwlad, ag oeddent wedi derbyn ac yn pregêthu yr hyn a elwid yn "*System Newydd.*" Mae y gwaith wedi ei ddosbarthu i ugain o bennodau byrion, heb un amcan, ni a dybygem, gan yr awdwr, at unrhyw gysylltiad uniongyrchol a phendant rhyngddynt a'u gilydd, o leiaf dim pellach na'u cyd-berthynas â'r llyfr y gwnelai "*Sylwadau*" arno. Yn niwedd y llyfr, mewn ffordd o "At-ddodiad," fe geir chwech o Fyr-draethodau, gan weinidogion ereill, ar amrywiol bynciau cysylltiedig â thestyn neillduol y ddadl rhwng Mr. Roberts a Mr. Jones:—"Sylwadau ar Iawn Crist," gan Mr. William Williams, o'r Wern (*tu dal.* 81—85); "Nad yw anghrediniaeth dynion yn gwneuthur ffydd (neu drefn) Duw yn ofer," gan Mr. David Morgan, y pryd hyny o Fachynlleth (*tu dal.* 86—92); "Ar y Brynedigaeth," gan Mr. Robert Everett, y pryd hyny o Ddinbych, yn awr Dr. Everett, o Remsen, yn America, a'r unig un sydd eto yn fyw o'r rhai yr oedd dim a wnelent a chyhoeddiad y llyfr hwn (*tu dal.* 92—101); "Sylwadau ar y cysylltiad ag sydd rhwng Iawn Crist â holl Lywodraeth Jehofa," gan Mr. Michael Jones, Llanuwchllyn (*tu dal.* 102—107); "Sylwadau ar y Dwyfol ewyllys," gan Mr. James Griffiths, Ty Ddewi (*tu dal.* 108—113); a "Galwad yr Efengyl," gan Mr. John Breese, y pryd hyny o Liverpool (*tu dal.* 113—123). Yna y mae ychydig o "Ol-ysgrifen," heb enw neb wrtho, ond wedi ei ysgrifenu fel y deallwn wrth ei *Gofiant* ef (*tu dal.* 99, 100), gan Mr. Cadwaladr Jones, Dolgelleu, yn ateb y gofyniad,—"Os yw Iawn Crist wedi cael ei roddi ac yn cael ei ystyried yn ddigon dros holl ddynolryw, pa fodd na fyddai holl ddynolryw yn gadwedig?" Mae y cwbl yn gwneuthur i fynu lyfr bychan, destlus, a thra chynnwysfawr, o 126 o du dalenau. Mae o'r dechreu i'r diwedd wedi ei ysgrifenu yn

yr ysbryd mwyaf Cristionogaidd, ac, hyd y gallwn ni weled, yn y dymher fwyaf caruaidd.

Testyn y Bennod gyntaf (*tu dal.* 5, 6), ydyw,—"*Y Pwngc mewn dadl.*" Mae Mr. Roberts yn gosod hwnw allan fel y canlyn:—"Mae Mr. J. yn golygu, i Grist roddi ei hun yn aberth, o anfeidrol werth, yn ol y cyfammod tragywyddol, dros yr *etholedigion yn unig*, ac nad yw ei waed yn perthyn i neb eraill. Ni chaniatta efe, fod dim o'r pethau da ag y mae yr annuwiol yn eu mwynhau yn y byd yma, yn dyfod iddynt yn uniongyrchol trwy farwolaeth Iesu Grist, ond mai er mwyn yr eglwys, a than ei chysgod hi, y maent yn cael y cwbl (*tu dal.* 120, 121). Yn ganlynol yn ol golygiadau Mr. J. y mae yn rhaid fod rhwystr *anorfod o du Dduw*, i neb ond yr etholedigion fod yn gadwedig; am nad yw wedi cael pridwerth dros neb eraill. Ond ymddengys i mi fod yr Ysgrythyrau yn ein dysgu, yn dra eglur, fod perthynas bwysig iawn rhwng aberth Crist a phob dyn ag sy'n clywed yr efengyl. Pan wyf yn dywedyd fod perthynas rhwng pob dyn ag sydd yn clywed yr efengyl âg aberth Crist, fy meddwl yw, fod yn gyfreithlon i bob dyn, ac yn ddyledswydd ar bob dyn sy'n clywed yr efengyl, ddefnyddio aberth anfeidrol y groes, er ei iechydwriaeth dragywyddol. Nid oes un peth, yn yr ysgrythyrau sanctaidd, yn ymddangos yn eglurach i mi, na bod Duw yn gwneuthur cynnygiad diffuant o fywyd tragywyddol, trwy waed Crist, i bob dyn a glywo yr efengyl; ac mai yr unig achos fod neb dynion, dan yr efengyl yn golledig, yw, na fynant ddyfod at Fab Duw, i gael bywyd. Am hyny yr wyf yn chwenych yn fawr i chwi sylwi, fy mrodyr, mai dyma'r hyn, mewn geiriau byrion, ag sydd mewn dadl rhwng Mr. J. a minnau: *Pa un a oes perthynas rhwng aberth Iesu Grist a phob dyn ag sydd yn clywed yr efengyl, ai nid oes.* Mr. J. sy'n golygu nad oes, a minnau yn golygu fod" (*tu dal.* 5, 6).

Yn awr, y mae yn ymddangos i ni yn gwbl eglur nad ydyw Mr. Roberts yn gwneuthur tegwch hollol â Mr. Jones yn y darluniad hwn, ac mai nid yn yr hyn a nodir ganddo ef yma, mewn un modd, yr oedd y gwahaniaeth hanfodol rhyngddynt a'u gilydd, ac, felly, mewn gwirionedd, "*Y Pwngc mewn dadl.*" Yn sicr, os yr hyn a ddywedir ganddo ef yma, a olygai Mr. Roberts wrth "*berthynas rhwng aberth Iesu Grist a phob dyn ag sydd yn clywed yr efengyl,*" sef, "*fod yn gyfreithlon i bob dyn ac yn ddyledswydd ar bob dyn sy'n clywed yr efengyl, ddefnyddio aberth anfeidrol y groes, er ei iechydwriaeth dragywyddol,*"—y mae yn gam mawr

â Mr. Jones dywedyd ei fod ef yn ei gwadu; oblegyd yr oedd yn dadleu dros hyny mor gryf a phendant a diammwys a Mr. Roberts ei hunan. Ei eiriau ef ei hunan, fel y dyfynwyd hwynt genym mewn rhan eisoes (*tu dal.* 423), ydynt:—"A thuag at geisio eglurhau fy meddwl am y gair *perthynas*, mi a ddywedaf, mai gwir yw, am Grist, fel Duw-ddyn, fod *perthynas* rhyngddo a'n natur ni, bawb oll o ddynolryw: ac yr wyf fi yn credu fod ynddo nid yn unig *addasrwydd*, ond *digonolrwydd* hefyd, at eisiau pawb oll o honynt, fel dynion, ïe, fel dynion pechadurus; a'i fod hefyd wedi rhoi gorchymyn i'w weinidogion ei bregethu, ei gynnyg, a'i gymhell i dderbyniad pawb oll o'u gwrandawyr, a hyny nid fel pobl etholedig, prynedig, a sancteiddiedig, ond fel pobl euog, halogedig, a cholledig. Pe buaswn,"—ac ni a ddymunem i'n darllenwyr sylwi yn neillduol ar hyn,—"pe buaswn yn deall mai yn ol un, neu oll, o'r golygiadau hyn, ac nid mewn ystyr pellach, y mae J. R. yn arfer y gair *perthynas*, ni buasai i mi feio, na dadleu, yn yr achos" ("*Ymddyddanion, &c.*" *tu dal.* 123, 124). Yr ydym eisoes (*tu dal.* 423) wedi sylwi, mai nid têg, yn ol ein meddwl ni, yn Mr. Jones, yn y sylwadau a wneir ganddo yn ganlynol i'r rhai a ddyfynwyd genym yn awr, ydoedd ceisio rhwymo Mr. Roberts i ystyr uwch yn y gair "*perthynas*," a arferasid ganddo, nag oedd efe, y mae yn amlwg, yn fwriadu iddo, ac ystyr nas gallasai, yn ol natur yr amgylchiad oedd ganddo dan sylw, mewn un modd ei amcanu ynddo. Ond y mae Mr. Roberts yma yn llawer mwy annheg, wrth ei ddarlunio ef fel yn golygu nad oes perthynas mewn un ystyr rhwng aberth Crist a phawb sydd yn clywed yr efengyl; ac, yn enwedig, yn gwneyd hyny ar ol iddo esbonio nad oedd efe yn meddwl wrth y berthynas hono ond yr un peth ag a addefid, ac y dadleuid yn bendant drosto gan Mr. Jones ei hunan, yn y llyfr yr oedd Mr. Roberts yn sylwi arno.

Y gwirionedd yw, nid dyma "*Y Pwngc mewn dadl*" rhyngddynt o gwbl. Yr oedd Mr. Jones, yn sicr, yn dadleu dros osodiad neillduol, a Phrynedigaeth Neillduol; hyny yw, fod Iesu Grist wedi ei osod yn lle ei bobl, wedi cymmeryd eu hachos arno, meichnïo drostynt, dwyn eu cosbedigaeth, a marw yn eu lle, ac, felly, wedi cyflawni yr ymrwymiad yr oedd tano, yn y cyfammod tragywyddol rhyngddo a'i Dad, gydâ golwg arnynt, fel ag i wneuthur eu hiachawdwriaeth nid yn unig yn bosibl, ond gydâ'r bwriad i'w sicrhau, fel gwobr fawr llafur ei enaid. Yn y golygiad yna, yr oedd yn ystyried nad oedd Iesu Grist,

mewn ystyr briodol, wedi marw dros neb o'r rhai a fyddant yn y diwedd yn golledig, neu yn marw yn eu personau eu hunain; ac, yn ganlynol, tra yn addef fod y geiriau "*byd*," "*yr holl fyd*," "*pawb*," a "*phob dyn*," yn golygu helaethrwydd, eto, a'u cymmeryd yn gysylltiedig â'r geiriau "*dros*," ac "*yn lle*," yr oedd yn tueddu i'w hesbonio nid am ddynolryw yn gyffredinol a diwahaniaeth yn *bersonol*, ond gan eu golygu yn annibynol ar bob gwahaniaeth *cenedlaethol* neu *gymdeithasol*, ac, felly, yn ei fryd ef, yn fwy cydweddol â'r geiriau, "*defaid*," "*eglwys*," "*cyfeillion*," *&c.* ("*Ymddyddanion, &c.*" *tu dal.* 20—31). Ond, tra yr oedd fel hyn yn bendant ac yn gryf dros *osodiad neillduol*, yr oedd yn gryfach, ac yn llawer mwy pendant, dros *ddigonolrwydd cyffredinol*. Yr oedd yn ystyried fod amgylchiad dyn fel troseddwr y fath, fel na wnelsai unrhyw aberth llai nag aberth Crist y tro pe na buasai ond un i'w achub; eithr bod yr un aberth hwnw, a'r fath werth a gwiwdeb a rhinwedd ynddo, fel y mae yn ddigonol i'r holl fyd; a hyny, nid pe buasai wedi ei osod dros bawb, ond gydâ'r gosodiad neillduol arno dros yr eglwys; ac, nid yn ddigonol, os credant, neu, pe credent; ond yn ddigonol yn yr hyn ydyw, ynddo ac o hono ei hunan, oddiar y rhinwedd mewnol sydd yn hanfodol iddo ac yn angenrheidiol ynddo. Y mae Mr. Jones, fwy nag unwaith, wedi defnyddio yr haul fel cymhariaeth i osod allan ei olygiad. Fel na buasai yn bosibl i *un* dyn gael dydd, heb haul, felly, y mae yr haul yn ddigonol i wneyd dydd i'r *holl fyd*, ïe, pe byddai preswylwyr y ddaear yn fil miliwn lliosocach, ni wnelai un gwahaniaeth; y mae ei ddigonolrwydd yn beth priodol i'r haul ei hunan,—naturiol iddo, tufewnol ynddo. Felly yr oedd Mr. Jones yn cael y digonolrwydd y dadleuai drosto yn Aberth Crist, yn annibynol ar y gosodiad o hono, yn anfeidroldeb y Person, "a'i hoffrymodd *ei hun*," ac, yn y gwirionedd, mai "EFE YW YR IAWN, *nid yr un a dalodd iawn â rhywbeth oedd ganddo*;" ac, yn ganlynol, fod "*holl-ddigonedd yn hanfodol* ynddo, fel y mae Duwdod ei hun yn holl-ddigonol, neu yn holl-alluog" ("*Ymddyddanion, &c.*" *tu dal.* 34). Fel hyn yr oedd y cymhwyso fu arno er iachawdwriaeth i'w bobl, hynny yw, gydà golwg ar ac er sicrhau eu hiachawdwriaeth hwy yn neillduol, yn gymhwyso arno yn Iachawdwr addas a digonol ar gyfer y byd yn gyffredinol; yn gymmaint ag nad ydyw y cymhwysder yn ddim annibynol ar neu ar wahan oddiwrth ei Berson ef ei hunan. Ei "berffeithio" ef ei huuan yn "Dywysog Iachawdwriaeth,"

a wnaed "trwy ddioddefiadau." Dyma olygiad Mr. Jones. Dyma yr hyn a ymddangosai iddo ef yn ddysgeidiaeth y Bibl. Ac wrth gymmeryd y tir hwn, yr oedd yn ei ystyried ei hunan yn gallu dal cysylltiad uniongyrchol rhwng marwolaeth Crist â *phechodau*, am ei bod, yn ol y golygiad hwn, yn dal cysylltiad uniongyrchol â *phersonau* neillduol; ac yr ydoedd, yr un pryd, yn hollol hyderus fod y golygiad yn ei alluogi i ddal digonolrwydd yr aberth ar gyfer y byd yn gyffredinol, ac yn rhoddi sail gyfreithlawn ac anrhydeddus, i alwad daer a dihoced ac anmhleidiol, o eiddo yr efengyl, ar bob pechadur trwy yrholl ddaear, hyd y cyrhaeddo, i ddyfod at Iesu Grist am iachawdwriaeth a bywyd tragywyddol.

Yr oedd Mr. Roberts, yr un modd, yn ei lyfr blaenorol, yn dadleu "fod *perthynas neillduol* rhwng y cwbl o gyfryngwriaeth Iesu Grist a'r etholedigion;" a'u bod "yn perthyn i Grist, yn yr un ystyriaeth ag y mae holl ddynolryw yn perthyn i Adda;" ac, fel "yr oedd Adda yn cynddrychioli ei holl hâd naturiol, felly Crist ei holl hâd ysbrydol;" ac, "nad oes le i ammeu nad oedd Iesu Grist, wrth ddyoddef, yn edrych ar yr etholedigion, fel *rhan neillduol* o wobr ei lafur;" ïe, "fod Iesu Grist wedi gwir deilyngu pob bendith i'w eiddo" ("*Cynnygiad Gostyngedig*," *tu dal.* 8, 9, 19). Yr un pryd, yr oedd yn dysgu fod Iesu Grist wedi dioddef, mewn rhyw ystyr, dros bawb sydd yn clywed yr efengyl—yn y gochelgarwch nas gallwn feio arno, dan yr amgylchiadau, nid ydyw yn myned yn mhellach na hyna yn y llyfr cyntaf—, ac, yn y llyfr hwn—gan fod iddo erbyn hyn nifer o wŷr grymus yn ei bleidio—, y mae yn dywedyd yn bendant ei fod wedi marw dros holl ddynolryw, a bod ei iawn yn gwbl gyffredinol; ac, os nad ydym yn ei gam-ddeall, y mae yn tueddu i ysgar rhwng yr *iawn ei hunan* ac unrhyw *angenrheidrwydd* am gadwedigaeth neb yn bersonol ac yn neillduol trwyddo; heb ddeall wrtho ond,—"fod y fath anrhydedd wedi cael ei roddi i'r ddwyfol lywodraeth drwy fywyd a marwolaeth Immanuel, ar ran pechaduriaid, fel ag y gall Duw, mewn modd anfeidrol ogoneddus iddo ei hun, fel Llywydd moesol, drugarhau wrth y neb y mynno" (*tu dal.* 51, 52). Mae yn wir yn dadleu yn bendant yn y llyfr hwn, fel yn y llyfr blaenorol, dros sicrwydd hollol cadwedigaeth yr etholedigion trwy yr iawn hwn:—"Ni's gallaf ammeu," meddai, fod Iesu wrth farw yn edrych ar yr etholedigion yn rhan sicr a neillduol o wobr ei lafur: ac mai gydâ golwg ar hyn y dywedir iddo roddi ei einioes dros y *defaid*, ac iddo

brynu yr *eglwys* â'i briod waed ;" a bod yr "Iesu wrth farw yn *bwriadu* dwyn yr etholedigion i gredu ynddo, ac yn ganlynol i fod yn *wir ryddion* oddiwrth felldith y ddeddf" (*tu dal.* 30, 31, 53). Ac y mae yn sicr ei fod yn cymmeradwyo yn gwbl yr hyn a ganlyn, a gawn yn y Byr-draethawd o eiddo Mr. Williams o'r Wern, yn yr "At-ddodiad :"—"Ni buasai yn gyson âg anfeidrol ddoethineb, i Grist ro'i ei hun yn aberth dros bechaduriaid, ar antur, heb fod ganddo olwg ar neb yn fwy na'u gilydd i gyfranogi o'r iechydwriaeth, ond gadael ar ddamwain ddall, ewyllys rydd am y cwbl. Yr oedd gan Grist yn ei holl ddioddefiadau, olwg neillduol ar yr etholedigion ;—ac yn yr ystyr yma, yn ol *amcan arfaethol* Duw (ond nid felly yn ol ei *amcan llywyddol,*) yr oedd marwolaeth Iesu yn neillduol dros ei *eglwys,* dros ei *ddefaid,* dros y rhai a *roddwyd iddo gan y Tad, &c*" (*tu dal.* 85). Yr un pryd, nid oedd hyn, dybygem ni, yn ol athrawiaeth Mr. Roberts, ond y bwriad dwyfol i ddefnyddio yr iawn, oedd, ynddo ei hunan, yn perthyn yr un fath a'r un faint i bawb, ac heb fod yn perthyn yn neillduol i neb, er iachawdwriaeth i ryw rai, heb un gosodiad neillduol arno drostynt hwy, na chyfrifiad o'u pechodau hwy iddo. Yn awr, gan hyny, dyma hanfod y gwahaniaeth rhwng ein dau Dduwinydd, a'r "*pwnc*" gwirioneddol oedd "mewn dadl :"—*A all fod digonolrwydd cyffredinol a dim ond gosodiad neillduol?* Gwrthbrofi hyn oedd y gorchwyl a ddylasai Mr. Roberts gymmeryd mewn llaw, a buasai yn dda genym ei weled yn ymaflyd o ddifrif ynddo. Dichon y bydd llawer yn methu gweled ar ba dir y gallasai efe, yn ol ei egwyddorion ei hunan, lwyddo i hyny : gan yr ymddengys, wedi y cwbl, fod Mr. Jones yn dal cymmaint, o leiaf, o osodiad dros bawb, ag a ddelid gan Mr. Roberts ei hunan. Canys nid oedd yr hyn a olygai efe wrth osodiad dros bawb yn ddim amgen na rhyw osodiad cyffredinol arno, yn ol ei eiriau ef ei hunan yn y llyfr hwn,—"fel ffordd i bob pechadur fel eu gilydd i ddychwelyd atto am faddeuant a bod yn gadwedig, a dim yn rhwystr i'r troseddwr ddychwelyd, ond ei wrthodiad gelynol o'r Gwaredwr mawr hwn" (*tu dal.* 51.) Y mae yn amlwg nad oedd efe, yn ystyr Mr. Jones i'r gair, yn dal unrhyw osodiad dros neb. Ac, os oedd gosodiad dros bawb, yn *ystyr* Mr. Jones i'r gair *gosodiad,* yn angenrheidiol er digonolrwydd ar gyfer pawb, pa fodd y gall fod digonolrwydd ynddo i neb, heb ei fod, *yn yr ystyr hwnw,* wedi ei osod dros *neb?* Y gwirionedd yw, yr oedd y gwahaniaeth rhyngddynt, er nad oedd, fe allai, wedi

ymffurfio felly yn bendant yn meddwl y naill na'r llall o honynt hwy, eto yn ddyfnach na phob gwahaniaeth yn nghylch *Helaethrwydd* yr Iawn, ac yn myned i lawr at ei *Natur*, a'r *Angenrheidrwydd* am dano, a'r *cysylltiad neillduol ac uniongyrchol rhyngddo*, yn nhrefn Duw, a chadwedigaeth pechaduriaid. Ac, yn ddiddadl, nid yw y blaenaf ond cwestiwn bychan a dibwys iawn, mewn cymhariaeth â'r rhai olaf.

Wedi cychwyn fel hyn mewn camsyniad hollol, dybygem ni, am "*Y Pwngc mewn dadl*," y mae y llyfr drwyddo, tra yn cynnwys llawer o Sylwadau eglurhäol ar ac amddiffynol i'r golygiadau neillduol a goleddid gan Mr. Roberts, eto yn dra anmherthynasol i destyn gwirioneddol y ddadl, ac i hanfod y gwahaniaeth oedd rhyngddo a Mr. Jones. Y mae yr ail Bennod (*tu dal.* 6—14) yn cael ei galw,—"*Tystiolaeth eglur y gair*,"—yn yr hon y mae yn dyfynu nifer o ysgrythyrau pendant er profi fod hawl gan bechaduriaid i ddefnyddio aberth Crist er eu hiachawdwriaeth. Mae yn sicr fod yr adnodau, a nodir ganddo, yn cynnwys galwadau cyffredinol a thaer ar bechaduriaid, fel y cyfryw, yn ddiwahaniaeth, i ddyfod at Grist am iachawdwriaeth; ac, yn ymddangos yn eglur fel yn seilio y galwadau hyny ar ddigonolrwydd y ddarpariaeth sydd ynddo ef ar eu cyfer: ond nid ydym ni yn gweled fod dim ynddynt, nac yn yr hyn yr amcanai Mr. Roberts ei brofi trwyddynt, nac, hyd yn nod yn *hanfod* y Sylwadau a wneir ganddo ef arnynt, nas gallasai, ac nad oedd Mr. Jones yn cytuno yn hollol â hwynt, oddieithr yn unig yr haeriad, yn ei erbyn ei hunan, fod ei olygiadau éf, o angenrheidrwydd, yn annghydweddol â'u hystyr naturiol a gwirioneddol.

Y mae y drydedd Bennod (*tu dal.* 15—22), yn cynnwys,—"*Difyniadau o waith Awdwyr*."—Ei amcan yma, ydyw rhoddi mantais i'w ddarllenwyr i weled mai nid athrawiaeth newydd oedd yr hon a amddiffynid ganddo, ond ei fod yr un olygiad â "rhai o'r dynion enwocaf ymhlith y Calfiniaid . . . . . am helaethrwydd iawn Iesu Grist." Y mae, er mwyn hyn, yn gwneuthur dyfyniadau o Calvin, Charnock, Howe, Polhill, Eliseus Cole, Williams o Bantycelyn, Brown o Haddington, a Scott yr Esboniwr. Mae yn sicr fod *rhai* o'r dyfyniadau, a wneir ganddo ef yma, yn *ymddangos* yn pleidio ei olygiadau ef, ac nad oes yr un o honynt, feallai, yn annghyson â hwynt; a bod *rhai* o honynt yn dadleu yn y fath fodd, neu yn dysgu y fath syniadau, ag nas gallasai Mr. Jones eu cymmeradwyo;—eto, y mae yn deg sylwi,

nad oedd cymmaint ag un o'r Awdwyr, a ddyfynir ganddo, heb fod yn dadleu hefyd, a rhai o honynt yn y modd cryfaf a mwyaf pendant, dros osodiad neillduol ar Iesu Grist *yn lle* yr etholedigion, fel eu Meichnïydd; ac, felly, fod ei farwolaeth ef yn daliad pridwerth prïodol drostynt hwy, er rhyddhad gweithredol iddynt: ac, yn ganlynol, y gallasai Mr. Jones, gydâ llawer iawn mwy o brïodoldeb na Mr. Roberts, eu dyfynu fel pleidwyr i'w olygiadau ef.

Y mae y bedwaredd Bennod (*tu dal.* 22—25) yn cael ei galw ganddo,—"*Dau garitor Duw.*" Er fod y geiriad yma yn hynod o annedwydd, a'r iaith yn dra anochelgar, ac, ar y pryd, yn Nghymru yn newydd ac yn ddieithr hollol, ac felly yn agored i'w cham-esbonio, eto nid ydym yn gweled fod yma ddim ond Sylwadau byrion—yn ormod felly o lawer—cywir, hyd y cyrhaeddant, ar y ddwy egwyddor fawr, yn ol y naill neu y llall, neu yn ol y naill a'r llall o'r rhai, y mae yr Anfeidrol yn ymddwyn at ei holl greaduriaid, sef, cyfiawnder, a gras;—y naill yn rheoli yn berffaith ei holl ymddygiadau fel Llywodraethwr a Barnwr, fel nas gall "wneuthur cam â gwr yn ei fater;" a'r naill a'r llall yn rheoli ei ymddygiadau yn nghyfraniad pob daioni o'i eiddo i droseddwyr. Wrth gymhwyso yr egwyddorion hyn, yn nghymeriad y Duw mawr, at ei ymddygiadau at ddynolryw yn eu cyflwr presennol, y mae ei iaith yn sicr yn llawer rhy anochelgar, ac yn tueddu i gam-arwain, megis pan y dywed, "Nid oedd Adda cyn y cwymp, gydâ golwg arno ei hun, ddim mwy mewn sefyllfa prawf nag yw dynion yn bresenol dan yr efengyl" (*tu dal.* 23). Mae y Sylwadau a wneir ganddo yn ganlynol i'r hyn a ddyfynwyd genym yn awr, yn profi, i'r meddylgar, fod yr awdwr yn cydnabod fod gwahaniaeth mawr rhwng y prawf sydd ar bechadur yn awr yn ngwyneb yr efengyl i'r prawf oedd ar y dyn cyntaf. Ond y mae yr holl ymdriniaeth ar y pwnc yn ddiffygiol, ac yn dra anorphenol, fel ag i dueddu un braidd i dybied nad oedd y syniadau eto ond anaddfed yn ei feddwl ef ei hunan. Y mae yn sicr, beth bynnag, eu bod yn cael eu gosod allan mewn iaith rhy aneglur, os nad rhy ammwysawl, i amgylchiadau Cymru ar y pryd.

Cynnwysiad y bummed Bennod (*tu dal.* 25—27), ydyw,—"*Nas gall fod perygl i alw ar bawb i ddefnyddio gwaed Crist.*"—Mae y Sylwadau yma yn gywir ac yn bwysig ac yn anadlu ysbryd tra chrefyddol; ond nid ydym yn gweled eu bod mewn un modd yn berthynasol i'r ddadl rhwng Mr. Jones ac yntau; yn gymmaint ag nad oes yma ddim,

dybygem ni, na fuasai efe yn gydnabod ac yn dadleu drosto mor rwydd ac mor ddiledrith a Mr. Roberts ei hunan.

Mae y chweched Bennod (*tu dal.* 27—33), ar—"*Y gwahaniaeth rhwng Calfiniaeth ac Arminiaeth, mewn perthynas i'r pwngc mewn dadl.*"—Dyma y Bennod yr ysgrifenodd Mr. William Evans yn ei herbyn, yn y llyfr a fu dan ein sylw eisoes (*tu dal.* 347—350); ac y mae yn ddiammeu ei bod yn un o'r pennodau galluocaf a mwyaf anwrthwynebol yn yr holl lyfr, ac yn amddiffyniad digonol i'r awdwr yn erbyn y rhai a'i cyhuddent o fod yn cytuno â'r Arminiaid. Mae yn gosod allan y gwahaniaeth, y cyfeiria ato, yn y modd egluraf a thecaf; ac yn ngwyneb y dychymyg sydd gan lawer,—"fod yr athrawiaeth Arminaidd yn dangos mwy o helaethrwydd cariad ac ewyllys da Duw at bechaduriaid, nag athrawiaeth Calfiniaid," y mae yn profi "fod hyny yn gamgymeriad mawr," a bod "yr holl *helaethrwydd* o du y Calfiniaid, a'r holl *gulni* o du'r Arminiaid" (*tu dal.* 28, 29). Ond y mae yn cymmeryd gofal i ddangos pa fath Galviniaeth a olygid ganddo; ac yn tystio ei argyhoeddiad,—"fod yr hyn a elwir yn Galfiniaeth uchel, tebyg i eiddo y diweddar Toplady a Huntington, wedi gwneuthur llawer mwy o Arminiaid, na holl ysgrifenwyr [ysgrifeniadau] Arminiaid proffesedig gydâ'u gilydd" (*tu dal.* 32).

Pwnc y seithfed Bennod (*tu dal.* 33—42) ydyw,—"*Nad oes un drugaredd yn dyfod i bechaduriaid, ond trwy haeddiant Crist.*"—Y mae cryn lawer o ryw beth ag sydd yn ymddangos i ni yn debyg iawn i annhegwch a gau-ddadleuaeth yn rhedeg trwy y bennod hon. 1. Am fod Mr. Jones yn beîo ar yr ymadrodd, fod trugareddau cyffredin y bywyd hwn, a fwynheir gan annuwiolion, yn dyfod iddynt "*ar hyd llwybr y gwaed,*" y mae Mr. Roberts yma yn ei osod allan fel pe buasai yn gwadu *pob math* o gysylltiad rhwng amgylchiadau cysurus annuwiolion yn y byd yn awr, â chyfryngdod a marwolaeth yr Arglwydd Iesu. Ond yr ydym eisoes (*tu dal.* 421) wedi gweled, fod Mr. Jones yn bendant "yn cydnabod na buasai y byd hwn, ar ol cwymp Adda, yn ddim gwell na charcharle anobeithiol, heb un rhodd gysurol a bendithiol iddo ef a'i hiliogaeth, oni buasai HAD Y WRAIG, a'r addewid foreuol o hono, yn Waredwr i'w bobl ("*Ymddyddanion &c.,*" *tu dal.* 119). Yn awr, y mae yn amlwg nas gallasai y sawl ag oedd yn credu ac yn dysgu fel hyn, fod yn gwadu *pob cysylltiad* rhwng y rhoddion aneirif, "cysurol a bendithiol," y mae annuwiolion yn awr yn eu mwynhau, â chyfryngdod a

marwolaeth yr Arglwydd Iesu. 2. Yr oedd Mr. Jones, ar ol caniatau fod y wedd bresennol sydd ar y byd, gydâ golwg ar gysuron tymhorol, yn cyfodi yn unig oddiar y cysylltiad sydd rhwng yr iachawdwriaeth a'r ddynoliaeth, "oblegyd *Had y wraig*, a'r addewid foreuol o hono yn Waredwr i'w bobl,"—ar ol caniatau hyn, yr oedd eto yn awgrymu, yn y modd mwyaf gochelgar, fel yr oedd yn weddus iddo ar achos mor dywyll, y posiblrwydd y gallasai dynolryw, hyd yn nod yn y fath "garcharle anobeithiol," "yn y fath bydew erchyll, heb ddwfr ynddo," gael "megis dïen-oed (*respite*) neu ryw radd o arbediad *tros amser*;" ac y mae yn cyfeirio at yr hyn yr amneidir megis ato yn yr ysgrythyrau am gyflwr presennol "yr angylion, y rhai ni chadwasant eu dechreuad," fel engraifft o'r hyn a olygid ganddo. Yr oedd mor amlwg mai yn unig fel eglurhad ar yr egwyddor a grybwyllasid ganddo,—yr hyn, *hwyrach, a allasai* fod neu gymmeryd lle, yn annibynol ar y drefn gyfryngol—, yr oedd Mr. Jones yn cyfeirio at hyn, fel ag y gallesid tybied y buasai yn anmhosibl i un darllenydd ei gam-ddeall: ac eto, y mae Mr. Roberts yma (1.) yn dadleu ei fod yn cymharu cyflwr presennol dynolryw, yn mwynhau y fath helaethrwydd o drugareddau a chysuron, can belled ag y mae a wnelo Cyfryngwr â'r byd, i gyflwr presennol y cythreuliaid! "Y mae yn amlwg, meddai, "mai amcan Mr. J. yma ydyw, dangos, gan fod yr ysprydion drwg yn uffern, yn cael yr hyn y mae efe yn alw 'yn radd o arbediad' heb un golwg ar Gyfryngwr, fod yr annuwiolion yn cael eu harbed hefyd, heb olwg ar Gyfryngwr" (*tu dal.* 89). Hyny yw, gan fod Mr. Jones yn *awgrymu y posiblrwydd y gallasai* dynolryw, pe na buasai Cyfryngwr er iachawdwriaeth i neb o honynt, eto gael "gradd o arbediad dros amser," mewn "carcharle anobeithiol," mewn "pydew erchyll, heb ddwfr ynddo," y mae Mr. Roberts yn dadleu fod "yn amlwg, mai ei amcan ydyw dangos," y rhaid fod yr annuwiolion yn cael yr holl gysuron a'r trugareddau, a fwynheir ganddynt yn awr, dan oruchwyliaeth gras, yn y fath helaethrwydd, "heb olwg ar Gyfryngwr!" (2.) Y mae Mr. Roberts yn gwadu fod un "radd o arbediad," yn awr, ar yr angylion syrthiedig. Nid ydym yn myned i sylwi ar yr annghysonedd a ddichon fod rhwng y fath wadiad âg ystyr yr ysgrythyrau y cyfeiriasid atynt gan Mr. Jones; nac ar ei annghysonedd â'r ffaith o'u bod yn amlwg, yn ol yr ysgrythyrau, yn cael, yn awr, ryw fath o ryddid i wibio trwy ein daear ni, beth bynnag am ranau

ereill o greadigaeth Duw, i demtio creaduriaid ereill i'r un gwrthryfel â hwynt eu hunain yn erbyn llywodraeth y Goruchaf;—heb sylwi ar hyn, prin y mae y gwadiad yn ymddangos i ni yn gyson â'r hyn a gydnabyddir gan Mr. Roberts ei hunan. Y mae efe yn dadleu, eu bod yn *awr* yn cael eu cosbi yn berffaith gyfatebol i *haeddiant* eu drwg, ac yn addef, pe byddai eu cosb yn llai na hyny, y byddai yn drugaredd (*tu dal.* 40); ac eto, fe ddywed fod—"yn gwbl amlwg y bydd cosp yr angylion syrthiedig a damniol ddynion, yn fwy ar ol dydd y farn" (*ibid.*). Y mae yn ymgais at ymresymu er dangos fod y ddau osodiad yma yn gyson â'u gilydd, fel ag i wrthbrofi yr hyn a awgrymid gan Mr. Jones, y dichon fod y cythreuliaid yn awr i raddau mewn cyflwr o arbediad mewn cymhariaeth i'r un y byddant ynddo wedi "barn y dydd mawr." Ond, tra y mae ei sylwadau yma yn bwysig, a hwyrach, mewn rhan, yn gywir, nid yw yr ymresymiad yn ymddangos i ni ond eiddil, a hollol aneffeithiol. Oblegyd,—a chaniatau ei holl osodiadau ef yma yn nghylch natur ac elfenau cosbedigaeth uffern,—y mae yn sicr, os "rhoddir amlygiadau annhraethol helaethach o Dduw yn nydd y farn, nag a roddwyd erioed o'r blaen;" ac os effaith "goleuni dwyfol ychwanegol," fydd peri i'r "diafol, a'i luoedd, ymgynddeiriogi yn fwy, mewn llid a chableddau yn erbyn Duw;" ac os mai canlyniad i hyny fydd, peri fod "eu cydwybodau hwythau yn rhuo yn fwy ofnadwy oddi mewn . . . . a'r adlewyrchiadau euog, megys yn fwy tanllyd, yn berwi yn eu mynwesau; hyny yw," peri y "bydd eu cosp yn mwyhau" (*tu dal.* 40, 41);—y mae yn rhaid, dybygem ni, yn sicr, hyd yn nod ar dir Mr. Roberts ei hunan, fod rhyw gymmaint o ddaioni yn yr attaliad presennol ar y fath "amlygiadau o Dduw" i'w meddyliau, fel ag i'w cadw, hyd y dydd hwnw, rhag y graddau o "lid a chableddau yn erbyn Duw," ag a fyddant yn eu nodweddu ar ol hyny; ac felly, yn ol Mr. Roberts ei hunan, yn peri y bydd eu cosbedigaeth, o hyny allan, yn drymach. Eto, am ddywedyd dim ond hyn, y mae Mr. Roberts yn cyhuddo Mr. Jones o fod,—"er mwyn cynnal ei gyfun-draith, yn llafurio, â'i holl egni, i brofi *prif bwngc Sosiniaeth, sef y gall Duw, yn gyson â gogoniant ei lywodraeth, roddi gradd o arbediad, neu ryw gymmaint o drugaredd i droseddwyr, heb un iawn am eu trosedd!*" (*tu dal.* 42.) (3.) Er cyfarfod awgrymiad Mr. Jones am bosiblrwydd "gradd o arbediad *tros amser*," yn yr ystyr a nodwyd, yn ddigyfrwng, hyny yw, yn unig yn ngweithrediad amynedd nooth y llywodraethwr mawr, ac er cyr-

haedd amcanion pwysig yn ei lywodraeth, y mae Mr. Roberts yn dadleu, os gallasai arbed dynolryw felly, yn ddigyfrwng, y gallasai roddi pob bendith iddynt, yr un modd. Mewn geiriau ereill, yn ol Mr. Roberts, ar y tir a gymmerir gan Mr. Jones, os gall amynedd dwyfol *oedi* cosbedigaeth y carcharor, hyd ddydd neillduol y dïenyddiad, yn ddigyfrwng, fe all cariad a gras dwyfol *faddeu* iddo, ei *achub*, a'i *ymgeleddu*, a'i *ddwyn i fywyd tragywyddol*, yn ddigyfrwng. "Os gall Duw, yn gyson â gogoniant ei lywodraeth foesol, gyfranu *rhai pethau da* i rai euog a gwrthryfelgar, heb un iawn am eu pechodau, paham nad allai gyfranu *pob pethau da* yr un modd? Ac yn ganlynol (echryslawn y dywediad) afraid oedd i Iesu Grist ddioddef a marw" (*tu dal.* 85). Ond, ai nid oes gwahaniaeth hanfodol rhwng gweini ychydig ddoniau i'r *collfarnedig*, yn ei gell dywell yn y carchar, yn *aros dydd y dïenyddiad*, a chynnyg maddeuant llawn a rhad iddo, ac, felly, *diangfa dragywyddol rhag y gosbedigaeth* yr oedd wedi ei *ddedfrydu* iddi? Ac ai nid yw yr hyn y dadleua Mr. Roberts drosto yn gosod yr angenrheidrwydd am yr iawn i amcan gwahanol, a'r gosodiad o hono er sicrhau dibenion tra gwahanol, i'r hyn sydd, dybygid, yn ddysgeidiaeth bendant ac uniongyrchol yr ysgrythyrau ar y pwnc? Y mae ynddynt hwy yn cael ei gysylltu yn wastadol â bendithion ysbrydol; ac nid ydym yn gweled fod Mr. Roberts yn gallu nodi cymmaint ag un engraifft bendant lle y mae yn cael ei gysyllu â dim arall. (4.) Y mae Mr. Roberts, er dadleu fel hyn dros yr angenrheidrwydd am aberth Crist er parhad y ddynoliaeth o gwbl, oddieithr yn mhersonau ein rhieni cyntaf, eto yn dysgu yn bendant,—"fod holl ddynolryw yn haeddu marw byth fel troseddwyr o'r cyfammod yn Eden" (*tu dal.* 28). Yn awr, y mae yn ymddangos braidd yn dywyll, ni a dybiem, os nad oeddent i'w dwyn i fodolaeth, yn annibynol ar y drefn gyfryngol, yn mha ystyr y gallent fod "yn haeddu marw byth," yn eu cysylltiad â chyfammod, y parodd y *toriad o hono angenrheidrwydd am y drefn hono.* 8. Yr oedd Mr. Jones, fel y gwelsom eisoes (*tu dal.* 416, 421), yn caniatau "fod *pellder dirfawr* rhwng cyflwr dynolryw *yn gyffredinol* ar y ddaear, a chyflwr y llu diobaith" sydd yn cael eu "cadw i farn y dydd mawr," cymmaint pellder, fel y rhwydd-addefai, nas gallai ei ddawn gwan ef ei osod allan,—ac felly, "pellder dirfawr rhwng cyflwr dynolryw yn gyffredinol ar y ddaear," "trwy hád y wraig, a'r addewid foreuol o hono," a'r hyn a fuasai yn annibynol ar

"hâd y wraig a'r addewid" am dano; eto, tra yn caniatau hyn oll, yn lle edrych ar y bendithion tymhorol, a fwynheir gan y byd yn gyffredinol, a chan annuwiolion yn fynych yn helaethach na duwiolion, "fel deilliadau *uniongyrchol* oddiwrth Brynedigaeth," neu yn dyfod "*ar hyd llwybr y gwaed*," yn yr ystyr y mae bendithion ysbrydol felly, yr oedd yn golygu fod y byd "yn eu cael *er mwyn* (sef o gariad at, a gofal am), ac megis dan gysgod yr eglwys, yr hon y mae ei Harglwydd a'i Phrynwr yn dewis ei magu, ei chynnal, a'i meithrin, yn nghanol byd o annuwiolion, ïe, ac mewn amryw olygiadau, trwy eu defnyddioldeb hwynt hefyd" ("*Ymddyddanion &c.*," *tu dal.* 28, 122). Yn atebiad i hyn, y mae Mr. Roberts yn sylwi:—"Yr wyf yn barod i addef, mai dyben olaf (*ultimate end*) Duw yn yr holl gyfansoddiad cyfryngol, yw achubiaeth yr eglwys. Ond yr wyf yn methu gweled, pa fodd y gall yr eglwys fod yn *gyfrwng* bendithion o un rhyw i eraill. Pa faint gwell yw y daliad yma o eiddo Mr. J. nag un o ddarnau mwyaf ffiaidd Pabyddiaeth? Mae y Pabyddion yn barnu, fod llawer o bethau da yn dyfod i ddynion er mwyn rhyw rai mwyaf enwog o'r saint; ac y mae Mr. J. yn barnu fod llawer o bethau da yn dyfod i ddynion er mwyn yr holl saint. Yn ddilys nid oeddwn yn disgwyl cael dim yn ysgrifeniadau Mr. Thomas Jones, ag a fuasai yn tueddu i'n harwain yn ol i Babyddiaeth" (*tu dal.* 86, 87). Mae hyn yn sicr i ni braidd yn anesboniadwy. Nis gall neb ddychymygu fod Mr. Roberts yn *amcanu* unrhyw annhegwch; ac eto y mae yn syn, pa fodd yr ydoedd heb weled ei fod yn cael ei arwain i'r fath dwyll-ymresymiad, trwy gymmeryd y geiriau "*er mwyn*," mewn ystyr mor wahanol i'r hyn a roddid iddynt gan Mr. Jones; a hyny, yn enwedig, pan oedd Mr. Jones wedi cymmeryd gofal neillduol i egluro yr ystyr a amcenid ganddo ef iddynt, a'r eglurhad hwnw, dybygid, ar y pryd, dan ei lygaid yntau. Y mae holl ddadl Mr. Roberts yn amlwg yn arwyddo ei fod ef yn deall y geiriau yn dynodi rhyw gymmaint o deilyngdod, yn y sawl y cysyllter hwynt âg ef, fel ag i'w wneuthur yn "*gyfrwng*" haeddiannol y daioni a dybir ynddynt; yn gyfatebol, er esiampl, i'r ystyr a roddir iddynt yn eu cysylltiad âg Iesu Grist, pan y dywedir, "megis y maddeuodd Duw *er mwyn* Crist i chwithau." Ond nid ydyw Mr. Jones yn crybwyll un gair am ddim o'r fath, ac y mae yn anhawdd genym feddwl iddo erioed ddychymygu am ddim cyffelyb. Nid yw yr ymadrodd, "*cyfryngwriaeth yr eglwys*," mwy na'r dychymyg yn eiddo Mr. Jones. Mr. Roberts ei

hunan biau yr ymadrodd; ac y mae y syniad a gynnwysa yn hollol groes i'r ystyr yn y rhai y defnyddiai Mr. Jones y geiriau, "*er mwyn.*" *Er lles, er daioni, er gwasanaeth* yr eglwys, oedd yr ystyr a amcenid iddynt ganddo ef; gan gredu fod annuwiolion yn cael, yn y lles a fwriedir iddi hi, megis o dan ei chysgod, liaws o fendithion tymhorol gwerthfawr, na buasent, heb hyny, byth yn cyfranogi o honynt. Ac, yn sicr, nid oes dim "Pabyddiaeth" yn hyny; os amgen, "Pabyddiaeth" oedd erfyn, a "Phabyddiaeth" oedd addaw, arbediad Sodom "*er mwyn*" y rhai "cyfiawn" a allent fod o'i mewn; a "Phabyddiaeth" a ddysgid gan ein Harglwydd ei hunan, pan y dywedai,—"Ac oni bai fyrhau y dyddiau hyny, ni buasai gadwedig un cnawd oll: eithr *er mwyn yr etholedigion* fe fyrheir y dyddiau hyny" (Matt. xxiv. 22).*

Mae yr wythfed Bennod (*tu dal.* 42—46), ar—"*Natur y berthynas aq sydd rhwng aberth Crist â holl wrandawyr yr efengyl.*"—Mae y sylwadau a wneir gan Mr. Roberts, yn nechreu y Bennod hon, ar Atebiad Mr. Jones iddo ef, yn ymddangos yn hollol briodol a thêg; ac, fel y sylwasom eisoes (*tu dal.* 423), nis gallwn ni ganfod un rheswm yn y gwrthwynebiad a deimlid, ac a wnelsid ganddo, i'r wedd gymhedrol a roddasid gan Mr. Roberts ac y pwnc: oblegyd, mewn gwirionedd, ac fel y mae yn egluro yn helaethach yma, nid oedd yn amcanu un ystyr wahanol i'r gair "*perthynas,*" i'r hyn a addefid yn bendant gan Mr. Jones ei hunan. Dyma eiriau Mr. Roberts:—"Yr wyf yn dymuno i chwi sylwi fy mod yn defnyddio y gair *perthynas*, am ei fod y gair mwyaf addas a allaf feddwl am dano, i amlygu fod a fyno aberth Crist â *phechadur* fel y cyfryw; ac hefyd am ei fod yn cael ei ddefnyddio gan gyfieithwyr y Bibl, yn yr un ystyr, Luc xix. 42. 'Y pethau a berthynent i'th heddwch.' . . . . Nid wyf yn golygu fod gwaed, neu aberth,

* Wedi ysgrifenu ac argraffu y Nodiadau uchod ar y seithfed bennod o'r "*Galwad Difrifol,*" ni a gyfarfuasom â'r Sylwadau canlynol, yn un o bregethau Mr. Andrew Fuller:—"Oni buasai darpariaeth trugaredd trwy yr hâd addawedig, nis gallasai fod dim cymundeb rhwng Duw a dyn, mwy na rhwng Duw a'r angylion syrthiedig. Gallasai dynion ymlusgo trwy fywyd euog a thruenus yn y byd, ond buasent byw a marw dan y felldith. Pa beth bynnag a gyfranesid iddynt, ni buasai yn cael ei roddi ond mewn digofaint, fel ag y mae cyfoeth yn awr yn cael ei roddi i rai dynion er eu niwed. Pa beth bynnag fuasai eu gofidiau, ni buasai Duw ganddynt i droi ato tanynt; a pha beth bynnag fuasai eu rhagolygon, ni buasai gobaith gwynfydedigrwydd yn y dyfodol yn gwneyd un ran o honynt."—Ac mewn Nodiad, yn ngwaelod y ddalen, y mae yn ychwanegu y sylwadau canlynol:—"Y mae rhai wedi meddwl mai marwolaeth gorphorol yn unig a fygythid yn Gen. ii. 17, ac y buasai dyn ar unwaith, pe gweinyddasid hi, yn cael ei daflu allan o fodolaeth. Ond pa beth bynnag oedd y farwolaeth a fygythid yno, hi *a aeth ar bob dyn*; yr hyn sydd yn cynnwys hanfodiad pob dyn, a'r hyn a attaliesid, pe buasai Adda, y pryd hwnw, yn cael ei ddifodi, neu, hyd yn nod, yn cael ei yru allan o'r byd hwn. Y mae yn rhaid, gan hyny, fod cyfansoddiad gwreiddiol pethau, yn rhagolygu hanfodiad pob person neillduol, a anwyd ar ol hyny i'r byd; a hyny, pa un bynnag a wnelsai dyn ai sefyll ai syrthio (*Complete Works, Vol.* IV., *page* 257, *London,* 1831).

Crist yn perthyn i'r *anghredadyn*, yn yr un ystyr ag y mae yn perthyn i'r *credadyn;* ond fy meddwl yw, ei fod yn perthyn iddo, yn yr un ystyr ag y mae yr efengyl yn perthyn iddo; hyny yw, fod ganddo hawl neu ganiattad i'w ddefnyddio, fel ffordd at y Tad, neu fel *moddion* ei gadwedigaeth: yr un hawl ag oedd gan yr Israeliaid gynt i edrych ar y sarph bres a byw" (*tu dal.* 42, 43). Ond i'r darllenydd gymharu hyn, â'r hyn a ddyfynwyd genym allan o Mr. Jones (*tu dal.* 423, 449), fe genfydd, ar unwaith, nad oedd, ar hyn, un radd o wahaniaeth rhyngddynt; ac, yn sicr, nid oedd mewn un modd yn dêg yn Mr. Jones amcanu rhwymo Mr. Roberts i ystyr uwch, yn y gair a arferasid ganddo, na'r un a bennodasid ganddo ef ei hunan, a'r un yr oedd natur y cysylltiad, yn yr hwn y defnyddid ef, yn angenrheidiol yn ei ofyn. Nid ydyw canol y bennod yn ymddangos i ni yn llawn mor foddhäol; ond y mae yn llefaru braidd yn rhy gryf ac anturus, i'r hyn sydd yn gweddu i amgyffrediadau cyfyng creadur, heb dystiolaeth bendant o'i enau ef ei hunan, am yr hyn a "*all,*" neu "*nis gall,*" neu sydd "*raid,*" i'r anfeidrol.

Mae y nawfed Bennod (*tu dal.* 47—52), ar "*Y cyssylltiad anwahanol ág sydd rhwng gwaed Crist a galwad yr efengyl.*"—Y mae yn ymddangos i ni yn sicr fod Mr. Roberts, yn y Bennod hon, yn ysgrifenu dan gamgymmeriad hollol am olygiadau Mr. Jones; fel pe buasai "yn gwadu," yn *mhob ystyr,* "fod gwaed Crist yn perthyn yn gyffredinol i holl wrandawyr yr efengyl." Mae y dyfyniadau a wnaed genym eisoes (*tu dal.* 423), yn profi yn benderfynol ei fod yn addef hyny mewn *rhyw ystyr*; tra, ar yr un pryd, yr ymwrthodai â'r ystyr y tybiai efe y dadleuai Mr. Roberts drosto. Oddiar y camgymmeriad yma, y mae yn cam-ddarlunio Mr. Jones yn ddirfawr;—yn ei osod allan fel un yn galw "ar ei wrandawyr yn gyffredinol i gredu yn Nghrist a bod yn gadwedig, a dywedyd wrthynt yr anadl nesaf, nad oes iechydwriaeth yn Nghrist i neb ond yr etholedigion, am nad yw wedi gwneuthur iawn am bechodau neb eraill;" ac, "nad oes yn Nghrist ddim darpariadau ar gyfer neb eraill." Mae Mr. Roberts yn dadleu fel hyn yn erbyn Mr. Jones, ar yr egwyddor, a osodir i lawr ganddo yma unwaith ac eilwaith,—"nad all Iesu mewn gwirionedd, fod yn Waredwr *addas* a *digonol* i neb ond y rhai ag y rhoddodd iawn am eu pechodau." Ac, yn sicr, pe na buasai Mr. Jones yn golygu wrth "*iawn*" ond yr un peth ag a olygid gan Mr. Roberts,—"fod y fath anrhydedd wedi cael

ei roddi i'r ddwyfol lywodraeth drwy fywyd, a marwolaeth Immanuel, ar ran pechaduriaid, fel ag y gall Duw, mewn modd anfeidrol ogoneddus iddo ei hun, fel Llywydd moesol, drugarhau wrth y neb y mynno,"—pe hyn yn unig fuasai yr "*iawn*," yn syniad Mr. Jones, fe fuasai yn sicr yn dadleu yr un fath â Mr. Roberts, nas gallasai fod yn Waredwr cymhwys i neb heb roddi iawn drostynt. Ond yr oedd y syniad am iawn, yn meddwl Mr. Jones, yn un tra gwahanol, o leiaf yn cynnwys llawer yn ychwaneg; sef, ei fod yn *daliad pridwerth* er *rhyddhâd* y rhai y gosodwyd ef yn neillduol drostynt; tra, yr un pryd, yr oedd y fath werth a gwiwdeb tufewnol ynddo, ag i osod i lawr sail galwad daer a didwyll, ar bechaduriaid yn gyffredinol a diwahaniaeth i ddyfod at Dduw trwyddo, am faddeuant ac iachawdwriaeth, gydâ sicrwydd llawn am y croesaw mwyaf iddynt ynddo. Nid ydym ni yn gallu gweled nad ydyw yr holl *gyffredinolrwydd*, y dadleuai Mr. Roberts drosto, yn nghyfundraeth Mr. Jones; tra y mae, yr un pryd, yn golygu *neillduolrwydd* yn y gosodiad o hono fel pridwerth, er rhyddhâd gweithredol yr holl rai yr oedd wedi ymrwymo drostynt fel eu Meichnïydd.

Pwnc y ddegfed Bennod (*tu dal.* 53—58) ydyw, fod—"*Yr etholedigion, gymmaint ag eraill, dan felldith y ddeddf, hyd nes credont yn Iesu Grist.*"—Mae Mr. Roberts yma yn ceisio dangos fod dadleuon Mr. Jones, mewn amrywiol ranau o'i lyfr, "yn tueddu i arwain ei ddarllenwyr i feddwl, fod Iesu Grist, wrth farw ar Galfaria, wedi rhyddhau yr etholedigion oddiwrth felldith y ddeddf." Ac nid yn unig hyny, ond y mae yn dywedyd yn mhellach:—"Mae yn eglur i mi fod Mr. J. yn golygu i Grist wrth farw dros, neu yn lle yr etholedigion, eu rhyddhau oddiwrth ofyniadau cyfiawnder, a melldith y ddeddf, yn yr un ystyr ag y mae dyledwr yn cael ei ryddhau oddiwrth ofyniadau ei echwynwr, pan fyddo ei fechnïydd yn talu ei ddyled, ac yn ganlynol, fod yr etholedigion yn dyfod i'r byd *yn rhyddion oddiwrth ofyniadau cyfiawnder, a melldith y ddeddf.*" Ac yna, y mae yn myned rhagddo i ddatgan ei alar, fod y "Trefnyddion" yn ymadael â'r "athrawiaeth o gyfiawnhâd trwy ffydd, &c." Eithr nid ydym ni yn gweled ar ba dir y gallai Mr. Roberts synio fel hyn am Mr. Jones, oddieithr ar y dybiaeth ei fod yn golygu fod Mr. Jones ac yntau yn defnyddio y geiriau "*prynu*" a "*phrynedigaeth*" yn gwbl yn yr un ystyr. Ond y mae yn sicr nad oedd y ddau yn eu defnyddio felly. Yn ol Mr. Roberts,—"nid yw y geiriau *prynu* a *phrynedigaeth* yn cael eu harfer mewn un

màn yn y Testament Newydd i arwyddo y gwaith a orphenwyd ar Galfaria yn unig, heb fod yn gyssylltiedig â'r rhyddhâd a'r ymwared gweithredol sydd yn dyfod i bechaduriaid drwy gredu yn Iesu Grist." Ac y mae Mr. Everett o Ddinbych, yn un o'r Byr-draethodau a ychwanegwyd gan Mr. Roberts yn niwedd ei lyfr, yn dadleu, yn alluog a dysgedig, dros wneyd yr un gwahaniaeth, ag a welsom (*tu dal.* 381, 382) a wneir gan Dr. Williams, rhwng yr "*iawn*" a'r "*prynedigaeth*:"—"*Iawn Crist* ydoedd y pridwerth; *gweithredol ryddhâd troseddwyr, ar gyfrif yr iawn*, ydyw y brynedigaeth;" ac,—"felly y mae'r gair 'prynedigaeth,' bob amser yn cynnwys y golygiad neu yn rhag-dybied *iawn*, er nad ydyw un amser yn arwyddo rhoddiad yr iawn" (*tu dal.* 97, 100). Yn awr, pe buasai Mr. Jones yn deall ac yn defnyddio y geiriau "*prynu*" a "*phrynedigaeth*" yn y golygiad yna, ac ar yr un pryd yn dadleu fod yr etholedigion wedi eu "*prynu*" gan Grist, trwy neu yn ei farwolaeth drostynt, fe fuasai sail deg i'w gyhuddo o ddysgu "fod yr etholedigion yn dyfod i'r byd *yn rhyddion oddiwrth ofyniadau cyfiawnder, a melldith y ddeddf.*" Ond nid yn y cyfryw olygiad yr oedd efe yn deall y geiriau. Wrth y "*prynedigaeth*," yr oedd efe yn golygu, fel y mae wedi cymmeryd gofal neillduol i ddangos a phrofi ("*Ymddyddanion &c., tu dal.* 22—26), gwaith Iesu Grist, dan gyfrifiad o bechodau ei bobl, yn rhoddi ei hunan yn bridwerth ac iawn dros eu personau, a hyny yn y fath fodd ag i sicrhau "gwaredigaeth rasol" iddynt "oddiwrth euogrwydd a llywodraeth pechod." Yn ganlynol, nid oedd golygiad Mr. Jones yn cynnwys yr hyn y cyhuddid ef gan Mr. Roberts o hono, mwy nag yr oedd golygiad Mr. Roberts ei hunan,—fod yr "Iesu wrth farw yn *bwriadu* dwyn yr etholedigion i gredu ynddo, ac yn ganlynol, i fod yn *wir ryddion* oddiwrth felldith y ddeddf,"—yn ei gynnwys; oddieithr y dadleuir, fod yr hawl a ennillwyd ganddo, trwy *daliad y pridwerth* drostynt, er *sicrhau* y bwriad hwnw, yn cynnwys hyny. Ac, erbyn edrych, felly y dadleuir. Y mae Mr. Roberts yn gosod Mr. Jones allan, fel yn "ystyried marwolaeth Iesu Grist yn *bryniad masnachol o'r etholedigion*." Y mae yn dyfynu yr hyn a ganlyn allan o lyfr Mr. Jones (*tu dal.* 129), er prawf o hyny:—"Ai nid yw *marw* (*uper*) *dros ryw-rai*, ychydig neu lawer, yn arwyddo yr un peth a marw *yn eu lle*, neu farw fel na byddai i gyfiawnder, byth ofyn am i'r cyfryw *farw* yn eu hachos eu hunain, neu tan ddïaledd am ddyled a dalwyd gan eu Mechnïydd?" Nid ydym am amddiffyn dim ar y geiriad neillduol a

arferir gan Mr. Jones yma; prin y mae yn ymddangos i ni mor wyliadwrus a gochelgar a manwl ag y cawn ef yn gyffredin; ac yr ydym yn addef, yn rhwydd, nad ydyw y casgliad a dynir gan Mr. Roberts oddiwrth ei eiriau mewn un modd yn annaturiol; a phe buasem yn tybied ei fod, wrth lefaru am Grist yn marw yn lle dynion, "fel na byddai i gyfiawnder byth ofyn am i'r cyfryw farw yn eu hachos eu hunain," yn golygu cyfiawnder o ran unrhyw hawl, o du y rhai y dadleua y bu farw drostynt, i osgoi canlyniadau naturiol a chyfreithiol eu pechodau eu hunain, buasem yn cyduno â Mr. Roberts i edrych arno yma yn dadleu dros hanfod, ó leiaf un elfen yn hanfod, yr hyn a elwir yn "*bryniad masnachol.*" Ond er yr iaith anochelgar, y cyfeiriasom ati, a'r iaith fwy anochelgar, a geir ychydig linellau ar ol y rhai a ddyfynwyd gan Mr. Roberts, yr ydym yn mhell o feddwl ei fod ef yn amcanu dim o'r fath. Yn hytrach, y mae ei holl ymresymiad yma, yn gystal a'i Gyfundraeth drwyddi, yn penderfynu ein meddwl ni, mai yr hyn a olygid ganddo,—oedd "cyfiawnder" rhwng Iesu Grist â'i Dad, yn ol y Cyfammod tragywyddol, yn sicrhau iddo fywyd tragywyddol y gwrthddrychau neillduol a roddwyd iddo, y meichnïodd ar eu rhan, ac y bu farw yn eu lle, fel ag i wneuthur eu cadwedigaeth bellach, tra yn ras pur iddynt hwy, ac yn anmhosibl iddynt hwy ond trwy undeb ffydd âg ef, eto yn ffrwyth ei *haeddiant* ef, ac yn *wobr gyfiawn* iddo. Yn hyn, mewn gwirionedd, y mae y gwahaniaeth mawr rhwng Mr. Roberts a Mr. Jones. Y mae Mr. Roberts yn dywedyd, yn y Bennod hon:—"Dichon y bydd rhai o honoch yn barod i ofyn, mewn gradd o ddychryn; Pa beth! A ydych yn gwadu fod Iesu wedi marw dros, neu yn lle rhyw bersonau? O nac wyf mewn modd yn y byd. Etto yr wyf yn dywedyd yn hŷf, gydâ'r enwog Barch. Dr. Smith, na ddarfu Iesu farw dros, neu yn lle *neb personau* i'w rhyddhau oddiwrth ofyniadau cyfiawnder a melldith y ddeddf, heb iddynt gredu ac edifarhau. O'r tu arall, yr wyf yn credu iddo roddi ei hun yn aberth i Dduw, yn bridwerth *dros bersonau pawb*, fel na choller pwy bynag oll o ddynolryw a gredai ynddo, ond caffael o hono fywyd tragywyddol: ac mae yn gwbl sicr fod y Duw mawr yn ewyllysio i bob dyn sydd yn clywed yr efengyl i gredu yn y Mab, a bod yn gadwedig" (*tu dal.* 56, 57). Yn awr, yr oedd Mr. Jones yn credu y pwnc cyntaf yma—"na ddarfu Iesu farw dros, neu yn lle *neb personau* i'w rhyddhau oddiwrth ofyniadau cyfiawnder a melldith y ddeddf, heb iddynt gredu ac edifarhau,"

yn gymmaint â Mr. Roberts ei hunan: ac y roedd yn credu, dybygem ni, yn *hanfod* yr ail, er na buasai yn dewis ei osod allan yn yr un geiriau (tra na buasai ganddo unrhyw wrthwynebiad i eiriau Dr. Pye Smith ei hunan), ond, yn hytrach, dewisasai ddywedyd, fod Iesu Grist wedi rhoddi ei hun yn aberth i Dduw, yn bridwerth a'r fath werth a gwiwdeb anfeidrol ynddo, "fel na choller pwy bynnag a gredai ynddo, ond caffael o hono fywyd tragywyddol;" yr oedd yn credu a buasai yn dadleu dros hynyna hefyd yn llawn cymmaint a Mr. Roberts. Ond, heblaw hyn, ac yn ychwanegol at hyn, yr oedd efe yn credu, fod Iesu Grist, yn ei farwolaeth, wedi ei osod yn bridwerth neillduol dros ei bobl, y rhai a roddwyd iddo gan y Tad, fel ag i *sicrhau y dygir hwynt*, yn nhrefn Duw, *i "gredu ac edifarhau,"* ac felly, i gyfranogi o'r iachawdwriaeth, sydd ynddi ei hunan, yn addas ac yn ddigonol ar gyfer byd cyfan, ac yn cael yn yr efengyl ei chymhell ar ddynolryw yn gyffredinol a diwahaniaeth. Yr oedd Mr. Roberts, drachefn, yntau hefyd, yn credu yn y *sicrwydd* hwn yn llawn cymmaint â Mr. Jones; ond yn unig ei fod ef yn ei osod yn y bwriad dwyfol i ddwyn yr etholedigion i ddefnyddio yr iawn, sydd ynddo ei hunan,—"o osodiad Duw fel ffordd i bob pechadur fel eu gilydd i ddychwelyd atto am faddeuant a bod yn gadwedig,"—ond heb ei osod yn *neillduol* dros neb, fel pridwerth, ag sydd yn sicrhau eu dychweliad, ac felly faddeuant a chadwedigaeth iddynt.

Yr ydym wedi myned, gydâ llawer mwy o fanylder nag a fwriedid genym, dros hanner y Pennodau sydd yn eiddo i Mr. Roberts, yn y llyfr yn awr dan ein sylw. Nid ydym yn canfod dim neillduol, yn y Pennodau ereill, yn dal cysylltiad arbenig â'r ddadl a'r gwahaniaeth hanfodol rhyngddynt a'u gilydd, fel ag i osod angenrheidrwydd arnom i fyned, yn yr un modd, dros y gweddill. Yr hyn, yn wir, sydd yn ymddangos i ni fel y diffyg mawr yn y llyfr ydyw, yr hyn y cyfeiriasom ato eisoes fwy nag unwaith,—y camgymmeriad, dybygem ni, yr oedd yr Awdwr tano am y pwnc gwirioneddol oedd mewn dadl rhyngddynt a'u gilydd, neu y tir neillduol y safai Mr. Jones arno yn y ddadl, ar wahan oddiwrth Mr. Christmas Evans ar y naill law, ac oddiwrtho yntau ar y llaw arall. Yr oedd Mr. Jones yn meddwl yn gryf ac yn benderfynol, ei fod wedi cael lle canol, rhwng y ddau, ac, yn hwnw, ar ganol y gwirionedd; ond, fel, yn ol deddfau naturiol golwg, y mae yr un a fyddo yn gymhwys ac yn hollol yn y canol rhwng dau a fyddont

mewn cryn bellder oddiwrth eu gilydd, yn ymddangos i'r naill a'r llall, yn y ddau ben, yn llawer nes at yr un a fyddo yn y pen arall nag ato ef,—ac os bydd y pellder yn fawr iawn rhyngddynt yn ymddangos braidd yn ymyl os nad yn un â hwnw,—felly yr oedd Mr. Jones i Mr. Christmas Evans yn ymddangos mor agos at Mr. Roberts, fel nad oedd efe "yn gweled un achos iddo ysgrifenu yn erbyn J. R. ond i daflu bug ar wyneb ei gyfeillion ei fod ef yr un farn a hwy,—ac yn wrthwynebwr i Helaethrwydd y Prynedigaeth;" tra, o'r pen arall, yr oedd Mr. Jones yn ymddangos i Mr. Roberts mor agos at Mr. Christmas Evans, fel yr oedd yn ei weled ar fin, os nad yn hollol yn nghanol, "*pryniad masnachol o'r etholedigion.*" Yr oedd y safle neillduol a gymmerid gan Mr. Jones yn peri nad oedd y fath amrywiaeth syniadau am dano mewn un modd yn annaturiol: oblegyd yr oedd yn dadleu mor gadarn a phendant â Mr. Christmas Evans ei hunan, dros y gosodiad neillduol ar Iesu Grist yn lle ei eglwys fel ci Meichnïydd, a bod ei farwolaeth yn bridwerth drosti er ei rhyddhad; ac, o'r tu arall, yn dadleu mor gadarn a Mr. Roberts dros ddigonolrwydd anfeidrol ei aberth ar gyfer holl ddynolryw, a thros alwad daer a didwyll ar y byd yn gyffredinol i ddyfod at Dduw drwyddo am iachawdwriaeth a bywyd tragywyddol. Ond er ei fod fel hyn yn ymddangos megis rhwng y ddau, y mae yn eglur fod y syniad neillduol yn nghylch aberth Crist a ddysgid gan Mr. Christmas Evans, yn llawer iawn atgasach ganddo—yn annhraethol fwy felly—na'r golygiad y dadleuai Mr. Roberts drosto.

Mae y Byr-draethodau sydd yn yr "At-ddodiad," yn niwedd y llyfr hwn, wedi eu bwriadu i roddi eglurhad helaethach ar, ac yn amcanu myned yn mhellach i'r prawf ysgrythyrol o wirionedd rhai o'r golygiadau a ddysgir a'r egwyddorion a amddiffynir, gan Mr. Roberts, yn nghorph y llyfr; ac y maent, fel ag y gallesid dysgwyl oddiwrth eu hawdwyr, yn gwneuthur hyny yn nodedig o alluog, ac heb fod o ran eu hysbryd na'u ffurf mewn un modd yn ddadleugar.

Y mae un rhagoriaeth arbenig ar y llyfr hwn, sef yr ysbryd tawel, tangnefeddus, llednais, Cristionogol, sydd yn treiddio trwyddo. Y mae, can belled a hyny, os gallwn arfer y fath air, yn llyfr *duwiol* iawn. Mae yn ddiddadl genym ei fod yn gysur dirfawr i feddwl Mr. Roberts, pan y clybu am farwolaeth Mr. Jones, a hyny yn mhen tua deufis, neu lai, ar ol i'r llyfr hwn ddyfod allan o'r Wasg, nad ydoedd ynddo wedi cael ei ollwng i ddywedyd dim a allasai beri unrhyw ofid

i'w deimladau; ac, yn enwedig, fod ei eiriau diweddaf yn y llyfr, gyda chyfeiriad ato ef, yn gyfryw ag nas gallasai braidd ddefnyddio rhai tynerach ac esmwythach a mwy caredig, pe buasai yn rhagweled ei fod i gael ei alw ymaith mor fuan. Nis gallwn omedd i ni ein hunain yr hyfrydwch o roddi cymmaint o gyhoeddusrwydd ag a allwn i'r geiriau hyny:—"Yr wyf wedi cymmeryd y rhyddid mwyaf ag egwyddorion Mr. J. fel ag y mae yntau, gydâ chyflawn groeso, â'm heiddo innau. Ond nid wyf yn gwybod fy mod wedi dywedyd un gair anghyson â'r parch diffuant ag yr wyf wedi hoff feithrin yn fy mynwes iddo ef, a'i garitor er's yn agos i ddeng mlynedd ar hugain. Mae yn alar genyf yn bresenol, bod ein golygiadau yn gwahaniaethu cymmaint oddiwrth ein gilydd. Ond o anfeidrol ras Duw, yr wyf yn llawenhau mewn gobaith o gyfarfod ag ef cyn b'o hir mewn ardal dawel, lle na bydd anghydfod. A thra byddom ein dau yn aros tu yma i'r afon, byddai yn hyfrydwch mawr genyf gael byw mewn modd cyfeillgar âg ef. Ond pa un a ganiatteir i mi yr hyfrydwch yma neu beidio ni's gwn. Mae un hyfrydwch genyf yn sicr, o'r hwn ni's gall neb fy ymddifadu, sef yr hyfrydwch o weddio, ar fod ei benwynedd yn disgyn yn araf, ac yn dawel, i'r bedd, dan holl fendithion dewisol Jehofa, ac amlygiadau tra helaeth o 'Ewyllys da Preswylydd y Berth'" (*tu dal.* 75, 76).

Fel yr awgrymasom eisoes, fe fu Mr. Jones farw, yn mhen ychydig amser wedi cyhoeddiad y Llyfr hwn. Dygwyddodd hyny, Mehefin 16, 1820, pan ydoedd yn 64 mlwydd oed. Yr ydoedd yn mwynhau ei iechyd arferol, yr hwn nid oedd un amser yn gryf, hyd o fewn tair wythnos i'w farwolaeth. Pregethodd yn Ninbych y Sabbath cyn ei gymmeryd yn glaf; ac yr oedd rhyw argraff ar ei feddwl fod y terfyn yn agosau—cymmaint argraff, fel y dywedodd yn deimladol mai ei dro olaf fyddai. Yr oedd Mr. Jones yn wr duwiol iawn; yn ymdeimlo yn ddwys a'i lygredigaeth ei hunan, ac yn gorwedd, bob amser, yn bechadur andwyol, damniol byth o'i ran ei hunan, ar Grist Iesu, yn ei aberth mawr, am fywyd ac iachawdwriaeth. Yr oedd ei brofiad cyffredin yn un o'r penillion a gyfansoddwyd ganddo, penill a ystyrir genym ni yn un o'r rhai rhagoraf yn ein hiaith:—

"'Does eisieu 'n bod, nac ofn, na chlais, na chlwy',
Ar f'enaid tlawd, heb fod gan Iesu fwy;
Anfeidrol fwy o werth sydd yn ei waed;
Os trengu wnaf, mi drengaf wrth ei draed."

Yr oedd ei argyhoeddiadau, oddiar ei brofiad ei hunan, yn gryfion iawn yn mhlaid y gwirionedd, yn y wedd fwyaf efengylaidd arno; a chan ei fod yn wr nodedig o gydwybodol i'w Arglwydd, yr oedd yn teimlo rhwymau i amddiffyn y gwirionedd hwnw, pa bryd bynnag y tybiai ei fod yn goddef unrhyw gam; ac yr oedd yn gwneuthur hyny, bob amser, yn y modd mwyaf pur a dihoced. Byddai yn fynych yn defnyddio iaith rhy lem a phigog; ac yr ydoedd yn rhy dueddol, yn enwedig os cai ei wrthwynebwr yn syrthio i ryw gam-gymmeriadau hanesyddol a ddygwyddent fod yn hytrach yn bleidiol iddo ei hunan, i awgrymu amcanion annheilwng iddo. Caniatäwyd iddo gael mwynhad annghyffredin o gysuron yr efengyl yn ei ddyddiau olaf, ac yn ei angeu; a'i eiriau diweddaf oeddent:—"O, a gaf fi farw mewn heddwch â Duw anfeidrol! O hapus nefoedd! Hapus nefoedd!" Nid ydym yn gwybod dim yn nghylch yr hyn a syniai am lyfr Mr. Roberts, yn atebiad i'w un ef, heblaw nad oedd dim a ysgrifenasid i'w erbyn wedi peri unrhyw gyfnewidiad yn ei farn. Pan yr ydoedd amryw gyfeillion wedi myned i ymweled âg ef,—ac, yn eu plith, yr hen bregethwr, y diweddar Mr. Evan Lewis, Dinbych, yr hwn sydd yn adrodd yr hanes,—yn mhlith pethau ereill, dywedodd,—"Am y pethau a 'sgrifenais, nid wyf yn edifarhâu; er fod genyf achos edifarhau am fy *meiau:* Fy amcan i yn y cwbl oedd sefyll dros wirionedd Duw. Ond yn y cwbl y mae ynof lawer o anmherffeithrwydd. Ond nid yn ol fy mhethau goreu i, na fy mhethau gwaethaf, y gwna'r Barnwr" (*Cofiant*, neu Hanes Bywyd a Marwolaeth y Parch. Thomas Jones, Gweinidog yr efengyl, yn ddiweddar o dref Ddinbych. Hanes ei fywyd a 'scrifenwyd ganddo ef ei hun, ar ddymuniad ei gyfaill parchedig Mr. Charles, hyd amser marwolaeth y gwr enwog hwnw, yn 1814: a orphenwyd gan John Humphreys, a John Roberts, Llangwm. A gyhoeddwyd, trwy Gydsyniad ac annogaeth y Brodyr cynnulledig yn Nghymdeithasfa Caernarfon, Hydref 1, 1820. Dinbych, argraffedig ac ar werth gan Thomas Gee, 1820, *tu dal.* 112). Trachefn, ar ymweliad o eiddo yr hen weinidog, Mr. John Roberts o Langwm, âg ef, wrth ymddyddan am ei waith yn ysgrifenu ar y Prynedigaeth, yn mhlith pethau ereill, dywedodd,—"Yr wyf fi yn marw mewn heddwch ac yn hollol o'r un meddwl; ac heb ddim trallod meddwl am ddim o ran matter; ond ei fod yn waith gwael iawn. Ac nid wyf yn materu llawer pa faint a geblir arnaf gan bleidiau ereill, yn enwedig gan y Bedyddwyr, os bydd

yn dderbyniol gan fy mrodyr, &c" (*Cofiant, tu dal.* 114). Fel hyn y terfynodd gyrfa prif arwr Dadleuon Duwinyddol Cymru! Wedi hir flynyddoedd o ymdrech ffyddlawn, yn mhlaid yr hyn a olygai efe yn "ffydd yr efengyl," fe gyrhaeddodd o'r diwedd yr anneddle lonydd, lle na bydd dim annghydolygiad nac ymryson byth.

Ond, er marw Mr. Jones, fe barhäodd y ddadl i fyned rhagddi gyda bywiogrwydd a nerth mawr; ac yr oedd y pynciau y dadleuid arnynt, erbyn hyn, wedi tynu cymmaint o sylw, ac yn cynnhyrfu cymmaint ar feddwl y genedl, fel yr oedd y wlad braidd drwyddi yn un berw o'u plegyd. Y peth cyntaf, adnabyddus i ni, mewn cysylltiad â'r ddadl, a gyhoeddwyd wedi marwolaeth Mr. Jones, oedd cyfieithiad Mr. Evan Evans (Ieuan Glan Geirionydd), o "*Bregethau*" Mr. Hurrion, y cyfeiriasom atynt eisoes (*tu dal.* 344, 345), gyda chyfarchiad "At y Darllenydd," gan Mr. Elias. Y mae y Rhagymadrodd hwn wedi ei ddyddio,—"Llanfechell, Gorphenaf, 20, 1820." Fel y sylwasom eisoes, fe gyhoeddwyd y "Pregethau" hyn megis parhad o'r Ddadl rhwng Mr. Evan Evans a Mr. Samuel Davies; ond y mae yn ddiammheuol genym fod Mr. Elias, trwy gynghori Mr. Evans i'w cyfieithu a'u cyhoeddi, yn hytrach na dwyn dim o'i waith ei hunan allan yn Atebiad uniongyrchol i Mr. Samuel Davies, yn amcanu, yn arbenig, gwrthweithio drwyddynt y syniadau neillduol a ddysgid gan Mr. Roberts a'i frodyr, yn y "*Galwad Difrifol.*" Y mae holl dôn y Rhagymadrodd, a'r awgrymiadau anngharedig ac anfrawdol a wneir ynddo, at y rhai "y'mhlith yr Ymneillduwyr, yn enwedig yn Ngogledd Cymru," fel "Hanner Morganiaid," "yn gwisgo cochl ragrithiol iawn,"—a'r cyfeiriad at Mr. Hurrion, fel "un o weinidigion duwiol yr Ymneillduwyr yn cael ei alw, megis o blith y meirw, i dystio dros athrawiaeth y prynedigaeth fel y mae yn cael ei gosod allan yn ngair Duw," yn penderfynu pwy yn neillduol oedd ganddo mewn golwg, ac y bwriadai iddynt deimlo oddiwrth ei sylwadau. Yr oedd y cyfansoddiad hwn, yn sicr, o ran ei ysbryd, yn hollol annheilwng o Mr. Elias; ac heb nemawr gyfaddasder ynddo i ddim, hyd ag y mae yn ymddangos i ni, ond i dristau a thramgwyddo dynion da a duwiol, y rhai oeddent hefyd, y mae yn ddiddadl, mor onest a didwyll yn eu hymchwiliadau am y gwirionedd ag ydoedd yntau ei hunan.

Nid oedd un lle i ddysgwl y byddai i'r Rhagymadrodd hwn gael ei adael yn ddisylw; ac felly, wedi peth amser, fe gyhoeddwyd,—"Am-

ddiffyniad o'r Ymneillduwyr, mewn Llythyr at y Parchedig John Elias; yn cynnwys Sylwadau ar ei *Lythyr o Ganmoliaeth* i Bregethau Mr. Hurrion ar Brynedigaeth. Gan C. Jones, Dolgellau. Dolgellau: argraphwyd gan R. Richards. 1821."—Nid yw y "Lythyr" hwn ond byr, dim ond unarbymtheg o dudalenau. Yr oedd yr ysgrifenydd yn wr nodedig o bwyllog a thawel,—yn terfynu ar fod yn oeraidd felly—, hollol amddifad o'r yni a'r tanbeidrwydd meddwl a theimlad, a hynodent Mr. Elias; ac, er fod yn y "Llythyr" rai syniadau ac ymadroddion nas gallwn ni mewn un modd eu cymmeradwyo, eto nid ydyw, ar y owbl, ond ymliwiad gonest a chymmedrol, ïe, caredig, â'r areithiwr mawr a phoblogaidd, oherwydd yr iaith eithafol a arferasid ganddo yn erbyn y rhai a amddiffynir yma. Yr oedd yr awdwr, y mae yn amlwg, yn dra archolledig ei deimladau, ac yn ysgrifenu, dybygid, dros ac wedi cyd-ymgynghoriad â brodyr oeddent mor archolledig ag yntau; ac y mae hyny, feallai, yn ddigon i gyfrif am rai geiriau sydd ynddo yn ymddangos fel wedi eu *bwriadu*, o leiaf yn *tueddu*, i ddiraddio y gwr a annerchir, yn hytrach nag i amddiffyn y rhai yr ymosodasid arnynt ganddo ef. Yr un pryd, fe gyflwynwyd yma ger ei fron, yn gwbl ddidderbyn wyneb, rai gwirioneddau, ag yr oedd, ar y pryd, yn dra angenrheidiol eu dwyn i'w sylw, a hyny, ac ystyried yr amgylchiadau, mewn llawer gwell ysbryd nag a allesid braidd ddysgwyl. Mae yn dda genym allu dwyn tystiolaeth, a glywsom gan Mr. Henry Rees, ac a gafodd yntau o enau Mr. Elias ei hunan, iddo fyw i weled nad oedd y syniadau yr ysgrifenai mor erwin yn eu herbyn, yn y Rhagymadrodd y cyfeiriasom ato, ond *diniwed iawn* mewn cymhariaeth i'r golygiad a goleddai unwaith o berthynas iddynt. Yr ydym yn teimlo fod tegwch i goffadwriaeth Mr. Elias, yn galw arnom i roddi cymmaint o gyhoeddusrwydd ag a allwn i'r dystiolaeth hon.

Y mae yn ymddangos i rai misoedd o leiaf, ar ol hyn, fyned heibio, heb i ddim neillduol ar y ddadl hon, ddyfod allan trwy y Wasg yn ein gwlad. Ond yn nechreu y flwyddyn ganlynol, fe gyhoeddwyd,—"Dwy Bregeth: un ar Sylfaen, Natur, a Buddiant Duwioldeb, ac y llall ar Iawn Crist. Gan J. P. Dafis, Abertawe: Argraffedig yn Swyddfa Seren Gomer, gan J. Harris. 1822." Mae y cyfarchiad, "At y Darllenydd," wedi ei ddyddio, "Tredegar, Ion. 1822." Y "J. P. Dafis" hwn, oedd Mr. John Philip Davies, Tredegar. Yr oedd yn frodor o Sir Aberteifi; wedi ei eni yn mhlwyf Bangor yno, Mawrth 12, 1786.

Yr oedd ei dad, y Parch. David Davies, yn offeiriad Bangor a Henllan, yn y Sir hono. Ymunodd Mr. Davies â'r Bedyddwyr pan yn dra ieuanc, a dechreuodd bregethu yn fuan. Aeth ar daith i'r Gogledd, ac ymsefydlodd yn Nhreffynnon, lle yr ordeiniwyd ef yn weinidog ar eglwys fechan. Symmudodd o Dreffynnon i Liverpool; ac o Liverpool i Lundain; ac oddiyno i Lanyferi a Chydweli yn Sir Gaerfyrddin; ac wedi gwasanaethu rhai blynyddau yno, fe symmudodd, yn y flwyddyn 1818, i Dredegar, Sir Fynwy; lle y parhäodd i lafurio, gydâ ffyddlondeb a llwyddiant mawr, hyd ei farwolaeth, Awst 23, 1832. Yr oedd yn cael ei gydnabod fel un o'r gwyr galluocaf, yn ei amser, yn mhlith y Bedyddwyr, yn holl Ddeheudir Cymru; ac yr ydoedd yn un o'r rhai cyntaf, os nad y cyntaf oll, yn eu plith, i gofleidio syniadau Mr. Andrew Fuller ar yr Iawn a'r Prynedigaeth. Y mae yn debyg iddo ddioddef mwy o erlid oddiwrth ei frodyr crefyddol, oblegyd y syniadau neillduol a goleddid ganddo, na nemawr un yn ei oes. Yr oedd yn efrydydd manwl a chydwybodol ar y Datguddiad dwyfol; ac yn meddu ar allu annghyffredin i dreiddio i mewn i'w ystyr, ac i egluro ei wirioneddau, yn eu perthynas brydferth â'u gilydd, a'u cyd-berthynas âg amgylchiad dyn fel deiliad y llywodraeth ddwyfol, ac, yn arbenig, fel troseddwr deddf ei natur. Y mae y gyfrol o'i "Draethodau ar amrywiol o Bynciau Athrawiaethol y Grefydd Gristionogol; ynghyd â Nodiadau ar Ddyscyblaeth Eglwysig," a gyhoeddwyd yn 1834, dan olygiad Mr. David Rhys Stephen, yn ein bryd ni, yn un o'r llyfrau goreu yn ein hiaith; ac y mae yn resyn dirfawr ei bod mor anadnabyddus, o leiaf yn Ngogledd Cymru. Y mae y bregeth sydd yn y llyfryn yn awr ger ein bron, ar "Iawn Crist," yn cael ei chyfyngu braidd yn gwbl i ychydig ymdriniaeth yn nghylch *natur* yr iawn, a'r *angenrheidrwydd* am dano. Y mae y Sylwadau yn nghylch *natur* yr iawn, yn amlwg wedi eu bwriadu yn erbyn y golygiad masnachol arno, yr oedd Mr. Christmas Evans wedi bod yn dadleu drosto, ac oedd, dybygid, yn cael ei gofleidio yn lled gyffredin, y pryd hyny, yn mhlith y Bedyddwyr yn Ngwent a Morganwg. Y mae y Bregeth wedi ei chyfansoddi yn hollol yn ol syniadau Mr. Fuller, ac eto, yn amlwg, yn ffrwyth ymchwiliad uniongyrchol a manwl yr awdwr ei hun. Nid ydyw y bregeth arall, a geir yma, yn cyffwrdd dim â'r ddadl.

Yn mhen ychydig wythnosau ar ol cyhoeddiad y Pregethau hyn, gan Mr. J. P. Davies, sef, yn "*Seren Gomer*," am Ebrill, 1822, *tu dal.* 93—

102, fe ymddangosodd Sylwadau o'r un natur ar "Iawn Crist," yn y ffurf o "Gydymddyddan rhwng Ruffus a Silas," gan Ohebydd a'i galwai ei hunan, "*Silas Glan Dyfrdwy.*" Yr oedd yr un Gohebydd wedi ysgrifenu o'r blaen, yn yr un dull, ar y "*Ddeddf Foesol,*" yr hyn a gyhoeddasid yn y "*Seren*" am Tachwedd, 1821, *tu dal.* 328—330. Y *Silas* hwn oedd Mr. Richard Foulkes, gweinidog y Bedyddwyr yn y Cefn Bychan, Sir Dinbych. Yr oedd efe yn frodor o Lannefydd, wedi ei eni yno yn y flwyddyn 1784. Pan yn lled ieuanc fe symmudodd i fyw i Ddinbych; ac, yn y flwyddyn 1804, fe ymunodd âg eglwys yr Annibynwyr yno. Annogid ef gan yr eglwys hono i ddechreu pregethu, ac i feddwl ymroddi i'r weinidogaeth; ond yr oedd cyfnewidiad, erbyn hyn, wedi cymmeryd lle yn ei olygiadau ar Fedydd. Yn ganlynol i'r cyfnewidiad hwn, wedi ymadael â'i hen frodyr mewn heddwch, fe ymunodd, yn 1807, â'r Bedyddwyr; ac, o fewn corph yr un flwyddyn, fe ddechreuodd bregethu yn eu plith hwy. Nid ydym yn gwybod yn mha le yr ymsefydlodd gyntaf fel gweinidog; ond, yn y flwyddyn 1820, aeth i'r Cefn Bychan; ac mewn cysylltiad â'r eglwys yno, ac yn Mhen y Cae, ymroddodd i lafurio yn nodedig o ffyddlawn,—yn ol ei allu ac uwchlaw ei allu,—a chydâ graddau mawr o lwyddiant, am yr ychydig amser a ganiatäwyd iddo ar y maes. Wedi cystudd maith a thrwm iawn, efe a fu farw, a'i feddwl yn llawn o dangnefedd yr efengyl, ar ddydd Sadwrn, Mai 3, 1823, gan adael gweddw a thri o blant bychain, ac eglwys oedd yn nodedig o hoff o hono, i alaru ar ei ol. Claddwyd ef yn mynwent Pen y Cae. Pregethodd Mr. Robert Williams, Glyn, yn y tŷ cyn cychwyn tua'r gladdfa, oddiar 2 Sam. iii. 38; a Mr. John Edwards, Rhuthin, yn Nghapel Pen y Cae, oddiar Ioan vi. 40. Traddododd Mr. Ellis Evans, Cefn Mawr, araeth fywiog ac effeithiol wrth lan y bedd; a gadawyd gweddillion marwol *Silas* i orwedd yno hyd "yr adgyfodiad yn y dydd diweddaf." Yr oedd rhagoriaethau neillduol yn perthyn iddo fel ysgrifenydd ac fel dadleuwr. Yr oedd y pynciau yr ymdrinid ganddo â hwynt yn hollol eglur i'w feddwl ef ei hunan, ac y mae yn hawdd gweled nad oedd ganddo un-rhyw amcan, wrth ysgrifenu, ond eu gwneuthur felly i ereill. Yr oedd yn gwbl onest yn ei ymofyniad am y gwirionedd; ac yn ëon a diofn i'w draethu, pa mor groes bynnag y gallai fod i olygiadau y rhai a berchid yn fwyaf ganddo; ac, ar yr un pryd, yr oedd yn annghyffredin o ofalus nad arferai gymmaint ag un gair a allasai fod yn achlysur cyfreithlawn

tramgwydd na gofid i neb. Mae y syniadau a ddysgir ac a amddiffynir ganddo yntau agos yr un a'r eiddo Mr. Fuller; ond wedi eu trwytho yn, ac, felly, yn dwyn arnynt yn eglur ddelw neillduol ei feddwl ef ei hunan. Ei amcan arbenig, yn yr ysgrif gyntaf hon ar yr Iawn, yn y "*Seren*," ydoedd gosod allan ei natur, neu "yr hyn y mae iawn ynddo ei hun yn ei gynnwys." Mae yn ei esbonio fel yr hyn sydd yn "rhoddi i'r llywodraeth, dros droseddwr, i berffeithrwydd, yr hyn a gawsai hi, trwy i'r gyfraith redeg ar yr euog ei hun; neu roddi yr hyn a atebai yn y llywodraeth ddybenion cospedigaeth y cyfryw drosedd i'r un perffeithrwydd, a phe cospid y drwgweithredwr yn ol haeddiant ei drosedd." Y mae, er eglurhau a chadarnhau y golygiad hwn, yn gwneuthur llawer o sylwadau rhagorol yn erbyn y dybiaeth, mai "graddau y boen a ddyoddefwyd, a hyny yn ol trefn mesur, rhif, a phwysau, megis tâl o arian dros ddyledwr, oedd yn gwneyd iawn:"—"Pe mewn graddau o ddyoddefaint yn unig y buasai iawn yn gynnwysedig, afreidiol fuasai i'r Person Dwyfol ymuno â dynoliaeth mewn trefn i roddi iawn, oblegyd gallasai yr un mor hawdd, trwy yr un gallu anfeidrol, gynnal person dynol dan y dyoddefiadau yr aeth trwyddynt; ar yr un pryd, gofygu yr wyf i Grist ei hun ddyoddef fel pe buasai efe y penaf o bechaduriaid; ac i holl ganlyniadau pechod gydymgyfarfod arno ar y groes; a thrwy fawredd y Person a ddyoddefodd fel hyn, atebwyd dybenion cospedigaeth yn helaethach yn y llywodraeth ddwyfol nâ phe cawsai yr holl fydoedd perthynol iddi edrych ar fŵg poenedigaeth y natur ddynol yn derchafu i fyny yn oes oesoedd; canys yr oedd *efe* yn fwy yn nghyfrif y llywodraeth nâ holl ddynolryw yn un: ac ni buasai y gyfraith yn myned un gradd dros derfynau cyfiawnder, yn marn y llywodraeth, pe buasai yn rhedeg ar holl ddynolryw i ddiogelu anrhydedd y person hwn; ond aeth gras a thrugaredd dros derfynau meddwl angel a seraff, wrth osod y Person hwn yn iawn dros bechod dyn. Ac y mae gweled Iesu dan hoelion yn argraffu parch i lywodraeth Duw, ac arswyd sanctaidd i droseddu yn ei herbyn yn ddyfnach ar feddyliau saint ac angelion nag y gallasai un weinidogaeth arall byth wneuthur: a byddant i dragywyddoldeb yn chwennych edrych ar y weithred hon i ryfeddu gras a thrugaredd, gan ddywedyd, 'O ddyfnder golud doethineb a gwybodaeth Duw!'"

Er cyfarfod yr wrthddadl sydd yn cyfodi yn naturiol oddiwrth ei olygiad ef ar yr iawn, megis darpariaeth tuag at ddiogelu y llywodraeth

ddwyfol, er maddeu i'r troseddwr, yn codi nid oddiar faint y dioddefiadau yr aeth tanynt ond oddiar fawredd y Person a ddioddefodd, yn erbyn yr angenrheidrwydd am ufudd-dod Crist yn ei fywyd, "yn fwy nâ phe buasai yn ymddangos yn y boreu, a dyoddef prydnawn yr un dydd ar Galfaria," y mae yn sylwi fel y canlyn :—"Dywedwyd o'r blaen mai nid mewn dyoddef yn unig yr oedd iawn yn gynnwysedig, ond mewn bod y *cyfryw un* yn dyoddef y cyfryw ddyoddefiadau ; ac ni buasai CRIST y cyfryw un wrth ddyoddef, pe na buasai ufydd-dod ei fywyd wedi blaenori ei ddyoddefaint ; ac ni buasai ei ufydd-dod dyoddefol yn ateb y dybenion i'r un graddau, canys ni buasai felly y cyfryw UN wrth ddyoddef, canys yr oedd ufydd-dod ei fywyd yn rhoddi cymeriad (*y cyfiawn*) iddo yn nghyfrif y llywodraeth ddwyfol, ac yn peri bod y ddeddf foesol yn wynebu arno yn ei haddewid o amddiffyniad a gwobrwyad y cyfiawn : ac yr oedd ei ufydd-dod yn peri bod ei anrhydedd, ei amddiffyniad, a'i wobrwyad, yn achos o gyfiawnder yn y llywodraeth. A'i ystyried yn ei gymeriad moesol yn *unig*, ni buasai (yn un syndod) ond dysgwyliad holl fydoedd Duw, weled y llywodraeth ddwyfol yn ei holl awdurdodau yn ymddangos yn mrawdlys Calfaria i'w amddiffyn a'i anrhydeddu ef. Ond, er syndod tragywyddol i bawb, gwelwyd yno y Cyfiawn, o'i fodd, yn dyoddef yn lle yr anghyfiawn, fel y dygai ni at Dduw. Pe buasai efe ond dyn yn unig, buasai ei ddyoddefiadau o ryw effeithiau mawr ; ond pan ystyriom fawredd ei berson fel Mab Duw, nid oes genym ond tewi, neu ddywedyd bod rhinweddau ac effeithiau ei ddyoddefaint, mewn uchder, dyfnder, hyd, a lled, yn anfeidrol. Hwn, yn mawredd ei berson, a'i gymeriad moesol, a osododd Duw yn iawn."

Mae gweddill yr ysgrif wedi ei bwriadu i ddangos, yn gymmaint ag nad ydyw yr iawn o natur fasnachol, ond moesol, felly nad ydyw, ynddo ei hunan, yn gwneuthur rhyddhad y rhai y rhoddwyd ef drostynt yn achos o gyfiawnder yn y llywodraeth ddwyfol. Mae ei holl ymresymiadau ar hyn yn arddangos llawer o graffder, ac y mae *rhai* o'i Sylwadau yn dra phwysig : ond nid ydyw, dybygem ni, yn talu sylw digonol i'r elfen *haaddiannol* yn aberth y Cyfryngwr mawr—yr hyn a deilyngwyd ganddo, ac felly yr hyn sydd gyfiawn iddo, fel Meichnïydd, yn offrymu ei hunan, yn bridwerth dros ei bobl, yn ol yr ymrwymiad yr oedd tano, ar eu rhan, rhyngddo a'i Dad—ac felly fod ei iawn, ynddo ei hunan, yn sicrhau *iddo ef* eu cadwedigaeth hwy, ar dir

*cyfiawnder*, megis gwobr fawr llafur ei enaid. Ond, er ysgar fel hyn rhwng yr iawn *ynddo ei hunan* ac angenrheidrwydd cadwedigaeth, yr oedd yn mhell o feddwl nad oes un sicrwydd, ond a gyfyd o ewyllys dyn, am gadwedigaeth neb trwyddo. Yn atebiad i ofyniad *Ruffus*,—"Gan nad yw iawn Crist yn dal perthynas uniongyrchol rhwng rhyddhad a phersonau y cyfryw ag y rhoddwyd yr iawn drostynt, pa sicrwydd sydd genym y cedwir neb trwy y cyfryw iawn?" efe a ddywed,—"Mae genym sicrwydd mawr, canys y mae Duw wedi ethol i iachawdwriaeth, trwy yr iawn, dyrfa nas dichon neb eu rhifo; ac y mae wedi eu rhoddi i ofal ei Fab, ac y mae yntau wedi myned tan adduned fechniol mewn perthynas iddynt, na chollai ddim o honynt, ond y byddai iddo eu hadgyfodi yn y dydd diweddaf: am hyny, dros Grist y mae y cenhadon yn erfyn ar i ddynion gymodi â Duw, canys efe sydd dan adduned i'w cymodi. Gwel, gan hyny, fy nghyfaill *Ruffus*, bod iawn Crist gwedi rhoddi y fath foddlonrwydd i lywodraeth Duw, fel nad oes yn aros un anmhosiblrwydd naturiol, yn tarddu o natur trefn Duw, i'r penaf o bechaduriaid i fod yn gadwedig; ond bod yr holl anhawsdra yn tarddu o ddiffyg cyd-darawiad yn meddwl y pechadur ei hun â threfn Duw o achub. Gwel hefyd bod etholedigaeth gras, arfaeth, a chyngor Duw, yn nghyd âg adduned fechniol Iesu, a gweinidogaeth yr Ysbryd Glan, yn sail digonol i benderfynu na chaiff y rhwystr sydd yn nghalon pechadur ddim peri i drefn Duw fyned yn ofer; ond y daw pechaduriaid wrth y miloedd i dderbyn y cymod, a maddeuant, yn enw yr iawn."

Bu cyhoeddiad yr Ysgrif hon o eiddo *Silas* yn achlysur dechreuad dadl yn "*Seren Gomer*," yr hon a barhäodd, gyda brwdaniaeth mawr, am fisoedd lawer; ac nid oedd un arwydd ei bod ar ddarfod, ond yn hytrach i'r gwrthwyneb, ac yn myned yn fwyfwy personol, pan y rhoddodd y Golygydd derfyn arni. Y cyntaf a ddaeth allan yn ei erbyn oedd Gohebydd a'i galwai ei hunan "*Uwch-galfiniad*," mewn Ysgrif yn y "*Seren*" am Mai, 1822, *tu dal.* 138, 139. Y mae hwn yn amddiffyn, yn erbyn *Silas*, y golygiad y dadleuai Mr. Christmas Evans drosto, yn nghylch bod Crist wedi dioddef mwy dros rai o'i bobl na'u gilydd, a "bod *graddau* dyoddefaint Crist hefyd yr un faint ag a ddylai fod graddau eu dyoddefiadau hwy." Y mae yn myned yn mhellach, ac yn dywedyd,—"Yn wir clywais ddyn *mawr iawn*, yr hwn sydd yn gwneyd esponiad Cymraeg ar y Bibl" [gan gyfeirio,

y mae yn eglur, at Mr. John Jenkins, Hengoed], "yn dweyd nad oedd Iawn Crist a phregethiad yr efengyl yn perthyn dim mwy i'r anetholedig nag i'r cythreuliaid." Y mae yn dywedyd yn mhellach :— "Fel y gallwyf osod fy mhwynt tu hwnt i ammheuaeth, dywedodd dyn arall o awdwr poblogaidd, ar ei bregeth wrth y gynnulleidfa, 'Pe gwyddwn fod yr holl etholedigion sydd yma wedi credu, dywedwn *Amen.*'" Y mae holl dôn y Llythyr hwn yn arwyddo nad oedd yr Ysgrifenydd mewn un modd o ddifrif, ond mai gwisgo cymeriad *Uwch-galfiniad* yr ydoedd, er mwyn dynoethi y Gyfundraeth, a'i gosod allan yn yr hyn a olygai efe ei holl erchylldra. Ac, mewn gwirionedd, fel y cafwyd allan, y mae yn ymddangos mai Mr. J. P. Davies, Tredegar, ydoedd; yr hwn oedd ei hunan wedi dioddef cymmaint oddiwrth "Uchel-Galviniaid," fel nad ydoedd yn ystyried unrhyw foddion, braidd, a ellid ddefnyddio ganddo, yn annhêg, os llwyddai i arddangos gwrthuni eu hathrawiaeth hwy.

Yn y "Seren" am y Mehefin canlynol, fe ymddangosodd dau Lythyr yn Atebiad i *Silas;* un gan Ohebydd a'i galwai ei hunan,—"*Aelod gydâ'r Trefnyddion Calfinaidd*" (*tu dal.* 173—175), a'r llall, gan Mr. William Jones, Pwllheli (*tu dal.* 175—178). Y mae Llythyr yr *Aelod* yn cynnwys Sylwadau ar ddwy Ysgrif *Silas*, yr un ar y "Ddeddf Foesol," yn gystal a'r un ar "Iawn Crist." Nid oedd yr *Aelod* druan! prin yn deall elfenau cyntaf Duwinyddiaeth; ac nis gallwn lai na'i golygu yn gryn golled i'r gwirionedd, yn meddwl ein cenedl ar y pryd ac eto, na buasai rhyw un, â rhyw faint o allu ganddo, wedi dyfod allan yn y "*Seren*" i amddiffyn syniadau gwirioneddol y "Trefnyddion Calvinaidd," ar y pynciau y dadleuid yn eu cylch. Yr oedd yr *Aelod* yn llawer galluocach i ddifenwi a difrïo nag ydoedd i hyny: ac anffawd fawr i'r "Trefnyddion" oedd fod y fath un wedi ymyryd dim â'r ddadl, yn rhith gosod allan eu golygiadau hwy. Clywsom rai yn awgrymu, y gallai mai rhyw un o bleidwyr *Silas* oedd hwn eto, yn cymmeryd arno, fel yr *Uwch-Galfiniad*, ymosod yn ei erbyn, er mwyn dangos mwy o wrthuni y golygiadau a wrthwynebid ganddo. Ond prin yr ydym ni yn tueddu i dybied hyny. Yr oedd, y mae yn debyg, yn mhlith y "Trefnyddion Calfinaidd," y pryd hyny, fel y mae eto, liaws o *Aelodau*, megis yn mhlith yr enwadau ereill, heb ond ychydig ddeall am gredo cyffredin eu Cyfundeb eu hunain; a'r rhai hyny, braidd yn ddieithriad, yw y rhai parotaf i ammeu iachusrwydd ffydd

eu cyd-aelodau, ac i gondemnio yn haerllug a digywilydd ffydd pleidiau ereill. Ac y mae agos yn sicr genym mai un o'r cyfryw oedd yr "*Aelod*" hwn.

Y mae Llythyr Mr. William Jones, Pwllheli,* wedi ei ysgrifenu mewn ysbryd llawer mwy Cristionogaidd, ac mewn iaith gryn lawer yn wedd-eiddiach, na'r eiddo yr "*Aelod gydá'r Trefnyddion Calfinaidd.*" Ond y mae yn amlwg nad oedd yntau ond newyddian hollol yn y pwnc, ac nad oedd ond anmharod iawn i gyfarfod un oedd wedi cynnefino cymmaint âg ef, ac mor alluog ynddo, ag ydoedd *Silas.* Eto y mae ei lythyr cyntaf hwn ar y ddadl yn cynnwys rhai sylwadau gwerthfawr; ac y mae ei amcan i gael syniad gwahanol am *natur* yr Iawn, i'r un a ddysgid gan *Silas*, oddiwrth—" y cysgodau dan yr hen oruchwyliaeth," —oddiwrth dystiolaeth yr ysgrythyrau am "farwolaeth Crist nid yn unig yn aberth dros bechod, ond hefyd yn bridwerth dros bechaduriaid,"—ac, oddiwrth y cydweddiad a gydnabyddir ac a ddysgir yn yr ysgrythyrau rhwng cyfiawnder a gras yn iachawdwriaeth pechaduriaid, "trwy y prynedigaeth sydd yn Nghrist Iesu," yn ddeheuig a naturiol, ac, yn y *cyfeiriad* uniawn, o leiaf, i gael gafael ar feddwl gwirioneddo' Ysbryd Duw ar y pwnc.

Yn y "*Seren*" am Gorphenaf (*tu dal.* 201—203), fe ymddangosodd Llythyr oddiwrth *Silas* yn "*Atebiad i Ysgrif Aelod gyda'r Trefnyddion Calfinaidd.*" Nid oedd i *Silas* ond gorchwyl bychan gydâ'r brawd hwn; ac fe wnaeth anrhaith o hono mewn ychydig amser, a hyny, yn arbenig, trwy droi cleddyf Mr. Elias yn ei erbyn. Y mae yn dyfynu rhai brawddegau o Draethawd Mr. Elias ar Gyfiawnhad, er dangos ei fod ef yn dysgu yn hollol yr un golygiadau am y "Ddeddf Foesol," ag a gondemniasid gan yr *Aelod* fel rhai cyfeiliornus. Mae yn ddiammheuol genym fod y rhanau a ddyfynir ganddo, ac y cyfeiria atynt yma, o'r Traethawd hwnw, i *Silas*, fel yr oeddent, ar y pryd, i liaws ereill o'r rhai oeddent o'r un syniadau âg ef, yn "ysglyfaeth lawer;" yn gymmaint ag nad oedd odid neb, o'r blaid wrthwynebol, yn ammeu nad oedd efe yn ddigon iach yn y ffydd. Y mae y llythyr hwn, er mor eiddil oedd y sawl yr ymosodid ynddo yn ei erbyn, yn engraifft brydferth o'r ysbryd llednais a lywodraethai *Silas*, yn gystal ag o'i feistr-

* *Druggist* ar y cyntaf, wedi hyny Masnachwr mawr mewn coed a llongau, oedd Mr. Jones yn Mhwllheli, a thad Mr. Griffith Jones, sydd yno felly yn awr. Yr oedd yn wr tra charedig a haelionus; ac yn aelod a diacon, gweithgar annghyffredin, yn eglwys y Bedyddwyr yno. Yr oedd yn Ohebydd cyson i "*Seren Gomer,*" yn ei blynyddoedd cyntaf; a phrin yr elai mis heibio heb lythyr ynddi oddiwrtho, ac ambell fis fe geid dau neu dri.

olaeth hollol ar ei bwnc, yn y wedd a gymmerid ganddo ef arno, a'i allu annghyffredin i godymu ei wrthwynebwr.

Yn y "*Seren*" am Medi (*tu dal.* 263—267), fe ddaeth *Silas* allan drachefn, gydâg—"*Ateb i Lythyr W. J., Pwllheli.*" Y mae, yn yr "*Ateb*" hwn, yn cydnabod hynawsedd ysbryd ei wrthwynebwr, yn ei Sylwadau ar ei Ysgrif gyntaf ef ar yr Iawn; ond y mae yn dadleu fod yn gwbl eglur nad oedd yn deall ond ychydig ar y pwnc, yr ydoedd,—"yn mhoethder ei ysbryd a'i zêl," wedi "anturio yn fyrbwyll i'r frwydr" o'i blegyd, "cyn ystyried a allasai efe wrthsefyll ei wrthwynebwr, ac amddiffyn ei hun ar y maes." Y mae yma, er amddiffyn y golygiad a roddasid ganddo ar *natur* yr Iawn, megis darpariaeth er "ateb dybenion cospedigaeth dragywyddol yn y llywodraeth ddwyfol," yn cymmeryd gofal manwl i geisio dangos y gwahaniaeth rhwng y golygiad masnachol ar brynedigaeth a'r golygiad moesol, ac yn dyfod i'r penderfyniad y gwelsom eisoes (*tu dal.* 462, 463), y daethai Mr. Roberts, Llanbrynmair, iddo, mai—"wrth brynedigaeth pechaduriaid, yn ol yr ysgrythyrau, y meddylir, nid y pridwerth a roddodd Crist ar Galfaria yn unig, ond y rhyddhad ag mae pechaduriaid yn ei gael trwy y cyfryw bridwerth." Yn awr, yr hyn y dadleuai Mr. William Jones drosto oedd, fod prynedigaeth, yn iaith yr ysgrythyrau, yn cynnwys y naill yn gystal a'r llall o'r rhai hyn, hyny yw, yn gymmaint a bod y naill yn sicrhau y llall; ac nid ydym ni yn gweled fod atebiad *Silas* i'r wrthddadl yn ei erbyn, oddiwrth dystiolaeth bendant yr ysgrythyrau am farwolaeth Crist fel pridwerth dros bechaduriaid, mewn un modd yn ddigonol er prawf, nad ydyw y *pridwerth*, neu y rhan gyntaf o'r prynedigaeth, *ynddo ei hunan, ac ystyried yr achos rhwng y Cyfryngwr mawr a'i Dad*, yn sicrhau y rhan olaf, neu ryddhâd gweithredol y rhai y meichnïodd ar eu rhan, y gosodwyd ef yn neillduol drostynt, ac y bu, yn ystyr briodol y gair, farw yn eu lle.

Yn yr un rhifyn o'r "*Seren*," Medi, 1822 (*tu dal.* 267, 268), daeth yr "Aelod gyda'r Trefnyddion Calfinaidd" allan, gydâg—"*Atebiad i Ysgrif Silas Glan Dyfrdwy.*" Y mae yr *Aelod* druan! yn yr Ysgrif hon, yn myned yn ddyfnach ddyfnach i'r pwll. Ar ol y profion a ddygasid gan *Silas*, o'i fod, yn ei Ysgrif flaenorol, wedi condemnio yr hyn a ddysgid mor bendant a chryf gan Mr. Elias, yn ei Draethawd ar Gyfiawnhad, y mae, yn yr "Atebiad" hwn, tra yn edliw i *Silas*, ei fod—"yn lle defnyddio y Bibl, yn codi gwaith dynion ffaeledig i brofi ei

bwnc,"—ei hunan, er gwrthwynebu Mr. Elias, yn syrthio i'r un peth; gan gadarnhau ei olygiadau yn unig âg "ymadroddion y duwiol a'r dysgedig Dr. Gill, fel y gosodwyd hwynt i lawr yn y Palas Arian,"—llyfr a gyhoeddasid gan Mr. John Jenkins, Hengoed;—ac, ar ol eu dyfynu, y mae yn gwaeddi,—"Yn awr, barned yr holl Dywysogaeth pa un ai *Silas* ai myfi sydd gyfeiliornwr yn y pwnc uchod." Yna, y mae yn myned rhagddo i ddannod i *Silas*, ei fod ef, gydâg ereill, "yn arfer dywedyd llawer yn erbyn y pwnc rhagorol hwnw, sef mai gras ydyw sylfaen dyledswydd;" ac, yn datgan ei olygiad ei hunan, mai—"mwy priodol ydyw barnu nad oes gan y ddeddf un awdurdod i rwymo neb i garu Duw, ond y rhai hyny sydd wedi cael y fraint o'i darllen neu ei gwrando." Ond y gwirionedd yw, nad ydyw dadleuon yr ysgrifenydd hwn yn teilyngu unrhyw sylw. Yn wir, yr ydym, erbyn hyn, braidd yn tueddu i dybied nad ydyw mor annhebygol, ag yr awgrymasom uchod, mai rhyw un o'r un golygiadau â *Silas*, oedd yma yn ysgrifenu, dan *gochl* Uchel Galvin, er mwyn gosod allan yr athrawiaeth, a wrthwynebasid ganddo ef, yn y wedd fwyaf annghymmeradwy arni; pa fodd bynnag, ni a allwn fod braidd yn sicr na buasai *Mr. Harris* byth yn gadael i ysgrifeniadau mor salw ymddangos yn y "*Seren*," oni buasai fod amcan felly mewn golwg ganddo ef. Ond prin yr oedd yn deg caniatau iddynt ymddangos o gwbl dan enw ffugiol, oedd yn tueddu i gamddarlunio golygiadau, a gwarthruddo cymeriad corph o bobl, yr ydoedd yr awdwr, y mae yn amlwg, pa un bynnag ai mewn rhith ai mewn gwirionedd, yn llawer mwy cydnabyddus âg ysgrifeniadau Mr. John Jenkins, a'i gyffelyb, nag ydoedd â *Phregethau* Rowlands, *Hymnau* Williams, *Geiriadur* a *Thrysorfa* Charles, a'r llyfrau ereill, a gydnabyddid o ryw awdurdod yn eu plith hwy.

Cyn cyhoeddiad y ddau lythyr diweddaf yma, a fuant dan ein sylw, sef, yn y "*Seren*" am Awst, 1822 (*tu dal.* 236—238), fe ymddangosodd llythyr ar "*Iawn Crist*," gan Mr. John Jenkins, Hengoed, awdwr "*Gweledigaeth y Palas Arian*," ac hefyd "*Esboniad ar yr Holl Fibl.*" Nid oes angenrheidrwydd am i ni gyfeirio dim at ei hanes ef, gan fod cyfrol helaeth, i'r amcan hwnw, wedi ei chyhoeddi yn Nghaerdydd, yn y flwyddyn 1859, dan olygiad ei feibion; yr hon hefyd sydd yn cynnwys y Traethodau a ysgrifenwyd ganddo ar wahanol destynau, yn nghydâg ychydig nifer o'i Bregethau. Yr oedd yn wr a ystyrid, gan y rhai a'i hadwaenent ef oreu, fel un gwir grefyddol, ac yr ydoedd yn un o gy-

frifoldeb a dylanwad mawr yn mhlith un dosbarth yn mysg ei frodyr: ond yr ydoedd yn Fedyddiwr o'r fath gaethaf, ac yn hynod o uchel a chyfyng yn ei olygiadau athrawiaethol. Yr oedd yn adnabyddus fel gwrthwynebwr penderfynol a chryf i'r golygiadau a elwid "*Ffwleriaeth,*" ac yr oedd, ryw fodd, yn nodedig o annghymmeradwy gan bleidwyr y golygiadau hyny, yn neillduol yn y Cyfundeb y perthynai ei hunan iddo. Y mae yn y llythyr hwn o'i eiddo, yn y "*Seren,*" fel pe buasai heb wybod yn iawn pa beth i'w gymmeryd dan sylw, ac yn erbyn pwy i ymosod: a thra yn gwybod mai ffug-wrthwynebwr i *Silas* oedd yr hwn a'i galwai ei hunan yn *Uwch-galfiniad,* y mae, er hyny, yn ymddangos yn hytrach yn fwy awyddus i'w amddiffyn ei hunan yn erbyn rhyw bethau a haeresid gan hwnw am dano ef, nag i amddiffyn y gwirionedd am "*Iawn Crist*" yn erbyn yr hyn a olygai efe yn gamddarluniadau o eiddo *Silas* ar y pwnc hwnw. Y mae, yn wir, yn ymesgusodi am hyny, yn gymmaint ag na buasai y fath orchwyl ond afreidiol, wedi y "Sylwadau difrifol ar ei lythyr yn *Seren Mehefin*, gan un o'r *Trefnyddion*, a *W. J., Pwllheli.*" Ond nid ymddangosai y *Trefnyddiad* iddo ef fel un "yn amgyffred golygiadau *Silas*, mewn perthynas i *Iawn Crist*, nid yn unig o herwydd ei ddull yn ateb *Silas*, ond hefyd ei waith yn coffhau Traethawd *T. Jones*, o *Ddinbych*, yn ei erbyn ef, yr hwn," meddai, ac y mae yn werth sylwi ar y ddedfryd! "pe buasai yn meddu rhyw farn gyfanedd am Brynedigaeth, oedd yn agos yr un olygiadau a Silas ei hun." Ond, er nad oedd y *Trefnyddiad* yn "amgyffred" yr hyn yr ymosodai yn ei erbyn, fe'i canmolir, ei fod—"yn ergydio yn gywir at y nôd, yn ol grym ei fwa; ac wedi archolli mor ddwfn, fel nad" oedd "*Silas* wedi gallu iachau ei hun, er cymmeryd arno wneyd hyny." A chyda golwg ar waith *Silas*, yn defnyddio ymadroddion o eiddo Mr. Elias i wrthwynebu yr *Aelod*, nid oedd—"fawr gwell na dangos peth gwendid wrth gyhoeddi y *Trefnyddiad* gwan yn euog o anghytuno â barn argraffedig *J. Elias*, fel pe buasai yn golygu y buasai gŵg hwnw mor ddychrynadwy i'r creadur tlawd a gŵg ei Farnwr." Ond y mae yn ymorfoleddu yn y rhagolwg ar y tribini a'r penbleth y byddai *Silas* ynddynt, pan yn ceisio ateb y brawd arall, a ddaethai allan yn ei erbyn:—"Os cafodd *Silas* gymmaint trafferth a llenwi tri wyneb llen o'r SEREN, i geisio cadwyno un o *Aelodau gweinion y Trefnyddion Calfinaidd*, pa fodd yr ymdery wrth dalu ei fygythiad i rwymo y cadarn hwnw, *W. J., Pwllheli?* yr hwn, yn SEREN Mehefin,

sydd yn dymchwelyd ei holl resymau anianol ef; gan ymwisgo ag athrawiaeth y gwirionedd dwyfol, i'r hon athrawiaeth, yn nghyd ag i bawb sydd yn ei chredu, y mae Duw yn graig, yn dŵr cadarn, yn da..-ian, ac yn amddiffynfa dragywyddol."—Yr oedd rhan arall i'r llythyr hwn, yn rhoddi darluniad o athrawiaeth Mr. Fuller, ar y pwnc y dadleuid arno. Gadawwyd y rhan hono allan, gan y Golygydd, o'r "*Seren*" am y mis Awst, ac fe'i cyhoeddwyd, megis llythyr arall, yn y rhifyn am Medi (*tu dal.* 268—271), dan yr enwad—"*Ffwleriaeth.*" Y mae ei syniadau yma yn hynod o uchel, a'i iaith yn dra anochelgar; megis, pan yn condemnio y syniad a briodolir ganddo i Mr. Fuller, "fod aberth Crist yn ddigonol ynddo ei hun i achub pawb eto na fwriadwyd mo hono ond i achub yr etholedigion yn unig;" a phan yn dysgu "ein bod trwy farwolaeth Crist mewn pryd drosom, wedi ein cyfiawnhau, cyn ein hachub yn weithredol." Mewn gwirionedd, nid ydym ni yn canfod dim yn y naill na'r llall o'r llythyrau hyn, yn tueddu at roddi un gradd o oleuni newydd ar y pwnc dan sylw, nac un amcan arbenig ac uniongyrchol at hyny, nac unrhyw brawf neillduol o ddim gallu annghyffredin, yn yr awdwr, at ddim o'r fath, pe buasai y fath amcan mewn golwg ganddo.

Yn y "*Seren*" am Hydref (*tu dal.* 294—296), yr ydym yn cael dau Lythyr, a gyfenwir "*Helaethrwydd yr Iawn,*" yn cynnwys "*Sylwadau ar Lythyr J. Jenkins;*" un gan Ohebydd a'i galwai ei hun, "*M. b. Dewi Ddu,*" a'r llall gan "*Uwch-galfiniad.*" Daeth yn fuan yn adnabyddus mai yr un gwr oedd y ddau hyn, ac mai Mr. John Phillip Davies, Tredegar, ydoedd hwnw. Ac y mae yn ddrwg iawn genym fod yr awdwr wedi cymmeryd ei demtio gan ysbryd trahaus, a thôn daeogaidd, a geiriau celyd, yr hwn yr ysgrifenai yn ei erbyn, i ymollwng ei hunan i ysbryd ac iaith ddifrïawl arno; yn gymmaint felly, fel nad oes, yn y naill na'r llall o'r llythyrau hyn, un amcan i fyned i mewn i'r pwnc oedd yn destyn dadl, ond y maent braidd yn gwbl yn cael eu gwneyd i fynu o ogan a gwawd personol.

Yn y "*Seren*" am Tachwedd, 1822, fe ymddangosodd pedwar o lythyrau ar y ddadl hon. Y mae y cyntaf ar "*Ffwleriaeth*" (*tu dal.* 323—326), ac yn cynnwys—"*Sylwadau ar rai pethau yn Ysgrif J. Jenkins,*" oddiwrth Ohebydd a'i galwai ei hunan "*Mab Dewi Ddu.*" Yr un gwr oedd hwn eto ag "*Uwch-galfiniad*" a "*M. b. Dewi Ddu,*" sef, Mr. J. P. Davies, Tredegar. Yr oedd yr ysgrifenydd, y mae yn amlwg,

yn teimlo yn ddwys oblegyd fod Mr. J. Jenkins, yn ol ei feddwl ef, "wedi dweyd, gyda rhyddid dychrynllyd, anwireddau lawer am was ffyddlon, llafurus, a diludded o eiddo Crist, ac wedi gosod pawb sydd o'r un farn ag ef heb 'wahaniaeth sylweddol rhyngddynt a'r bobl a elwir yn Sociniaid, mewn perthynas i farwolaeth Crist;'" ac y mae y llythyr hwn yn cynnwys amddiffyniad galluog iawn i Mr. Fuller, allan o'i ysgrifeniadau ef ei hunan, yn erbyn y camddarluniadau a wnelsid o'i syniadau.

Y mae y llythyr nesaf yn y rhifyn hwn ar "*Iawn Crist*" (*tu dal.* 326, 327), yn cynnwys "*Sylwadau ar rai pethau yn Ysgrif J. Jenkins,*" gan "*Edcyrn Mon,*" enw y cyfarfyddir ag ef yn fynych, yn nghyfrolau cyntaf "*Seren Gomer,*" a'r "*Dysgedydd,*" mewn cysylltiad â'r amrywiol ddadleuon a ffynent yn ein gwlad. Y gwr hwn oedd y diweddar Mr. John Roberts, Pandy Cefn Coch, Llanfechell, Sir Fôn. Yr oedd yn aelod eglwysig, ac yn ddiacon ffyddlawn a gweithgar, mewn capel bychan perthynol i'r Annibynwyr, a adeiladasid ganddo yn benaf ar ei draul ei hunan, yn gyfagos i'w gartref; ac yr ydoedd hefyd yn un a berchid yn fawr gan y wlad o'i amgylch. Yr oedd yn wr hynod o dawel a hawddgar a mwynaidd, yn ei gyfeillach; o feddwl craffach o lawer na'r cyffredin; ac eto yn un, er ei holl fwyneidd-dra, nas gallai braidd byth fod yn llonydd, os byddai unrhyw ddadl yn myned rhagddi, yn y "*Seren,*" neu yn y "*Dysgedydd,*" heb gymmeryd rhan ynddi. Mae ei amcan, yn y llythyr yn awr ger ein bron, yn gyffelyb i'r eiddo *Mab Dewi Ddu*, yn ei lythyr yntau, sef, cywiro rhai cam-gymmeriadau yr oedd Mr. John Jenkins, yn ei fryd ef, wedi syrthio iddynt, yn y darluniad a roddasid ganddo o "*Ffuleriaeth,*" ac, yn neillduol, o'r Gyfundraeth hono fel ag yr oedd wedi ei gosod allan gan *Silas*. Ond nid oes nemawr ddim yn y llythyr yn galw am gyfeiriad ato, na *dim*, hyd y gwelwn ni, yn tueddu i daflu un goleu newydd ar y ddadl; er ei fod yn taro yn uniongyrchol ar rai pethau gwrthun ac anysgrythyrol, yn ngolygiadau y gwr y mae ei Ysgrif ganddo dan sylw.

Mae y llythyr nesaf yn y rhifyn hwn (*tu dal.* 327—331), yn cynnwys—"*Nodiadau ar Lythyrau J. Jenkins, yn nghyd a Chynnygiad i egluro y Pwnc mewn Dadl,*" gan *Silas Glandyfrdwy*. Dyma y llythyr diweddaf i *Silas* ar y ddadl, a'r diweddaf, adnabyddus i ni, a gyhoeddwyd o'i eiddo ar unrhyw bwnc. Fe ysgrifenodd lythyr arall, ac fe'i hanfonwyd ganddo i'r "*Seren*;" ond yr oedd y Golygydd, erbyn hyny,

wedi penderfynu rhoddi terfyn ar y Ddadl, yn y wedd oedd arni, a chyhoeddi gwaith Mr. Fuller ei hunan yn y Gymraeg; ac fe anfonodd y llythyr yn ol i *Silas*, fel y gallai efe ei newid, os barnai yn addas, yn atebol i ansawdd y ddadl ar ol hyny. Mae yn ddrwg genym na buasai yn ei gyhoeddi fel yr ydoedd; oblegyd yr oedd yr afiechyd y bu *Silas* farw o hono, yn bur fuan wedi cydio ynddo, fel na chafodd hamdden, od oedd yn tueddu at hyny, i wneuthur unrhyw gyfnewidiad arno, ac felly nid ymddangosodd byth. Mae yr ysgrifenydd, yn y llythyr hwn, yn ymddangos fel yn teimlo yn ddwys oddiwrth yr hyn a eilw efe yn —"llythyr enllibaidd J. Jenkins," a'r amcan a ddangosid ganddo ynddo i'w "ddiraddio" ef, "ac nid ceisio dadymchwelyd" ei "olygiadau." "Yr wyf, gan hyny," meddai, "yn ystyried ei lythyr cyntaf yn gwbl annheilwng o sylw." A chyda golwg ar y darluniad a roddasid ganddo o "*Ffwleriaeth*" y mae yn dywedyd,—"y buasai yn llawer mwy gweddus iddo *ef* wneyd nodiadau ar ei gyfundraeth ei hun, a gadael i ryw un a fuasai yn gwneyd mwy o gyfiawnder â golygiadau y diweddar A. Ffwler wneyd sylwadau yn lle yr hyn a welir yn *Seren* Medi." Wedi cyfeirio at y syniad, y crybwyllasom am dano eisoes (*tu dal.* 481), a ddysgid gan Mr. J. Jenkins,—"ein bod trwy farwolaeth Crist mewn pryd trosom, wedi ein cyfiawnhau, cyn ein hachub yn weithredol," a dangos ei annghysonedd â'r ysgrythyrau, y mae yn myned rhagddo i ymdriniaeth helaeth ar yr amrywiol gyfammodau dwyfol, gyda golwg ar ddynion,—er nad ydyw efe yn eu galw felly, ond "sefydliadau Duw mewn perthynas i ddynion"—a'r goruchwyliaethau cysylltiedig â hwynt: cyfammod Eden; cyfammod Abraham; a'r cyfammod gras yn Nghrist. Ei amcan, yn yr ymdriniaeth hwn, ydoedd dangos fod ymddygiadau yr Arglwydd tuag at ei greaduriaid, dan bob sefydliad, yn eu golygu fel deiliaid moesol ei lywodraeth ef, ac felly, ei fod yn ymddwyn tuag atynt yn ol uniondeb perffaith; ac nad ydyw anffyddlondeb dynion i'w dyledswydd, fel deiliaid y llywodraeth ddwyfol, dan unrhyw oruchwyliaeth, mewn un modd yn diddymu sefydliad neu gyfammod Duw; a bod effeithiolrwydd goruchwyliaeth gras, yn Nghrist Iesu, yn cyfodi oddiwrth arfaeth dragywyddol a dianwadal—oddiwrth feichnïaeth Crist dros y gwrthddrychau neillduol a roddwyd iddo gan y Tad—ac oddiwrth ddylanwadau yr Ysbryd Glan, yr hwn sydd wedi ymgymmeryd â bod yn "oruchwylydd," yn y cyfammod gras, i ddychwelyd rhai drygionus yn ol at Dduw. Mae yr holl ymdriniaeth yma,

er yn arwyddo cryn lawer o allu, eto yn rhy anmherthynasol i hanfod y ddadl; ac, o'r dechreu i'r diwedd, mor aneglur, fel y mae yn ymddangos nad oedd y golygiadau ond lled anaddfed yn meddwl yr awdwr ei hunan. Mae yn terfynu fel y canlyn:—"Ond fe allai y gofyn rhyw un eto, Pa un ai tros yr etholedigion yn unig, ai ynte tros bechaduriaid fel y cyfryw, yr oedd Crist yn rhoddi ei hun yn aberth ar y groes? *Ateb.* Pe buaswn yn son am ei farwolaeth, o ran yr hyn ydyw yn ddigonol ynddi ei hun, a hyny heb olygu arfaeth y Personau Dwyfol, i wneyd yn effeithiol oruchwyliaeth y sefydliad grasol, er gwaredigaeth yr eglwys, mi a ddywedwn mai tros bechaduriaid fel y cyfryw yr oedd yn rhoddi ei hun; ond pe buaswn yn son am ei farwolaeth, gyda golwg ar arfaeth Duw, a'r dyben blaenaf oedd ganddo mewn golwg trwy hyny, sef cael eglwys iddo ei hun o fyd colledig, er mawl gogoniant ei ras, mi a ddywedwn mai tros yr etholedigion yn unig yr oedd yn marw." Dyma eiriau diweddaf *Silas* trwy y Wasg; a'r geiriau diweddaf, adnabyddus i ni, *sydd ar gael* o'i eiddo yn y byd, oddieithr ei eiriau, pan yn marw, wrth ei wraig:—"*Jane, Jane*, y mae afon a'i ffrydiau yn llawenhau dinas Duw; gwn hyny fy hun yn awr, a *diolch yn dragywydd am dani.*"

Mae y llythyr diweddaf yn y rhifyn hwn, Tachwedd, 1822 (*tu dal.* 331—334), yn cynnwys "*Ateb i Lythyr Silas*" gan Mr. William Jones, Pwllheli. Nid ydyw y llythyr hwn yn dwyn arno unrhyw brawf fod ei Awdwr, yn ystod y misoedd a aethent heibio er cyhoeddiad ei lythyr blaenorol, wedi gwneuthur nemawr gynnydd yn ei gydnabyddiaeth â'r pwnc sydd ganddo tan sylw ynddo, nac, felly, yn ei ddangos yn nemawr ddim mwy cymhwys i ddadleu â'r fath un a Silas arno. Y mae, pa fodd bynnag, fel yn ei lythyr blaenorol, yn *cyfeirio* yn uniawn yn y prawf Biblaidd a amcenir ganddo; ac y mae, yn sicr, yn cydio mewn un ystlys i'r gwirionedd ar y testyn, nad oedd cyfundraeth *Silas* yn cyffwrdd dim â hi, nac yn cymmeryd unrhyw sylw o honi.

Yn y "*Seren*" am Ragfyr, y flwyddyn hon, yr ydym yn cael tri o lythyrau eto ar y Ddadl. Y mae y cyntaf a'r ail yn cael eu dodi gydâ'u gilydd (*tu dal.* 356—353), dan y penawd, "*Ffwleriaeth,*" yn cynnwys, "*Sylwadau ar Lythyr J. Jenkins.*" Y mae y llythyr cyntaf gan Mr. James Griffiths, Ty Ddewi, yn cyflwyno amryw sylwadau gwerthfawr ar y tuedd a ganfyddai mewn rhai dynion cyfrifol, i ddirmygu y rhai a wahaniaethent oddiwrthynt hwy yn eu golygiadau ar y gwirionedd.

Y mae yn datgan ei syndod fod gwr mor barchus a Mr. J. Jenkins, yn gallu "darlunio *Silas* fel un a fuasai heb weled Bibl erioed," a hyny yn unig "o herwydd ei fod o'r un golygiadau ar Iawn Crist, a'r diweddar Barchedig *A. Fuller*, un o'r gweinidogion enwocaf, yn ddiammau, a fu er ys can' mlynedd yn mhlith y Bedyddwyr." Wedi y sylwadau hyn, y mae yn myned rhagddo at yr hyn a amcenid yn benaf ganddo yn y Llythyr, sef darlunio golygiadau Dr. Williams, o Rotherham, "ar y pwnc mewn dadl:" ac y mae yn gwneuthur hyny yn gryno, yn oleu, ac yn gywir, can belled ag y cyrhaedda, mewn wyth o benau. Y mae yn terfynu, trwy ddatgan yr hoffder mawr a deimlai yn ysgrifeniadau y gwr y rhoddasai ddarluniad o'i olygiadau. Y mae yr ail lythyr a geir yma, oddiwrth Mr. Benjamin Griffiths, Trefgarn, Sir Benfro, yr hwn oedd yn frawd naturiol, ac yn frawd hefyd yn y weinidogaeth, i Mr. Griffiths, Ty Ddewi. Y mae y llythyr hwn yn cynnwys Sylwadau cymhedrol, prïodol, a gwerthfawr, ar y wedd gyffredinol, onest, a didwyll, sydd ar yr efengyl, megis ag y mae yn ei gweinidogaeth yn gennadwri tuag at y byd; a'r prawf sydd yn cyfodi, oddiar hyny, dros y gwirionedd,—fod y ddarpariaeth yn yr aberth mawr yn gyfatebol. Nid ydyw yr Ysgrif arall, a geir yn y rhifyn hwn, gan un *Anti-Pelagius*, yn erbyn *Silas*, yn cynnwys dim neillduol sydd yn teilyngu unrhyw sylw.

Agorodd y flwyddyn ganlynol ar y Ddadl yn ei holl nerth. Yn y "*Seren*" am Ionawr, 1828, yr ydym yn cael pedwar o lythyrau arni. Yr oedd dau ereill wedi eu derbyn gan y Golygydd, un o honynt, fel y cawn weled eto, yn faith iawn, ond, oblegyd y terfyn a roddwyd ganddo ar y Ddadl, ni chyhoeddwyd hwynt. Y mae y llythyr cyntaf a gawn yma (*tu dal.* 6, 7), ar y "*Prynedigaeth*," ac yn cynnwys "*Sylwadau ar Lythyrau W. J.*," gan *Edeyrn Mon*. Nid oes dim neillduol yn y llythyr hwn, oddieithr yr engraifft ryfeddaf braidd a welsom erioed, yn enwedig mewn can leied cylch, o'r modd y mae yn bosibl i un feio a chondemnio arall am yr hyn y byddo ei hunan yn euog o hono. Yr oedd Mr. William Jones wedi ceisio dangos fod *Silas* yn hollol annghyson âg ef ei hun, trwy ddal fod aberth neu Iawn Crist yn bridwerth digonol dros bawb, ac eto dysgu mai yr etholedigion yn unig ydyw gwrthddrychau y Prynedigaeth. Mae *Edeyrn* yn ateb hyn, ac yn gwbl gyson â'i Gyfundraeth ei hunan, trwy ddangos fod *Silas* yn defnyddio y gair "*prynedigaeth*" mewn ystyr wahanol i'r ystyr a roddid arno gan Mr. William

Jones, sef i arwyddo y *rhyddhad*, trwy yr Iawn, oddiwrth felldith y ddeddf, sydd yn cymmeryd lle pan y mae pechadur yn credu yn Mab Duw. "Pe buasai *Silas*," meddai, "yr un farn â *W. J.* ar Brynedigaeth, pan ysgrifenodd hwynt, mae yn sicr na buasai ynddynt ddim cysondeb, mwy nag sydd yn ngwaith *W. J.* ei hun." Ond yr hyn sy ddigrifol yw,—pan y mae Mr. William Jones, o'r tu arall, yn dadleu fod Iesu Grist, wrth farw ar y groes, a dioddef cospedigaeth ei bobl, wedi eu *prynu* oddiwrth felldith y ddeddf, y mae *Edeyrn* yn methu gweled fod yn bosibl iddo fod yn gyson âg ef ei hunan, pan yn dadleu hefyd, "mai gwaith yr Ysbryd Glan, yn ngweinidogaeth yr efengyl, yn cymhwyso y prynedigaeth sydd yn Nghrist Iesu, sydd yn eu *rhyddhau* oddiwrth felldith y ddeddf." Os ydynt wedi eu *prynu* oddiwrth felldith y ddeddf, trwy farwolaeth Crist, hyny ydyw, yn ol ystyr Mr. William Jones i'r gair, os ydyw y *pridwerth* neu *bris y prynedigaeth* wedi ei dalu drostynt, pa felldith, medd *Edeyrn*, a all fod arnynt, y mae eisiau eu *rhyddhau* oddiwrthi? Wrth amddiffyn *Silas*, yr oedd *Edeyrn* yn dadleu, yn ddigon priodol, nad oedd efe yn defnyddio y gair "*prynedigaeth*" yn yr un ystyr â Mr. William Jones; ond, wrth gondemnio Mr. William Jones, y mae am ei rwymo ef i'r un ystyr o'r gair ag a gymmerasid gan *Silas!*

Gan fyned heibio i'r ail lythyr a geir yma, yr hwn nid yw yn cynnwys dim cysylltiedig â'r Ddadl, oddieithr ychydig rybuddion a gocheliadau i'r dadleuwyr, ni a ddeuwn at y trydydd (*tu dal.* 7, 8, 9), gan Mr. Roberts, Llanbrynmair. Mae y rhan flaenaf o'r llythyr hwn wedi ei amcanu i ddangos fod dywediad o eiddo Mr. Elias, yn ei draethawd ar Gyfiawnhad,—yn cynnwys, ond ei ddilyn yn dêg i'w ganlyniadau naturiol a phriodol, hanfod "y golygiadau a elwir gan rai yn Ffwleriaeth." Yr oedd *Silas* eisoes wedi dyfynu y dywediad hwn; ac yr oedd Gohebydd arall hefyd, a'i galwai ei hun, *Rhiwallon*, Gwynedd, yn "*Seren*" Hydref, 1822 (*tu dal.* 293, 294), wedi bod yn gwneuthur defnydd o hono i'r un amcan ag sydd gan Mr. Roberts yn y llythyr hwn. Y dywediad ydyw,—"Pan y mae Crist yn cael ei ddatguddio a'i gyhoeddi yn yr efengyl, mae y ddeddf yn rhwymo y pechadur i gredu y dystiolaeth a dystiolaethodd Duw am ei Fab." Ystyriai Mr. Roberts, ond cael pawb i gytuno yn hyn, "y byddent ar y ffordd i gytuno mewn pethau ereill;" ac ymddangosai iddo ef nas gellid "gwadu gwirionedd y dywediad, heb wadu, ar yr un pryd, bod Duw

yn *Llywydd moesol*, a bod dynion yn *greaduriaid cyfrifol*." Yr oedd Mr. Roberts yn golygu fod y "casgliadau a dynasid gan *Rhiwallon* oddiwrth y dywediad yn anwrthwynebadwy," y rhai ydynt fel y canlyn:—"1. Bod Iesu Grist yn Waredwr *addas i bawb*. 2. Bod Iawn anfeidrol y groes yn cael ei ystyried gan y Llywydd mawr yn *ddigonol dros bawb*. 3. Bod perthynas mor bwysig rhwng yr efengyl a'i gwrandawwyr ag sydd rhwng y ddeddf a'r unrhyw. 4. Na fyddai un dyn dan yr efengyl yn golledig, pe gwnai ei ddyledswydd." Nid ydyw gweddill y llythyr ond adargraffiad o rai o'i Sylwadau yn y "*Galwad Difrifol*", ag yr ydym eisoes (*tu dal.* 460—462), wedi cyfeirio atynt ac wedi gwneuthur rhai nodiadau arnynt. Mae holl dôn y llythyr hwn, fel pob peth braidd odditan law Mr. Roberts, yn dra gwahanol i'r rhan fwyaf o lawer o'r llythyrau ereill, ar y ddadl hon, yn "*Seren Gomer*."

Y mae y pedwerydd llythyr yma (*tu dal.* 9—11), oddiwrth Mr. John Jenkins, ac yn—"*Ateb i Lythyrau Mab Dewi Ddu, Uwchgalfiniad, Edeyrn, a Silas.*" Eithr y mae yn ddrwg genym nad ydym yn cael, yn y llythyr hwn, ond ychydig iawn o sylwadau ar y pwnc oedd yn destyn dadl, a'n bod *yn* cael ynddo lawer iawn o gwynion oblegyd y cyhuddiadau a wneid yn erbyn a'r camddarluniadau a roddid o'r ysgrifenydd, yn gystal a gormod o ymosodiadau personol *difrïawl* ar y rhai a wrthwynebir ganddo. Nid oedd *M. b. Dewi Ddu*, dybygid, tra yn proffesu ysgrifenu ar "*Helaethrwydd yr Iawn*," yn amcanu dim ond "rhoddi *Iawn Helaeth* i'w dymherau ei hun," nid oedd yr *Uwchgalfiniad* ond "ailadrodd haeriad anwireddus." Ac am *Edeyrn* druan! yr oedd "ei ysgrif yn hollol islaw sylw." Yn ei sylw ar lythyr *Silas*, y mae yn dadleu nad oedd efe, wrth ddywedyd fod yr Apostol yn dysgu "ein bod trwy farwolaeth Crist wedi ein cyfiawnhau, cyn ein hachub yn weithredol,"—"yn dywedyd dim am *gyfiawnhad*, gyda golwg ar y *weithred* o gyfiawnhau, ond yn unig ei feio ef am ddywedyd nad oedd 'Iawn Crist yn gwneyd rhyddhad y pechadur yn achos o gyfiawnder yn *llywodraeth Duw*, cyn i'r dyn gredu ac edifarhau.'" Ac, wrth ei adael, y mae yn gofyn, "Onid yw dywediadau *Silas* am hyn, ynghyd a phethau ereill, yn arwain i waeth canlyniadau nag Arminiaeth?" Ond y mae yn amlwg mai llythyr *Mab Dewi Ddu* oedd yn poeni mwyaf arno, a hyny oblegyd mai efe oedd wedi rhoddi yr ergydion trymaf iddo. Y mae yn eglur ei fod yn ystyried y darluniad a roddasid ganddo o olygiadau Mr. Fuller yn gampwaith, a syn iawn ganddo, a blin iawn iddo, oedd fod

neb yn ammeu ei gywirdeb; ac, yn neillduol, fod ei annghywiredd wedi ei ddangos mor eglur gan *Fab Dewi Ddu.* Nid yw gweddill y lythyr hwn ond ymgais aflwyddiannus i'w amddiffyn ei hun yn hyny.

Nid oedd y ddadl hon, yn y "*Seren,*" o'r dechreuad, ond dadl wan a gwael iawn. Nid oedd neb a dim gallu annghyffredin ganddo, yn enwedig ar yr ochr wrthwynebol i *Silas*, wedi cymmeryd un ran ynddi, ac yr ydoedd, erbyn hyn, wedi ymddirywio i gecraeth bersonol annheilwng hollol o'r testyn goruchel y proffesid dadleu arno, ac o gymeriad Cristionogol a gweinidogaethol dau yn neillduol o'r rhai a gymmerent ran ynddi; ac yr ydoedd yn llawn bryd gosod pen arni. Y mae Mr. Harris yn gwneuthur hyny, yn ei ddull galluog ei hunan, yn y rhifyn hwn (*tu dal.* 11—14), mewn "*Sylwadau Terfynol ar y Ddadl Bersonol rhwng Mab Dewi Ddu a J. Jenkins.*" Fe gyhoeddwyd, pa fodd bynnag, yn y rhifyn am Mehefin, 1823 (*tu dal.* 168—172), "*Sylwadau Adgymodol o barthed y Ddadl yn nghylch Iawn Crist,*" gan "*Hen Weinidog Penllwyd, sydd yn caru heddwch a gwirionedd.*" Mae yn sicr genym mai Mr. Christmas Evans oedd yr *Hen Weinidog* hwn; y mae ei "leferydd," drwy yr Ysgrif, "yn ei gyhuddo." Mae y "*Sylwadau*" hyn, yn y syniadau a ddysgir ynddynt, yr ysbryd hynaws a thangnefeddus sydd yn treiddio trwyddynt, ac, yn neillduol, yn eu haddasrwydd i gyfarfod yr amcan oedd mewn golwg yn eu cyfansoddiad, yn ymddangos i ni yn dra rhagorol. Y mae yr Awdwr, tra yn sefyll yn gryf dros y gwirionedd am farwolaeth Crist fel Meichnïydd, megis pridwerth neu bris prynedigaeth y rhai y gosodwyd ef yn neillduol drostynt, yn osgoi yn gwbl yr eithafion uchel, gyda golwg ar "*iawn cyd-bwys,*" yr ydoedd wedi bod ei hunan unwaith ynddynt. Y mae yma yn edrych ar y cynllun dwyfol, neu drefniad *dirgel* y cyfammod rhwng y Personau tragywyddol a'u gilydd, yn golygu dynolryw fel *personau*, o'r rhai y rhoddwyd tyrfa fawr, na ddichon neb eu rhifo, gan y Tad i'r Mab i'w prynu a'u gwaredu; ond y mae yn edrych ar *weinyddiad allanol* y cyfammod hwnw yn y byd, yn unig yn golygu dynion yn eu *cymeriadau;* fel y mae pechaduriaid, *fel y cyfryw*, yn cael eu galw yn yr efengyl i ffydd ac edifeirwch, a sicrhad hollol yn cael ei roddi am gadwedigaeth holl berchenogion ffydd, nid fel *personau* wedi eu hethol i iachawdwriaeth trwy Grist, ond fel *credinwyr* ynddo. Ac y mae yn sylwi fod y fath werth a gwiwdeb yn aberth y Gwaredwr mawr, fel, pe byddai y fath beth ag i ereill, y rhai ni etholwyd, ac na fynant ddyfod

ato am fywyd, wneuthur derbyniad o hono, y byddai "gweddill anfeidrol yn aros yn ei haeddedigaethau ef, i'w offrymu yn aberth tanllyd i'r Arglwydd, mewn cân ddidawl o fawl, hyd byth bythoedd." Mewn gwirionedd, y mae Mr. Christmas Evans, yn y "*Sylwadau Adgymodol*" hyn, yn ymddangos i ni yn syrthio i mewn yn hollol i'r golygiadau y dadleuid drostynt gan Mr. Jones, o Ddinbych, golygiadau a gondemnid, unwaith, mor ddiarbed ganddo ef ei hunan.

Yn mhen ychydig wythnosau wedi terfyniad y ddadl yn "*Seren Gomer*," fe gyhoeddwyd,—"*Golwg Ysgrythyrol ar Iawn Crist, a Phrynedigaeth Neillduol, neu Un o'r Llythyrau ar Ddadl Ffwleriaeth, a wrthodwyd gan Olygydd Seren Gomer: yn cynnwys dangosiad o'r Gwahaniaeth rhwng y ddwy drefniant, Rhesymau am wrthod y Gyfundraeth Ffwleraidd, gydag Atebiad gwrthddadleuon.* Wedi ei helaethu a'i argraffu a'r ddymuniad Eglwys Crist yn Llanwenarth. Gan Francis Hiley. Merthyr Tydfil: argraffwyd gan J. Jenkins. 1823."—Y mae y Rhagymadrodd wedi ei ddyddio, "*Gofeilon*, Chwef. 6, 1823." Yr oedd hwn, fel y gwelir ar y wyneb ddalen, yn un o'r ddau lythyr, y cyfeiriasom atynt eisoes (*tu dal.* 485), a dderbyniasid gan Olygydd y "*Seren*" cyn terfyniad y ddadl yno, ond a anfonasid ganddo ef yn ôl i'w hawdwyr, fel y gallent, os barnent hyny yn oreu, eu cyfnewid i'r ansawdd newydd, a amcenid ganddo ef, ar y ddadl, os parhâi i fyned rhagddi. Yr oedd Mr. Hiley, yn ei lythyr i'r "*Seren*," wedi galw ei hunan, "*Rhesymwr Têg*," ac fe gyfeirir ato, gan Mr. Harris, megis "R. T." Y mae y llythyr fel y mae yma wedi ei helaethu, nes y mae yn draethawd o dros ugain o du dalenau wythplyg. Yr oedd yr awdwr yn weinidog i'r Bedyddwyr, yn Llanwenarth, Sir Fynwy. Yr oedd yn frodor o'r plwyf hwnw, wedi ei eni yno, yn y flwyddyn 1781. Yr oedd ei rieni mewn amgylchiadau cysurus—yn byw mewn tyddyn o'u heiddo eu hunain; ac ni a allem dybied, er nad oes genym hanes pendant am hyny, iddo gael, yn moreu ei oes, fwy o fanteision dysgeidiaeth na'r cyffredin o'i gyfoedion. Y mae yn ymddangos, pa fodd bynnag, iddo dreulio blynyddoedd ei ieuenctyd yn dra difeddwl am grefydd. Ond rywbryd tua y flwyddyn 1803, aeth tan gyfnewidiad amlwg: fe'i gwnaethpwyd ef yn ddyn newydd; ac fe ymunodd yn fuan âg eglwys i'r Bedyddwyr oedd yn ei gymmydogaeth, yr eglwys y bu, ar ol hyny, am gynnifer o flynyddoedd, yn weinidog iddi. Yn mhen rhyw gymmaint o amser fe ddechreuodd bregethu; ac, yn y flwyddyn 1808, fe'i derbyniwyd i Athrofa

y Fenni, yr hon oedd y pryd hyny newydd ei hagor. Wedi darfod ei amser yno, fe'i hordeiniwyd, yn y flwyddyn 1811, i gyflawn waith y weinidogaeth, fel cyd-lafurwr â Mr. James Lewis, yn Llanwenarth, lle yr arhosodd yn ffyddlawn a llwyddiannus, hyd ei farwolaeth, Hydref 14, 1860, pan ydoedd yn agos i bedwar ugain mlwydd oed. Ni a gawsom y ffeithiau uchod allan o "*Gofiant*" iddo, a ymddangosodd mewn tri o rifynau o "*Seren Gomer*," am y flwyddyn 1862. Yr oedd Mr. Hiley yn cael ei ystyried yn y rhes flaenaf, a'r cyntaf, fe allai, yn y rhes, o ran poblogrwydd, wedi marw Mr. John Herring o Aberteifi, yn mhlith pregethwyr ei oes, yn mysg y Bedyddwyr yn Neheudir Cymru. Rhoddid iddo bob amser, os byddai yn bresennol, un o'r lleoedd mwyaf cyhoeddus yn eu Cymmanfäoedd; ac yr oedd y nerth a'r dylanwad, a hynodent ei bregethu, braidd yn ddieithriad yn dra effeithiol, ac yn fynych, yn hollol anorchfygol. Yr oedd rhyw swyn, meddir, yn ei lais, ac yn neillduol mewn rhyw floedd oedd ganddo, nad oedd modd sefyll o'i flaen. Yr oedd yn adnabyddus fel Uchel-Galviniad cryf annghyffredin, ac eiddigus iawn o bob gŵyriad oddiwrth, yr hyn a olygai efe, "yr athrawiaeth iachus." Eto yr ydoedd felly, heb ei wneuthur ei hunan mor boenus i ac annghymmeradwy gan y rhai oeddent o olygiadau gwahanol iddo, a rhai o'r hen frodyr ereill oeddent o'r un syniadau âg ef. Ryw fodd, yr oedd y rhai mwyaf gwrthwynebol iddo ef, o ran ei athrawiaeth, yn hoff iawn o hono. Y mae y traethawd, yn awr dan ein sylw, yn lled alluog, yn fwy felly, yn ddiddadl, na dim a ysgrifenwyd i'r "*Seren*," yn erbyn golygiadau *Silas;* ac nis gallwn lai na gresynu na buasai yn cael ymddangos ynddi, fel y gallasai rhyw rai o bleidwyr y syniadau a wrthwynebir ynddo, ddyfod allan yno yn ei erbyn. Y mae yr awdwr yn dadleu dros, yr hyn y mae efe yn alw, yr "hen athrawiaeth Galfinaidd," ond mewn gwirionedd, dros Uchel-Galviniaeth, yn ei ffurf gyfyngaf a chaethaf; gan gymmeryd braidd yn gwbl yr un tir ag a gymmerid gan Mr. Christmas Evans, yn y llyfr fu dan ein sylw eisoes (*tu dal.* 404—409), ac yr ysgrifenasai Mr. Jones, Dinbych, yn ei erbyn. Y mae yma yn dysgu yn groyw, fod ein pechodau wedi eu gosod ar Grist "mewn natur a rhifedi," a bod ei ddioddefiadau yntau "yn cyfateb yn berffaith i natur a rhifedi y pechodau" hyny; ac y mae yn condemnio Mr. Fuller yn ddirfawr, yn gymmaint a bod ei gyfundraeth a'i eiriau ef, "yn *cauad allan rifedi y personau, natur a rhifedi pechodau*, rhag gwneyd dim gwahaniaeth mawredd, yn nyoddefaint

Crist a pherffeithrwydd yr iawn" (*tu dal.* 6, 7, 8). Mae yn gwadu yn hollol ddigonolrwydd yr iawn ar gyfer neb ond yr etholedigion; ac, er egluro a chadarnhau ei olygiadau, yn dyfynu, gydâ chymmeradwyaeth, y geiriau canlynol allan o waith Mr. Abraham Booth:—"Tra yr ydym yn llawen dderbyn digonolrwydd marwolaeth Immanuel i brynu holl ddynolryw, pe buasai pechodau yr holl rywogaeth ddynol wedi eu cyffelyb gyfrif iddo; a phe buasai efe, fel cynnrychiolwr cyffredinol, wedi *dwyn yr hyn o felldith y ddeddf,* oedd ddyledus i holl ddynolryw; eto, nis gallwn weled un rheswm digonol i benderfynu, fod ei gymmodol ddyoddefiadau yn ddigonol er dilëad pechodau *ni ddygodd efe,* neu er prynedigaeth pechaduriaid *ni chynnrychiolodd efe,* fel machnïydd, pan y bu farw ar y groes" (*tu dal.* 10). Mae yn dadleu, nad ydyw "mawredd y person, nac anfeidrol werth y gwaed," yn un rheswm dros dybied fod digonolrwydd cyffredinol yn yr aberth, heb "osodiad a dyoddefiad cyfatebol" (*tu dal.* 11); ac, yn hòni, mai—"Anystyriaeth neu ogwyddiad oddiwrth hawliau cyfiawnder Duw, yw gwrthod yr angenrheidrwydd o ddyoddef y llid dyledus i bob pechod, hyd yr eithaf; neu ddal digonolrwydd i foddloni cyfiawnder, wrth lai nâ *iawn cydbwys*" (*tu dal.* 15). Y mae yn rhaid, medd efe, fod y "gosp yn gydradd â'r bai" (*tu dal.* 17); a buasai yn "rhaid i Grist ddyoddef rhagor, pe buasai rhagor i gael eu hachub" (*tu dal.* 20). Y mae, yn wir, yn addef "digonolrwydd effeithiol yr iawn i achub pawb a gredant: ïe, pe credai yr holl fyd, hwy a fyddent cadwedig, yn ol yr addewid; ac nid yw hyn," meddai, "yn arwain i'r un anghysondeb, canys byddai hyny yn *rhagolygu* bod Crist wedi marw dros bawb" (*tu dal.* 14); hyny yw, "byddai cyffredinolrwydd y credu, yn rhagolygu marwolaeth gyfatebol mewn cyffredinolrwydd" (*tu dal.* 19).

Dyma yr ymdrech diweddaf, adnabyddus i ni, gan wr cyhoeddus a pharchus yn mhlith ei gydwladwyr, i amddiffyn y Gyfundraeth hon yn Nghymru. Nid ydym yn gwybod fod neb yn neillduol wedi dyfod allan yn ei erbyn, er fod yn amlwg i ni fod Mr. John Phillip Davies, Tredegar, yn y "Traethodau Duwinyddol" o'i eiddo, a gyhoeddwyd ar ôl ei farwolaeth ef, â'i lygaid yn uniongyrchol ar rai o'i frawddegau. Erbyn hyn, yr ydym yn tybied fod y syniadau y dadleuir drostynt yma wedi darfod yn gwbl o'n gwlad.

Ond, er rhoddi terfyn ar y Ddadl yn "*Seren Gomer,*" nid oedd y berw yn y wlad o berthynas iddi yn ddim llai. Yn wir, cyn hyd yn

nod iddi ddechreu yn y "*Seren*," sef, yn mis Ebrill, 1821, fe ymddangosodd llythyr yn "*Ngoleuad Cymru*" (*tu dal.* 118), yn proffesu bod wedi ei anfon oddiwrth un, a'i galwai ei hun, "C. G." [*Cymro Gwyllt*], i ofal un "*B.* [*ritwn*] *Fardd*, i'w gyhoeddi yn y "*Goleuad*," dan yr enw "*Rhybydd Ystyriol*." Nid oedd hwn ond y cyntaf o gyfres hir o Lythyrau i'r un perwyl ac oddiwrth yr un Awdwr. Mae yn awr yn hysbys, er ys blynyddoedd, mai y diweddar Mr. Richard Jones, o'r Wern, oedd y "*Cymro*" a'r "*Britwn*." Y mae yn ymddangos iddo gymmeryd yr enw "Cymro *Gwyllt*" arno ei hunan, er ateb yn well i'r cymeriad, a amcanai wisgo, yn y Sylwadau a fwriedid ganddo; a'r enw arall, er mwyn ei gadw ei hunan, fel yr awdwr o honynt, yn fwy cuddiedig. Ac fe lwyddodd i hyny am amser maith. Yr oedd rhywbeth yn nhôn y llythyrau mor wahanol i'r hyn oedd hysbys i'r wlad yn gyffredin am dano ef, fel nad oedd odid neb yn dychymygu fod dim a wnelai efe â hwynt. Yr oedd efe yn adnabyddus, er ys blynyddoedd, fel un nodedig o ëang a rhyddfrydig yn ei olygiadau athrawiaethol, ac, yn enwedig, yn groes i bob math o gywreinrwydd manwl i ddeffinio terfynau y gwirioneddau dwyfol, annghydweddol â'r dull rhydd, agored, dilyffethar, a geir arnynt yn yr Ysgrythyrau santaidd. Yr oedd yn hynod o wrthwynebol i eithafion pob cyfundraeth; a llawer gwaith y clywwyd ef yn dywedyd,—"Mae y Bibl yn fwy na phob *System*." Yn yr holl ddadleuon a gymmerasant le, yn ei Gyfundeb ei hun, yn ystod ei fywyd ef, yr oedd efe bob amser, fel y cawn weled eto, yn bleidiwr ffyddlawn, ag y gellid dibynu arno, i'r rhai a gyhuddid o fod yn gwyro i ryw fwy o eangder na rhai o'u brodyr yn eu golygiadau athrawiaethol; tra, yr un pryd, nad oedd mewn un modd yn cymmeradwyo unrhyw ogwydd, o'u tu hwythau, i fyned yn hyf a chryf a phendant, yn eu honiadau, am yr hyn y mae y dadguddiad dwyfol, os nad yn ddistaw arno, wedi ei adael yn hollol anmhenderfynol: ac, yn enwedig, yr oedd pob peth tebyg i gywreinrwydd athronyddol uwchben y gwirioneddau dwyfol,—yr hyn a alwai efe yn "*osod llathen rheswm*" arnynt,—yn anoddefadwy ganddo. Yr oedd yn sicr, yn ein bryd ni, yn cario y gwrthwynebiad hwn i ormodedd, fel ag i gondemnio, weithiau, yr hyn nad ydoedd, hyd ag y gallwn ni weled, yn ddim amgen nag amcan cywir i gael dirnadaeth eglur, cyson âg egwyddorion angenrheidiol a digyfnewid gwirionedd tragywyddol, fel ag y mae wedi ei ddatguddio yn natur feddyliol a moesol dyn ei hunan, o ystyr tystiolaethau yr anfeidrol

yn ei air sanctaidd. Fel arall, pa fodd bynnag, yr oedd efe yn synio am ysgrifeniadau Dr. Williams, a Dr. Dwight, ac ereill, o'r Duwinyddion diweddar yn Lloegr ac America; a thybied ei fod yn canfod gormod tuedd, yn yr un cyfeiriad, yn ysgrifeniadau Mr. Roberts, Llanbrynmair, a'i gyd-lafurwyr yn y "*Galwad Difrifol*," a barodd iddo ddyfod allan, gydâ'r Llythyrau hyn, yn y "*Goleuad*." Mae y Llythyr cyntaf, yn y Rhifyn am Ebrill, 1821, yn cynnwys dyfyniadau o ryw eiriau ac ymadroddion, a dynasid gan y *Cymro*, allan o ysgrifeniadau Mr. Christmas Evans, a Mr. Roberts, Llanbrynmair (er nad ydyw yn eu henwi hwynt), a ymddangosent, iddo ef, yn annghytunol "â'r sobrwydd a'r gwylder sydd yn perthyn i weinidogaeth yr efengyl." Y mae amryw o'r ymadroddion, a nodir ganddo, yn sicr, yn gyfryw ag nad oes un amddiffyniad i'w wneuthur iddynt; tra y mae ereill o honynt, o leiaf, yn ddigon diniwed; a rhai o honynt, yn ymddangos i ni, ond eu defnyddio yn y cysylltiad priodol, yn dra rhagorol. Yn y "*Goleuad*" am Tachwedd, 1821 (*tu dal.* 286—288), y mae *B. Fardd* yn anfon llythyr arall oddiwrth y *Cymro Gwyllt*, ar yr "*Ymadroddion Aneglur*," a ddyfynasid ganddo, yn ei lythyr blaenorol, o un o lyfrau Mr. Christmas Evans. Mae y llythyr hwn yn llawn coegni; ac, o'r dechreu i'r diwedd, wedi ei fwriadu, dybygid, i wneyd yr "*Ymadroddion*" a gondemnir ynddo yn destyn gwawd a chwerthiniad a dirmyg y lliaws. Ac, yn wir, y mae y geiriau a oganir ganddo yn gyfryw, fel ag y mae un yn teimlo braidd mai y peth mwyaf effeithiol i'w gwrthwynebu oedd y dull a ddefnyddir gan y *Cymro* yma. Ond nid felly, dybygid, yr oedd pawb yn teimlo. Yn y Goleuad am Ionawr, 1822 (*tu dal.* 336), fe ddaeth Gohebydd, a'i galwai ei hunan, *Iâl*, allan i gondemnio y dull a gymmerasid gan y *Cymro Gwyllt*, fel yn rhy ysgafn a chellweirus, ac yn tueddu i adael "argraff lygredig ar feddyliau ieuengctid." Yr ydym yn deall fod y gohebydd hwnw yn datgan golygiadau lliaws mawr ar y pryd, ac y mae yn dra thebyg y buasai llawer o deimladau annghysurus rhwng dynion da a'u gilydd, wedi eu hosgoi yn Nghymru, pe buasai i'r *Cymro*, yn ei Lythyrau canlynol, gymmeryd ei awgrym, ac ysgrifenu mewn dull gwahanol. Ond nid oedd y *Cymro* ei hunan yn tueddu at hyny. Yn y "*Goleuad*" am Ebrill, 1822 (*tu dal.* 404—406), ymddangosodd llythyr oddiwrth *Britwn Fardd*, ond yn proffesu bod wedi ei ysgrifenu ar ddymuniad y *Cymro Gwyllt*, er gwrthwynebu *Iâl*, ac amddiffyn y dull neillduol a gymmerasid gan y *Cymro* yn ei lythyrau

blaenorol. Y mae yn y llythyr hwn hefyd yn hysbysu ei fod "yn bwriadu anerch ei Genedl cyn hîr â nodiadau byrion ar brif ranau cyfundraeth" y "*Galwad Difrifol.*" Ond y mae yn ymwrthod â'r dyb-iaeth o'i fod "yn amcanu ei nodiadau mewn ffordd o ddadl;" ac yn proffesu nad ydoedd ond yn unig am ddangos yr hyn a olygai efe yn anghysondeb yn y llyfr, a'r "ysbryd cyndyn sydd yn ymddangos ynddo."

Yn y "*Goleuad*" am Gorphenaf, 1822 (475, 476), fe ddechreuodd y *Cymro Gwyllt* ar ei "*Annerchiad at y Cymry,*" y rhoddasid hysbysiad yn flaenorol o berthynas iddo gan *Britwn Fardd.* Aeth rhagddo gydâ'r "*Annerchiad*" hwn yn y "*Goleuad*" am Awst (*tu dal.* 500—502); Hydref (*tu dal.* 548, 549); Ionawr, 1823 (*tu dal.* 20—22); Chwefror (*tu dal.* 34—36); Gorphenaf (*tu dal.* 154—158); Awst (*tu dal.* 180—183); Tachwedd (*tu dal.* 253—255); Rhagfyr (*tu dal.* 275—279); Ebrill, 1824 (*tu dal.* 371—374); Mai (*tu dal.* 393—398). Yn y "*Goleuad*" am Hydref (*tu dal.* 518—520), y mae y *Cymro Gwyllt* yn rhoddi ei le i fynu, i barhau yr "*Annerchiad,*" i *Britwn Fardd,* yr hwn sydd yno yn dechreu ar y pwnc o *Brynedigaeth.* Y mae hwn yn myned rhagddo yn Tachwedd (*tu dal.* 538—541), ac yn terfynu yn y "*Goleuad*" am Ragfyr, 1824 (*tu dal.* 562—565). Fe welir felly fod Mr. Richard Jones, dan y naill enw neu y llall, wedi bod yn ysgrifenu i'r "*Goleuad,*" ar y pynciau hyn, yn awr ac eilwaith, am yn agos i bedair blynedd. Fe ganfydda y darllenydd ond craffu ar yr adegau, a nodwyd genym, yr ymddangosodd y llythyrau yn y "*Goleuad,*" fod, weithiau, amryw fisoedd yn myned heibio, heb i'r *Cymro* ddyfod allan gydâ Llythyr. Ond, yn gyffredin, fe fyddai *Britwn Fardd* yn dyfod allan, yn y cyf-amser, gydâg ymosodiad ar "*Iâl*" [Mr. John Jones, Tyddyn Difyr, Tydweiliog, Llëyn], yr hwn a barhâi i gwyno, unwaith ac eilwaith a thrachefn, oblegyd y dull a gymmerid gan y *Cymro Gwyllt,* i ymdrin â'r pynciau dan sylw yn ei Lythyrau. Mae yr "*Annerchiad*" hwn, yn sicr, yn ei ffordd ei hunan, yn arwyddo gallu tra annghyffredin. Nid ydym yn teimlo fod angenrheidrwydd arnom, ei adolygu yn fanwl, ac yn wir, yr ydym yn gweled yr elem i feithder afresymol ped am-canem at hyny, ac, am hyny, y mae yn rhaid i ni foddloni yn unig ar ychydig sylwadau cyffredinol arno. Arwyddair yr awdwr ynddo yw, "*Y mae gwehilion i'r gwenith;*" ac y mae yr holl ymdriniaeth, yn ol ysbryd yr arwyddair, yn ymgais at wahaniaethu rhwng y gwerth-fawr a'r gwael. Y mae yn mhell o fod drwyddo yn gyfartal. Y mae

rhai rhanau o hono yn ymddangos i ni mor hyawdl a nerthol, ag odid ddim, adnabyddus i ni, yn ein hiaith; ac y mae yr awdwr yn fynych yn llwyddo i beri i'r darllenydd deimlo naill ai rhyfyg ai oferedd y syniadau, neu yn hytrach yr iaith a gondemnir ganddo. Yr oedd meddwl yr ysgrifenydd wedi hir gynnefino mewn myfyrio ar ddirgeledigaethau y goruchwyliaethau dwyfol tuag at ddynolryw, ac yr ydoedd yn ymdeimlo yn ddwys â'r anhawsderau cysylltiedig â hwynt; ac y mae, yn sicr, yn llwyddo i ddangos nad oedd cyfundraeth Mr. Roberts, fel y gosodid hi allan yn y "*Galwad Difrifol,*" mewn un modd yn eglurhad hollol ar yr anhawsderau hyny, ond ei bod, yn hytrach, yn ychwanegu rhai o'r newydd atynt; a, chyda hyny, yn mhell o fod, yn mhob peth, yn gwbl gyson a hi ei hunan. Mae yn wir yn ymollwng, yn y cymeriad neillduol a wisgid ganddo, megis *Cymro Gwyllt*, i fesur dirfawr o ddigrifwch a gwawd, sydd braidd yn terfynu ar drahausder. Nid oes ganddo un enw ar Mr. Roberts ond "*Mr. Difrifol,*" nac ar ei gynnorthwywyr, ond "*Awdwyr* Difrifol." Dyma y *dull* a gymerodd: *dull Cymro Gwyllt.* Ac y mae yn ei weithio allan yn dra llwyddiannus. Mewn gwirionedd, nid hawdd fyddai cyfarfod, yn mhlith holl ddadleuon yr oesoedd, âg enghreifftiau mwy pendant a nerthol o goegni dadleuol na lliaws o'r rhai a gawn yn y Llythyrau hyn. Ond y mae yn fwy nag amheus genym a oedd y *fath ddull* y cyfryw ag oedd yn gweddu i natur y gwirioneddau goruchel oedd ganddo dan sylw; i gymeriad a difrifwch a pharchedigaeth y gwr yr ymosodai yn benaf yn ei erbyn; ac, yn neillduol, a oedd y dull goreu er cyrhaedd yr amcan oedd yn ddiammeu yn uchaf yn ei feddwl ef ei hunan, sef argyhoeddi y rhai a annerchid ganddo o annghysonedd y syniadau a wrthwynebai, â'r hyn a olygai efe yn feddwl Duw ar y pynciau dan sylw. Nid ydym wrth ddywedyd hyn yn amcanu awgrymu nad oes yma ffrwyth ymchwil manwl i ystyr y dadguddiad dwyfol ar yr amrywiol gwestiynau ger ei fron; ac nad oes yma arbenigrwydd neillduol yn cael ei osod ar rai gwirioneddau pwysig ag yr oedd Mr. Roberts, yn y "*Galwad Difrifol,*" naill ai heb dalu digon o sylw iddynt, neu ynte yn rhoddi camolygiad arnynt: yr hyn nas gallwn lai na'i ddymuno yw na buasai hyn oll yn cael ei wneuthur mewn *tôn* wahanol. Ond yr oedd yr awdwr wedi ymddangos megis, ac yn gwisgo cymeriad, *Cymro Gwyllt;* ac, felly, yn gadael ei hunan yn rhydd i wawdio a choegi a gwneyd digrifwch, o'r rhai a feirniadai, mewn modd

ag sydd yn ein taro ni ryw fodd yn chwithig iawn, yn enwedig mewn ymosodiad ar un mor *dawel* a *hynaws* ac *addfwyn* a *boneddigaidd*, a Mr. Roberts, Llanbrynmair;—yn neillduol, pan y daeth yn adnabyddus fod hyny yn cael ei wneuthur, gan un ag ydoedd, yn ei gymeriad ei hunan, yn meddwl pawb a'i hadwaenent, mor *arafaidd* a *chymhedrol* a *phwyllog* a *mwynaidd*, a Mr. Richard Jones o'r Wern!

Yn y "*Dysgedydd*" am Medi, 1826 (*tu dal.* 264—267), fe ddaeth Mr. Roberts allan gydâ y cyntaf o—"*Chwech o Lythyrau at ymofynwyr am y gwirionedd, yn cynnwys Sylwadau ar rai o ysgrifau y Cymro Gwyllt—a ymddangosasant yn Ngoleuad Cymru.*" Ymddangosodd y llythyrau ereill yn y "*Dysgedydd*" am Hydref (*tu dal.* 294—296); Tachwedd (*tu dal.* 333—335); Rhagfyr (*tu dal.* 362—366); Ionawr, 1827 (*tu dal.* 14—17); a'r Chwefror canlynol (*tu dal.* 39—42). Yr oedd y llythyrau hyn wedi eu hanfon yn gyntaf i'r "*Goleuad,*" gyda'r amcan iddynt ymddangos yno; ond, oblegid eu gwrthod gan Gyhoeddwr y "*Goleuad,*" fe'u hanfonwyd i'r "*Dysgedydd.*" Nid ydym ni yn gweled fod ynddynt ddim neillduol yn galw am ein sylw. Yr oedd yr awdwr, fe ellid meddwl, wedi dywedyd cymmaint ag oedd ganddo i'w ddywedyd, ar y pynciau hyn, yn y "*Galwad Difrifol,*" fel nad yw llawer iawn o'r llythyrau yma ond ad-argraffiad, yn hollol yn yr un geiriau, o'r hyn a gyhoeddasid ganddo yn flaenorol yn hwnw; ac yn y rhanau o honynt sydd heb fod felly, nid ydym yn cael dim sydd newydd ar y ddadl. Nid yw yn ymddangos i ni mewn un modd yn llwyddiannus yn ei ymgais i ateb y gwrth-ddadleuon a ddygasid yn mlaen gan y *Cymro Gwyllt* yn erbyn y gyfundraeth a ddysgid ganddo, ac y mae, yn wir, yn fynych fel heb ganfod y wedd neillduol a amcenid gan y *Cymro* i'r wrthddadl a ddefnyddiai. Er enghraifft: Yr oedd Mr. Roberts, yn y "*Galwad Difrifol,*" wrth ddadleu dros gyffredinolrwydd y pridwerth, wedi defnyddio y geiriau canlynol: "Os nad oes un pridwerth wedi cael ei roddi ond dros yr etholedigion yn unig, mae yn rhaid fod rhwystr anorfod *o du Dduw* i neb ereill fod yn gadwedig, am fod yn anmhosibl i un pechadur fod yn gadwedig heb iawn am ei bechod" (*tu dal.* 14). Yr oedd y *Cymro Gwyllt* yn golygu fod yr ymresymiad yma yn tueddu, o'i ddilyn i'w ganlyniadau naturiol, i adael bai colledigaeth dynolryw, pe na buasai y drefn gyfryngol, ar yr anfeidrol ei hunan, ac felly, i wadu graslonrwydd y drefn hono; ac, er mwyn bod yn gyson âg ef ei hun, y dylasai Mr. Roberts, er symud y "*rhwystr anorfod*" y soniai am dano,

oedd "*o du Dduw*," naill ai gwadu yn hollol yr angenrheidrwydd am Ysbryd Duw i gyfnewid enaid pechadur, neu ynte, ddal rhwymedigaeth y Duw mawr i roddi yr Ysbryd i bob un i hyny. Mewn gwirionedd, y mae y *Cymro* yn cyfodi i gyfarfyddiad â'r dirgelwch am sefyllfa dynolryw pe na buasai darpariaeth gras; a chan gredu y dystiolaeth ddwyfol—"yr hyn ni allai y ddeddf, oherwydd ei bod yn wan trwy 'r cnawd"—yn gweled fod y "*rhwystr anorfod*," yn annibynol ar yr iawn, ar du y "*cnawd*" ac nid o "*du Dduw*," ac felly y mae y sôn, ar unrhyw dybiaeth, am osod y "*rhwystr anorfod o du Duw*," iddo ef, yn rhywbeth anoddefadwy. Yn awr, y mae y dull y mae Mr. Roberts yn cyfarfod yr ymresymiad hwn o eiddo y *Cymro*, yn ymddangos i ni yn hynod iawn, ac yn profi, dybygem, yn bendant, nad oedd ei feddwl, tra yn fanwl iawn o fewn rhyw gylch neillduol, mewn un modd mor graffus pan y tynid ef allan o'r cylch hwnw. Heb allu ymgodi i un syniad o'r wrthddadl, yn yr ystyr yr amcenid hi gan y *Cymro*, efe a ddywed, —"Yn awr, fy mrodyr chwenychwn i chwi sylwi, mai y ddadl rhwng Mr. Gwyllt a minnau yma yw—Pa beth yw y rhwystr sydd ar ffordd pob un sydd yn clywed yr efengyl i fod yn gadwedig? Mae yn eglur od oes yn Iesu Grist ddigonolrwydd ar gyfer pob dyn, ac os yw Duw yn yr efengyl yn galw yn ddiffuant ar bob dyn sydd yn ei chlywed i gyfranogi o'r digonolrwydd hyn, nad all fod un rhwystr ar ffordd un dyn sydd yn clywed yr efengyl i fod yn gadwedig ond *drygioni ei galon ei hun*. Ond yn ol ymresymiad Mr. Gwyllt, *o du Dduw* mae'r rhwystr, am nad yw yn anfon ei Ysbryd a'i ras i weithredu dwyfol gyfnewidiad yn enaid y pechadur. Yn wir, fy mrodyr, mae tuedd mawr yn nghalonau pechaduriaid i ymesgusodi yn eu hannuwioldeb, a chyda'r gwas anfuddiol i roddi y bai wrth ddrws Duw. Mae rhai, nid yn unig yn *meddwl* yn eu calonau mai o *du Dduw* y mae 'r bai, ond hefyd yn *dywedyd* â'u tafodau nad oes arnynt hwy ddim rhwymau i fod yn dda ac yn dduwiol hyd nes y rhoddo Duw iddynt galon newydd, &c. Mae yn sicr fod yr egwyddorion annuwiol hyn yn cael eu mynwesu gan laweroedd yn ein gwlad, ac mae yn chwith fod Mr. Gwyllt, na neb arall, yn dywedyd neu yn cyhoeddi dim i feithrin y fath egwyddorion. O, fy nghydwladwyr, gochelwch sïo i'ch cydwybodau, mai *o du Dduw* y mae y rhwystr i chwi fod yn gadwedig, a gwylied Mr. Gwyllt rhag eich sïo i gysgu mewn lle mor beryglus. . . . Onid da fyddai i Mr. Gwyllt ystyried yn ddifrifol, er ei fwyn ei hun, a fydd yn dda ganddo

gofio yn y dydd hwnw, ei fod wedi ysgrifenu yr hyn ag sydd yn tueddu i arwain ei ddarllenwyr i feddwl mai *o du Dduw*, ac nid o'u tu eu hunain yn unig y mae y rhwystr ag ydoedd ar eu ffordd i fod yn gadwedig" ("*Dysgedydd*" am *Hydref*, 1826, *tu dal.* 296). Y mae hyn yn sicr yn rhyfedd iawn! Y mae yn syn, pa fodd yr oedd yr awdwr parchedig heb weled mai ymresymu âg ef, oddiar "ei gyffes ei hun," yr oedd y *Cymro Gwyllt;* ac, yn lle bod ei hunan yn tueddu i dybied fod "*rhwystr anorfod o du Dduw,*" dan yr efengyl ac yn ngwyneb goruchwyliaeth gras, nad oedd efe yn golygu fod y fath ymadrodd yn briodol na'r fath syniad yn gywir, ag edrych ar ddynolryw hyd yn nod yn eu cysylltiad â'r cyfammod cyntaf, ac yn annibynol ar drefn yr iachawdwriaeth trwy Iesu Grist; ond mai ar du y dyn yn unig yr oedd y "*rhwystr anorfod*" i'w ddedwyddwch y pryd hyny;—ac, yn ganlynol, mai llawer llai fod dim yn ei gyflwr, wedi iddo bechu, sydd yn dileu graslonrwydd darpariaeth cadw, neu yn gwneuthur ei iachawdwriaeth, neu drefn i hyny, yn bwnc cyfiawnder iddo. Nid oedd y *Cymro* yn proffesu gallu esbonio y dirgelwch a deimlai oedd yn gysylltiedig â'r fath olygiad: ond yr oedd yn ei dderbyn, ar yr hyn a ymddangosai iddo ef yn dystiolaeth bendant y datguddiad dwyfol am iachawdwriaeth i fyd euog, wedi gwreiddio yn unig ac yn hollol mewn gras rhydd a phenarglwyddiaethol.

Nid ydyw hyn ond enghraifft, er ein bod yn cydnabod ei bod yn un o'r rhai mwyaf eithafol, o'r modd y mae Mr. Roberts, yn y Llythyrau hyn, yn cyfarfod gwrthddadleuon y *Cymro Gwyllt.* Y mae y llythyrau, pa fodd bynnag, wedi eu hysgrifenu yn yr ysbryd goreu, er fod yr awdwr, y mae yn hawdd gweled, yn teimlo oblegyd y *dull* a gymerasid gan y *Cymro*, neu "*Mr. Gwyllt,*" fel y mae efe yn ei alw, i ymosod arno: ac y mae, fwy nag unwaith, yn gwneyd defnydd o'r enw, mewn iaith sydd yn terfynu ar fod yn wawdus, i alw ar ei ddarllenwyr i bwyllo ac arafu uwchben y cwestiynau a ddygir ganddo dan eu sylw; a hyny yn y fath fodd ag sydd yn dangos y *gallasai* yntau ysgrifenu mewn dull llawer atgasach nag a arferir ganddo, pe buasai yn *amcanu* at hyny. Ond yr oedd yspryd arall yn ei lywodraethu ef. "Am yr *holl* eiriau goganllyd a dirmygus," meddai, "ag y mae Mr. Gwyllt wedi eu harfer am danaf, a'r holl ryfedd-nodau â pha rai y mae mor nodedig wedi *britho* ei ysgrifau, i arwain ei ddarllenwyr i gredu mai 'ar benrhyn ynfydrwydd dyn' yr wyf yn cyfaneddu yn barhaus, nid wyf yn dywedyd ond tri pheth.—1. Na *ddarfum* eu haeddu.—2. Nad

*wyf* yn eu hofni—ac yn 3. Na *chaf* eu hefelychu. Yr wyf yn proffesu fy mod er ys llawer blwyddyn dan addysgiadau yr athraw sydd yn gorchymyn i mi beidio rhoddi '*sen* am *sen*, ond yn y gwrthwyneb'' (Llythyr VI., "*Dysgedydd*," *Chwefror*, 1827, *tu dal.* 41).

Yn mhen rhai misoedd wedi ymddangosiad y diweddaf o'r "*Llythyrau*" hyn, sef, yn y "*Dysgedydd*" am Hydref, 1827 (*tu dal.* 295—300), fe gyhoeddwyd Pregeth i Mr. Roberts ar "*Fachnïaeth Iesu Grist.*" Yr oedd y bregeth hon wedi ei thraddodi, y Gorphenaf blaenorol, mewn Cyfarfod Chwarterol, yn Sir Aberteifi, ar gais neillduol y Parch. Thomas Philips, Neuaddlwyd. Y testyn ydyw, *Hebreaid* vii. 22. Nid oes ynddi ddim gwahanol mewn athrawiaeth i'r hyn a gawn yn y "*Galwad Difrifol;*" ond y mae, yn ol ei destyn, yn gosod mwy o arbenigrwydd ynddi ar y gwirionedd am sicrwydd achubiaeth yr eglwys, y sicrwydd sydd yn cyfodi oddiar y drefn neu y cynllun dwyfol gyda golwg ar hyny. Mae yn sylwi fod "Machniaeth yn golygu tri pheth; yn 1. Gofynwr. 2. Un mewn rhyw ffordd yn rhwym i'r gofynwr. 3. Tybiaeth o ffaeledd, oblegyd anallu neu anewyllys, yn y rhwymedig i ateb i'w ymrwymiadau." Mae yn myned rhagddo i egluro ei olygiadau fel y canlyn:—"Yn awr yr hyn ag ydwyf yn ddeall wrth Fachnïaeth Iesu Grist dros yr eglwys yw, *Ei ymrwymiad i ddwyn yr eglwys i ogoniant heb fod un cwmwl neu anfri yn cael ei daflu ar y Llywydd mawr mewn dim o'i union ofyniadau.*" Y mae yna yn myned yn mlaen i egluro ei olygiad mewn amrywiol osodiadau. Ond er fod yma lawer o wirioneddau gwerthfawr yn cael eu dysgu, yr ydym ryw fodd yn teimlo fod yr holl ymdriniaeth ar wahan i'r syniad naturiol ac ysgrythyrol am *feichnïaeth*; ac, yn hytrach, o fewn cylch *bwriad* ac *arfaeth*. Nid oes yma air o sôn am osodiad neillduol ar Grist dros ei bobl, megis pridwerth, yn y fath fodd ag i wneuthur eu hiachawdwriaeth hwy yn beth ag yr oedd ganddo ef, fel eu Meichnïydd, wedi cyfarfod ac ateb i'w ymrwymiadau drostynt, hawl gyfiawn iddo. I'r gwrthwyneb, y mae yma, yn y modd mwyaf pendant, yn ysgar rhwng yr iawn *ynddo ei hunan* a chadwedigaeth neb. "Yn wir," meddai, "nid wyf yn meddwl fod yr Iawn yn ei natur ei hun yn sicrhau achubiaeth neb yn fwy na'u gilydd." Yr un pryd, y mae yn dysgu mor bendant "mai prif ddyben marwolaeth Iesu Grist oedd gogoniant Duw yn achubiaeth yr eglwys. Na atto Duw i neb feddwl mai ar antur y bu farw Tywysog iachawdwriaeth. Byddai y dybiaeth, i'm bryd i, yn gableddus." Ac wedi nodi amryw adnodau

sydd yn cyfeirio at ddybenion marwolaeth Crist fe ychwanega,—"Ymddengys yn eglur oddiwrth yr ysgrythyrau hyn fod yr Arglwydd Iesu wrth roddi ei hunan ar y groes yn aberth i Dduw o anfeidrol werth, yn golygu yn neillduol iechydwriaeth yr eglwys." Mae hyn oll, dybygem ni, yn wirionedd gwerthfawr, ond y mae yn fwy nag amheus genym a ydyw yn cynnwys yr *holl* wirionedd a olygir yn y syniad ysgrythyrol am Feichnïaeth Crist.

Yn mhen peth amser ar ol hyn, fe gyhoeddwyd—"*Drych y Dadleuwr.* Gan Richard Jones. Bala: Argraphwyd gan Robert Saunderson. 1829." —Mae y llyfr yn cynnwys, rhwng y "Rhagymadrodd" a'r "Cynnwysiad," ddau cant o du dalenau deuddeg plyg. Mae y "Rhagymadrodd" wedi ei ddyddio,—"Wern, Llanfrothen, Ionawr 24, 1828."—Fe ddechreuwyd ei gyhoeddi tua y pryd hwnw, ond, oblegyd ei ddwyn allan yn rhifynau, ni orphenwyd y cyhoeddiad o hono hyd ganol y flwyddyn 1829, yn ol yr amseriad ar y wyneb-ddalen. Y mae yr enw sydd ar y llyfr hwn yn un tra annedwydd, ac yn mhell o fod yn cyfateb i'w nodwedd ac i'r amcan neillduol a fwriedid gan yr Awdwr ynddo. Gallesid dysgwyl, oddiwrth ei enw, am ryw fath o draethawd ar Ddadl, a rhyw gyfarwyddiadau a rheolau pa fodd i ddadleu yn rheolaidd a thêg a buddugoliaethus. Buasai y fath lyfr i Gymru, ar y pryd, yn werthfawr iawn. Y mae y llyfr hwn, pa fodd bynnag, yn rhywbeth tra gwahanol. Fe ddywed yr awdwr, yn ei "Ragymadrodd,"—"Fy amcan yn y traethawd hwn, yw, nid dadleu, ond ceisio dangos natur dadl, ei hachlysuron, ynghyd â'i da a'i drwg, a'r ynfydrwydd cyffredinol ag y mae pleidgarwch yn gŵyro dynion iddo. Er prawf o hyn, cymmerais fy rhyddid i nodi allan rai pethau o'r traethiadau diweddaraf ag sydd wedi ymddangos yn yr iaith Gymraeg, pa rai sydd yn cynnwys, yn ol eu maintioli, lawer yn ychwaneg o'r un natur; ond yn fwyaf neillduol, allan o draethawd a gyhoeddoddd Mr. John Roberts, o Lanbrynmair, yn y flwyddyn 1820, ynghyd â rhai darnau eraill o'i gyfansoddiad, a ymddangosasant yn mhen amser wedi hyny."—Ond ychydig iawn sydd ganddo yn y cyfeiriad a ddysgwyliasid, yn ol y dysgrifiad yma o'i amcan. Mae, yn wir, yn cychwyn gydâ rhai sylwadau "*Mewn perthynas i Natur Dadl,*" ond y mae y rhai hyny o ran helaethrwydd a manylder yn mhell o fod yr hyn a fuasai yn ddymunol ar y fath destyn, ac yn hytrach, yn fwy prïodol i achosion dadl. Y mae yn dyfynu rhai enghreifftiau o draethodau Mr. Samuel Davies a Mr. Christmas Evans

er prawf o'r hyn a eilw efe yn "*gyndynrwydd* yspryd mewn dadl;" ond y mae corph y llyfr yn cael ei wneyd i fynu o Sylwadau ar amrywiol bethau yn ysgrifeniadau Mr. Roberts, Llanbrynmair, a'i "*gyfnerthwyr*," fel y mae efe yn eu galw, er prawf o'r un peth. Y mae y llyfr yn cynnwys, yn y ffurf o Nodiadau ar odrëon y dail, adgyhoeddiad o'r pethau goreu a gyhoeddasid ganddo yn y "*Goleuad*," dan yr enw *Cymro Gwyllt*, ond gan adael allan y pethau mwyaf ysgethrog a gwawdus. Mae yr awdwr, yn y llyfr, drwyddo, yn cymmeryd tir rhydd ac eang yr hen Dduwinyddion goreu fel eiddo iddo ei hunan; gan osod yr iachawdwriaeth allan, yn ei holl helaethrwydd, yn addas a digonol ar gyfer pechaduriaid yn gyffredinol a diwahaniaeth, gydâ galwad eglur a thaer a didwyll ar bawb fel eu gilydd, hyd y cyrhaeddo, i gyfranogi o honi. Ond y mae yn llefaru yn gryf a diarbed yn erbyn yr hyn a olygai efe yn tueddu at unrhyw gywreinrwydd manyl-ddoeth, er eglurhau athrawiaethau dyfnion yr efengyl, neu, ynte, ddangos eu cysondeb â'u gilydd. Fel y sylwasom eisoes (*tu dal.* 492), yr ydym ni yn credu ei fod ef yn myned i ormod eithafion yn y gwrthwynebiad a deimlid ganddo tuag at bob peth o'r fath; yr un pryd, y mae yn sicr fod yr egwyddor y dadleuai efe drosti yn gywir ac yn bwysig iawn, ac hyd yn nod yn ei heithafion, yn llawer llai peryglus nag eithafion y golygiad a wrthwynebid ganddo. Fe'n harweinid ni i feithder annghymedrol ped amcanem at fyned yn fanwl trwy y llyfr hwn o ddosparth i ddosparth, o'r rhai y mae ynddo ddeuddeg, ac, wedi y golygiad a roddwyd genym eisoes ar y ddadl, nid ydym yn gweled fod hyny mewn un modd yn angenrheidiol. Y mae yr awdwr, yn amlwg i ni, yn profi fod y Gyfundraeth a wrthwynebir ganddo yn annghyson ag ystyr gwirioneddol rhai tystiolaethau pendant yn yr ysgrythyrau sanctaidd, ac yn gadael o'r neilldu yn gwbl un wedd arbenig ar Aberth y Gwaredwr Mawr, a ddysgir yn ddiammwys ynddynt hwy. Yr un pryd, y mae mor amlwg i ni ei fod yn camgymmeryd yn gwbl yr yspryd a lywodraethai Mr. Roberts, pan y mae, unwaith ac eilwaith, yn ei annog i "edrych at ei ddyben," ac, megis yn cymmeryd yn ganiatäol nad oedd ei ymlyniad diysgog a phenderfynol wrth yr hyn a ymddangosai iddo ef yn wirionedd yr efengyl, a'i eiddigedd drosto, yn ddim amgen na phrawf o "gyndynrwydd yspryd mewn dadl." Y mae yn resyn dirfawr na buasai *tôn* y llyfr yn wahanol. Y mae ynddo gyfoeth mawr o wirioneddau pwysig; lliaws o olygiadau eang a dysglaer a

nerthol, ar drefn yr efengyl; a rhai enghreifftiau rhagorol o hyawdledd sanctaidd; ac y mae yn anhawdd genym feddwl na buasai wedi cael dylanwad llawer helaethach ar Dduwinyddiaeth ein gwlad, ac wedi llwyddo i nesau y pleidiau Calvinaidd o'i mewn lawer iawn at eu gilydd, a gosod gwedd fwy Biblaidd a llai caeth i Gyfundraeth ar eu hathrawiaeth, pe buasai ond yn unig wedi ei gyfansoddi mewn yspryd mwy brawdol, ac mewn dull mwy ennillgar.

Nid ydym yn gwybod i Mr. Roberts ei hunan wneuthur un sylw trwy y wasg ar y llyfr hwn, oddieithr mewn un llythyr byr yn y "*Dysgedydd*," am Tachwedd, 1830 (*tu dal.* 336—337), yn yr hwn y cawn y geiriau canlynol, mewn cyfeiriad ato:—"Yr wyf wedi darllen 'Drych y Dadleuwr gan Mr. Richard Jones, o'r Wern, Llanfrothen. I'r holl bethau a roddir yn fy erbyn yn y llyfr hwn ni chaf *ateb un gair*, ond eu gadael yn berffaith dawel i farn fy nghydwladwyr, hyd nes byddom ein dau yn sefyll ger bron y Barnwr ag na wna gam â gwr yn ei fatter. Wrth ddarllen ei ddywediadau dirmygus, yr oeddwn yn cofio yr hyn a ddywedir am y diweddar John Brown o Haddington. I rai ysgrifenwyr ag oeddynt wedi ei ddifrïo trwy 'r argraffwasg, atebai yn addfwyn, 'Pa beth bynag yr ewyllysient hwy i mi, ewyllys fy nghalon i yw iddynt hwy gael prynedigaeth trwy ei waed ef, sef maddeuant pechodau, yn ol cyfoeth ei ras ef.'"

Ond er na ddaeth Mr. Roberts ei hunan allan yn ei erbyn ni bu dim prinder rhai i ymosod ar Mr. Richard Jones. Yn wir nid ydym yn gwybod i odid lyfr yn Nghymru erioed greu mwy o ryw fath o gyffröad, heb fod mewn un modd y goreu, ar deimladau dynion, na "Drych y Dadleuwr." Heb sôn yn awr am y *gwelleifio* gwaradwyddus a fu ar yr awdwr am fisoedd yn "*Lleuad yr Oes*," fe ymddangosodd lliaws o lythyrau, os nad yn yr yspryd, i gryn fesur yn yr un cyfeiriad yn y "*Dysgedydd*." Yn gyntaf oll, fe ymosodwyd arno yn y "*Dysgedydd*" am Ionawr, 1829 (*tu dal.* 17, 18), gan un, a'i galwai ei hunan, *Hu ap Edward*. Yr oedd y gwr hwn yn ysgrifenu yn dra doniol: ac, er na wnai un ymgais at gyffwrdd â chywirdeb neu âg annghywirdeb golygiadau Mr. Richard Jones, y mae yn rhaid cydnabod ei fod yn taro yn uniongyrchol ac yn drwm, ac yn null gwawdus y *Cymro Gwyllt* ei hunan, ar ei fan gwanaf, fel y mae yn ymddangos yn y llyfr dan ei sylw. Yn y "*Dysgedydd*" am Mawrth (*tu dal.* 72—78), y mae llythyr maith a lled alluog, a gyfenwir,—"*Y Dadleuwr yn y Drych*," oddiwrth *Siencyn*.

*ap Tydfil* [y diweddar Dr. Jenkyn], yn ymosod yn yr yspryd mwyaf dirmygus ar yr hyn y mae yn alw yn "lipryn o lyfr a elwir 'Drych y Dadleuwr' gan un Richard Jones." Nid yw y llythyr hwn eto yn ymyraeth dim â phynciau athrawiaethol, ond y mae yntau yn taro yn drwm iawn ar fan gwanaf yr awdwr, a'r peth mwyaf anamddiffynadwy yn y llyfr. Addawai *Siencyn* gadw ei olwg ar y Dadleuwr nes y byddai y Drych wedi ei orphen, ond nid ydym yn gwybod i un sylw arall o'i eiddo ymddangos byth arno. Yn y "*Dysgedydd*" am Mai (*tu dal.* 151), fe ymddangosodd llythyr byr oddiwrth *Edeyrn Môn*, yn sylwi ychydig ar yr hyn a olygai efe yn annghysoneb rhwng un o frawddegau Mr. Richard Jones a rhyw benderfyniad o eiddo ei frodyr ei hunan mewn Cymmanfa yn y Bala, yn y flwyddyn 1809, ynnghylch Iawn Crist. Ar ol hyn aeth blwyddyn gyfan heibio heb brin gyfeiriad at y "*Drych*" yn y "*Dysgedydd*," er fod y wlad drwyddi, ar y pryd, yn llawn berw o'i oblegyd. Ond yn y "*Dysgedydd*" am Mai, 1830, fe ymddangosodd dau lythyr oddiwrth *Edeyrn* (*tu dal.* 134—137; 144—147), yn dechreu ymosodiad arno, mewn cyfres o lythyrau, y rhai a barhasant i ddyfod allan, yn achlysurol hyd agos ddiwedd y flwyddyn: sef, un yn Mehefin (*tu dal.* 166—169); un arall yn Awst (*tu dal.* 231—233); un arall yn Medi (*tu dal.* 265—268); ac un arall yn Tachwedd (*tu dal.* 338—341). Nid oes wybod pa hyd y parhasai i ysgrifenu pe gadawsid iddo, ond yr oedd y Golygydd wedi penderfynu na chai dim ychwaneg ymddangos ar y llyfr wedi diwedd y flwyddyn hono, ac felly wedi rhoddi ar *Edeyrn* orphen ei Sylwadau yn gwbl yn y "*Dysgedydd*" am Ragfyr, 1830. Pa un a gymmerodd *Edeyrn* ychydig dramgwydd oblegyd y penderfyniad hwnw nis gwyddom, ond nid ysgrifenodd i'r rhifyn am Ragfyr, ac nid ymddangosodd yr un arall ar ol hyny. Yr ydym eisoes wedi cyfeirio at *Edeyrn* (*tu dal.* 482), ac wedi rhoddi un enghraifft hynod (*tu dal.* 485, 486) o'i ddull yn ymresymu. Y mae weithiau, yn y llythyrau sydd yn awr dan ein sylw, yn llwyddo i nodi allan rai gwallau yn "Nrych y Dadleuwr," ac ambell beth sydd yn ymddangos yn eithafol ac annghyson yn ei awdwr: eto y mae yn hawdd gweled nad ydoedd ond annghymmwys iawn i'r gorchwyl yr ymgymmerasai âg ef. Y mae yn fynych, yn amlwg, heb un ddirnadaeth gywir am ystyr yr hyn y dadleua i'w erbyn ac a gondemnir ganddo; weithiau, yn cam-ddyfynu brawddegau yr awdwr, yn y modd mwyaf anesgusodol; ac, weithiau, yn dwyn y cyhuddiadau trymaf yn ei erbyn, a hyny heb gysgod rhith o sail

i'r fath beth, ond naill ai ei anallu ei hunan i ddirnad, neu ei ddiofalwch yn nghylch dirnad, amcan ac ystyr yr awdwr yn yr hyn y cyhudda ef felly o'i blegyd. Buasai yn hawdd i ni ddwyn lliaws o brofion o'r pethau hyn. Ond digoned yr hyn a ganlyn, gydâ golwg ar y peth diweddaf. Yn y "Dysgedydd" am Mai, 1830, y mae ganddo lythyr dan y penawd,—"*Y Bibl a Richard Jones o'r Wern yn erbyn eu gilydd.*"—Er dangos y gwrthwynebiad hwn, y mae ganddo ar un golofn eiriau o'r Bibl wedi eu dyfynu, ac yn y golofn arall eiriau i Mr. Richard Jones, allan o "Ddrych y Dadleuwr." Yn mhlith y rhai hyn yr ydym yn cael, ar y naill law, y geiriau canlynol o'r Bibl:—"Dynion santaidd Duw a lefarasant megis y cynhyrfwyd hwy gan yr Yspryd Glan (2 Peter i. 21). Yr holl ysgrythyr sydd wedi ei rhoddi gan ysprydoliaeth Duw (2 Tim. iii. 16)." Gyferbyn â'r rhai hyn, yn y golofn arall, y mae y geiriau canlynol allan o'r "*Drych*:"—"Ond ni ragwelodd y gwŷr da a arferasant y geiriau uchod, (sef Eph. i. 22, a Ioan xvii. 2) y defnyddid eu geiriau er cadarnhau y gyfundraeth yr hon sydd yn dywedyd, fod holl waith Iesu yn gysylltiedig â'i aberth, onite y mae yn debyg y buasent yn fwy gwyliadwrus. Tu dal. 146."—Sylwer mai Edeyrn ei hunan a ddododd y cyfeiriadau ysgrythyrol i mewn yn nghanol y frawddeg. Yn un o'r llythyrau canlynol, yn y "*Dysgedydd*" am Tachwedd, 1830 (*tu dal.* 338), mewn Nodiad ar waelod y ddalen, y mae yn dywedyd fel hyn:—"Mynych iawn yr ymorfoledda R. J. yn ei resymau cnawdol yn erbyn y golygiad hwn; eithr pan y cyfeirir ef at yr ysgrythyrau sydd yn benderfynol ar y matter, nid oes ganddo mewn atebiad ond yn unig dweyd, 'na ragwelodd y gwyr da a ysgrifenasant y Bibl y defnyddid eu geiriau er cadarnhau y fath gyfundraeth, onite y buasent yn fwy gwyliadwrus!' —Gwelwn, wrth ymgyndynu mewn cyfeiliornad, mor beryglus ydyw i ddynion gael eu harwain i wadu dwyfolder yr ysgrythyrau."—Yn y llythyr blaenorol, yr oedd *Edeyrn* wedi dodi y cyfeiriadau at yr ysgrythyrau, yn nghanol brawddeg a broffesai ddifynu fel yr eiddo Mr. Richard Jones; ac yn y Nodiad hwn, a ddyfynwyd genym, fe welir ei fod yn ei ddyfynu ef fel yn dywedyd,—"na ragwelodd y gwyr da a ysgrifenasant y Bibl y defnyddid eu geiriau" i ryw amcan gwahanol i'r hyn a fwriedid ganddynt. Mewn gwirionedd, yn ol *Edeyrn*, y mae Mr. Richard Jones yn llefaru am yr ysgrifenwyr sanctaidd fel ysgrifenwyr cyffredin, ac megis rhai, yn niffyg rhagolwg ar y defnydd a wnelid gan ryw rai o'u geiriau, yn llefaru yn dra gwahanol i'r hyn a wnaeth-

ent pe buasent yn gallu rhagweled hyny! Gallasai pawb adnabyddus o hono wybod fod yn rhaid fod yma ryw gamgymmeriad dybryd: naill ai rhyw wall argraffyddol dirfawr yn camddarlunio Mr. Jones, neu ynte ryw gamddeall anfad, ar du *Edeyrn*, o'r hyn a ysgrifenasid ganddo. Ac erbyn edrych, fe welir, ar unwaith, nad ydyw y cwbl ond ffrwyth rhyw "amryfusedd cadarn" o eiddo pen neu galon *Ederyn* ei hun. Er dangos mor annheg yr oedd Mr. Jones yn cael ei gyhuddo yn hyn, ac fel esiampl o'i olygiadau, yn gystal ag o'i ddull arferol yn ysgrifenu, ni a gymmerwn ein rhyddid i ddodi i mewn yma yn gyflawn y Nodiad, a geir yn ngodreu y dail, yn "*Nrych y Dadleuwr*," a gamddefnyddiwyd mor ddychrynllyd gan Edeyrn:—"Mewn ystyriaeth fanwl a chywir, y mae yr hyn oll ag sydd yn brïodol i hanfod prynedigaeth mewn cysylltiad anwahanol â'r pridwerth, mewn gosodiad, gweithrediad, ac effaith, megis iawn drostynt, cyfiawnhâd a maddeuant iddynt, eu haileni, eu rhyddhâu, eu bywhâu; eu ceisio a'u cadw, eu cynnal a'u harwain, &c., ac yn y diwedd eu hadgyfodi ar ei ddelw. Heb. vii. 25. Tit. ii. 14. Eph. i. 7. Rhuf. viii. 23. 1 Cor. i. 30. Ond nid yw pob peth ag sydd tan ei lywodraeth fel Pen-arglwydd y cwbl, i'w hystyried fel hyn (er eu bod at wasanaeth prynedigaeth) ddim pellach nag mai trwy 'r iawn a roddodd, a'r pridwerth a dalodd, yr esgynodd i'r orsedd ag y mae yn eistedd arni yn awr, yn yr awdurdod oruchel hon; ond y mae pob peth sydd dan ei lywodraeth wedi eu rhoddi a'u darostwng iddo yn y fath fodd, fel y maent yn ei law, wrth ei orchymyn, i wneuthur pa beth bynnag a fyddo yn angenrheidiol er dwyn ym mlaen Brynedigaeth ei Eglwys; ïe, medr oruwch-reoli amcan gelynol pyrth uffern, er dwyn rhyw ddaioni i'w bobl! Ps. lxxvi. 10. Gen. iii. 15, a xvii. 2. Eph. i. 20, &c. Yn y mannau hyn, gwelwn, fod *rhoddiad*, a *rhoddiad*—'Rhoddwyd iddo *awdurdod ar bob cnawd*, fel am y cwbl *a roddwyd iddo*, y rhoddai efe iddynt *fywyd tragywyddol*.' Mae mor eglur a haul mai nid yr un rhoddiad a feddylir mewn perthynas i'r awdurdod, ag sydd i'w ystyried mewn perthynas i'r bywyd tragywyddol: ond y mae 'r *awdurdod ar bob cnawd* wedi ei rhoddi iddo, er gwasanaethu y peth a fynno tuag at ddwyn y rhai oll a roddwyd iddo i etifeddu yn gyflawn yr hyn sydd gynnwysedig mewn bywyd tragywyddol. 'Fel am y cwbl a roddwyd iddo, y rhoddai efe iddynt fywyd tragywyddol.—Ac a ddarostyngodd bob peth dan ei draed ef; ac a'i rhoddes ef yn ben (ar) bob peth *i'r eglwys*.' Gan hynny, mae yr hyn oll a roddwyd iddo, at wasanaeth ei eglwys.

"Naill ai o ddiffyg deall, neu o ddiffyg ystyried y gwahaniaeth priodol yn hyn, mae llawer o hen ysgrifenwyr llafurus yr oesoedd [*dymunir i'r darllenydd sylwi yn fanwl ar hyn, oblegyd yma y cyfeiliornodd Edeyrn*] wedi arfer amryw ymadroddion ag sydd yn tueddu i arwain oddiar ganol y ffordd:—Megis, 1. Fod pob rhyw roddion neu gyfraniadau, o amryfal natur, *wedi eu prynu;* y rhai nid ydynt, fel y soniwyd uchod, ond pethau wedi eu *rhoddi* iddo, a than ei *awdurdod*, er atteb gwasanaeth prynedigaeth ei eglwys: ond chwithig yw dywedyd eu bod wedi eu prynu.—2. Gosodant brynedigaeth allan megis yn *rhannau.* Nid yw y golygiad neu 'r ymadrodd hwn nemawr well, er, mewn rhyw ystyriaeth, nid wyf yn ei farnu yn gyfeiliornad, fel y mae amrywiol bethau yn gynnwysedig yn y llwyr gyflawniad o brynedigaeth yr eglwys; etto, nid yw iaith yr ysgrythyr yn cyfnerthu y dywediadau hyn, a'u cyffelyb: canys iaith y Bibl yw hyn, *Yn yr hwn y mae i ni brynedigaeth.* Eph. i. 7. Nid rhyw ran, neu rannau. *Trwy y prynedigaeth sydd yn Nghrist Iesu.* Rhuf. iii. 24. *Crist a'n llwyr brynodd.* Gal. iii. 13. Nid mewn rhan, neu rannau. Mae yn eglur nad yw y geiriau hyn, a'u cyffelyb, yn golygu prynedigaeth yn waith rhanedig, nac ychwaith fod *prynu pethau* yn ystyriaeth briodol, ond personau; ac nid pob personau yn gyffredinol, ond y personau *a roddwyd iddo.* Ac y mae *prynu*, &c. yn ei sŵn a'i synwyr naturiol, yn dywedyd hyn.

"Un cyfanwaith anfeidrol ryfedd yw prynedigaeth, yn yr hwn y mae llawer olwyn mewn olwyn yn troi, ond yr hyn sydd yn rhoddi eu hysgogiad prynedigol iddynt oll, mewn anfeidrol nerth a doethineb, yw y cysylltiad anwahanol â'r pridwerth a'r iawn a wnaed ar Galfaria fryn; hyn sydd yn gwneuthur *gwaredu, achub,* a *rhyddhau*, &c., yn brynedigaeth. Nid oes unrhyw *waredu, achub,* na *rhyddhau*, &c., yn brynedigaeth, ond sydd mewn cysylltiad gwirioneddol â'r aberth; (namyn amserol ac ymddangosiadol, megis 2 Petr ii. 1.) hwn yw sylfaen, enaid, a bywyd prynedigaeth.

"Marwolaeth yr oen tros Israel oedd yn peri bod llef prynedigaeth yn hollti'r môr o'u blaen, ac yn peri i'r bara ddisgyn o'r cymmylau i'w porthi, a'r dwfr o'r graig i'w disychedu! ïe, wrth amnaid prynedigaeth Duw, ciliodd yr Iorddonen o'r ffordd, a'r ser yn eu graddau a ymladdasant o'r nef yn erbyn y gelynion, ac afon Cison a chwyddodd mewn cyffro i foddi eu byddinoedd! yr haul a'r lleuad a safasant mewn syndod, wrth weled prynedigaeth yn galw ei luoedd i'r maes! Yn yr

ystyriaeth hon, mynych y gelwir gwaredigaeth Israel o'r Aipht yn brynedigaeth: Deut. xxxii. 6; Psalm lxxiv. 2., ïe, yr oedd pob peth wrth amnaid y Prynwr yn barod at ei wasanaeth, er gwaredu 'r bobl ag y bu yr oen farw drostynt, ac y diogelwyd eu bywyd trwy daenelliad o'i waed. Yn debyg i hyn y dylem ystyried prynedigaeth yr eglwys *yn*, a *thrwy* Grist. *Rhoddwyd iddo bob awdurdod. Mat.* xxviii. 18. *Ac a ddarostyngodd bob peth dan ei draed ef. Eph.* i. 22. *Megis y rhoddaist iddo awdurdod ar bob cnawd,* (i ba ddiben? onid) *fel am y cwbl a roddaist iddo, y roddai efe iddynt fywyd tragywyddol. Ioan* xvii. 2.

"Ond ni ragwelodd y gwyr da a arferasant y geiriau uchod, y defnyddid eu geiriau er cadarnhâu y Gyfundraith, yr hon sydd yn dywedyd, *Fod holl waith Iesu yn gysylltiedig â'i aberth—a phob peth* (yn yr un ystyr cyffredinol) *ar lwybr y gwaed;* onidê, mae yn debyg, y buasent yn fwy gwyliadwrus; canys eglur yw, wrth ystyried eu golygiadau gyd â'u gilydd, mai nid yn ol natur y Gyfundraith grybwylledig yr oeddynt hwy yn barnu. Ond pwy erioed a fedrodd ymadroddi mor gywrain a chall, na wna yspryd gŵyrni a *chyndynrwydd* ddefnydd o ryw eiriau yma a thraw, er cadarnhâu, fe allai, yr hyn a fo 'n gamsyniol; pan, ped ystyrid y rheswm neu y frawddeg yn gyflawn, ymddangosai 'r synied yn beth arall?" (*"Drych y Dadleuwr:" tu dal.* 144—147.)

Fe wel ein darllenwyr, yn awr, yn eglur, mor ddisail oedd y cyhuddiad a ddygid gan *Edeyrn* yn erbyn Mr. Richard Jones, ac mor analluog oedd *Edeyrn* i ddilyn meddwl yr awdwr yr ymosodai arno, pan y gallai ddwyn y fath gyhuddiad yn ei erbyn. Yn lle bod Mr. Jones yn cyfeirio at ysgrifenwyr yr ysgrythyrau sanctaidd, ïe, yn ol Edeyrn, at ein Gwaredwr mawr ei hunan,—oblegyd EFE a lefarodd y geiriau yn Ioan xvii. 2,—cyfeirio yr oedd efe at "lawer o hen ysgrifenwyr llafurus yr oesoedd," y rhai oeddent "wedi arfer amryw ymadroddion ag sydd yn tueddu i arwain oddiar ganol y ffordd;" a'r ymadroddion hyny yn cael eu defnyddio, gan ryw rai, mewn ystyr na ragwelid ganddynt hwy, er cadarnhâu "Cyfundraith" dra gwahanol o ran ei hegwyddorion i'r un oeddent hwy yn dderbyn ac yn ddysgu. Ni wnaeth Mr. Richard Jones un atebiad i'r ymosodiadau hyn, nac un cyfeiriad atynt, hyd ag yr ydym ni yn deall, oddieithr unwaith mewn llythyr yn y *"Drysorfa,"* am Awst, 1831 (*tu dal.* 230–232), yn yr hwn y mae yn hysbysu ei fwriad i gyhoeddi "Traethawd ar Gyfryngdod yr Arglwydd Iesu." Mae yn y llythyr hwnw yn cyfeirio, yn y modd mwyaf dirmygus, at *Ederyn*, fel

"rhyw dynan o Sir Fôn;" ond heb fod "o synwyroldeb priodol, i farnu 'n gywir, gyfansoddiad tafodiaith Cymro." Gwnaed ychydig sylw gan *Edeyrn* ar y llythyr hwnw yn y "*Dysgedydd*" am Ragfyr, 1831 (*tu dal.* 366—368), dan yr enw "*Y Dynan o Sir Fôn;*" ond ni wnaed un sylw byth o hono drachefn, hyd ag y gwyddom ni, gan Mr. Richard Jones. Dechreuodd ei iechyd ef waethygu yn fawr yn nechreu y gwanwyn canlynol (1832); a pharhäodd i waelu hyd ei farwolaeth, Chwefror 26, 1833, pan nad ydoedd ond triugain mlwydd oed. Bu farw cyn gorphen ei waith addawedig ar "Gyfryngdod Crist;" ac nis gallwn lai na golygu hyny yn golled dirfawr i Dduwinyddiaeth Cymru. Ni a ddymunem gymhell ar sylw ei feibion, ai ni byddai yn well dwyn allan mewn rhyw wedd, y rhanau o hono a orphenwyd ganddo, neu, o leiaf, fel y gadawodd efe hwynt. Y mae yn resyn fod dim o ffrwyth meddwl efrydydd mor graffus, a gonest, a dwys, ar wirioneddau yr efengyl, yn cael eu gadael yn y perygl o fyned ar ddifancoll.

Cyn gorphen cyhoeddiad "*Drych y Dadleuwr,*" fe ddygwyd allan lyfr arall, er nad fel rhan o'r ddadl, eto yn hollol ar y pwnc yr oedd y fath ddadleu yn ei gylch, a ennillodd gryn sylw,—"*Athrawiaeth yr Iawn: neu, Aberth Crist yn cael ei ystyried, yn ei Natur a'i Angenrheidrwydd; yn nghyd â'i Berthynas ag Amrywiol Ranau y Grefydd Gristionogol.* Gan Samuel Bowen. Aberystwyth: argraphwyd (dros yr Awdwr) gan S. Thomas. 1829."—Mae y Rhagymadrodd i'r gwaith wedi ei ddyddio,—"S. B. *Drefnewydd*, Mawrth 2, 1829." Yr oedd Mr. Bowen, ar y pryd, yn Athraw Ieithyddol yn Athrofa yr Annibynwyr yn y Drefnewydd. Symmudodd oddiyno i gymmeryd gofal eglwys Gynnulleidfäol yn mhlith y Saeson, yn Macclesfield, lle y mae eto yn gweinidogaethu. Y mae yn ŵr o ddysgeidiaeth dda, ac o feddwl lled alluog; gonest hollol, ni a dybygem, yn ei ymchwiliadau am y gwirionedd, a phenderfynol iawn dros yr hyn a ymddangosa felly iddo ef. Yr un golygiadau ar yr Iawn, o ran hanfod, a ddysgir ganddo yn y llyfr hwn ag a gawn gan Mr. Roberts yn y "*Galwad Difrifol,*" ond ei fod ef yma yn ymdrin â'r pwnc yn helaethach ac yn fanylach, ac yn gweithio allan i'w canlyniadau naturiol yn fwy llwyr ac ëon yr egwyddorion a ddodir i lawr yno. Y mae yr awdwr yn cymmeryd y tir pendant, nad oedd yr Iawn yn ddim amgen na darpariaeth, er gwneuthur achubiaeth pechaduriaid yn beth posibl i'r Jehovah mawr, heb niweidio ei gymeriad fel Llywodraethwr. Y mae yn myned mor bell, yn y cyfeiriad hwn, ag

i gondemnio y gwahaniaeth a wneid gan Mr. Roberts, Llanbrynmair, rhwng "dybenion *neillduol* a *chyffredinol* marwolaeth Crist," gan ei olygu fel "yn cymmysgu penarglwyddiaeth â iawn, yn priodoli i'r *Iawn* fwriadau arfaeth" (*tu dal.* 103). "Dyben Iawn," yn ei olygiad ef, "yw cadw 'r gyfraith rhag cael ei dystrywio—rhag teimlo effaith maddeuant. Yr Iawn a ofyn llywodraeth gan hyny yw, unrhyw beth a gadwo y gyfraith yn ngwyneb maddeu, mor anrhydeddus a phe nas troseddasid hi erioed, mor rymus ac effeithiol a phe y tywelltid ei holl fygythion" (*tu dal.* 23). Mae, yr un pryd, yn addef yn bendant "y *sicrwydd*, y CADARN SICRWYDD, y caiff Crist weled o lafur ei enaid, ac na chyll yr un a roddwyd iddo gan y Tad:" eithr y mae yn dadleu fod hyny yn cyfodi, "nid" oblegyd "fod Crist wedi talu dyled rhyw nifer, a gosod y Tad dan rwymau cyfiawnder i ofalu am danynt, a'u hachub, ac y byddai yn anghyfiawn pe nas gwnai;" ond mai "sicrwydd" ydyw "yn tarddu yn unig o ras,—o anffaeledig weithrediadau Ysbryd Duw, ac *anghyfnewidiol arfaeth* y Jehofa" (*tu dal.* 67). Mae mor bell, yn wir, oddiwrth gydnabod fod dim a wnelo cyfiawnder â sicrwydd cadwedigaeth neb trwy yr iawn, fel y mae yn dadleu na byddai yr iawn yn ofer yn y llywodraeth ddwyfol, hyd yn nod pe na achubid yr un enaid trwyddo:—"Byddai gwerth yr Iawn yr un i dragywyddoldeb yn ngolwg y Jehofa ei hun, ac yn ngolwg ei holl ddeiliaid santaidd, pe byddai holl hil Adda, âg un llais, yn gwrthod cynnygiadau gras" (*tu dal.* 63). Nid ydym ni yn gweled fod hyn yn gwahaniaethu dim o ran sylwedd, oddiwrth y golygiad fu dan ein sylw eisoes (*tu dal.* 397, 398), y dadleuai Emmons drosto, pan y gwadai *haeddiant* yr iawn yn mhob ystyr; fel ag y mae hefyd yn sicr yn gwahaniaethu oddiwrth iaith, a thybygem ni oddiwrth ystyr, holl ddysgeidiaeth yr ysgrythyrau sanctaidd am *Natur* yr iawn,—yr *Angenrheidrwydd* am dano,—a'r *Cysylltiad sicr* sydd rhyngddo â chadwedigaeth pechaduriaid trwyddo.

Yn mhen ychydig wythnosau wedi dwyn y traethawd fu yn awr dan ein sylw allan o'r Wasg, fe gyhoeddwyd,—"*Pregeth ar Brynedigaeth trwy Waed Crist. Gan y diweddar Barchedig* George Lewis, D.D. Gwrecsam: Argraffwyd dros G. Lewis, gan Richard Hughes. 1829." Testyn y Bregeth ydyw Eph. i. 7, ac y mae yn gyfansoddiad helaeth, yn ymestyn i yn agos i driugain o du dalenau wythplyg. Yr oedd Dr. Lewis wedi marw er Mehefin 5, 1822, a'r bregeth hon wedi ei chyfansoddi ychydig gydâ dwy flynedd cyn hyny, sef yn Mai 1820, pan ydoedd

"rhyw dynan o Sir Fôn;" ond heb fod "o synwyroldeb priodol, i farnu 'n gywir, gyfansoddiad tafodiaith Cymro." Gwnaed ychydig sylw gan *Edeyrn* ar y llythyr hwnw yn y "*Dysgedydd*" am Ragfyr, 1831 (*tu dal.* 366—368), dan yr enw "*Y Dynan o Sir Fôn;*" ond ni wnaed un sylw byth o hono drachefn, hyd ag y gwyddom ni, gan Mr. Richard Jones. Dechreuodd ei iechyd ef waethygu yn fawr yn nechreu y gwanwyn canlynol (1832); a pharhäodd i waelu hyd ei farwolaeth, Chwefror 26, 1833, pan nad ydoedd ond triugain mlwydd oed. Bu farw cyn gorphen ei waith addawedig ar "Gyfryngdod Crist;" ac nis gallwn lai na golygu hyny yn golled dirfawr i Dduwinyddiaeth Cymru. Ni a ddymunem gymhell ar sylw ei feibion, ai ni byddai yn well dwyn allan mewn rhyw wedd, y rhanau o hono a orphenwyd ganddo, neu, o leiaf, fel y gadawodd efe hwynt. Y mae yn resyn fod dim o ffrwyth meddwl efrydydd mor graffus, a gonest, a dwys, ar wirioneddau yr efengyl, yn cael eu gadael yn y perygl o fyned ar ddifancoll.

Cyn gorphen cyhoeddiad "*Drych y Dadleuwr,*" fe ddygwyd allan lyfr arall, er nad fel rhan o'r ddadl, eto yn hollol ar y pwnc yr oedd y fath ddadleu yn ei gylch, a ennillodd gryn sylw,—"*Athrawiaeth yr Iawn: neu, Aberth Crist yn cael ei ystyried, yn ei Natur a'i Angenrheidrwydd; yn nghyd â'i Berthynas ag Amrywiol Ranau y Grefydd Gristionogol.* Gan Samuel Bowen. Aberystwyth: argraphwyd (dros yr Awdwr) gan S. Thomas. 1829."—Mae y Rhagymadrodd i'r gwaith wedi ei ddyddio,—"S. B. *Drefnewydd*, Mawrth 2, 1829." Yr oedd Mr. Bowen, ar y pryd, yn Athraw Ieithyddol yn Athrofa yr Annibynwyr yn y Drefnewydd. Symmudodd oddiyno i gymmeryd gofal eglwys Gynnulleidfäol yn mhlith y Saeson, yn Macclesfield, lle y mae eto yn gweinidogaethu. Y mae yn ŵr o ddysgeidiaeth dda, ac o feddwl lled alluog; gonest hollol, ni a dybygem, yn ei ymchwiliadau am y gwirionedd, a phenderfynol iawn dros yr hyn a ymddangosa felly iddo ef. Yr un golygiadau ar yr Iawn, o ran hanfod, a ddysgir ganddo yn y llyfr hwn ag a gawn gan Mr. Roberts yn y "*Galwad Difrifol,*" ond ei fod ef yma yn ymdrin â'r pwnc yn helaethach ac yn fanylach, ac yn gweithio allan i'w canlyniadau naturiol yn fwy llwyr ac ëon yr egwyddorion a ddodir i lawr yno. Y mae yr awdwr yn cymmeryd y tir pendant, nad oedd yr Iawn yn ddim amgen na darpariaeth, er gwneuthur achubiaeth pechaduriaid yn beth posibl i'r Jehovah mawr, heb niweidio ei gymeriad fel Llywodraethwr. Y mae yn myned mor bell, yn y cyfeiriad hwn, ag

i gondemnio y gwahaniaeth a wneid gan Mr. Roberts, Llanbrynmair, rhwng "dybenion *neillduol* a *chyffredinol* marwolaeth Crist," gan ei olygu fel "yn cymmysgu penarglwyddiaeth â iawn, yn priodoli i'r *Iawn* fwriadau arfaeth" (*tu dal.* 103). "Dyben Iawn," yn ei olygiad ef, "yw cadw 'r gyfraith rhag cael ei dystrywio—rhag teimlo effaith maddeuant. Yr Iawn a ofyn llywodraeth gan hyny yw, unrhyw beth a gadwo y gyfraith yn ngwyneb maddeu, mor anrhydeddus a phe nas troseddasid hi erioed, mor rymus ac effeithiol a phe y tywelltid ei holl fygythion" (*tu dal.* 23). Mae, yr un pryd, yn addef yn bendant "y *sicrwydd*, y CADARN SICRWYDD, y caiff Crist weled o lafur ei enaid, ac na chyll yr un a roddwyd iddo gan y Tad:" eithr y mae yn dadleu fod hyny yn cyfodi, "nid" oblegyd "fod Crist wedi talu dyled rhyw nifer, a gosod y Tad dan rwymau cyfiawnder i ofalu am danynt, a'u hachub, ac y byddai yn anghyfiawn pe nas gwnai;" ond mai "sicrwydd" ydyw "yn tarddu yn unig o ras,—o anffaeledig weithrediadau Ysbryd Duw, ac *anghyfnewidiol arfaeth* y Jehofa" (*tu dal.* 67). Mae mor bell, yn wir, oddiwrth gydnabod fod dim a wnelo cyfiawnder â sicrwydd cadwedigaeth neb trwy yr iawn, fel y mae yn dadleu na byddai yr iawn yn ofer yn y llywodraeth ddwyfol, hyd yn nod pe na achubid yr un enaid trwyddo:—"Byddai gwerth yr Iawn yr un i dragywyddoldeb yn ngolwg y Jehofa ei hun, ac yn ngolwg ei holl ddeiliaid santaidd, pe byddai holl hil Adda, âg un llais, yn gwrthod cynnygiadau gras" (*tu dal.* 63). Nid ydym ni yn gweled fod hyn yn gwahaniaethu dim o ran sylwedd, oddiwrth y golygiad fu dan ein sylw eisoes (*tu dal.* 397, 398), y dadleuai Emmons drosto, pan y gwadai *haeddiant* yr iawn yn mhob ystyr; fel ag y mae hefyd yn sicr yn gwahaniaethu oddiwrth iaith, a thybygem ni oddiwrth ystyr, holl ddysgeidiaeth yr ysgrythyrau sanctaidd am *Natur* yr iawn,—yr *Angenrheidrwydd* am dano,—a'r *Cysylltiad sicr* sydd rhyngddo â chadwedigaeth pechaduriaid trwyddo.

Yn mhen ychydig wythnosau wedi dwyn y traethawd fu yn awr dan ein sylw allan o'r Wasg, fe gyhoeddwyd,—"*Pregeth ar Brynedigaeth trwy Waed Crist. Gan y diweddar Barchedig* George Lewis, D.D. Gwrecsam: Argraffwyd dros G. Lewis, gan Richard Hughes. 1829." Testyn y Bregeth ydyw Eph. i. 7, ac y mae yn gyfansoddiad helaeth, yn ymestyn i yn agos i driugain o dû dalenau wythplyg. Yr oedd Dr. Lewis wedi marw er Mehefin 5, 1822, a'r bregeth hon wedi ei chyfansoddi ychydig gydâ dwy flynedd cyn hyny, sef yn Mai 1820, pan ydoedd

yr Awdwr yn preswylio yn Llanfyllin, cyn symmud yr Athrofa i'r Drefnewydd. Ond ni chyhoeddwyd hi hyd yn awr: ac nid ydym yn ammeu nad cyhoeddiad y traethawd uchod i Mr. Samuel Bowen, yr hwn a gynnwysai athrawiaeth mor wahanol, a fu yn achlysur o'i chyhoeddiad y pryd hwn. Mae yn hysbys fod y Parch. Edward Davies, yr hwn oedd, ar ol marwolaeth Dr. Lewis, wedi ei ddyrchafu yn Llywydd ac yn Athraw Duwinyddol yn yr Athrofa yn y Drefnewydd, yn glynu yn benderfynol wrth yr hyn a olygai efe yr hen syniadau Calvinaidd ar yr Iawn a'r pynciau cysylltiedig; a gradd o brofedigaeth, yn ddiddadl, iddo ef oedd, fod yr hwn oedd yn gyd-athraw âg ef, wedi cyhoeddi llyfr yn cynnwys syniadau mor wahanol. Nid oedd, pa fodd bynnag, yn dewis dyfod allan ei hunan yn uniongyrchol mewn dadl yn ei erbyn, gan y buasai hyny, rhwng dau gyd-athraw, yn ymddangos yn rhywbeth tra annaturiol; ac yr oedd yn deall hefyd fod y nifer amlaf o'r gweinidogion Annibynol, o leiaf yn y Gogledd, yn enwedig y rhai mwyaf dylanwadol, erbyn hyn yn cymmeryd yn gwbl yr un cyfeiriad â Mr. Bowen. Ond yr oedd Mr. Davies yn gwybod am y bregeth hon oedd yn mhlith ysgrifeniadau ei dad-yn-nghyfraith, ac yr oedd yn fynych wedi cymhell ei chyhoeddi; ac, yn awr, fe gafodd gan ei frawd-yn-nghyfraith, mab yr awdwr ac o'r un enw ag ef, oedd yn feddyg, ac yn byw yn Ngwrexham, ei dwyn allan o'r Wasg. Ac y mae, yn sicr, yn gyfansoddiad tra rhagorol ar y pwnc yr ymdrinir âg ef ynddi. Y mae yr awdwr yn myned i mewn yn helaeth i "ystyr neu arwyddoccâd y gair Prynedigaeth;" ac, i'r amcan hwnw, yn cyfeirio yn fanwl at yr amrywiol eiriau sydd "yn cael eu harfer yn ieithoedd gwreiddiol yr Hen Destament a'r Newydd, yn y manau y maent yn sôn am brynedigaeth." Y mae yr ymchwiliad hwn yn ei arwain i'r casgliadau canlynol:—"Y mae'r gair Prynedigaeth yn golygu bob amser fod rhyw wrthddrychau yn cael eu prynu;"—"Y mae'r gair Prynedigaeth yn rhoddi ar ddeall i ni fod rhyw bridwerth yn cael ei roddi dros y rhai a brynir;"—"Y mae Prynedigaeth pechaduriaid yn golygu eu bod i gael eu dwyn o'r lle yr oeddynt, neu allan o'r cyflwr yr oeddynt ynddo;"—"Y mae prynedigaeth pechaduriaid yn golygu fod y Prynwr yn cael hawl neillduol iddynt trwy ei waith yn eu prynu;"—"Nid yw bod Crist wedi rhoddi ei hun yn bridwerth dros bechaduriaid ddim yn gwneuthur yn angenrheidiol iddo gymmeryd meddiant yn ddioed o honynt, neu iddynt gael eu gwaredu yn ddioed o'r sefyllfa annymunol y maent wedi myned iddi;"

—ac, "Y mae y rhai y rhoddodd Crist ei hun yn bridwerth drostynt yn sicr o gael eu gwaredu allan o'r cyflwr y maent ynddo fel pechaduriaid."—Y mae yn myned rhagddo yn helaethach i brofi "fod y Brynedigaeth sydd yng Nghrist Iesu yn cynnwys gweithredol waredigaeth y prynedigion o'r sefyllfa druenus y maent ynddi trwy bechod." Mae yn cael y prawf o hyny mewn dau beth: Y geiriau neillduol a arferir yn ieithoedd gwreiddiol yr Ysgrythyrau Sanctaidd pan yn son am brynedigaeth; a'r "hyn y dywedir fod Crist yn prynu ei bobl oddiwrtho."—Y mae yr holl ymresymiad, trwy y bregeth, yn mhlaid prynedigaeth neillduol yn ystyr yr hen Dduwinyddion o'r gair; ac eto yn gryf dros anfeidroldeb yr iawn, ac yn golygu mai "gwaeth na phlentynaidd fyddai meddwl y buasai yn angenrheidiol i gael rhyw un mwy gogoneddus nâ Christ i ddioddef, neu y buasai 'n rhaid iddo ddioddef ychwaneg nâ'r hyn a ddioddefodd, pe buasai holl ddynolryw i gael eu prynu" (*tu dal.* 59). Y mae yr holl ymdriniaeth yn yr ysbryd goreu, ac yn ffrwyth ymchwiliad manwl a gonest a thêg, i ystyr dysgeidiaeth yr ysgrythyrau ar y pwnc, ond yn hollol rydd oddiwrth bob gwedd ddadleugar. Yr unig beth a deimlir genym yn ddiffyg yn yr ymchwiliad, yn ei gysylltiad â'r ysgrythyrau, yw, na buasai wedi sylwi ychydig ar y gwrthddadleuon yn erbyn y golygiad a amddiffynir ganddo, a gyfodir oddiwrth y defnydd Biblaidd o'r geiriau "*byd*," "*holl fyd*," "*pawb*," "*pob dyn*," &c., yn eu cysylltiad â marwolaeth ac iawn Crist. Oddieithr hyny, y mae y bregeth yn nodedig o gyflawn, ac yn deilwng, nid yn unig o gael ei darllen gan, ond o astudiaeth fanwl, yr efrydydd ysgrythyrol.

Y peth nesaf o ddim pwys, adnabyddus i ni, a ddygwyd allan yn dal cysylltiad â'r ddadl hon oedd,—"*Y Cawg Aur, yn llawn o Ddwfr Pur, o Afon Bywyd;* neu, *Draethawd,* ar, yn 1. Duwdod Crist. 2. Iawn Crist; ac nad ydyw 'r athrawiaeth o iawn Crist, yn milwrio yn erbyn yr athrawiaeth o faddeuant rhad. 3. Dyfodiad pechod i'r byd. 4. Arfaeth Duw. 5. Etholedigaeth bersonol ac anamodol. 6. Nad ydyw galwedigaeth gyffredinol yr efengyl yn anghyson âg etholedigaeth bersonol, &c. 7. Gorchymynion moesawl a phenodawl. 8. Gallu ac anallu dyn. 9. Sefyllfa prawf. 10. Rhyddid a chaethiwed yr ewyllys. 11. Natur Cyfamod Sinai. 12. Rhagoriaeth y Cyfamod Gras. *Y cyfan mewn ffordd o Holiadau ac Atebion, rhwng Dafydd ac Ioan. A gyfansoddwyd gan y Parch.* D. Evans, Mynydd-bach, Abertawy: Argraffwyd

gan E. Griffiths."—Nid oes amseriad ar y wyneb-ddalen; ond y mae y llythyr cyflwyniad o'r llyfr, i'r eglwysi y gweinidogaethai yr awdwr iddynt, wedi ei ddyddio, "Mehefin 23ain, 1830." Daeth ail argraffiad o hono allan yn ddiweddar, "gydâ Rhagdraethawd, gan y Parch. R. Thomas, Bangor. Dolgellau: Cyhoeddwyd gan William Hughes & Co. 1866." Yr oedd Mr. Daniel Evans yn frodor o ardal Eglwys Wrw, yn Sir Benfro, lle y ganwyd ef, yn mis Ionawr, 1774. Dechreuodd bregethu pan tua deunaw mlwydd oed, a neillduwyd ef i'r weinidogaeth, yn Llanwrtyd, Sir Frecheiniog, yn y flwyddyn 1796. Yn y flwyddyn 1799, fe symmudodd i Fangor, Sir Gaernarfon, lle y bu am rai blynyddoedd yn llafurio yn ffyddlawn, ac i raddau yn llwyddiannus, yn ngwyneb llawer iawn o anfanteision. Yn y flwyddyn 1808, fe symmudodd oddiyno i'r Mynydd-bach, yn Sir Forganwg, lle y parhäodd i weinidogaethu hyd ei farwolaeth, Mawrth 3, 1835, pan ydoedd yn un mlwydd a thriugain oed. Yr oedd yn ŵr da; yn bregethwr cymmeradwy, er nad poblogaidd; ac yn ysgrifenydd lled alluog. Yr oedd ei feddwl o duedd hollol Dduwinyddol; ac yr oedd yn hoffi yn neillduol y pynciau hyny mewn Duwinyddiaeth a derfynant yn uniongyrchol ar rwymedigaeth a chyfrifoldeb dyn. Y llyfr cyntaf, y gwyddom ni am dano, a gyhoeddwyd ganddo oedd,—"*Plant Bychain yn Gadwedig: neu Draethawd ar Gadwedigaeth Babanod. Y' mha un y sylwir, ar eu Cyflwr wrth Natur; Gwrthddadleuon yn cael eu hatteb; Prawf o'u Cadwedigaeth; ynghyd â Pha fodd y maent yn cael eu cadw.* Merthyr Tydfil: Argraphwyd gan William Williams. 1811." Y mae yn ymddangos ei fod, pan y cyhoeddwyd hwn, er yn tueddu at olygiadau eangach nag odid neb o'i frodyr yn y weinidogaeth, yn mhlith yr Annibynwyr yn Neheudir Cymru, eto yn cymmeryd, gydâ golwg ar yr Iawn a'r Prynedigaeth, yr hen dir cyffredin yn mhlith y Calviniaid, y pryd hyny, yn ein gwlad. Wele enghraifft o'i olygiadau ynddo:—"Yr hyn a roddodd Crist yn iawn, oedd, efe ei hun, sef ei berson, nid ei gorph heb ei enaid, na'i enaid heb ei gorph, na'i natur ddynol heb ei natur ddwyfol; ond fe offrymodd ei berson; nid oedd ei natur ddwyfol yn dioddef dim, ond yr oedd yn cynnal ac yn rhinweddoli dioddefiadau y natur ddynol. Cafodd ei drin fel y pennaf o bechaduriaid; cuddiodd y Tad ei wyneb oddiwrtho; profodd eithaf cynddaredd dynion; profodd uffern ei bobl; ïe, fe a'i hyfodd i'r gwaelod; fe attebodd i holl ofynion deddf, i'r eithafoedd ei gofyniadau; fe'i cafwyd fel cauad yr Arch, yr un hyd, yr un lled.

Yngwyneb yr Iawn hwn, gwelaf ddrwg pechod a llymder deddf: holl berffeithiadau Duwdod yn ymddisgleirio i'r graddau mwyaf: y cariad mwyaf a'r dioddefiadau chwerwaf; gydâ phob priodoldeb y gallasai ddywedyd, pa ofid fel fy ngofid i. Yfodd gwpaneidiau miliynau; yma gwelaf ffynnon i lanhau'r aflan, siampl i bob Cristion ô'r modd y dylai ymddwyn yn y gofid mwyaf a'i cyfarfyddo yn y byd hwn. Yma gwelaf ddiafol a'i ben gwedi ei sigo; a'i waith yn cael ei ddistrywio: a chyfiawnder tragywyddol gwedi cael ei ddwyn i mewn. Yr oedd Crist mewn perthynas driphlyg â ni yn rhoddi iawn dros ein pechodau: 1. Yn y berthynas fechnïol â ni. 2. Yn y berthynas gyfathrachol â ni. 3. Yn y berthynas briodasol. Oni buasai y berthynas driphlyg uchod, ni fuasai Crist yn llesau dim i ni. Y gwrthddrychau ag y bu Crist farw drostynt, yw y rhai a aeth i ogoniant, a'r rhai a el etto" (*tu dal.* 33). Yr ydym yn gweled fod hyn oll wedi ei adael allan o adargraffiad talfyredig o'r traethawd, a gyhoeddwyd ganddo, gydâ thraethodau ereill, yn y flwyddyn 1833, dan yr enw, "*Cawell y Bara Croyw.*" Ond y gwaith penaf o'i eiddo yw y llyfr y cyfeiriasom ato uchod, "*Y Cawg Aur.*" Fe wel y darllenydd, oddiwrth y Wyneb-ddalen, yr hon a ddodwyd i mewn genym yn gyflawn, fod y pynciau sydd wedi bod yn destynau arbenig Dadleuon rhwng Cristionogion â'u gilydd, yn cael eu dwyn dan sylw ynddo; ac nid bychan y cyffro a'r dadleu, mewn llawer cymmydogaeth yn Nghymru, a barai ymddangosiad y gwahanol ranau o'r "*Cawg*"—canys yn rhifynau yr oedd yn cael ei ddwyn allan ar ei gyhoeddiad cyntaf. Nid oes yma ddim gwahanol, o ran sylwedd, i'r golygiadau a gawn yn y "*Galwad Difrifol,*" nac unrhyw oleuni newydd, hyd ag y gwelwn ni, yn cael ei ollwng arnynt; tra, yr un pryd, y mae yn amlwg yn arddangos cryn lawer, yn enwedig mewn rhai o'r pennodau, o graffder meddyliol, ac yn profi fod yr awdwr wedi myfyrio yn fanwl ac yn ddwys ar rai o'r pynciau mwyaf dyrys ac anhawdd mewn Duwinyddiaeth. Mae y llyfr drwyddo, er ei fod ar gwestiynau dadleugar, eto yn gwbl rydd oddiwrth bob ysbryd felly; ac y mae, yn sicr, yn annibynol ar gywirdeb neu annghywirdeb y golygiadau a ddysgir ynddo, yn meddiannu un elfen nodedig o werthfawr mewn unrhyw lyfr—rhyw fath o *allu i greu meddylgarwch* yn ei ddarllenwyr. Mae yr awdwr, yn ei wrthwynebiad i'r hyn a elwir ganddo yn "iawn o natur fasnachol," ac wrth ddadleu nad ydyw Iawn Crist wedi gosod y Duw mawr dan unrhyw rwymau i achub neb, pe

amgen na byddai gras mewn achub, yn colli golwg, dybygem ni, ar y rheswm gwirioneddol, yn ol yr ysgrythyrau sanctaidd, am yr angenrheidrwydd am iawn o gwbl; ac yn annghofio y gwahaniaeth hanfodol sydd rhwng perthynas y drefn gyfryngol â'r personau dwyfol eu hunain, a'i pherthynas â'r gwrthddrychau euog ac annheilwng y darparwyd hi ar eu cyfer, ac y mae yr haeddiant anfeidrol sydd ganolbwynt iddi, yn gwneyd eu cadwedigaeth i'w Meichnïydd yn wobr gyfiawn, ac iddynt hwythau yn "rhagorol olud gras."

Mewn cysylltiad â'r pwnc y dadleuid cymmaint arno yn y wlad ar y pryd, er nad gyda chyfeiriad pennodol at unrhyw awdwr neillduol, fe ymddangosodd traethawd, annghyffredin o werthfawr, yn y "*Drysorfa*" am Hydref, 1831 (*tu dal.* 294—298),—"*Crist yn Dioddef Cospedigaeth ei Bobl*"—gydâ pharhad o'r unrhyw yn y Rhifyn am Tachwedd (*tu dal.* 326—329). Awdwr y traethawd hwn oedd, S. L. P. N.—SALOPIAN,—sef Mr. Henry Rees, yr hwn oedd, y pryd hyny, yn byw yn yr Amwythig. Amcan y traethawd ydyw profi, yn ol geiriad y testyn, "fod Crist wedi dioddef nid rhyw fath o gospedigaeth, er attal yr hon a fygythiasid ar y troseddwr," ond "iddo ddioddef y gospedigaeth, ddyledus i'w bobl, yn eu prynedigaeth oddiwrth bob anwiredd." Y mae yn dwyn y rhesymau canlynol yn mhlaid ei osodiad: 1. Fod Crist wedi myned "tan y gospedigaeth hono, ag oedd yn ol cyfiawnder a barn Duw yn ddyledus i bechod." 2. Fod "y gosb ag ydoedd yn nghyfiawnder Duw, yn ddyledus i bechod, yn cael ei chynnwys a'i gosod allan yn melldith y ddeddf," a bod Crist wedi ei wneuthur dan y ddeddf a dioddef ei melldith. 3. Fod "Crist yn ol ei fechnïaeth yn dioddef tan gyfrifiad o'n pechodau ni." Er cysylltu y rheswm hwn â'i osodiad, y mae yn dangos fod "rhoddi anwiredd ar un, yn iaith y Bibl, yn arwyddo ei roddi i'w erbyn mewn trefn i'w gosbi am dano, a dwyn anwiredd, yn wastad yn arwyddo dioddef y gosbedigaeth hono." 4. Fod "yr Arglwydd Iesu yn dioddef ac yn marw trosom ni: ac mae dioddef tros un, yn ol yr arferiad cyffredinol o'r ymadrodd ymhlith dynion, ac yn y Bibl, yn arwyddo dioddef yn ei le, y gosb ddyledus iddo, er ei ryddhau." 5. "Megis y sonir yn mhob man am newidiad personau, y cyfiawn dros yr anghyfiawn, y meichnïydd yn lle y troseddwr; felly hefyd dangosir yn mhob man fod y gospedigaeth yr un; heb air o grybwylliad yn y Bibl am unrhyw gyfnewidiad ynddi, gydâ golwg ar y meichnïydd, o'r peth oedd, neu a

fuasai gydâ golwg ar y pechadur." Er prawf o hyn, y mae yn dangos yn helaeth fod "y gosb a fuasem ni yn ei dioddef, a'r peth a ddioddefodd yntau, yn aml yn cael eu gosod allan trwy yr un ymadroddion." Mae yn terfynu y traethawd, trwy ateb y gwrthddadleuon a gyfodir yn erbyn ei osodiad, oddiwrth rai o'r elfenau a dybir sydd yn nghospedigaeth pechod yn uffern, ac oddiwrth yr annghysondeb, a dybir gan rai, sydd rhwng maddeuant rhad i'r pechadur, a llawn daliad hollol o'r un peth ag oedd yn ofynol oddiwrtho.

Mae y traethawd hwn, fel y gallesid dysgwyl, oddiwrth ei awdwr, yn nodedig o alluog, ac o nodwedd llawer uwch nag odid ddim a ymddangosasai o'r blaen, ar y dadleuon hyn yn ein hiaith. Mae yr awdwr, ynddo, yn cymmeryd yr un tir ag a gymmerir gan y Dr. Owen, yn ei "*Death of Death*," ac, yn ei amddiffyniad i'r llyfr hwnw, yn erbyn Mr. Baxter (*Works*, Goold's *edition*, *Vol.* X., *pages* 267—273; 280—282; 437—449), a'r un tir ag a gymmerir gan y Dr. Goodwin ("*Christ the Mediator*:" *Works*, Nichol's *edition*, *Vol.* V., *pages* 184—192; 280—295), sef, fod Iesu Grist wedi dioddef, yn lle ei bobl, yr *un* a'r *unrhyw* gospedigaeth ag oedd ddyledus i, ac a ddioddefasid ganddynt hwy eu hunain; er nad ydyw yn myned mor bell, yn enwedig â Dr. Goodwin, gydâ golwg ar *raddau* ei ddioddefiadau. Ond y *mae* yn dadleu, ac yr oedd hyny, ar y pryd, yn bwysig iawn yn ei feddwl ef, fod dioddefiadau Crist, o ran eu *natur*, yn briodol yn gospedigaeth pechod, ac nid yn rhywbeth yn lle y gospedigaeth hono; ac y mae yn dadleu hefyd eu bod, yn eu cysylltiad â'r Duw Mawr, "yn hollol o'r un natur a'r hyn a ddioddefir byth yn uffern." Fel y dywedasom, y mae ei ymresymiad yn mhlaid y gosodiad hwn yn nerthol iawn, ac y mae rhyw ireidd-dra sanctaidd, priodol i'r awdwr ei hunan, ar yr holl gyfansoddiad; ond y mae yn amheus iawn genym a fuasai efe ei hunan, yn ystod y pum mlynedd ar hugain diweddaf o'i oes, yn dewis, nac yn cymmeradwyo yn *hollol* yr un geiriad, ag a ddefnyddir ganddo yma; ac, er ei fod, yn ddiddadl, yn parhau i dderbyn sylwedd y traethawd, yr ydym braidd yn meddwl mai efe fuasai y cyntaf i ddywedyd, ei fod ynddo yn llefaru yn rhy gryf a phenderfynol, am yr hyn y mae yr ysgrythyrau sanctaidd, mewn cymhariaeth, yn ddistaw arno, yn nghylch *natur* a *graddau* dioddefiadau ein Gwaredwr Mawr. Pan y cofiwn fawredd anfeidrol y person oedd yn dioddef, nis gallwn ammeu nad oedd rhyw elfenau, yn ei feddwl ef, i osod *mawredd* ar ei ddioddefiadau pell uwchlaw pob amgyffred

creaduriaid meidrol fel nyni: eto, pan y cofiwn fod *tragywyddoldeb* yn perthyn i ddioddefiadau uffern, nid oes, dybygem ni, un gymhariaeth yn briodol i'w gwneuthur rhwng *graddau* ei ddioddefiadau ef, a'r hyn a ddioddefasid yno, yn eu personau eu hunain, gan y rhai a gynnrychiolid ganddo: ac y mae yn amheus iawn genym ni, a ydyw yr ysgrythyrau yn angenrheidiol yn ein rhwymo i olygu, fod yr un *dioddefiadau*, o ran *natur*, yn hanfodol i *gospedigaeth* pechod, pan yn cael ei dwyn gan berson dihalog ac anfeidrol, fel meichnïydd dros yr euog, ag sydd *naturiol* a *hanfodol* i'r *gospedigaeth hono*, pan yn disgyn, yn uniongyrchol, ar yr *euog ei hunan*. Ai nid cysylltiad y *dioddefiadau* â *phechod*, yn cael ei roddi, megis mewn cyfraith, yn erbyn y dioddefydd, pa un bynnag fyddo ai ei bechod ei hunan ai pechod un y byddo yn dioddef drosto, sydd yn cyfansoddi hanfod y gospedigaeth, neu yn gwneyd y *dioddefiadau*, pa beth bynnag fyddo eu *natur* neu eu *graddau*, yn gyfryw ag y gellir yn briodol eu hystyried felly ?

Yn y "*Dysgedydd*" am fis Ebrill, 1832 (*tu dal.* 103—106), fe ymddangosodd Pregeth fer ar Iawn Crist, gan Mr. Williams o'r Wern. Y testyn ydyw, I Ioan iv. 10. Mae yr awdwr yn cymmeryd yma yr un golygiad ar *Natur* yr Iawn, ag a roddasid ganddo o'r blaen, yn y Byrdraethawd, yn yr "At-ddodiad" i'r "*Galwad Difrifol*;" ond amcan neillduol y bregeth ydyw sylwi ar "Iawn Crist, yn ei wahanol berthynasau;" ac y mae yn edrych arno,—"Yn ei berthynas â'r *llywodraeth foesol*"—"Yn ei berthynas â *gras* ac *arfaeth*"—"Yn ei berthynas â *Christ ei hunan*"—ac "Yn ei berthynas â *phechadur*." Mae y bregeth, fel pob peth oddiwrth ei hawdwr, yn amlwg yn ffrwyth meddwl oedd wedi ymgydnabyddu â gwirionedd yr efengyl, yn ei amrywiol gysylltiadau; ac un oedd, tra yn gryf iawn dros y syniad am Iawn megis boddlonrwydd "i gyfiawnder cyhoeddus, neu i lywodraeth," fel ag i ddiogelu iawn drefn yn y llywodraeth er maddeu i'r troseddwr, eto, dybygid, yn teimlo fod y cyfiawnder hwnw yn gwreiddio yn nghyfiawnder hanfodol cymeriad y llywodraethwr ei hunan. Yn ganlynol, fel yn y bregeth hon, y mae yn rhoddi llawer mwy o arbenigrwydd nag a roddir yn gyffredin, gan y rhai sydd o'r un olygiad âg ef ar Natur yr Iawn, ar y cysylltiad sydd rhwng yr Iawn ynddo ei hunan â "llwyddiant teyrnas Crist," ac â "sicrwydd gweinidogaeth yr Yspryd, i ddwyn dynion i wneuthur iawn ddefnydd o weinidogaeth moddion, er eu hiachawdwriaeth."

Yr oedd yr ysgrifeniadau ar y pwnc hwn, a gyhoeddasid yn awr er ys amryw fisoedd, sef, y llyfrau a'r traethodau a fuant ddiweddaf dan ein sylw, er yn hollol ar destyn y ddadl, eto yn osgoi yn gwbl bob gwedd ddadleugar, ac heb fod wedi eu bwriadu yn ymosodiad ar, nac yn atebiad i, unrhyw awdwr neillduol. Ond yn y "*Dysgedydd*" am Chwefror, 1833 (*tu dal.* 39—43), fe ymddangosodd erthygl, gyda pharhâd o honi yn y rhifyn am Mawrth (*tu dal.* 79, 80), a gyfenwid "*Iawn Crist,*" o nodwedd dra gwahanol. Mae yr awdwr yn proffesu, rhoddi—"Crynodeb o olygiadau yr Uwch-Galfiniaid ar Iawn Crist, a hyny i'r dyben o ddynoethi eu hegwyddorion, fel y gallo darllenyddion y Dysgedydd weled y dyryswch a'r anghysondeb cableddus sydd yn nglŷn a'u trefniant." Mae y llythyr byr rhag-arweiniol i'r dyfyniadau a'r sylwadau, wedi ei arwyddo "R. S.;" ond, erbyn dyfod at ddiwedd yr erthygl, yn y rhifyn am Mawrth, yr ydym yn gweled mai *Edeyrn, Môn*, oedd yr awdwr. Y mae, i'w amcan, yn proffesu dyfynu darnau allan o waith Rushton ar "*Brynedigaeth Neillduol,*" a gyfieithasid i'r Gymraeg; allan o waith Francis Hiley, a fu dan ein sylw eisoes (*tu dal.* 489—491); allan o ysgrifau yn "*Seren Gomer*" am Awst, 1831, ac amAwst a Rhagfyr, 1832; allan o "*Ddrych y Dadleuwr,*" gan Richard Jones o'r Wern; allan o ysgrif o eiddo E. Davies o'r Drefnewydd, yn y "*Dysgedydd*" am Fawrth, 1829; allan o "*Neillduolrwydd y Prynedigaeth,*" gan Christmas Evans, y llyfr a fu dan ein sylw yn helaeth eisoes (*tu dal.* 404—409); ac allan o erthygl Mr. Rees, yn y "*Drysorfa,*"—"*Crist yn dioddef Cosbedigaeth ei Bobl.*" Y mae yn ddrwg genym ddywedyd fod y dull y mae *Edeyrn*, yn yr ysgrif hon, yn dyfynu rhai o'r awdwyr a nodir ganddo yn hollol anamddiffynadwy. Y mae yn ymddangos fel pe buasai yn golygu fod ganddo hawl i adael allan yr hyn a fynai o eiriau yr awdwr y proffesai ei ddyfynu, os tybiai y gwasanaethai hyny yn well i'w amcan ef, pa wahaniaeth bynnag a wnelid, trwy hyny, yn yr ystyr a amcenid gan yr awdwr ei hunan yn y frawddeg y byddai y geiriau yn rhan o honi. Er enghraifft, yr ydym yn cael y dyfyniad canlynol allan o "*Ddrych y Dadleuwr,*" gan Mr. Richard Jones:—"Yna, yn ol athrawiaeth J. R. ac M. J., fe roddes Crist Iawn *digonol* dros bawb: etto mae Penarglwyddiaeth yn ol yn mhell o gyfranu bendithion a gras yn gyfatebol i'r urddas a dderbyniodd y llywodraeth yn eu hachos! Pa fath *lywodraeth* a moesau ydyw hyny? darparu ar fedr, ac heb ddarparu pob peth i gyfateb y dyben."

Mae y dyfyniad yn glytwaith o amrywiol ranau o frawddegau, a geir yn *tu dal.* 15, 105, ac 108, o'r llyfr y proffesa ddyfynu o hono. Yr ydym yn cael *Edeyrn*, yn y "*Dysgedydd*," am Mai, 1830 (*tu dal.* 145), yn rhoddi y rhan flaenaf o'r dyfyniad blaenorol yn hollol yr un fath, pan yn ceisio dangos fod "*Y Bibl a Richard Jones o'r Wern yn erbyn eu gilydd*:"—"Yna, yn ol athrawiaeth J. R. ac M. J., fe roddes Crist iawn digonol tros bawb." Yn yr Ysgrif yn awr dan ein sylw, y mae y geiriau hyn yn cael eu dyfynu er profi fod Mr. Richard Jones, yn mhlith y lleill a nodir gan *Edeyrn* yma, wedi ei arwain "i wadu—nid mewn effaith, ond yn hyf a digywilydd, mewn ymadroddion eglur—un o'r pynciau mwyaf pwysig sydd yn perthynu i'r grefydd Gristionogol, sef, Digonolrwydd neu anfeidroldeb aberth Grist." Mae hwn yn gyhuddiad dychrynllyd yn enwedig yn erbyn un fel Mr. Richard Jones; gwr a wnaeth gymmaint dros y gwirionedd am "anfeidroldeb aberth Iesu Grist," a chymmaint er rhyddhau Duwinyddiaeth ein gwlad, ar y pwnc hwn, fel ar bynciau ereill, allan o lyffetheiriau culni Cyfundraethol ar y naill law, a choeg-gywreinrwydd athronyddol ar y llaw arall, ac i'w dodi i sefyll ar dir rhydd ac eang a goleu y Bibl ei hun. Ac y mae ein parch i'w goffadwriaeth, a'n hystyriaeth o rwymedigaeth ein cenedl iddo, yn ein cymhell i edrych ychydig i mewn i'r cyhuddiad.

Yr oedd Mr. Richard Jones wedi defnyddio un Bennod neu "*Dlosparth*," a chymmeryd ei air ef ei hunan, o "*Drych y Dadleuwr*" (*tu dal.* 102—110), i ddangos "*Anghyssondeb Llyfr Mr. Roberts â'r Dr. Lewis, yn ei Gorph Duwinyddiaeth.*" Nid ydym ni, erbyn hyn, yn tybied y gallai fod nemawr neu ddim pwys yn hyny: ond yr oedd ein hen dadau, dybygid, yn synio yn wahanol. Er prawf o'r "*Anghyssondeb*" hwn, y mae Mr. Richard Jones, mewn un golofn, yn gosod i lawr ymadroddion wedi eu dyfynu allan o Dr. Lewis, yn y rhai y mae yn dadleu yn erbyn iawn cyffredinol, am y rheswm, "nad yw iachawdwriaeth trwy farwolaeth Crist ddim yn cael ei gwneuthur yn adnabyddus i bawb;" ac, er fod "pob awdurdod wedi ei rhoddi i Iesu Grist yn y nef ac ar y ddaear," ac "y dichon anfon gair yr iachawdwriaeth i ba le y mynno, a gwneuthur ei hun yn adnabyddus i bwy bynnag y gwelo yn dda," eto fod "y rhan fwyaf o drigolion daear heb glywed am iachawdwriaeth trwy waed y groes, hyd y dydd heddyw. Os darfu, gan hyny," meddai Dr. Lewis, "yr Arglwydd Iesu wneuthur Iawn dros bechodau pawb yn gyffredinol, yna fe wnaeth eu hiechydwriaeth

yn bossibl trwy farw drostynt; ond y mae yn gwneuthur mwynhad o'r iachawdwriaeth yn ammhossibl i'r rhan fwyaf, trwy beidio a gwneuthur ei hun yn adnabyddus iddynt." Y mae Mr. Richard Jones, ar golofn arall gyferbyniol, yn dyfynu allan o'r Byr-draethawd o eiddo Mr. Michael Jones, Llanuwchllyn, yn yr "*At-ddodiad*" i'r "*Galwad Difrifol,*" y geiriau canlynol:—"Yr egwyddorion mawr oddiar y rhai y mae Duw yn gwneuthur pob peth yn ei lywodraeth yw *Penarglwyddiaeth a chyfiawnder.* I gydweithrediad Penarglwyddiaeth a chyfiawnder y mae Iawn Crist yn *gyfrwng.*—A chan fod yn sicr fod *rhai* o'r gweithrediadau hyn [gweithrediadau Penarglwyddiaeth a gweithrediadau cyfiawnder] yn ymddisgleirio yn yr Iawn anfeidrol, paham nad allant i *gyd* ymddisgleirio yn yr un Iawn? Am hyny ymddengys, mai yr un berthynas sydd rhwng yr Iawn a'r llywodraeth, ag sydd rhwng Penarglwyddiaeth a chyfiawnder â'r llywodraeth, am mai cyfrwng i gyd-weithrediad yr egwyddorion hyn yw yr Iawn.

Ar y syniadau cyferbyniol hyn, y mae Mr. Richard Jones yn sylwi fel y canlyn:—"Gwelwn yma fod gwahaniaeth mawr rhwng golygiadau J. R. a M. J. a'r Dr. Lewis. Mae M. J. yn dywedyd, mai'r Iawn yw cyfrwng Penarglwyddiaeth a chyfiawnder yn eu holl weithrediadau. Gan hyny, yn ol athrawiaeth Mr. L., y Bibl, a Rheswm, os ydym i ystyried Penarglwyddiaeth yn yr un ystyr cyffredinol, yn gweithredu trwy y llywodraeth a'r awdurdod a dderbyniodd yr Arglwydd Iesu yn ei esgyniad i'r orsedd, ag y mae yn eistedd arni yn awr; yna, yn ol athrawiaeth J. R. a M. J., fe roddes Crist Iawn digonol tros bawb fel eu gilydd: etto, mae Penarglwyddiaeth a Chyfiawnder yn ymddisgleirio trwy'r un Iawn, yn troi heibio foddion achubiaeth oddiwrth filoedd ag y rhoddes Crist Iawn drostynt. Wele, os athrawiaeth y Dr. L. yw hen lwybr sathredig y Tadau, nis gall fod yr eiddo J. R. a M. J., &c., ond un newydd a diweddar; neu ryw hen un ddieithriol wedi ei hadgyfodi. Oddiwrth hyn etto, cymmerwn addysg, i roddi i Dduw ei briodol ogoniant yn wyneb yr hyn sy ddirgel, ac ymdrechwn, wrth bregethu ac ysgrifenu, i sefyll ar dir y pethau amlwg; gan ymarfer â'r dull mwyaf buddiol o ymadroddi, er llesâd gwrandawyr a darllenwyr o bob math."

Yn awr, pwy fuasai yn tybied y buasai yn bosibl i *ragfarn ei hunan* lurgunio y fath ymadroddion â'r rhai hyn, fel ag i'w deall yn ymddangos fel yn "gwadu—nid mewn effaith, ond yn hyf a digywilydd,

mewn ymadroddion eglur— . . . . . Ddigonolrwydd neu anfeidroldeb aberth Iesu Grist?" Gallesid meddwl y buasai pawb yn canfod mai ymresymu y mae yr awdwr yma, er gosod allan y gwahaniaeth rhwng y golygiadau y cyfeiria atynt a'r eiddo y Dr. Lewis; yn gystal ag er dangos yr hyn a olygid ganddo ef yn wrthuni hollol yn y dybiaeth am Iawn cyffredinol a diwahaniaeth "tros bawb fel eu gilydd," fel cyfrwng ymddysgleiriad holl weithrediadau Penarglwyddiaeth a Chyfiawnder, pan, dybygid, yn ol ymresymiad y Dr. Lewis, y mae Penarglwyddiaeth a Chyfiawnder, gan weithredu trwy y llywodraeth a'r awdurdod a dderbyniodd yr Arglwydd Iesu yn ei esgyniad i'r orsedd, ag y mae yn eistedd arni yn awr, yn troi heibio neu yn attal moddion achubiaeth oddiwrth filoedd o'r rhai, yn ol y dybiaeth a wneid, y rhoddodd Crist Iawn drostynt. Mewn geiriau ereill, gwrthuni y dybiaeth—fod yr Iawn yn gyfrwng gweithrediad Penarglwyddiaeth a Chyfiawnder, yn attaliad moddion iachawdwriaeth oddiwrth filoedd o'r rhai y rhoddwyd iawn drostynt! A oedd ryfedd i Mr. Richard Jones ddywedyd am *Edeyrn* ei fod heb fod "o synwyroldeb priodol, i farnu'n gywir, gyfansoddiad tafodiaith Cymro?"

Ond tybier fod yr ymresymiad, y sylwai *Edeyrn* yn awr arno, yn rhy ddwfn a dyrys iddo, ac felly, mai nid yn *fwriadol*, ond mewn *camgymmeriad*, y mae yn dwyn Mr. Richard Jones dan y fath gyhuddiad ag a roddir ganddo yn ei erbyn, nid ydym ni yn gweled fod yn bosibl gwneuthur un esgusawd felly drosto, am y modd y mae yma yn cam-ddyfynu un o frawddegau Mr. Edward Davies o'r Drefnewydd. Yr oedd Mr. Davies, mewn erthygl yn y "*Dysgedydd*" am Mawrth, 1829 (*tu dal.* 81—86), yn cynnwys "*Adolygiad*" ar "*Bregethau*" (Seisonig) Dr. Pye Smith ar "*Aberth ac Offeiriadaeth Iesu Grist*, &c.," wedi defnyddio yr ymadroddion canlynol:—"Clywsom a gwelsom rai yn beio ar y dywediad 'fod yr etholedigion ar uwch tir na Duw;' ond er na fynem gyfiawnhau yn hollol yr ymadrodd, nyni a ofynem pa gristion diduedd sydd yn synied yn addas am haeddiant yr Iesu, a'i berthynas â'r etholedigion, a ddylai gymmeryd tramgwydd oddiwrth y gosodiad." Yn awr, y mae *Edeyrn*, tra yn proffesu dyfynu y frawddeg hon, yn gadael allan yn gwbl y geiriau—"ond er na fynem gyfiawnhau yn hollol yr ymadrodd, nyni a ofynem"—a hyny *heb un arwydd ei fod yn gadael dim allan*, ond gan beri i'r frawddeg, wedi ei darnio felly, ymddangos megis eiddo Mr. Davies; a'r dywediad y cyfeiria ato, o

ran syniad a geiriad, yn ei fryd ef, i'w ystyried yn hollol amddiffynadwy. Nid ydym ni yn sicr gweled fod y dywediad i'w gyfiawnhau *mewn un modd;* a buasai yn dda genym pe buasai Mr. Davies wedi ei gondemnio yn gwbl ddifloesgni: ond, yn ddiau, yr oedd yn annheg iawn yn *Edeyrn*, pan yn proffesu dyfynu ei eiriau gyda golwg arno, adael allan yn llwyr y rhai hyny o honynt ag yr oedd yr awdwr wedi gofalu am eu defnyddio er arwyddo nad oedd efe yn golygu yr ymadrodd yn un cymmeradwy. Mae yn syn yr eithafoedd y gyrir dynion da a diniwed iddynt pan eu dygir dan ddylanwad pleidgarwch ac ysbryd dadleu!

Ond y mae yn eglur mai y traethawd yn y "*Drysorfa*," o eiddo Mr. Henry Rees, a fu dan ein sylw eisoes—"*Crist yn Dioddef Cosbedigaeth ei Bobl*,"—oedd yn arbenig yn ngolwg *Edeyrn*, yn yr ysgrif hon. Mae yma eto yn gadael argraff ar feddwl y darllenydd, sydd bell o fod yn gywir, am natur a chynnwysiad y traethawd hwnw: dywed mai ei duedd ydyw "profi, fod rhinwedd yr aberth yn ymddibynu yn gwbl ar *raddau* dyoddefaint y Cyfryngwr," fel ag i wneyd arddangosiad o berffeithrwydd cymeriad moesol, yn nghyd â theilyngdod personol anfeidrol y Gwaredwr mawr yn afreidiol. Yna y mae yn myned rhagddo i alaru, fod "corph o grefyddwyr, mor lluosog a'r Trefnyddion Calfinaidd, yn dirywio cymaint yn eu barn am bwnc o athrawiaeth mor bwysig;" ac y mae yn dyfynu yn helaeth o un o lyfrau Mr. Jones o Ddinbych, er prawf o annherfynolrwydd aberth Crist. Ond y mae y sylwadau a wnaed genym eisoes ar ysgrif Mr. Rees yn ddigonol er prawf nad oes ynddi un sail i'r fath gyhuddiad ag a roddir gan *Edeyrn* yn ei herbyn; tra y maent hefyd yn profi fod yr ysgrif hono yn rhoddi arbenigrwydd neillduol ar un wedd ar Ddioddefiadau y Gwaredwr mawr, nad oedd cyfundraeth *Edeyrn* yn talu unrhyw sylw iddi.

Yn y "*Dysgedydd*" am Ebrill, 1833 (*tu dal.* 109—112), fe ymddangosodd ysgrif gan Mr. Christmas Evans, a elwir "*Adolygiad Iawn Crist*," yn cynnwys atebiad i *Edeyrn*. Yn yr ysgrif hon, y mae yr awdwr yn ymadael â'r tir a gymmerasai yn y "*Sylwadau Adgymodol o barthed y Ddadl yn nghylch Iawn Crist*," yn "*Seren Gomer*" am Mehefin, 1828, y rhai a fuant dan ein sylw o'r blaen (*tu dal.* 488, 489), ac yn dychwelyd i'r tir yr oedd arno yn ei lyfr yn erbyn Mr. Jones o Ddinbych, "*Prynedigaeth o fewn cylch Etholedigaeth*, &c.," yr hwn y gwnaethom eisoes sylwadau lled helaeth arno (*tu dal.* 429—435). Y mae yn ymwrthod yn gwbl â'r cyhuddiad a ddygasid gan *Edeyrn* yn ei

erbyn ef ac ysgrifenwyr ereill, "eu bod yn gwadu anfeidroldeb Iawn Crist ynddo ei hun;" ac y mae yn hòni, "nad oes neb, ond y rhai a eilw . . . . *Edeyrn* yn Uwch-Galfiniaid, yn dal Iawn anfeidrol ynddo ei hun, ac yn ei effeithioldeb;" a bod mor eglur a'r haul iddo ef,—"mai ochr Edeyrn a'r Arminiaid sydd euog o'r hyn a eilw y gwr ieuanc . . . yn gabledd, wedi yr holl *fost* am ddal Iawn anfeidrol ganddo ef." . . . "Nyni a ddaliwn Iawn anfeidrol effeithiol, ag sydd yn galw am fywyd ei bobl fel gwobr, ar sail cyfiawnder, iddo ef, ond Iawn trwyddo ef iddynt hwy." Ond, tra yn dadleu fel hyn dros Iawn a haeddiant anfeidrol ynddo, gydà golwg ar y rhai a gedwir trwyddo, y mae yn bendant yn gwadu ei *ddigonedd* i achub y rhai ni achubir trwyddo:—"Pa ddigonedd," meddai, "yw hwnw i achub, yr hwn nid yw yn achub? . . . . Pa ddigonoldeb ydyw hwnw dros y rhai colledig? Mae eu bod yn golledig yn profi na bu yn ddigonol i'w hachub rhag colledigaeth!" Nid ydyw hyn, fe welir ar unwaith, ond yr hen syniad o'i eiddo, a wrthwynebasid mor egniol gan Mr. Jones o Ddinbych; syniad yn yr hwn y mae yn cymmysgu *digonolrwydd* yr Iawn â'i *effeithiolrwydd*, ac yn dadleu fod y gosodiad arno dros ryw rai neillduol, mewn gwirionedd yn cyfyngu ei *ddigonolrwydd*, yn ystyr briodol y gair, iddynt hwy yn unig.

Yn y "*Dysgedydd*" am Gorphenaf (*tu dal.* 203—206), daeth *Edeyrn* allan drachefn, gydâ "*Sylwadau ar Adolygiad C. Evans*," er profi fod y cyhuddiad a ddygasid ganddo, yn ei ysgrif flaenorol, yn erbyn Mr. Christmas Evans a rhai ysgrifenwyr ereill, yn wirionedd. Y mae *Edeyrn* yma, yn sicr, yn dyfynu allan o Mr. Rushton, Mr. Francis Hiley, Mr. Christmas Evans ei hunan, ac, yn neillduol, rhyw awdwr arall a amddiffynir gan Mr. Christmas Evans, amryw ymadroddion sydd yn gwadu digonolrwydd cyffredinol yr Iawn; yn gwadu ei fod yn anfeidrol,—os meddylir, drwy hyny, ei "osod allan mor fawr, fel nad oedd modd iddo fod yn fwy;" ac ymadroddion yn dadleu "nad oedd y taliad aberthol hwnw yn anfeidrol, ac nad oedd eisiau iddo fod yn anfeidrol." Y mae yn dannod i Mr. Christmas Evans, "anwadalwch ei olygiadau ar y pwnc;" ac yn awgrymu, oherwydd hyny, mai "gwaith hollol ddiles ac anorphen fyddai dadleu âg ef" arno. Y mae yn rhaid i ni hefyd ddywedyd fod *Edeyrn* yn yr ysgrif hon, yn ychwanegu at ei annhegwch â Mr. Richard Jones o'r Wern; ac yn y pleidgarwch a'i hanalluogai i ddeall ei ymresymiad, yn myned mor

rhyfygus ag i haeru, ei fod "yn ceryddu yn llym am ddweyd fod yr Iawn yn ddigonol dros bawb." Y mae yn ddrwg genym fod cyfarfod â'r fath gyhuddiadau, yn ngwedd dyfyniadau o'r awdwr a gyhuddir, wedi ein gwneuthur ni yn gwbl ddiffydd yn nghywirdeb y dyfyniadau a wneir gan Edeyrn allan o ysgrifenwyr ereill, ond lle y byddom mewn cyfleusdra i'w cywiro i ni ein hunain.

Yn y "*Dysgedydd*" am Hydref (*tu dal.* 305—307), daeth Mr. Christmas Evans allan drachefn, gydâg "*Adolygiad ar Ysgrif Edeyrn.*" Nid ydym yn gweled fod yma ddim sydd newydd, na dim neillduol yn teilyngu sylw. Mae yr Awdwr, tra yn parhau i addef y gallasai yr Iawn fod a digonolrwydd cyffredinol neu dros bawb ynddo, pe buasai wedi ei osod yn gyffredinol neu dros bawb, eto yn dadleu, yn gymmaint ag mai dros yr etholedigion yn unig y gosodwyd ef, nad oes digonolrwydd gwirioneddol ynddo, ac yn briodol iddo, ond drostynt hwy yn unig. "Gwaed y cyfammod," meddai, "oedd ei waed ef bob dafn o hono." Yr hen syniad, a alwasai yn ol unwaith, a geir yma eto.

Yn y "*Dysgedydd*" am Ragfyr (*tu dal.* 375, 376), y mae y *Golygydd* yn dwyn y ddadl i derfyniad, trwy wneuthur amryw sylwadau yn amddiffynol i *Edeyrn*, ac er gwrthwynebu y golygiadau y dadleuid drostynt gan Mr. Christmas Evans. Y mae y sylwadau hyn, can belled ag y maent yn amddiffynol i anfeidrol ddigonolrwydd yr Iawn, yn erbyn Mr. Christmas Evans, yn ymddangos i ni yn gwbl ysgrythyrol; ond, yn eu cysylltiad â golygiadau *Edeyrn*, y maent, dybygem ni, yn dra gwahanol i ddysgeidiaeth y Bibl yn nghylch natur yr Iawn, yr angenrheidrwydd am dano, a'r amcanion goruchel a gogoneddus oeddent yn ngolwg y meddwl dwyfol i'w sicrhau drwyddo.

Mae yn hawdd canfod ond troi dalenau "*Seren Gomer,*" yr "*Efengylydd,*" a chyhoeddiadau misol ereill, a ddygid allan y pryd hyny yn ein gwlad, fod llawer iawn o ddadleu, tua'r amser y daethom yn awr ato, yn enwedig yn Neheudir Cymru, yn nghylch yr hyn a elwid yn "*Sefyllfa Prawf.*" Eithr nid ydym yn gwybod ond am un llyfryn neillduol, yn dal cysylltiad â'r ddadl, yn teilyngu cael cyfeirio yn arbenig ato:—"*Sylwadau ar Sefyllfa Prawf; mewn ffordd o Ymddyddan rhwng Dafydd ac Owen.* Gan D. Davies, Pant-têg, Llanelli: argraffwyd gan Rees a Thomas, Heol-y-dwfr, 1836."—Nid ydyw hwn ond llyfryn bychan, o 24 o du dalenau, ac o'r rhai hyny y mae tri tu dalen yn niwedd yr Ymddyddanion, yn cynnwys Nodiadau ar y pwnc gan

Mr. J. Griffiths, Tŷ Ddewi. Yr oedd Mr. Davies wedi ei eni yn agos i Aberaeron, yn Sir Aberteifi, yn y flwyddyn 1791. Dechreuodd bregethu yn ieuanc iawn. Ordeiniwyd ef i'r weinidogaeth yn Nghaernarfon, yn y flwyddyn 1813. Yn y flwyddyn 1815, symmudodd i'r Pant-têg, yn agos i Gaerfyrddin, lle y bu yn gweinidogaethu hyd ddiwedd ei oes, yn y flwyddyn 1864. Dewiswyd ef yn athraw Duwinyddol, yn Nghaerfyrddin, ar ol Mr. Peter; a chyflawnodd y gwaith a ymddiriedid iddo gydâ ffyddlondeb mawr hyd y diwedd. Mae y "*Sylwadau*" hyn ar "*Sefyllfa Prawf*" yn cymmeryd i mewn y cwestiwn am berthynas dynion â'r efengyl, a'r cynnygiadau têg a wneir ynddi iddynt ar fywyd tragywyddol, oddiar yr un golygiad ag a gymmerid gan Mr. Roberts, Llanbrynmair, ac ereill, am natur a chyffredinolrwydd yr Iawn; a chan belled ag y mae a wnelont a dyledswydd dyn, nid ydynt, hyd y gallwn ni weled, oddieithr mewn geiriau, yn ymarferol yn dysgu dim ond a addefir gan bleidiau efengylaidd yn ddiwahaniaeth, ac sydd, dybygem ni, yn hanfodol i gyfrifoldeb dyn yn ngwyneb yr efengyl. Y mae yr amrywiol ddyfyniadau a wneir yn y traethodyn, allan o'r "*Geiriadur Ysgrythyrol*," gan Mr. Charles o'r Bala, yn sicr yn ddigonol er profi fod yr awdwr rhagorol hwnw yn cydnabod hyny yn hollol. Eithr, oblegyd nad ydyw y "*Sylwadau*" hyn yn cyffwrdd, ond yn dra ysgafn, â'r gwirionedd am sefyllfa andwyol a dinystriol dyn dan y cwymp, a'r angenrheidrwydd sydd yn cyfodi oddiar ei egwyddor naturiol fel pechadur am ryw ddylanwadau, oddiallan iddo ei hunan, er cyfnewid ansawdd ei galon a'i ennill i ymostwng i drefn yr efengyl ac i dderbyn yr iachawdwriaeth a gynnygir iddo yn ddidwyll ynddi, y mae yr ymdriniaeth, braidd, yn cymmeryd gwedd unochrog; ac nid rhyfedd, gan hyny, fod rhyw rai yn tybied fod rhywbeth yn syniadau yr awdwr, heb fod yn hollol unol â'r hyn a olygid ganddynt hwy yn "athrawiaeth iachus."

Yn ystod y dadleuon hyn yn nghylch yr Iawn a'r Prynedigaeth, yr oedd cwestiynau ereill, o bryd i bryd, yn cyfodi i sylw, a digon o brofion yn ymddangos fod cryn amrywiaeth golygiadau o berthynas iddynt, yn mhlith y rhai a'u cydnabyddent eu hunain yn Galviniaid hollol. Un o'r cyfryw, yn neillduol, oedd y cwestiwn yn nghylch *Gwaith yr Ysbryd Glân.* Yr oedd gradd o wahaniaeth, bob amser, rhwng y Methodistiaid a'u brodyr yr Annibynwyr, yn y dull a gymmerid ganddynt i osod allan y gwaith hwnw, yn ei berthynas âg ailenedigaeth. Nid

oedd un gwahaniaeth yn nghylch y gwirionedd mai yr Ysbryd yn unig sydd yn aileni; ond yr oeddent yn amrywio yn nghylch y *modd* y mae yn gwneuthur hyny. Yr oedd yr Annibynwyr yn gyffredin—felly Dr. Lewis, ac felly Mr. Roberts, Llanbrynmair,—yn golygu fod y gwaith yn cael ei ddwyn oddiamgylch trwy ddylanwad neu weithrediad uniongyrchol a digyfrwng yr Ysbryd, annibynol ar er nad annghysylltiedig â'r gwirionedd,—gweithrediad gwahanol hollol o ran ei natur i weithrediad gwirionedd, ac i bob gweithrediad y gall gwirionedd fod yn offerynol iddo. Yr oedd y Methodistiaid, o'r tu arall, tra yn credu, fel eu brodyr, fod y dylanwad sydd yn aileni pechadur yn oruwchnaturiol ac yn ddwyfol, eto yn golygu ei fod nid yn unig yn rhywbeth cysylltiedig â'r gwirionedd, ond yn cael ei weinyddu *trwy* y gwirionedd; a bod y gwirionedd, megis moddion i'w arfer gan y pechadur, wedi ei ordeinio yn offerynoliaeth ailenedigaeth iddo. Canlyniad, rywfodd, y syniad am y gweithrediad neu y dylanwad digyfrwng, fel y gwelsom eisoes (*tu dal.* 351, 352), oedd, arwain y rhai a'i cofleidient i edrych braidd yn isel ar y gair a'r ordinhadau, heb olygu fod ymarferiad cyson a chydwybodol â hwynt, gan bechadur fel y cyfryw, wedi ei ordeinio gan y Duw mawr ei hunan, o'i ras, yn *foddion* ailenedigaeth. Ond mewn canlyniad i gyhoeddiad Finney's "*Lectures on Revivals*," ac, yn enwedig, wedi cyhoeddiad Jenkyn's "*Union of the Holy Spirit and the Church in the Conversion of the World*," fe ddaeth syniadau tra gwahanol yn gyffredin yn mhlith gweinidogion ieuangaf yr Annibynwyr, yn neillduol yn Ngogledd Cymru; ac fe ymosodid yn benderfynol iawn ganddynt yn erbyn y golygiad am y dylanwad digyfrwng, neu, fel y gelwid ef ganddynt hwy, dylanwad anianyddol; a hyny yn y fath fodd, ag i arwain amryw o'u hen frodyr i dybied eu bod yn gwadu yr angenrheidrwydd am ddim gwaith neillduol o eiddo Ysbryd Duw ar feddwl pechadur er ei droedigaeth, ac nad oes dim dylanwad o'i eiddo i'w ddysgwyl *ond yr hyn sydd yn gorwedd eisoes yn y gwirionedd a ddatguddiwyd ganddo.*

Pan oedd y syniadau hyn yn dechreu ymledu, fe ymddangosodd traethawd, yn y *Dysgedydd* am Mehefin, 1836 (*tu dal.* 169—173), gan un a'i galwai ei hunan, *Henafgwr*, ar yr "Angenrheidrwydd o Ddylanwadau grasol a Phenarglwyddiaethol Ysbryd Duw yn ngweithredol Gadwedigaeth dynion i Fywyd Bythol." Daeth parhâd o'r unrhyw allan yn y *Dysgedydd* am Gorphenaf (*tu dal.* 203—208); a thrachefn,

yn y rhifyn am Medi (*tu dal.* 268—271). Yr oedd y traethawd hwn, y mae yn amlwg, yn cael ei fwriadu yn wrthwyneb i'r syniadau y cyfeiriasom atynt: ac y mae yr awdwr ynddo yn ymdrin â'r pwnc yn ddeheuig a naturiol, ac mewn tôn nodedig o gymhedrol; ac anhawdd iawn fyddai cael, mewn can leied cylch, brofion eglurach a mwy penderfynol o wirionedd y gosodiad a amddiffynir ganddo. Nid ydym yn gwybod pwy oedd yr *Henafgwr* hwn.

Yn yr un rhifyn o'r *Dysgedydd* ag yr ymddangosodd y rhan gyntaf o draethawd yr *Henafgwr*, sef Mehefin, 1836 (*tu dal.* 187), fe gyfeiriwyd y gofyniadau canlynol, gan Ohebydd a'i galwai ei hunan *Amicus*, at y "Parch. W. Rees, Mostyn," yn awr o Liverpool:—"1. A oes a wnelo gweinidogaeth moddion âg ansawdd foesol yr enaid? 2. A oes gwahaniaeth rhwng y galon a addewir a'r galon a orchymynir yn yr ysgrythyrau? Os oes, Pa beth ydyw?"—Anfonwyd atebiad gan Mr. Rees, i'r gofyniadau hyn, i'r *Dysgedydd* am Ragfyr (*tu dal.* 379, 380), yn yr hwn y mae yn uniongyrchol yn cymmeryd y tir, fod cyfnewidiad ansawdd foesol enaid y pechadur yn cael ei effeithio trwy yr hyn a alwai y gofynydd "gweinidogaeth moddion;" ac mai "yr hyn a wna yr Ysbryd Glan ydyw, perswadio neu ddwyn y meddwl 'at y gyfraith a'r dystiolaeth' i weithredu ystyriaeth deilwng ar y gwrthddrychau cyflwynedig ger ei fron ynddynt, a'r canlyniad sicr ydyw troedigaeth yr enaid. Pa fodd y mae yn gwneyd hyn ni ddatguddiwyd i ni; ond efe, yr hwn a luniodd ysbryd dyn ynddo, a ŵyr pa fodd i weithredu arno heb ddinystrio ei ryddid a'i gyfrifoldeb: ac am y wybodaeth o'r dull a'r modd y gweithreda nid ydym ni yn gyfrifol, ac felly ni pherthyn i ni ymholi yn ei chylch, eithr ufuddhau." "Ni feïir neb yn yr ysgrythyrau am beidio troi wedi ystyried, ond beïir a bygythir dynion am beidio ystyried. Y mae yr un mor amlwg drachefn na ddaeth ac na ddaw neb i ystyried ond tan ddylanwadau Ysbryd y gras; nid am na *all* ond am na *fyn:* ac felly y mae dylanwadau yr Ysbryd yn anhebgorol angenrheidiol, ac yn anfeidrol rasol, yn nhrefn fawr yr iechydwriaeth." Y mae Mr. Rees yn terfynu gydâ sylwadau nodedig o brïodol:—"Byddaf yn teimlo gradd o ofn ar fy meddwl weithiau, rhag bod mwy o gywrain ymholi ac ymddadlen genym yn nghylch gwaith yr Ysbryd bendigedig, nag sydd o wir weddïo a diolch am ei ddylanwadau; a bod hyn, yn gystal a phethau ereill, yn ei dristâu, ac yn peri iddo gilio. Onid oes genym achos i ofni yn

y dyddiau presennol, mai 'Duw yn ymguddio yw Duw Israel yr Achubydd.' O mor ddymunol fyddai gweled eglwysi Cymru, fel Israel gynt, yn dechreu 'galaru ar ol yr Arglwydd,' ac yn bwrw ymaith y duwiau dyeithr,—y pethau hyny ag sydd yn attal ac yn cuddio ei wyneb oddiwrthym. 'Y mae yn amser i ni geisio yr Arglwydd, hyd oni ddelo a gwlawio cyfiawnder arnom.'"

Mae yn ymddangos nad oedd y Sylwadau hyn yn hollol wrth fodd *Amicus*; ac felly, yn y *Dysgedydd* am Ionawr, 1837 (*tu dal.* 25—28), daeth allan gydâ "*Gair yn mhellach at y Parch. W. Rees*," yn beirniadu ei Atebion, ac yn dadleu yn amlwg, er nad mewn cynifer o eiriau, dros weithrediad uniongyrchol a digyfrwng yr Ysbryd yn nghyfnewidiad "ansawdd foesol yr enaid;" gan wneuthur hyny mewn dull a deimlid braidd yn ymhongar a meistrolgar, o leiaf mewn un yn cymmeryd arno fod yn ddysgybl ymofyngar. Daeth Mr. Rees, yr hwn oedd erbyn hyn wedi symmud i Ddinbych, allan drachefn, yn y *Dysgedydd* am Mehefin (*tu dal.* 172—176), i amddiffyn yn helaethach y golygiadau a roddasid ganddo yn ei Ysgrif flaenorol, ac i ateb y gwrthddadleuon a ddygasid yn mlaen gan *Amicus* yn eu herbyn. Y mae yma hefyd yn hysbysu i *Amicus*, na byddai iddo wneyd un sylw ar ddim a ysgrifenid ganddo rhagllaw, oni ddeuai allan dan ei enw priodol ac nid yn nghysgod ffugenw. Daeth *Amicus* allan felly, yn y *Dysgedydd* am Ebrill, 1838 (*tu dal.* 120, 121), megis "*John Parsons, Athrofa Hackney, Caerludd*," i wneuthur "*Ymddiffyniad*" iddo ei hunan. Yn yr "ymddiffyniad" hwn, y mae yn dadleu dros y golygiad mai "gwaith perthynol i Ysbryd Duw mewn modd uniongyrchol, neu ddigyfrwng, ydyw gogwyddo y meddwl at santeiddrwydd a rhinwedd, a'i ddwyn i ymagweddu yn briodol tuag at wahanol wrthddrychau." Yr oedd Mr. John Parsons yn enedigol o Liverpool, a'i dad yn aelod o'r eglwys Gymreig Annibynol, yn y Tabernacl yno, lle hefyd y magwyd yntau, ac y dechreuodd bregethu. Wedi darfod ei amser yn Hackney, ymsefydlodd fel gweinidog yn Brierly-Hill, yn agos i Stourbridge, yn *Staffordshire*, lle yr oedd yn dra chymmeradwy. Ni wnaeth Mr. Rees, hyd ag yr ydym ni yn gwybod, un sylw o *Amicus* ar ol hyn.

Ond yn y cyfamser, sef yn y *Dysgedydd* am Medi, 1837 (*tu dal.* 265—271), fe ymddangosodd ysgrif ar "*Y Dylanwadau Dwyfol*," gan Mr. Richard Jones, Aberhosan, a achlysurodd gryn lawer o ddadleu a pheth annghysur. Yr oedd Mr. Richard Jones yn frodor o'r Bala, lle

y ganwyd ef, Hydref 26, 1813. Wedi dechreu pregethu yn lled ieuanc, aeth, am beth amser, i'r Athrofa yn y Drefnewydd. Wedi bod yno tua dwy flynedd, derbyniodd alwad eglwys Aberhosan, yn agos i Fachynlleth, i'w gwasanaethu, lle yr ordeiniwyd ef, Ebrill 4, 1837. Bu yn nodedig o lwyddiannus yno yn ei weinidogaeth. Symmudodd i Ruthin yn y flwyddyn 1839. Yr oedd yr achos yn isel iawn yn Rhuthin pan aeth efe yno, ond effeithiodd ei ddyfodiad i'r lle megis bywyd o feirw arno, ac ychwanegwyd mewn amser byr ugeiniau at yr eglwys. Yr oedd ei ddoniau gweinidogaethol o radd uchel. Yr oedd ei amcan yn syml ac uniongyrchol at iachawdwriaeth ei wrandawyr; ac yr oedd y teimladau dwys a'i meddiannent ef ei hunan yn wastadol, yn gadael, bob amser, argyhoeddiad dwfn o hyny yn eu cydwybodau oll. Yr ydoedd, mewn gwirionedd, am yr amser a ganiatäwyd iddo yn ei waith, yn "ganwyll yn llosgi ac yn goleuo." Ond ni bu ei dymhor ond byr. Bu farw ar ddydd blwydd ei enedigaeth, Hydref 26, 1841, yn 28 oed. Y mae, yn yr Ysgrif hon o'i eiddo yn y *Dysgedydd*, yn dadleu yn gryf yn erbyn y syniad am y dylanwad neu y gweithrediad digyfrwng o eiddo yr Ysbryd Glan yn nhröedigaeth pechaduriaid, ac yn cymmeryd yn benderfynol y tir mai moesol yn unig yw ei ddylanwad, hyny yw, nad ydyw yn gweithredu o gwbl ond yn ngrym yr annogaethau neu y cymhelliadau a gynnwysir yn y gwirionedd, y rhai a reola, ryw fodd, i gyfarfyddiad â meddyliau dynion er eu cyfnewid. Mae lliaws o'i sylwadau, yn ddiddadl, yn rhagorol ac yn bwysig; a chan belled ag y maent yn dal perthynas yn *ymarferol* â dyledswydd pechaduriaid i ymwneyd â'r moddion, y maent yn cyflwyno gwedd ar y gwirionedd ysgrythyrol, ag yr oedd y syniad a wrthwynebir ganddo yn tueddu, os nad i'w wadu, i'w esgeuluso yn hollol. Ond, wrth brofi mai trwy foddion y mae yr Ysbryd yn gweithredu, y mae yn myned i'r fath eithafion, nes gosod ei hunan yn agored i'r cyhuddiad o fod yn gwneuthur ei ddylanwad yr un yn gwbl a dylanwad y gwirionedd; ac y mae yn bendant yn gwneuthur gweddïo,—megis gweddïo am yr Ysbryd,—yn rhywbeth i effeithio yn unig ar y dyn ei hunan, ac heb fod yn meddu unrhyw ddylanwad ar y Duw mawr. Mae yn wir yn cydnabod yn bendant yr angenrheidrwydd am waith yr Ysbryd, ac yn addef nas gwyddai ddim am natur ei ddylanwad ynddo ei hun, tra ar yr un pryd y mae yn dadleu mai y cwbl y mae yr Ysbryd yn wneuthur ydyw "rheoli y dylanwadau moesol ac ysbrydol, pa rai sydd yn nghadw ganddo yn y

gwirionedd." Mae yn amlwg nad oedd yr awdwr ond meddyliwr lled anaddfed: a thra yn un gonest hollol yn ei amcan, ac yn eglur yn un tra eiddigus am fod yr efengyl yn ateb ei dibenion bendithiol, yn ei chyflwyniad ger bron y byd, yr oedd yn llawer rhy dueddol i redeg ymaith megis ag un ochr i'r gwirionedd. Cawn esiampl hynod o hyny yn y modd y mae yn esbonio yr angenrheidrwydd am y dylanwadau dwyfol. Wedi cael gafael, yn rhywle, ar y syniad fod y "dylanwadau dwyfol yn angenrheidiol er da-fodolaeth angylion, y rhai ni phechasant erioed,"—yn lle casglu, oddiwrth hyny, angenrheidrwydd mwy am danynt er sancteiddiad creaduriaid cwympiedig a halogedig, y mae efe yn tynu casgliad hollol wahanol:—"Nid yw," meddai, "yr angenrheidrwydd am ddylanwadau yr Ysbryd Glan yn cyfodi oddiar lygredigaeth y natur ddynol, mwy nag y mae yr angenrheidrwydd am ddylanwadau naturiaethol yn cyfodi oddiar ryw weithrediad diffygiol mewn natur." Hyny yw, mewn geiriau ereill, gan fod y dylanwadau naturiol yn angenrheidiol yn y greadigaeth, pan nad oes unrhyw ddiffyg mewn natur, nid yw yr angenrheidrwydd am ddylanwadau *moesol* (fel y geilw efe hwynt) yr Ysbryd Glan ar natur ysbrydol pechadur, yn cyfodi oddiar y diffyg moesol, sydd yn peri fod y natur hono yn pallu ateb amcanion ei chyfansoddiad gwreiddiol!

Yn y *Dysgedydd* am Ragfyr 1837 (*tu dal.* 377), y mae gohebydd a'i galwai ei hunan, *Derfel Gadarn*, tra yn proffesu ei fod "yn cyduno yn dda â llawer o'r pethau a gynnwysa" y Traethawd a fu yn awr dan ein sylw, eto yn cwyno fod ynddo "rai pethau tywyll, anghyson âg ef ei hun, ac â'r Ysgrythyrau;" ac yn dymuno "ar Mr. R. Jones, Aberhosan, neu rywun medrus arall," ateb ychydig ofyniadau a gynnygir ganddo arno:—"1. A oes gan yr Ysbryd Glan ryw waith *ychwanegol* i'w wneuthur yn nychweliad pechadur heblaw arfer moddion moesol tuag at hyny? 2. A oes dim *ychwanegol* yn cael ei olygu yn y geiriau (rhyw eiriau a arferasai Mr. Richard Jones)? 3. Os oes ganddo rywbeth *ychwanegol*, pa beth ydyw?"

Yn y *Dysgedydd* am Chwefror, 1838 (*tu dal.* 47—51), ymddangosodd ysgrif drachefn gan Mr. Richard Jones, yn Atebiad i *Derfel Gadarn*. Y mae, yn yr Ysgrif hon, yn ymhelaethu er prawf mai trwy foddion, ac nid "yn ddigyfrwng yr effeithir dychweliad" pechadur; ond, megis yn ei draethawd cyntaf, y mae yma eto fel yn gwneyd dylanwad yr Ysbryd yn gwbl yr un a dylanwad y gwirionedd, tra yr un pryd y mae yn

proffesu yn bendant fod natur y dylanwad dwyfol yn ddirgelwch anamgyffredadwy iddo.

Yn yr un rhifyn o'r *Dysgedydd* ag yr ymddangosodd yr Atebiad hwn i *Derfel Gadarn*, fe ymddangosodd gofyniad hefyd (*tu dal.* 58), gan un a'i galwai ei hunan, *Dysgybl o Swydd Fflint*, a barodd gryn lawer o sylw, ac a gynnyrchodd gyfres faith o lythyrau:—"*Pa un ai* ANIANYDDOL *ai* MOESOL (physical or moral) *ydyw gwaith yr Ysbryd?* Os atebir mai ANIANYDDOL ydyw, gofynir, 1. A oes modd gweithredu gweithred anianyddol ar fôd moesol heb ddinystrio ei foesolrwydd? 2. Onid yw y golygiad hwn yn darostwng dyn i weithredu o dan lywodraeth greddf fel anifail? 3. Pa fodd y gellir yn gyfiawn feio dyn am fod heb yr Ysbryd, os na chynnygir yr Ysbryd i dderbyniad ei ewyllys? 4. Onid yw y golygiad hwn yn ffynnonell darddiol y dyb a goleddir gan filoedd o wrandawyr yr Efengyl, nad oes ganddynt hwy ddim i'w wneuthur ond 'dyfod i làn llyn y moddion,' a *dysgwyl?* 5. A oes eisiau rhyw weithrediad o wahanol natur i wneuthur dyn drwg yn ddyn da, rhagor sydd eisiau i wneuthur dyn da yn ddyn drwg? Ei *berswadio* i bechu a gafodd Adda sanctaidd.

"Os atebir mai MOESOL ydyw, gofynaf, 1. Pa fodd y llwydda gyda y naill, ac nid gydâ y llall, os nad oes dim ond *perswadio?* 2. A gydsaif y golygiad hwn â'r ymadroddion ysgrythyrol, megis rhoddi *calon newydd, creu o newydd,* &c.? 3. Onid yw y golygiad hwn yn rhoddi sarhád ar waith yr Ysbryd trwy ei ddarostwng i fod o'r un natur a gwaith y diafol o *ran y dull?* 4. A oes gan yr Ysbryd ryw gymhelliadau i'w cyflwyno i ystyriaeth y meddwl er ei berswadio a'r nad ydynt eisoes yn gyflwynedig i'w ystyriaeth yn y gair dwyfol? 5. Cyfaddefir fod babanod yn gadwedig—pa fodd y mae babanod yn wrthddrychau gweithred foesol? neu yn wrthddrychau i'w cymhell a'u perswadio?"

Fe welir, ar unwaith, fod amcan cywir, dybygid, i gyflwyno y pwnc yn dêg, o'r ddwy ochr, yn yr holiadau hyn, ac mai anhawdd fuasai, mewn can leied cylch, gwneuthur hyny yn eglurach. Yn y *Dysgedydd* am Mai, 1838 (*tu dal.* 145—148), fe ymddangosodd Llythyr oddiwrth Mr. David Morgan, y pryd hyny o Fanchester, cyn hyny o Fachynlleth ac wedi hyny o Lanfyllin, yn "*Atebion i Ofynion Dysgybl o Fflint.*" Dilynwyd hwn â llythyrau ereill, gan yr un awdwr, yn y *Dysgedydd* am Mehefin (*tu dal.* 167—170); am Gorphenaf (*tu dal.* 209—213); am Awst (*tu dal.* 230—235); am Medi (*tu dal.* 267—273); am Hydref

(*tu dal.* 299—304); ac am Tachwedd (*tu dal.* 329—333). Fe'n harweinid ni i feithder annghymedrol ped amcanem at sylwi ar y llythyrau hyn bob un ar wahân, ac felly y mae yn rhaid i ni foddloni yn unig ar ychydig sylwadau cyffredinol arnynt gydâ'u gilydd. Mae yr Awdwr, ynddynt, yn cymmeryd y tir pendant, fod gwaith yr Ysbryd ar feddwl pechadur yn uniongyrchol a hollol ddigyfrwng, ac yn gwbl annibynol ar bob moddion moesol. Nid ydyw yn petruso, gan hyny, galw y dylanwad sydd yn ei gynnyrchu yn anianyddol, mewn cyferbyniad i ddylanwad annogaethau, cymhelliadau, &c. Mae yn dadleu dros y golygiad hwn gydâ nerth mawr; ac yn gwneuthur lliaws o Sylwadau pwysig a chywir a thra gwerthfawr, sydd yn profi fod argyhoeddiad dwfn yn ei feddwl o lygredigaeth hollol calon dyn fel pechadur, ac o'r angenrheidrwydd am allu goruwchnaturiol a dwyfol er cyfnewid ei hansawdd. Ond y mae cyfansoddiad y llythyrau yn hynod o annestlus ac aml-eiriog; y brawddegau yn amrosgo ac annghelfydd; yr ymresymiad, weithiau, yn gloff a dirym; a'r holl ymdriniaeth, dybygem ni, yn mhell iawn o roddi y lle prïodol i, a'r pwys prïodol ar, ymarferiad *pechadur fel y cyfryw*, â'r hyn sydd, yn ôl dysgeidiaeth amlwg a phendant yr ysgrythyrau, yn foddion cyfranogiad o'r dylanwadau dwyfol er ei ailenedigaeth a'i ddychweliad. Y mae rhywbeth annedwydd hefyd yn nhôn y llythyrau,—yn arddangos gormod tuedd yn yr awdwr i edrych i lawr, gydâ diystyrwch a dirmyg, ar y rhai a wrthwynebir ganddo—rhywbeth nad yw mewn un modd yn gwasanaethu er ei gynnorthwyo i'w hennill drosodd i'w olygiadau ei hun.

Yn y *Dysgedydd* am Ragfyr, 1838 (*tu dal.* 366—371), fe ymddangosodd Llythyr oddiwrth Mr. Richard Jones, Aberhosan, yn cynnwys, "*Sylwadau ar Lythyrau y Parchedig D. Morgan, Mancenion.*" Dylynwyd hwn, gan yr un awdwr, â rhai ereill, yn y *Dysgedydd* am Ionawr, 1839 (*tu dal.* 14—17); am Chwefror (*tu dal.* 43—45); am Mawrth (*tu dal.* 78—82); ac am Ebrill (*tu dal.* 110—113).—Mae y Llythyrau hyn o nodwedd gyffelyb i'r ysgrifau blaenorol, o eiddo yr un awdwr, a fuant dan ein sylw eisoes,—yn arddangos yr un rhagoriaethau a llawer o'r un diffygion. Mae yn ysgrifenu mewn ysbryd caruaidd ac efengylaidd, ac yn hyny yn rhagori yn fawr ar Mr. Morgan; ac y mae hefyd yn ddiddadl yn cydio mewn ochr i'r gwirionedd a esgeulusid braidd yn gwbl ganddo ef,—y pwysigrwydd o ddwyn y pechadur at yr ymarferiad â'r moddion, a ordeiniwyd gan y Duw mawr ei hunan er

ei droedigaeth. Ond nid ydyw yn ddigon gofalus i wahaniaethu rhwng dylanwad y gwirionedd, a gweithrediad Ysbryd Duw drwyddo; ac y mae yn fynych yn llithro i ddull o eirio sydd yn peri iddo ymddangos fel un yn credu ac yn dysgu mai yr un yw y naill a'r llall. Y mae hefyd yn llefaru yn llawer rhy hyf ac anturus, i'r hyn sydd yn gweddu i greadur meidrol ac anwybodus, o'r fath ag ydyw dyn, am yr hyn "*ni fedr*" Ysbryd Duw. Dyma y peth diweddaf, a welsom ni, odditan law Mr. Richard Jones ar y testyn hwn; ac nid ydym yn cael i Mr. Morgan wneuthur un Atebiad byth iddo.

Ond yn y *Dysgedydd* am Awst, 1839 (*tu dal.* 240—242), fe ymddangosodd Ysgrif gan un, a'i galwai ei hunan, *Crito Biblicus*, yn gyfeiriedig at Mr. Morgan a Mr. R. Jones, yn nodi y geiriau neillduol a arferir, yn yr ysgrythyrau, am waith Duw yn nychweliad pechadur, a'r geiriau hefyd a arferir am waith pregethwr, neu weinidog yr efengyl, yn neu tuag at yr un peth; gydâg amryw sylwadau beirniadol arnynt. Daeth Ysgrif arall allan i'r un perwyl, ac oddiwrth yr un awdwr, yn y *Dysgedydd* am Medi (*tu dal.* 275—278); ac un arall yn y *Dysgedydd* am Hydref (*tu dal.* 302—305). Y mae yr ysgrifau hyn yn tori tir oedd braidd yn gwbl newydd yn Nuwinyddiaeth Cymru, ac yn amcanu yn dêg at osod gwedd Fiblaidd hollol arni. Y mae yn resyn na buasai yr awdwr, pwy bynnag ydoedd, wedi myned rhagddo yn y cyfeiriad a gymmerasid ganddo; ac y mae yn ddrwg genym na buasai wedi derbyn mwy o gefnogaeth yn yr amcan rhagorol oedd ganddo mewn golwg.

Tra yr oedd y Ddadl fu yn awr dan ein sylw yn myned rhagddi yn y *Dysgedydd*, fe ymddangosodd Ysgrif yn y *Drysorfa*, am fis Medi, 1838 (*tu dal.* 261—264), dan yr enw—"*Y Pregethwr a'r Gwrandawr,*" mewn ffordd o Ymddyddan rhwng y ddau, yr hon y teimlid, ar unwaith, ei bod yn eiddo i ryw un a wyddai yn dda yr hyn yr ydoedd yn ei gylch, ac un na byddai yn hawdd cael y gair olaf arno mewn unrhyw ddadl, pa ochr bynnag a gymmerid ganddo. Nid oedd hon ond y gyntaf mewn cyfres o ysgrifau dan yr un enw, y rhai a ddaethant allan yn yr un Cyhoeddiad, y naill fis ar ol y llall, am flwyddyn o amser. Yr oedd yr "*Ymddyddanion*" hyn yn ymddangos heb unrhyw enw wrthynt, na phriodol na ffugiol, ac yr oedd cryn lawer o ddyfalu ar y cyntaf pwy a allai eu hawdwr fod, er fod yn wybyddus, o'r dechreuad, i gryn nifer o'i gyfeillion, mai y diweddar Mr. Richard Williams, o *Liverpool*, ydoedd. Yr oedd Mr. Richard Williams yn frodor o Lan-

brynmair, wedi ei eni yno yn niwedd Ionawr, 1802. Yr oedd ei dad yn aelod, ac yn bregethwr, gydâ'r Methodistiaid; a'i fam yn chwaer i'r Parch. John Roberts, ac yn aelod o'i eglwys ef, yn yr Hen Gapel, yn Llanbrynmair. Dechreuodd Mr. Richard Williams bregethu pan ydoedd yn ugain mlwydd oed. Symmudodd i Liverpool, yn mis Awst, 1828, lle y bu farw, Awst 30, 1842, yn ddeugain mlwydd oed. Fe welir fod yr amgylchiadau y dygwyd Mr. Richard Williams i fyny ynddynt, yn gyfryw ag i roddi iddo y fantais oreu, yn ei eiriau ei hunan, i "wrando llawer a darllain peth, ar bob ochr i'r ddadl," ar y pynciau sydd yn dyfod dan ei sylw yn yr "*Ymddyddanion*" hyn. Y mae y pynciau hyny yn cynnwys yr holl rai ag y golygid fod yr hyn a elwid yn "*Gyfundraeth*" neu yn "*System Newydd*," yn rhoddi gwedd wahanol arnynt, i'r hyn a ddysgasid gynt gan yr hen Galviniaid yn ein gwlad. Daliwyd yr awdwr gan yr afiechyd a derfynodd, yn y diwedd, yn angeu iddo, fel ag y lluddiwyd ef i adysgrifenu, ac i anfon yr holl "*Ymddyddanion*" a barotoisid ganddo, i'r *Drysorfa;* fel y maent yn ymddangos yno yn terfynu braidd yn ddiswta ac anorphenol.

Yn y cyfamser, fe ddaeth ei gefnder, Mr. John Roberts, Llanbrynmair, yn awr o Gonwy, allan, yn y *Dysgedydd* am Hydref, 1839 (*tu dal.* 307—311), a thrachefn am Tachwedd (*tu dal.* 331—335), ac am Rhagfyr (*tu dal.* 363—366), yn nerthol yn ei erbyn, mewn ysgrif a elwir, "*Sylwadau ar yr Iawn.*" Y mae, yn hon, yn ei gyhuddo o fod yn "amddiffyn egwyddorion yr Uwch-galfiniaid;" yn "amddiffyn y golygiad masnachol" ar yr Iawn, "i'r graddau eithaf;" ac y mae yn dadleu mai cellwair, yn ol ei athrawiaeth ef, ydyw "son am faddeu pechod," ac "am waith yr ysbryd," a "moddion gras;" ac yn honi fod ei "holl gyfundraeth yn dreisiol ac anianyddol."

Yr oedd y fath gyhuddiadau, a'r hyn a olygai efe yn gamddarluniadau, yn enwedig oddiwrth y fath un, yn flin iawn i Mr. Richard Williams; ac felly, yn y *Drysorfa* am Ragfyr, 1839 (*tu dal.* 369—373), ac am Ionawr, 1840 (*tu dal.* 22—27), fe ddaeth allan gydâ dau Lythyr, yn amddiffynol iddo ei hunan. Daeth Mr. John Roberts yntau allan, yn y *Dysgedydd* am Mawrth (*tu dal.* 77—80), ac Ebrill (*tu dal.* 106, 107), i'w amddiffyn ei hunan yn erbyn y llythyrau hyn, mewn llythyr "*At y Parch. R. Williams, Llynlleifiad;*" ac hefyd gyda llythyr arall, i'r un perwyl, "*At y Golygydd*" (*tu dal.* 107, 108). Erbyn hyn, yr oedd yr awdwr wedi casglu yr holl "*Ymddyddanion*" a

gyhoeddesid yn y *Drysorfa*, yn nghyd â'r lleill oeddent wedi eu parotoi ganddo ond heb eu hanfon yno, gydâ'r ddau Lythyr amddiffynol iddo ei hunan, ac wedi eu cyhoeddi, yn un llyfr destlus, dan yr enw, "*Y Pregethwr a'r Gwrandawr; sef, Calfinistiaeth a Ffwleriaeth yn cael eu hystyried, ar ddull Ymddyddan rhwng Dau Gyfaill.*" Y mae "*Llythyrau Cymeradwyol*" i'r gwaith yn ei flaenori, "oddiwrth y Parch. J. Elias;" "y Parch. J. Hughes, o Liverpool, gynt o Wrexham;" "y Parch. H. Rees;" a'r "Parch. L. Edwards, A.C." Yn y *Drysorfa* am Mai, 1840 (*tu dal.* 147—151), daeth Mr. Richard Williams allan drachefn mewn "Llythyr at y Parch. J. Roberts, Llanbrynmair," i'w amddiffyn ei hunan yn ngwyneb yr hyn a ddygasid yn ei erbyn yn y *Dysgedydd* am y Mawrth a'r Ebrill blaenorol. Yn y *Dysgedydd* am Medi (*tu dal.* 278—280), y mae Mr. John Roberts yn dyfod allan drachefn, gan gyhuddo y Pregethwr o "*anghysonderau nas cymmodir byth*, ganddo ef, na neb arall." Yn y *Drysorfa* am *Hydref* (*tu dal.* 308, 309), daeth Mr. Richard Williams allan drachefn, gyda llythyr "At y Parch. J. Roberts, o Lanbrynmair," yn yr hwn y mae mewn ychydig eiriau, ond mor benderfynol, ac eto mewn teimlad hollol garedig, yn ei amddiffyn ei hunan, fel nad ydym yn gwybod i Mr. J. Roberts ddyfod allan byth yn ei erbyn. Ymosodwyd arno drachefn yn ddoniol iawn, ond heb ddim newydd yn yr ymresymiad, yn y Dysgedydd am Tachwedd (*tu dal.* 330—333), gan un a'i galwai ei hunan *Jenkyn Fuller Williams*. Y mae Mr. Richard Williams, yn y *Drysorfa* am Ragfyr (*tu dal.* 372), mewn olysgrifen i erthygl fechan o'i eiddo a gyfenwir—"*Dr. Chalmers a Chalfiniaeth*," yn ymesgusodi am beidio gwneuthur unrhyw sylw ar ysgrif Jenkyn Fuller Williams, am y rheswm, meddai, y "rhaid cael rhywun craffach na myfi i ganfod ynddi un wrthddadl na chyfodwyd gan y 'Gwrandawr,' ac na atebwyd gan y 'Pregethwr:' ac hefyd yn fy llythyrau atoch chwi a Mr. R." A dyma y geiriau diweddaf, adnabyddus i ni, o eiddo Mr. Richard Williams, trwy y Wasg, ar y ddadl hon.

Mae y llyfr a elwir "*Y Pregethwr a'r Gwrandawr*" mor adnabyddus, ac wedi cael cylch-rediad mor helaeth, ag odid lyfr o'i fath a gyhoeddwyd erioed yn Nghymru. Daeth dau argraffiad o hono allan, pob un o honynt o amryw filoedd, yn ystod bywyd yr awdwr; ac y mae y trydydd argraffiad, gydâ hanes dyddorol am yr awdwr, wedi ei ysgrifenu, os nad ydym yn camgymeryd, gan y Parch. Owen Jones, Llandudno, a Detholiad o'i Bregethau, &c., allan er ys amryw flynyddau

bellach, ac yr ydym yn deall ei fod yn un o'r llyfrau ag y mae galwad gyson am danynt gan ein cenedl. Mae yn sicr yn arwyddo cydnabyddiaeth fanwl, ar du yr awdwr, â'r pynciau yr ysgrifenai arnynt, yn eu hamrywiol gysylltiadau; gallu ymresymiadol tra annghyffredin, yn enwedig i droi dadleuon ei wrthwynebwr yn ei erbyn ei hunan, a'u harwain i'w canlyniadau naturiol ac angenrheidiol, er dangos eu gwrthuni a'u heiddilwch; a digonedd at ei alwad o'r wawdiaith lemaf a mwyaf anoddefadwy, yr hon a ddefnyddiai, weithiau, er yn amlwg yn ochelgar a gofalus am beidio dolurio gormod ar deimladau ei wrthwynebwr, eto mor amlwg yn awyddus am beri iddo deimlo ei fod yn gwbl yn ei law, a'i bod yn dibynu yn unig ar ei ewyllys ef, pa un a andwyid ef ganddo yn hollol ai peidio. Mae yr awdwr yn ymwrthod yn ddinâg â'r cyhuddiad o'i fod yn "amddiffyn egwyddorion yr Uwch-galfiniaid;" ac, yn sicr, y mae digon o wahaniaeth rhyngddo â'r rhai a gydnabyddir yn gyffredin felly, megis Crisp, a Gill, a Toplady, a Huntington, a'u cyffelyb, i'w gyfiawnhau yn y cyfryw ymwrthodiad: yr un pryd, y mae yn rhaid cydnabod fod rhywbeth yn nhôn yr ymdriniaeth, sydd braidd yn tueddu i adael argraff wahanol ar feddwl y darllenydd, i'r hon a dderbynia oddiwrth ysgrifeniadau Mr. Jones o Ddinbych, a Mr. Richard Jones o'r Wern, a'r cyffelyb. Mae hyn yn cyfodi, ni a dybygem, nid yn gymmaint oddiar unrhyw wahaniaeth yn hanfod eu golygiadau ar drefn yr efengyl, ag oddiar y safleoedd gwahanol a gymmerid ganddynt i edrych arni. Mae yr ymdriniaeth, yn "*Y Pregethwr a'r Gwrandawr*," braidd yn gwbl yn gyfyngedig i'r drefn hono, yn ei chysylltiad â Duw: y bwriadau tragywyddol o berthynas iddi; ymrwymiadau y personau dwyfol i'w gilydd gydâ golwg arni; eu ffyddlondeb hollol a digyfnewid i'w hymrwymiadau grasol; a'r sicrwydd anffaeledig a gyfyd oddiar hyny, am gyflawniad eu hamcanion yn nghadwedigaeth yr eglwys; gydâ gormod tuedd, braidd, i esbonio y pethau hyn, yn eu cysylltiad â Duw, yn hollol yn ôl yr hyn sydd briodol i ddyn. O'r tu arall, nid yw yn talu ond ychydig sylw i, yn wir y mae yn esgeuluso braidd yn gwbl, y wedd a gymmerir yn yr ysgrythyrau ar yr iachawdwriaeth yn ei chysylltiad â dyn—digonolrwydd yr aberth mawr ar gyfer dynolryw yn gyffredinol a diwahaniaeth; galwad eglur a thaer a didwyll yr efengyl ar bob pechadur, i ddyfod at Grist am fywyd ac iachawdwriaeth; rhwymedigaeth pechadur, yr hyn ydyw, i ffydd ynddo; addasrwydd y datguddiad dwyfol fel moddion yn ei gyraedd, lle y mae, er ei

adenedigaeth a'i ddychweliad; y wedd hono ar drefn yr efengyl ag y byddai ei gwadu yn ddinystr ar gyfrifoldeb dyn yn ei gwyneb—y mae "*Y Pregethwr a'r Gwrandawr*" yn myned heibio iddi braidd yn hollol. Nid ydym yn ammeu dim nad oedd yr ochr yma hefyd i'r gwirionedd yn nghredo yr awdwr: ond yr ochr arall sydd ganddo dàn sylw yn y llyfr hwn; yr ochr arall, y tybiai efe fod y rhai a wrthwynebid ganddo yn ei cham-esbonio, os nad yn ei gwadu; a'r ochr arall, felly, y teimlai efe fod arno rwymau arbenig i ymdrechu ei hegluro a'i hamddiffyn. Nid rhyfedd, gan hyny, fod tôn y llyfr braidd yn wahanol, a'r argraff oddiwrtho ar feddwl y darllenydd yn hytrach yn wahanol, i'r hyn a fuasai, pe buasai yr awdwr ynddo wedi cymmeryd golwg ar y gwirionedd cyferbyniol, neu, ynte, wedi edrych ar ddau tu y gwirionedd. Eithr, megis ag y mae, y mae yn waith nodedig o werthfawr:—yn cyflwyno eglurhad goleu, syml, naturiol, ac ysgrythyrol, ar rai o'r gwirioneddau pwysicaf a berthynant i'n crefydd; ac yn cynnwys rhai o'r engreifftiau prydferthaf o ymresymu a ellir gael yn ein hiaith, neu, yn wir, mewn unrhyw iaith. Ped annghytunai y darllenydd yn gwbl â'r golygiadau a ddysgir ynddo, nid ydym yn petruso dywedyd y gallai gael graddau helaeth o'r un hyfrydwch yn y llyfr, ag a geir yn Atebiad Chillingworth i'r *Jesuit* Knott; yn nadleuon Locke â'r Esgob Stillingfleet; yn nadleuon Dr. Clarke â Leibnitz ac â Collins; yn Atebiad Dr. Campbell i Hume; yn ysgrifeniadau dadleuol y ddau Edwards; yn "*Apologia*" Dr. Newman yn erbyn Kingsley; yn ysgrifeniadau Joseph Harris ar "*Ieuo Anghymharus,*" a'i "*Fwyell Crist yn Nghoed Anghrist;*" a llyfrau cyffelyb.

Fe ddygwyd y Dadleuon, trwy y Wasg, rhwng Calviniaid Cymru â'u gilydd, o leiaf can belled ag y mae a wnelom ni yn awr â hwynt, i derfyniad,—ni ddywedwn *trwy*, ond *gydâ*, y llyfr hwn. Ryw fodd neu gilydd, ar ol hyn, fe ddaethpwyd i deimlo fod cymmaint wedi ei ddywedyd, ar y naill du a'r llall, ag a ellid ddywedyd, neu, o leiaf, ag oedd eisiau ei ddywedyd, ac eto nad oedd y pleidiau yn nesau dim at eu gilydd, fel y dechreuwyd ammeu y priodoldeb o ymgais yn hwy at hyny, ar dir dadl. Yr un pryd, yr oedd yr argyhoeddiad yn cynnyddu, yn y naill blaid a'r llall, nad oedd y gwahaniaeth rhyngddynt, wedi y cwbl, yn cyffwrdd dim â hanfod ac â bywyd yr efengyl, ond fod y pethau mawrion am iachawdwriaeth pechadur yn cael eu derbyn yn galonog ac yn ddiysgog gan y naill fel y llall, a bod y gwahaniaeth yn unig yn

nghylch y *modd* i'w hesbonio: a theimlid yn resyni mawr fod peth mor fychan, ac, mewn cymhariaeth, mor ddibwys, yn cadw brodyr ar wahan, ac yn peri ymryson ac ymgynhenu rhyngddynt a'u gilydd. Yr oedd y syniad yn ennill tir yn meddyliau y gwŷr blaenaf a mwyaf dylanwadol yn y dywysogaeth, mai yr hyn oedd yn angenrheidiol bellach oedd, nid dadleu yn gymmaint yn nghylch *ffurfiau* y gwirionedd, yn ol gwahanol Gyfundraethau Duwinyddol, ond cyflwyno y gwirionedd ei hunan, yn ei symledd, ei ryddid, ei gyflawnder, ei ëangder, ïe, hyd yn nod yn ei annghysondeb ymddangosiadol, Biblaidd, ger bron y byd. Daethpwyd i olygu fod yr Ysgrythyrau Sanctaidd nid yn unig yn cynnwys y gwirioneddau sydd i'w cyflwyno, yn ngweinidogaeth yr efengyl, ger bron dynion, ond hefyd fod y *wedd neillduol* sydd arnynt ynddynt, yn gynllun o'r *modd*, neu y *dull goreu*, i wneyd y cyflwyniad hwnw. Y canlyniad fu, i'r weinidogaeth, yn mhlith yr amrywiol bleidiau, ddyfod yn fwy Biblaidd ac yn llai cyfundraethol:—yn groyw a phendant a diammwys, ar athrawiaethau gras; ac, ar yr un pryd, yn eglur a chref a difloesgni, ar rwymedigaeth a chyfrifoldeb dyn. Fel, erbyn hyn, y mae dadleuon ein tadau braidd yn anesboniadwy i ni. Nid oes yn awr, yr ydym yn tybied, ond ychydig iawn a allant gydymdeimlo â hwynt, yn y pwys mawr a osodid ganddynt ar, a'r eiddigedd cryf a ddangosid ganddynt dros, y ffurfiau neillduol a olygent hwy yn unig yn briodol i osod allan y gwirionedd: a'n perygl mwyaf ni, y dyddiau hyn, yn ddiammeu,—gan annghofio y cysylltiad agos ac angenrheidiol, yn ein dirnadaeth ni, sydd rhwng y gwirionedd ei hunan a'r *ffurf* fyddo arno yn ein meddwl—ydyw myned, yn ein diystyrwch o'r *ffurf*, yn ddiystyr o'r *gwirionedd ei hunan*. Dichon, nid ydym yn sicr, nad bendith fechan i Gymru eto fyddai tymhor o ddadl ddifrifol, ac mewn ysbryd Cristionogaidd, ar rai o wirioneddau mawrion yr efengyl.

# PENNOD XI.

## DADLEUON DUWINYDDOL CYMRU. 1707—1841.

### RHAN III.

### DADLEUON YN NGHORPH Y METHODISTIAID. 1814—1841.

Y DADLEUON YN EFFEITHIO TU FEWN I GYFUNDEB Y METHODISTIAID—GOLYGIADAU YR HEN FETHODISTIAID—DYFODIAD Y WESLEYAID I GYMRU YN GYRU RHAI I EITHAFION AR YR OCHR WRTHWYNEBOL—PENDERFYNIAD CYMDEITHASFA Y BALA AR YR IAWN, YN Y FLWYDDYN 1809—SYNIADAU GWAHANOL YN LLITHRO I MEWN—MR. ELIAS, AC EREILL, YN DADLEU DROS IAWN CYD-BWYS—MR. JONES, DINBYCH, YN TEIMLO YN DDIRFAWR—DADLEU BRWD AR YR ACHOS YN NGHYMDEITHASFA RHUTHIN, 1815—MR. JONES YN CYFLWYNO CWYN AR YR ACHOS I GYMDEITHASFA LLANRWST, 1815—ATEB Y GYMDEITHASFA IDDO—EI "YMDDYDDANION AR BRYNEDIGAETH" YN CAEL EU CYMMERADWYO YN NGHYMDEITHASFA DINBYCH, 1816—SYNIADAU MR. RICHARD JONES, WEDI HYNY O'R WERN, AR Y PWNC, YN CAEL EU LLEDAENU MEWN YSGRIFEN—PREGETH MR. JONES, DINBYCH, AR YR IAWN, YN NGHYMDEITHASFA Y BALA, 1816—DADLEUON MAWRION YN Y WLAD YN Y CANLYNIAD—MR. JONES YN CWYNO DRACHEFN WRTH Y GYMDEITHASFA YN NGHAERNARVON, 1816—LLYTHYR ATO ODDIYNO—CENADWRI BWYSIG AR YR ACHOS ODDIWRTH GYMDEITHASFA Y DEHEUDIR AT GYMDEITHASFA Y GOGLEDD—CYFARFOD O BRIF WEINIDOGION Y GOGLEDD YN MANGOR, ER CEISIO DYFOD I GYD-DDEALLTWRIAETH CYN CYMDEITHASFA PWLLHELI, 1817—EFFEITHIAU HYNOD I SYLWADAU MR. RICHARD JONES, O'R WERN, YN Y CYFARFOD HWNW—PENDERFYNIAD PWLLHELI—MR. JONES YN AIL-GYHOEDDI EI "YMDDYDDANION," GYDAG YCHWANEGIADAU—CYMDEITHASFA Y DEHEUDIR YN CYMMERADWYO Y LLYFR—DADLEUON YN NGHAERWYS, AC YMGAIS Y GYMDEITHASFA I'W TAWELU—MR. ELIAS YN CYHOEDDI EI DRAETHAWD AR "GYFIAWNHAD"—DADLEU CYNHYRFUS AR YR ERTHYGL AM "ABERTH CRIST A'R PRYNEDIGAETH," YN FFURFIAD Y "CYFFES FFYDD," 1823—YSGRIF GAN MR. JAMES HUGHES, LLUNDAIN, YN "NGOLEUAD CYMRU"—SYLW CYMDEITHASFA Y DEHEUDIR AR YR YSGRIF HONO—CYHUDDIADAU YN ERBYN MR. ROBERT ROBERTS, RHOSLLANERCHRUGOG, A MR. MORRIS ROBERTS, YN AWR O'R AMERICA—ANNGHYDOLYGIAD A CHRYN YMRYSON YN SIR FFLINT—EFFEITHIAU HYNY AR SIROEDD EREILL—AMRYW WYR IEUAINC YN CAEL EU DRWG-DYBIO YN EU HATHRAWIAETH, MR. JOHN JONES, YN ENWEDIG—LLAWER O DDADLEU YN NGHYFARFODYDD MISOL SIR GAERNARFON—AWGRYMIADAU ANNGHAREDIG YN Y CYMDEITHASFAOEDD YN ERBYN BRODYR IEUAINC—MR. ROBERTS, AMLWCH, AR OL MARW MR. RICHARD JONES, YN WASTADOL YN CYFRYNGU I'W HAMDDIFFYN—ANESMWYTHDER MAWR YN Y CYFUNDEB—PENNODIAD CYFARFOD YN Y WYDDGRUG, I CHWILIO I MEWN I

ACHOS SIR FFLINT—PRYDER MR. JOHN JONES YN NGHYLCH Y CYFARFOD HWNW—LLYTHYR O'I EIDDO AT MR. THOMAS RICHARD, ABERGWAEN—ATEBIAD MR. RICHARD IDDO—Y GYNNADLEDD YN EISTEDD—YR HOLL GYHUDDIADAU YN SYRTHIO I'R LLAWR—SIOMEDIGAETH Y RHAI OEDDENT WEDI BOD TRWY Y BLYNYDDOEDD YN CYHUDDO EU BRODYR—MR. ELIAS YN MARW—CYMDEITHASFA AMLWCH, 1841—ADEG BWYSIG A PHERYGLUS AR Y CYFUNDEB—TANGNEFEDD HOLLOL, YN RADDOL, YN CAEL EI ADFER—PAWB YN DYSGU GODDEF EU GILYDD MEWN CARIAD.

NID oedd un lle i ddysgwyl i'r Dadleuon, a fuant, fel yr adroddwyd genym yn y tu-dalenau blaenorol, yn cynhyrfu ein cenedl drwyddi am gynnifer o flynyddoedd, beidio effeithio i ryw fesur ar Gyfundeb y Methodistiaid, a pheri graddau o ymryson ac annghysur yn eu plith hwythau hefyd, fel yn mysg Enwadau crefyddol ereill yn ein gwlad. Yr oedd golygiadau yr hen Fethodistiaid, ar y pynciau sydd yn gwahaniaethu Calviniaeth oddiwrth Arminiaeth, o'r dechreuad, yn Galvinaidd hollol, ac eto yn mhell oddiwrth yr hyn a elwir yn Uchel-Galviniaeth; a thra yr oeddent, ar y cwestiwn am Aberth Crist a'r Prynedigaeth, yn dal yn bendant y gosodiad neillduol ar Grist dros bersonau ei bobl, fel eu Meichnïydd, yn ol y cyfammod tragywyddol rhyngddo a'i Dad, yr oeddent yn dal mor gryf ddigonolrwydd anfeidrol ei aberth ar gyfer dynolryw yn gyffredinol, a galwad ddidwyll yr efengyl ar bawb yn ddiwahaniaeth i ddyfod ato am faddeuant ac iachawdwriaeth. Nid oes, ni a dybygem, un lle i ammheuaeth yn nghylch hyn. Y mae Mr. Jones, Dinbych, yn ei Ragymadrodd i'w "*Ymddyddanion ar Brynedigaeth*" (tu dal 9), yn dwyn tystiolaeth bendant, fod sylwedd yr athrawiaeth a ddysgir ganddo ef yn yr "*Ymddyddanion*" hyny, yn gwbl unol â'r hyn a ddysgasid bob amser gan flaenoriaid a thadau y Cyfundeb: ac nid oes eisiau ond ychydig gydnabyddiaeth â Llythyrau Harris, ac â Phregethau Rowlands, ac, yn enwedig, â Hymnau Williams, er cael profion digonol o hyny. Fe ellid meddwl fod cymmaint o wahaniaeth ag oedd yn eu plith, yn ystod y deng mlynedd a thriugain cyntaf, yn hytrach yn nghyfeiriad y golygiad mwy ëang ar Brynedigaeth, cyffelyb o ran sylwedd i'r un a amddiffynid gan Mr. Roberts, Llanbrynmair, ac a wrthwynebid gan Mr. Jones, yn yr "*Ymddyddan I.*," yn y Llyfr y cyfeiriasom ato. Mae Mr. Jones ei hunan yn addef fod "*un neu ddau,* o leiaf, yn gweinidogaethu yn y Corph," ddeugain mlynedd o'r amser yr oedd efe yn ysgrifenu, a gymmerent y golygiad hwnw; ac eto yn tystio eu bod yn gallu cyd-fyw a

chyd-lafurio â'u brodyr yn gwbl dangnefeddus, ac heb feddwl fod dim yn yr ychydig wahaniaeth a allai fod rhyngddynt, yn eu syniadau ar y pwnc hwn, annghydweddol â'r Undeb Cymdeithasfäol yr oeddent ynddo, ac â'u cysur megis aelodau o'r un Corph crefyddol. Yn wir, nid oeddent, y pryd hyny, wedi dysgu edrych arnynt eu hunain megis Ymneillduwyr oddiwrth Eglwys Loegr, ond yn hytrach yn glynu wrthi, megis aelodau o honi, ac amryw o'i hoffeiriaid hi yn wŷr blaenaf yn eu mysg; ac Erthyglau Eglwys Loegr, "*yn ol yr esboniad Calvinaidd arnynt*" (a defnyddio y *geiriad cyfreithiol* yn Ngweithredoedd yr holl hen gapeli), oedd yr unig "*Gyffes Ffydd*" oedd ganddynt; fel y mae yn naturiol casglu, y gallasai y rhai a goleddent y golygiad eangaf ddadleu, pe cyfodasai dadl, mai hwynthwy oeddent y rhai ffyddlonaf i "Gyffes" y Cyfundeb. Ond gyda golwg arnynt oll, yr ydym yn gwybod yn sicr fod tôn gyffredin y weinidogaeth yn eu plith, yn hollol rydd ac ëang a chymhelliadol; ac, fel y sylwasom eisoes (*tu dal.* 274), yr oedd gwedd nodedig o lewyrchus a gobeithiol ar yr achos mawr yn eu mysg. Dyma ansawdd pethau yn Nghorph y Methodistiaid pan ymddangosodd ein cyfeillion Wesleyaidd gyntaf yn ein gwlad. Ond nid oes un lle i ammeu na ddarfu i'w dyfodiad hwy yma effeithio er gyru llawer o'n hen bregethwyr i sefyll yn neillduol ac arbenig, a braidd yn hollol, ar y pynciau a wedid, neu, yn eu bryd hwy, a gamddarlunid gan y Wesleyaid; ac nid oes un ammheuaeth nad aeth rhai o honynt, yn y cyfeiriad hwn, i eithafion tra anysgrythyrol. Yn y gwrthwynebiad a deimlid ganddynt i Arminiaeth, gosodent allan egwyddorion neillduol eu Cyfundraeth eu hunain yn y fath fodd ag i adael argraff dra annghysurus ar feddyliau llawer o'u gwrandawyr, gan beri i Etholedigaeth gras, a'r pynciau cyssylltiedig, ymddangos yn hytrach yn erbyn nag o blaid pechadur; ac, yn lle bod yn atteg i'w ffydd ac yn gefnogaeth i'w ymdrech, yn ol y wedd Fiblaidd arnynt,—i'r gwrthwyneb, i beri iddo anobeithio. Mae yn dra phosibl mai rhyw gamddarluniad felly ar y gwirionedd a fu yn achlysur y brofedigaeth ofnadwy y cyfeiriasom ati (*tu dal.* 340), i Mr. Edward Jones, Llantysilio, ag a wnaeth y gwr hwnw, ar hyd ei oes, mor wrthwynebol i Galviniaeth yn mhob gwedd arni. Ni a wyddom am rai ereill na chawsant ond prin ddianc rhag yr un brofedigaeth. Mae genym dystiolaeth bendant un o'r dynion mwyaf cywir a chraffus a adnabuom erioed, yr hwn oedd ei hunan yn Dduwinydd galluog, ac yn

Galviniad trwyadl, y diweddar Mr. Robert Davies, Llanwyddelen, Sir Drefaldwyn, i'r eithafion y gyrwyd llawer o'r hen bregethwyr iddynt, yn eu gwrthwynebiad i Arminiaeth, a'r niwed a ddeilliai o hyny. Yn y Cofiant iddo, gan y diweddar Mr. Richard Jones, Llanfair Caereinion, a ymddangosodd yn y "*Drysorfa*" am Hydref, 1852, *tu dal.* 326, 327, ni a'i cawn yn dywedyd fel y canlyn:—"Yr oeddwn y pryd hyn mewn trallod dwys ynghylch cyflwr colledig, a'r cwestiwn hwnw ar fy meddwl ddydd a nos, 'Beth a wnaf, fel y byddwyf cadwedig?' . . . Oddeutu yr adeg hon y daeth y Wesleyaid i Gymru, pryd y deffrodd y Methodistiaid agos fel un gŵr i bregethu yn erbyn yr hyn a alwent yn Arminiaeth. Safai y rhai ag yr oeddwn i mewn cyfleusdra i'w gwrando agos yn hollol ar etholedigaeth, a phrynedigaeth neillduol, anallu dyn, a nerthoedd anorchfygol yr efengyl. Yr oeddwn yn canfod iachawdwriaeth yn cael ei phregethu nad oedd eisiau ei gwell, ond yn unig ei bod yn iachawdwriaeth yr etholedigion, ac ni feiddiwn i gymaint â meddwl fy mod yn un o'r teulu dedwydd hyny. Nis beiddiwn estyn fy llaw i gymeryd gafael ar yr eiddynt hwy; canys nid oeddwn yn canfod yn y ddarpariaeth ddim ond iddynt hwy yn unig. Yr oeddwn yn edrych ar y pethau hyn yn wirioneddau hollol, ond ni chanfyddwn yr un drws i ddyfod i mewn; nis medrwn ddringo i'r nef i edrych a oedd fy enw ar lyfr y bywyd. Pan y meddyliwn yn fy nhrueni am droi fy wyneb at angeu y groes am fy mywyd, y bregeth gyntaf a glywn a daerai yn fy wyneb nad oedd yno ddim ond i'r etholedigion, dan ryw nodweddiad, megys 'defaid,' 'eiddo,' neu 'gyfeillion,' &c. Ond o drugaredd, a thrugaredd gymaint ag a dalai fy mywyd, danfonwyd cenad o ladmerydd, un o'r enw John Roberts, o Sir Gaernarfon [Llangwm wedi hyny], yr hwn a bregethodd Grist wedi ei groeshoelio o'r tu allan i'r porth, a'i angeu yn fywyd, yn noddfa, ac yn feddyginiaeth i'r annuwiol—y penaf o bechaduriaid—yr hwn y mae syched arno. Y pryd hwn yr agorwyd drws gobaith i'm henaid tlawd yn nyffryn Achor; torodd gwawr ar fy meddwl, gwasgarodd y cymylau ymaith, a nerthwyd fi, y penaf o bechaduriaid, i gynnyg fy hun i'r Gwaredwr mawr, heb drafferthu fy mhen mwy pa un ai etholedig a'i peidio." Eto:—"Fy marn benderfynol ydyw i'r Methodistiaid roddi pob mantais i'w gwrthwynebwyr, trwy eu dull annoeth a chyfyng o bregethu, a'u bod wedi bod yn offerynol i wneuthur cymaint, os nad mwy o Arminiaid, yn Nghymru, nag a wnaeth yr Arminiaid eu hunain. Ac nid yn unig

hyny, ond yr oedd eu dull o bregethu yn gosod pob anfantais o flaen pechadur argyhoeddedig o'i gyflwr colledig, gan nad oes yr un drws agored i bechaduriaid i ddyfod at Grist ond yn y berthynas gyffredinol a diwahaniaeth sydd rhwng yr efengyl a phechaduriaid." Nid y Methodistiaid yn unig a yrwyd i'r eithafion hyn, ond dyma y dull, fel ag y dangoswyd genym eisoes (*tu dal.* 289—291), a arferid gan liaws o bregethwyr y tri enwad Calvinaidd ag oeddent eisoes yn y wlad, i gyfarfod y syniadau cyfeiliornus, yn ol eu barn hwy, ag oeddent yn awr yn ymosod arni. Fel y gwelsom, fe ddechreuodd Mr. Roberts, Llanbrynmair, a Mr. Griffiths, Tŷ Ddewi, yn lled foreu gymmeryd tir gwahanol: a thra mor benderfynol a neb o'u brodyr yn erbyn Arminiaeth, ac mor argyhoeddedig o'i hannghydweddiad fel Cyfundraeth â'r Ysgrythyrau Sanctaidd, nid oeddent yn canfod y syniadau yn nghylch Aberth Crist a'r Prynedigaeth, a ddysgid yn gyffredin yn mhlith y Calviniaid, yn cyfateb yn hollol i ddysgeidiaeth yr Ysgrythyrau,* nac yn rhoddi sail dêg i alwad gyffredinol yr efengyl ar bechaduriaid; ac felly dechreuasant, ond, ar y cyntaf, yn dra gochelgar, ledaenu y syniadau neillduol a fuont cyhyd eisoes dan ein sylw, a adnabyddid yn y wlad dan yr enw y "*System Newydd.*" Yr oedd rhai o bregethwyr y Methodistiaid, a dau neu dri, o leiaf, o'r blaenoriaid, mor foreu a hwythau, yn cymmeryd yr un golygiad, a chryn deimlad yn cyfodi yn y wlad o berthynas iddo. Bu hyn yn achlysur i ddwyn y pwnc i sylw yn Nghymdeithasfa y Bala, yn y flwyddyn 1809. Gall y darllenydd ganfod, oddiwrth yr adroddiad canlynol am y rhai a gymmerent ran yn y gwaith cyhoeddus, pa weinidogion oeddent bresennol yno. Y noswaith yn mlaen, pregethodd Mr. Roberts, Amlwch, a Mr. Michael Roberts. Dyma y tro cyntaf i Mr. Roberts, Amlwch, bregethu yn y Bala, ac nid oedd yn awr ond tua blwydd oed o bregethwr. Y prydnawn drannoeth, pregethodd Mr. John Hughes, Pont Robert, a Mr. Lloyd, Beaumaris. Am chwech y bore, pregethodd Mr. Nathaniel Williams a Mr. Watkin Williams, y ddau o'r Deheudir. Am ddeg, Mr. Jones, Edern, a Mr. Richards, Caernarvon. Am ddau, Mr. Thomas Richard a Mr. Elias. Am chwech yn yr hwyr, Mr. John Davies, Nantglyn, a Mr. Jones, Dinbych. Am chwech y boreu olaf (oedfa bwysig iawn yn yr hen Gymdeithasfäoedd), Mr. Robert Jones, Rhoslan, a Mr. John Roberts, Llanllyfni, wedi hyny, Llangwm. Yr oedd Mr. Charles, a Mr. Lloyd o'r Bala, a Mr. John Evans, a Dafydd Cadwaladr, a phregethwyr ereill Sir Feirionydd, yn y Cynnad-

leddau, heblaw lliaws mawr o'r Siroedd ereill, nad yw eu henwau genym. Mae Mr. Charles ei hunan wedi rhoddi adroddiad helaeth i ni yn yr Ail Lyfr o'r hen *Drysorfa (tu dal.* 72—75), o sylwedd yr ymdriniaeth a fu yno ar athrawiaeth y Prynedigaeth, ac y mae yn dêg i ni wneuthur ychydig ddyfyniadau allan o'r Adroddiad hwnw, er mwyn rhoddi golygiad cywir ar yr hyn a ddysgid y pryd hyny ar y pwnc gan ein hen dadau. Cymmerer, gan hyny, yr hyn a ganlyn :—

"Y mae tri pheth i eu golygu yn gynnwysedig yn y prynedigaeth yn Nghrist, yn ol iaith y Beibl yn ei osod allan; sef, 1. Etholiad a gosodiad person Crist yn lle y personau (a hwy yn unig) oedd i gael eu prynu. Yr oedd hyn yn ol y drefn yn yr arfaeth a'r cynghor tragywyddol. Yn ganlynol i'r arfaeth hon, 'Efe a roddodd ei *hun* drosom.' Eph. v. 2. * * * 2. Cyfrifiad o'u pechodau hwy (a hwy yn *unig*) iddo ef. 'Yr Arglwydd a roddes arno ef ein hanwiredd ni i gyd.—Efe a ddug bechodau llaweroedd.' Esa. liii. 6, 12. 'Yr hwn nid adnabu bechod (trwy lwgr natur, meddwl, nac un weithred) a wnaeth efe (trwy gyfrifiad) yn bechod drosom ni.' 2 Cor. v. 21. 3. Dyoddef yn ei berson ei hun y gospedigaeth ddyledus am y pechodau hyny (yn unig) a gyfrifwyd felly iddo. 'Cospedigaeth ein heddwch ni a roddwyd arno ef.—Yr Arglwydd a fynai ei ddryllio ef; efe a'i clwyfodd.' Esa. liii. 5, 10. 'Crist unwaith a ddyoddefodd dros bechodau, y cyfiawn dros yr anghyfiawn, fel y dygai ni (tros y rhai y dyoddefodd) at Dduw.' 1 Pedr iii. 18. Prynodd fel hyn nifer dirifedi o bersonau, trwy wneuthur Iawn cyflawn dros eu pechodau; ond wrth eu prynu a'u rhyddâu, yr oedd ganddo ddyben pellach yn ei olwg, sef eu gwneuthur yn etifeddion i Dduw, a chyd-etifeddion â Christ. Symudodd bob rhwystr oddiar y ffordd, a thrwy undeb âg ef, fel eu pen-cyfammodwr, eu brawd, a'u priod, mae ganddynt hawl i'r holl etifeddiaeth a barotöwyd iddynt er seiliad y byd. Trwy bechod yr Adda cyntaf, collasant bob hawl dros byth i'r etifeddiaeth; trwy eu hadbryniad gan yr Ail Adda, a'u hundeb âg ef, rhyddhâwyd eu personau, ac adnewyddwyd hawl iddynt i'r etifeddiaeth, a hyny ar seiliau cadarn ac ansigledig. Prynwyd eu personau, ac mae y cwbl yn dyfod iddynt trwyddo, sef gras a gogoniant. Er nad yw yn addas dywedyd iddo brynu yr Ysbryd Glân i ei bobl, etto ar gyfrif y prynedigaeth a'r iawn a wnaeth Crist dros eu pechodau, y mae yr Ysbryd Glân yn cael ei gyfranu i ei bobl. Symudodd hyny yr holl rwystrau oddiar y

ffordd, ac agorwyd fforda o gymundeb rhwng nefoedd a daear. Barnasom, hefyd, mai afreidiol yw haeru, neu ddadleu, a ydyw neu nad ydyw marwolaeth Crist yn ddigonol iawn dros yr holl fyd, neu na buasai raid iddo ddyoddef mwy pe buasai pob dyn yn gadwedig; gan nad oedd yn cael eu golygu yn y prynedigaeth, mwy nag yn yr etholedigaeth, ond y rhai a gedwir yn wirioneddol. Ni chollir neb o eisiau digonolrwydd yn yr iawn; ond pawb a gollir am na fynant ddyfod at Grist fel y byddont gadwedig; ac ni bydd gan y rhai hyn un esgus am eu hesgeulusiad o hono. Da gadael heibio ein dychymygion ein hunain, ac ymgadw o fewn terfynau addas ymadroddion ysgrythyrol."

Fe welir, oddiwrth yr Adroddiad hwn, tra y mae yn cynnwys gradd o gymmysgedd, os nad peth amwysedd, eto fod hanfod y syniadau a osodwyd allan gan Mr. Jones, Dinbych, mewn blynyddoedd diweddarach, yn cael eu dysgu yma,—gydâ'r gwahaniaeth o fod rhyw wedd arnynt ag sydd yn ymddangos yn caniatau esboniad llawer cyfyngach. Y mae y mynychiad a wneir yma ar y geiriau, "a hwy yn unig" wedi peri i rai dybied fod ein hen dadau, yn y Gymdeithasfa hon, yn eu gwrthwynebiad i Arminiaeth, yn gwrthod pob cyfeiriad cyffredinol yn aberth Crist, gan ei wneyd yn perthynu yn unig, yn mhob ystyr, i'r etholedigion. Ond erbyn darllen yr holl adroddiad, y mae yn amlwg nad oeddent yn amcanu hyny; yn gymaint a'i fod yn cael ei osod allan megis digonol ynddo ei hunan er cadw y rhai na fyddant, yn y diwedd, yn gadwedig, a hyny yn unig o ddiffyg gwneyd defnydd o hono:—"Ni chollir neb o eisiau digonolrwydd yn yr iawn; ond pawb a gollir am na fynant ddyfod at Grist fel y byddont gadwedig; ac ni bydd gan y rhai hyn un esgus am eu hesgeulusiad o hono." Bu y penderfyniad hwn yn ymwared mawr i'r Cyfundeb, mewn blynyddoedd diweddarach, pan y gwnaed ymdrech egnïol gan rai i'w dynu i wrthod y gwirionedd am annherfynolrwydd a holl-ddigonolrwydd yr iawn.

Ond yn mhen amser wedi penderfynu fel hyn yn y Bala, ac mewn gwrthwynebiad i'r syniadau eangach oeddent erbyn hyn yn cael eu pregethu yn gyhoeddus gan Mr. Roberts, Llanbrynmair, a dau neu dri o'i gyfeillion, yn gystal a chan ddau neu dri o bregethwyr y Methodistiaid, fe ddaeth amryw yn y Cyfundeb i gofleidio syniadau cyfyngach, cyffelyb o ran sylwedd i'r rhai a ddysgid gan Mr. Christmas Evans, yn y llyfryn o'i eiddo a fu eisoes (*tu dal.* 404—409) dan sylw genym. Yr oedd rhai brodyr yn Sir Fflint wedi myned yn nodedig o

bell yn y cyfeiriad hwn; gan ddadleu nad oedd digonolrwydd gwirioneddol yn yr iawn dros neb ond yr etholedigion; ac nad oedd cyffredinolrwydd gwirioneddol yn ngalwad yr efengyl; nad oedd Duw ei hunan yn galw ar bawb; a bod galwad gyffredinol y pregethwr yn gorphwys ar ei anwybodaeth ef o bersonau yr etholedigion. Dywedai un hen bregethwr yn groyw,—"Pe bawn i yn gwybod pwy yma heddyw sydd wedi eu hethol i fywyd tragywyddol, ni ddywedwn i air wrth neb arall." Ond nid oedd y fath eithafion, oddiwrth y brodyr hyny yn Sir Fflint, yn effeithio nemawr niwed, yn gymmaint ag nad oedd iddynt ond ychydig iawn o ddylanwad yn y wlad, ac ar y Cyfundeb. Ond yn niwedd y flwyddyn 1814, fe syrthiodd Mr. Elias i syniadau nodedig o gyfyng am yr Iawn. Yr oedd y syniad wedi dyfod iddo, meddai, megis goleuni newydd, ac yn ymddangos, iddo ef, yn cysoni yn ogoneddus y gosodiad neillduol ar Grist dros ei bobl a'i waith yn dioddef eu cosbedigaeth hwy, a hwy yn unig, â galwad ddidwyll yr efengyl ar bawb, ac â chondemniad gwrthodwyr iachawdwriaeth fel y cyfryw. Wedi cael y golygiad hwn, darparodd bregeth neillduol a galluog arno; yr hon a draddodai gyda'r yni a'r teimlad a'r dylanwad, priodol yn unig iddo ei hunan. Yn niwedd y flwyddyn 1814, cymmerodd daith fèr trwy ranau o Siroedd Dinbych a Fflint; ac, ar ei daith, fe bregethodd mewn Cyfarfod Misol, a gynhelid yn Ngwrecsam, y bregeth a gynnwysai y syniadau newyddion a lyncesid ganddo. Ynddi fe ddadleuai dros "iawn cyd-bwys." "Nid cydbwys," meddai, "â gwerth personau yr etholedigion; na chyd-bwys â'r hyn a ddioddefasid ganddynt hwy eu hunain am byth yn uffern; oblegyd fe dybiai hyny nad ydyw yr iachawdwriaeth a ddarparwyd iddynt, ac y dygir hwynt i feddiant o honi, yn eu hattal rhag pechu llawer yn y byd hwn; ond cyd-bwys â drwg ac ysgelerder eu pechodau hwy yn erbyn Duw; digon a digon byth, ar ei ran ef fel Meichnïydd, i foddloni cyfiawnder dros yr holl rai a roddwyd iddo gan y Tad." Cyffelybai iawn Crist dros bersonau a phechodau ei bobl, fel "digon i wastadau clorian cyfiawnder, heb un gronyn o fantoliad, neu o bwysau gyda digon." "Yr ydym," meddai, "wedi arfer canu, 'Y gair Gorphenwyd wnaeth i'r clorian pwysig droi;' ond ni chanwn ni mo hono felly eto. Na: iawn ydyw iawn: digon i gyfarfod y gofyn; buasai llai yn annigonol, ac ychwaneg yn afreidiol." "Yr ydoedd pechodau, a holl bechodau ei bobl, wedi eu rhoddi ar Grist; a llygad y meddwl anfeidrol

yn canfod yr ysgelerder a berthynai i bob un o honynt, a chyfiawnder yn gweinyddu arno yntau y gosbedigaeth ddyledus am bob un, a phan oedd y dialedd haeddiannol o'u plegid wedi ei dywallt arno yn llawn, ac yntau wedi yfed cwppan y felldith i'r gwaelod, dyna yr iawn wedi ei orphen, ac yntau yn gwaeddi, 'Gorphenwyd.'" Yr oedd Mr. Elias, y mae yn amlwg, yn y bregeth hon, yn ymylu ar syniadau Mr. Christmas Evans; er ei fod yn gochel yn gwbl, o ran geiriau, y dychymyg am ddioddef mwy pe buasai mwy i'w hachub, neu pe buasai y rhai a achubir yn fwy pechadurus. Ond yr oedd yr un pryd yn gryf dros alwad gyffredinol yr efengyl ar bechaduriaid, fel y cyfryw, ac yn ddiwahaniaeth; ac yn troi, yn y diwedd, gydâ grym annghyffredin, i ddangos perygl ofnadwy annghredinwyr, a'r rhai a wrthodant eu bywyd yn y drefn hon:—"'Ond pa fodd yr ydych chwi yn galw ar bawb?' Nid myfi sydd yn galw; Duw sydd yn galw. Nid ydwyf fi ond cenad drosto, ac yn llefaru yn unig yn ei enw. 'Ond pa fodd y mae Duw yn galw ar bawb, os nad oes iachawdwriaeth i bawb?' Pa fath iachawdwriaeth wyt ti yn ddisgwyl, bechadur? Wyt ti yn disgwyl iachawdwriaeth a byw mewn pechod, a gwasanaethu y diafol? Y mae iachawdwriaeth yn Nghrist i'r pechadur gwaethaf, aflanaf yn fyw, a wnelo dderbyniad o hono; ac nid oes iachawdwriaeth i neb, pwy bynnag fyddo, a'i gwrthodo ef."

Daeth Mr. Elias, ar y daith hon, i Ddinbych, lle y pregethodd yr un bregeth, gydâ nerth a dylanwad mawr, ac effeithiau annghyffredin ar y gynnulleidfa, ond er y fath flinder i Mr. Jones, fel yr effeithiodd ar ei deimladau er peri cymmaint anhwyledd corphorol arno, ag y bu raid iddo ymwthio allan o'r Capel, trwy dyndra y dyrfa, cyn i'r oedfa ddarfod. Yr oedd Mr. Elias yn llettya y noswaith hono yn ei dŷ ef: a bu ymddyddan a dadleu brwd rhyngddynt a'u gilydd ar bwnc y bregeth. Yn yr ymddyddan hwnw, yr oedd y naill a'r llall yn gryf dros eu golygiadau eu hunain: ond addawodd Mr. Elias, yn y diwedd, beidio dywedyd byth mwy fod yr iawn megis "digon i wastadau clorian cyfiawnder;" gan gydnabod fod anfeidroldeb mewn ystyr uwch yn perthyn i aberth Crist, nag un anfeidroldeb ellir briodoli i ddrwg pechod. Yn y cyfamser, yr oedd traddodiad y bregeth yn Nghyfarfod Misol Gwrecsam, wedi peri cynhwrf dirfawr yn Sir Fflint. Yr oedd yr hen frodyr cyfyng, oeddent yno o'r blaen, erbyn hyn wedi myned yn annioddefol; a'r brodyr ereill mwy rhyddfrydig, yn enwedig cyfeillion Caerwys, wedi

cyffroi drwyddynt; fel y trefnwyd, yn y Cyfarfod Misol, i'r pwnc gael ei ddwyn i sylw neillduol, er mwyn cael rhyw benderfyniad heddychol arno, yn y Gymdeithasfa nesaf. Fe gynnaliwyd y Gymdeithasfa hono yn Rhuthin, Mawrth 3, 4, 1815. Bu yno ddadleu brwd iawn yn y cyfarfod cyntaf, y dydd cyntaf. Yr oedd y blaid gyfyng, gan dybied fod Mr. Elias yn awr yr un ochr â hwy, yn meddwl y gallent gario pob peth o'u blaen; ac aethant i'r eithafion mwyaf yn y Cyfeistedfod, gan alw Mr. Jones, Dinbych, yn *heretic*, a'i gyhuddo o fod yn achos yr holl aflonyddwch oedd yn y wlad, ac o arwain y Cyfundeb i Arminiaeth. Ond fe safai Mr. Jones yn wrol ac yn benderfynol dros wir a phriodol anfeidroldeb aberth y Cyfryngwr mawr; ac a dystiai mai dyna yr athrawiaeth a gawsai efe yn y Corph, pan ymunasai âg ef, a bod y syniadau ereill y dadleuid drostynt, nid yn unig yn newydd yn Nghorph y Methodistiaid, ond, hyd y gwyddai efe, yn newydd hollol i holl eglwys Crist; ac nis gallai efe lai na'u hystyried yn ddiraddiad ar Berson y Gwaredwr mawr, ac yn ŵyrdröad hollol ar y golygiad ysgrythyrol ar Brynedigaeth. Torodd allan, yn yr ymddiddan, i wylo yn hidl; a dywedodd, os oedd yr athrawiaeth y dadleuai efe drosti yn annghymmeradwy gan ei frodyr, y byddai yn well ganddo ef o lawer ymadael yn dangnefeddus â hwynt; ac os felly y penderfynent, y deuai efe i gymdeithasfa y Bala i roddi ei gysylltiad â'r Methodistiaid i fynu; ond ei fod yn gwybod mai y syniadau y dadleuai efe drostynt, a ddysgid gan y tadau Methodistiaidd o'r dechreuad, a'i fod yn hyderu mai dyna olygiad y corph mawr o honynt eto. Ar hyny cododd Mr. Elias i fynu, a dywedodd, nad oedd ganddo ef un meddwl am newid dim ar olygiadau y Cyfundeb, ac nas gallai oddef y meddwl am i Mr. Jones deimlo yn annghysurus yn mhlith ei frodyr, a llawer llai, yn enwedig, am iddo feddwl ymadael â hwynt; ac, os dywedasai efe ddim oedd yn dolurio ei deimladau, ei fod yn dymuno ei alw yn ol, ac erfyn ei faddeuant; a'i fod ef yn gweled, erbyn hyn, nad ydoedd, yn y bregeth y cyfeiriasid ati, wedi talu sylw digonol i'r geiriau "*Efe* yw yr Iawn," "Yr hwn a'i rhoddes ei *hunan* yn bridwerth dros bawb," a geiriau cyffelyb. "Yr wyf yn awr," meddai, "yn gweled yn eithaf eglur fod yr iawn ynddo ei hunan, yn ystyr briodol y gair, yn anfeidrol; tra y mae mor eglur i mi mai dros yr eglwys yn unig y gosodwyd ef." Ar hyny cafwyd heddwch mawr; a phennodwyd ar Mr. Jones, Mr. Elias, a Mr. John Roberts, Llangwm, i barotoi rhyw benderfyniadau, yn cynnwys sylwedd yr hyn y cytunasid arno, erbyn y cyfarfod drannoeth.

Ni a ddodwn i mewn yma Adroddiad o'r Cyfarfod hwnw, fel ag y cyhoeddwyd ef gan yr Ysgrifenydd, Mr. Cadwaladr Williams, yn y pedwerydd Llyfr o'r hen "*Drysorfa*," y rhifyn am Gorphenaf, 1823, tu dalen 37:—"Yn y cyfarfod am wyth, Mawrth 4, adroddwyd yr ymddiddan a fuasai yn y cyfarfod cyntaf y diwrnod o'r blaen ynghylch Prynedigaeth. Sylwyd yma ar y perygl o golli undeb yr Ysbryd, rhag i'r naill ddolurio y llall trwy ryw olygiadau gwahanol oddiwrth undeb y ffydd; a bod angenrheidrwydd neillduol i bawb gyd-feddwl yn gywir am Berson Crist, a'r Prynedigaeth trwyddo ef. Ynghylch Prynedigaeth, penderfynwyd fel y canlyn: 1. Fod Person y Cyfryngwr yn Berson anfeidrol fawr. 2. Fod yr iawn a dalodd yn anfeidrol, gan mai 'efe yw yr iawn.' 3. Fod y Person hwn yn lle personau neillduol. 4. Fod pechodau y personau hynny yn gyfrifedig ar y Person anfeidrol hwn. 5. Fod cospedigaeth am y pechodau hynny wedi ei roddi ar y Person hwn. 6. Fod anfeidrol foddlonrwydd wedi cael ei wneuthur dros y pechodau a'r personau hynny gan y Person anfeidrol hwn. 7. Fod y Prynedigaeth hwn yn ol arfaeth a chyfammod tragywyddol Duw.—Rhoddwyd gocheliad i beidio arferyd ymadroddion dychymygol a disail ynghylch y Prynedigaeth; megis pe buasai mwy o bersonau i'w prynu, nag a brynwyd, y buasai raid i Grist ddioddef mwy, a gwneuthur mwy o iawn nag a ddarfu; neu pe buasai mwy o fydoedd yn bod, y buasai iawn Grist yn ddigon dros y rhai hynny hefyd. Penderfynwyd i roddi pob dadl heibio, a phob geiriau a fyddo yn tueddu at hynny, a chadw at lwybr eglur y Bibl wrth lefaru."

Gallesid dysgwyl y buasai y penderfyniadau hyn yn rhoddi terfyn ar bob ymryson, ac yn foddion adferu tawelwch hollol. Ond ni lwyddasant i hyny. Yr oedd rhai o'r rhai oeddent bresennol yn y Gymdeithasfa, ac amryw o'r rhai nad oeddent yno, yn anesmwyth iawn oblegyd y penderfyniadau y daethpwyd iddynt; ac yn parhau, os nad i bregethu, i daenu yn eu hymddyddanion, y syniadau cyfyngach yr oedd y Gymdeithasfa wedi datgan cymmaint a'i hanghymmeradwyaeth o honynt; ac, yn enwedig, yr oeddent yn bwrw bai yr holl gynhwrf oedd yn y Cyfundeb wrth ddrws Mr. Jones. Yn ei eiddigedd, gan hyny, dros yr hyn a olygai efe yn wirionedd pwysig, ac yn ei ofal am ei enw da ei hunan yn mhlith ei frodyr, fe gyflwynodd gŵyn, mewn llythyr, i Gymdeithasfa Llanrwst, yr hon a gynhelid yn niwedd Rhagfyr, 1815, yn yr hwn yr achwynai ar y cam, yn ei farn ef, yr oedd y gwirionedd

yn ei gael oddiar law rhai oeddent yn y frawdoliaeth, ac yntau ei hunan hefyd, a hyny am ddim ond yn unig amddiffyn y gwirionedd hwnw; ac y dymunai i'r Gymdeithasfa gymmeryd y peth i'w hystyriaeth, a gwneuthur rhywbeth effeithiol tuag at gael terfyn ar y fath afreoleidd-dra. Derbyniwyd, ac ystyriwyd y llythyr hwn yn y modd caredicaf; ac anfonwyd y llythyr canlynol, wedi ei gyfansoddi gan Mr. Elias, yn atebiad iddo, ac wedi ei arwyddo gan chwech o'r brodyr yn y weinidogaeth, sef un o bob Sir yn Ngogledd Cymru:

*Llanrwst, Rhagfyr* 29. 1815.

"Frawd Caredig,

Mae 'n ddrwg genym fod eich meddwl yn cael ei derfysgu, gyda'r peth a soniasoch; ac y mae'n dra drwg genym fod dywediadau neb o honom yn achlysur o'ch gofid. Nid ydym yn eich cyfrif yn gyfeiliornwr, nac yn foddlon bod *neb* yn eich *galw* felly. Nid ydym yn anfoddlawn eich bod yn dywedyd yn helaeth am fawredd, a gwerth Person y Cyfryngwr; ac yr ydym yn meddwl, er i ni oll ddywedyd, hyd eithaf ein dawn byr, na ddywedwn byth y filfed ran o'i fawredd na'i werth. Nid ydym ychwaith yn anturio gosod mesur ar ei ddioddefiadau a'i angau: A'i fod yn Aberth, ac Iawn perffaith ddigonol, dros yr holl rai y gosodwyd ef yn eu lle, ac er bod eu pechodau yn aneirif, a drwg eu pechodau yn anfeidrol, etto bod yr Iawn anfeidrol yn ddigonol. Ac nid ydym yn rhyfygu dywedyd, nad oedd yr Iawn yn ddigonol dros filoedd aneirif yn ychwaneg: Pe buasai Duw yn ei osod drostynt, ac yn eu lle.—Frawd caredig, caru gwirionedd a heddwch yr ydym: am hynny gochelwn bob geir-ddadl ddiangenrhaid. Tangnefedd i chwi frawd.

Ydym eich Brodyr yn yr Efengyl,

J[ohn] E[lias]. J[ohn] R[oberts, Llangwm].
J[ohn] D[avies, Nantglyn]. R[obert] E[llis, Wyddgrug].
J[ohn] H[ughes, Bont]. J[ohn] J[ones, Tremadoc].'

Yr oedd un o'r rhai y mae eu henwau uchod, yr hen frawd o'r Wyddgrug, wedi bod yn cymmeryd rhan arbenig yn erbyn Mr. Jones yn Nghymdeithasfa Rhuthin; ac, ar ol hyny, yr oedd yn un o'r rhai mwyaf anesmwyth oblegyd y penderfyniadau y daethpwyd iddynt yno;

ac yr ydym yn gwybod ei fod wedi bod, ar ol hyn, yn edrych yn ammheus iawn ar Mr. Jones ac yn chwerw iawn tuag ato: a pha fodd y caed ei enw ef yma, ar hyn o bryd, nis gwyddom. Derbyniwyd y llythyr hwn, medd ei hanes, gan Mr. Jones gydà gradd o sirioldeb. Canfyddai ynddo, dybygid, nad oedd rhifedi y rhai a wahaniaethent oddiwrtho, ac yn enwedig a ymosodent arno, ond ychydig, a bod calon y Cyfundeb yn gwbl o'i blaid.

Yn y cyfamser, yr oedd wedi parotoi ei "Ymddyddanion ar Brynedigaeth," fel yr ymddangosasant yn eu cyhoeddiad cyntaf, ac wedi argraffu nifer o honynt, i'w cyflwyno, cyn eu cyhoeddi, i sylw y brodyr yn y Gymdeithasfa nesaf, er cael eu cymmeradwyaeth hwy o honynt. Gyda golwg ar hyny, ac er adroddiad o'i deimladau ar ol y Gymdeithasfa yn Llanrwst, fe anfonodd y llythyr canlynol at gyfaill, Mr. John Roberts, Llangwm, y mae yn ddiammeu genym:—

"ANWYL FRAWD,

Ar ol imi fod mewn profedigaethau dwys, cefais radd o gysur trwy y Llythyr a anfonodd amryw o'm brodyr atai o Lanrwst.—Bernais mai fy lle ydoedd dangos i'm brodyr y golygiad sy genyf ar Brynedigaeth (a sicr yw genyf fod hynny yn ol barn ein hen Dadau yn Nghymru, a'r Eglwysi a'r Duwinyddion iachusaf;) a'm bwriad, wedi argraffu nifer bychan, yw ei *gynnyg* i ystyriaeth a barn fy mrodyr, neu nifer o'r henuriaid, a gadael iddynt hwy wneyd âg ef fel y gwelont yn addas.—Yr wyf yn anfon *Copi* anmherffaith, gan obeithio na bydd fy ngwaith gwael er tramgwydd i'm hanwyl frawd J. E. i neb o'm brodyr yn Ng—s, nag yn un lle arall.—Cyfeiried yr Arglwydd ein traed i ffordd gwir dangnefedd. Hyn mewn brys, oddiwrth eich cyfaill gwael, helbulus, Thomas Jones."

Dinbych, Chwef. 28, 1816.

Yr oedd y llythyr hwn yn cael ei ysgrifenu ar fin y Gymdeithasfa, yr hon a gynhelid y dyddiau canlynol, Chwefror 29, a Mawrth 1, yn Ninbych. Yno, yn y Cyfeisteddfod y boreu cyntaf, fe bennodwyd brodyr, yn ol cais Mr. Jones, i ddarllen y Llyfr, ac i ddwyn eu golygiadau arno i un o'r cyfarfodydd dilynol. Ac yn y cyfarfod am wyth, y boreu canlynol, fe ddarfu i'r brodyr hyny ddatgan eu barn a'u tystiolaeth o'i blaid, gan ei arganmol i'r holl Gyfundeb, fel yn cynnwys athrawiaeth iachusol a chymmeradwy. Wedi hyny fe'i cyhoeddwyd i'r wlad yn gyffredin.

Tua'r un amser ag yr oedd Mr. Jones yn parotoi yr "*Ymddyddanion*" y cyfeiriwyd atynt, fe barotowyd Ysgrif ar yr un pwnc, gan Mr. Richard Jones, wedi hyny o'r Wern, yn y ffurf o lythyr at gyfaill (Mr. John Roberts, Llangwm, fel y deallwn), yn cynnwys golygiad ar yr hyn a ymddangosai iddo ef fel y gwirionedd ysgrythyrol ar yr hyn y dadleuid arno; ac amrywiol awgrymiadau tuag at ddwyn y cyfeillion, nad oeddent, yn ei fryd ef, yn gwahaniaethu ond yn unig mewn geiriau, i well dealltwriaeth y naill o'r llall, ac i ryw dir canol y gallent fod yn hollol unol arno. Mae yr Ysgrif hono yn awr ger ein bron. Mae wedi ei dyddio,—"Coedcaedu, Ionawr 27ain, un o'r gloch y boreu, 1816." Buasai yn dda iawn genym pe buasai ein terfynau yn caniatau i ni ei dodi yn gyflawn ger bron ein darllenwyr, ond gan fod hyny yn anmhosibl, rhaid i ni foddloni yn unig ar ychydig ddyfyniadau. Cymerer yr hyn a ganlyn:—"Er ys amryw flynyddau yn ol, yr ydwyf yn cofio i mi ddarllen yngwaith yr Athronydd Locke, 'Fod y rhan fwyaf o ddadleuon yr oesoedd gwedi tarddu, oddiar yspryd tŷn, gydâg ychydig wahaniaeth mewn dull o ymadroddi.' A thrwy amryw o flynyddoedd o ystyriaeth a phrawf, yr wyf yn gweled mwy-fwy o wirionedd ei ymadrodd. Ac felly yn meddwl fod rhyw dŷndra, ynghylch gwahanol ddull o ymadroddi am y pwnc mawr o Brynedigaeth, gwedi gwneuthur cryn derfysg yn y byd, a hyny rhwng dynion yn meddwl yr un peth, o ran sylwedd y pwnc. Ac hwyrach nad yw ein corph ninau yn lân oddiwrth ryw bethau cyffelyb."

Wedi hyny, y mae yn nodi y tri golygiad, neu yn hytrach, fel y mae efe yn dewis eu galw, y tri "dull o ymadroddi," y sylwasai arnynt, a arferid am y Prynedigaeth: sef, yr un cyfyngach a mwyaf neillduol, nad addefai unrhyw fath o gyffredinolrwydd yn yr iawn; yr un helaethach, a addefai fod rhyw bethau daionus yn deilliaw oddiwrtho i bawb; a'r un helaethach drachefn, sydd yn edrych ar y natur ddynol trwyddo, wedi ei gwneuthur yn wrthddrych ymgeledd trugaredd, ac eto yn dal fod golwg neillduol ar ei eglwys gan Iesu Grist yn ei angeu. Ac yna efe â rhagddo fel y canlyn:—"Llwybr gweinidogaeth y cyntaf, yn gyffredin, ar y mater hwn, sydd yn debyg i hyn. 'Ni phrynodd Crist ond yr eglwys, a thros bersonau yr etholedigion yn unig y bu Crist farw; ac mai ynfydrwydd meddwl iddo farw dros neb arall. Eto hwy a alwant bawb, ac a annogant bawb i gredu, gan ddangos y perygl o'i wrthod, ac a ddywedant, fe allai, ei fod yn ddigon i bawb. Ond ni

fynant mewn un ystyr, fod y oendithion, na'r breintiau, na dim o roddion y bywyd hwn i neb yn brynedig. Yn awr, pwy bynnag a farno'r mater yn ddiduedd, ac yn rhydd oddiwrth yspryd traws-tŷn manylgais, a all weled yn hawdd nad oes gwerth blewyn o wahaniaeth rhwng y tri, yn sylwedd y mater, o ran eu barn, namyn mewn dull o ymadroddi. A ydyw y cyntaf yn credu cyfammod, etholedigaeth, a threfn? Yr un modd hefyd y mae'r ail a'r trydydd. A ydyw y cyntaf yn credu mai'r Eglwys a brynwyd? Felly y mae y lleill hefyd. A ydyw y cyntaf yn gwahodd pawb, ac yn galw pawb i gredu? Rhaid, wrth hyny, eu bod yn credu holl-ddigonolrwydd yr iawn yn wyneb pawb, fel yr ail a'r trydydd; onide, pa sail a fyddai ganddynt i alw pawb? Os yw y naill yn disgwyl i ei frodyr wrando arno fe, yn oddefus, yn traethu am etholedigaeth, a neilltuoldeb prynedigaeth, mewn dull manwl a noeth, pa fodd na all yntau wrando ar arall, a hyny heb feddwl drwg, ag y bo ei weinidogaeth yn tueddu yn fwyaf i ddangos digonolrwydd yr Iawn yn wyneb pawb, gan eu taer annog i gredu ynddo? Onid oes perygl fod mwy o chwyddgais a rhagfarn mewn peth fel hyn, nag sydd o wahaniaeth barn? Prin y gall un sôn am brynedigaeth neillduol, &c. na bydd y llall yn merwino; a phrin y gall arall sôn am holl-ddigonolrwydd yr Iawn, na bydd rhywun yn ei farnu 'n gyfeiliornus. A pha beth yw'r holl wahaniaeth gwedi 'r cwbl? Os bernir yn dirion a diduedd, fe allai nad yw y cyfan ond ychydig mewn ymadrodd a dawn. Ond gwybydder hyn; llawer hoel a fuasai yn fuddiol yn ei lle, ac yn gadernid mewn adeiladaeth, ond trwy ei thŷnhau i annghymedroldeb, o herwydd annoethineb y morthwyliwr, hi a wnaeth fwy o niwed nag o lês."

Er dangos mai "mewn dull o ymadroddi," ac nid "mewn mater a phwnc," yr oedd y gwahaniaeth gwirioneddol rhyngddynt, y mae yn gwneuthur dyfyniadau o Perkins, a Witsius, ac Usher, fel cynnrychiolwyr y tri golygiad a nodasid ganddo; ac yna efe a â rhagddo fel y canlyn:—"Yn awr, os edrychir i'r mater yn ddiduedd a diragfarn, heb sefyll gydâ dull y naill na'r llall yn ymadroddi, nid ydynt ond yn yr un man, ac nid oes ganddynt ond yr un peth yn gymmwys. Wrth ystyried hyn, onid oes perygl i ni fod yn rhy unllygeidiog, yn lle bod, fel yr anifeiliaid a welodd Ioan, 'yn llawn o lygaid,' ac o yspryd eang a diduedd. Yr wyf yn gweled nas gall y cyntaf lai nag addef hollddigonolrwydd yr Iawn, fel yr ail a'r olaf; felly hefyd, y mae yr ail a'r

olaf yn dal etholedigaeth a neilltuoldeb prynedigaeth mor glaer a'r cyntaf: ond yn unig, bod yr olaf yn ymarferyd â dull o ymadroddi a seinia yn lled frawychus yn nghlustiau amryw, y pryd hyn, ïe, fe allai, rhai ymadroddion na byddai yn fuddiol arfer eu cyffelyb yn yr oes gymmysglyd hon. Ond pa beth, gwedi 'r cwbl, sydd gan y naill fel y llall? Onid etholedigaeth gras? Mai tros yr eglwys y bu Crist farw; a bod yr Iawn o'r fath anfeidrol werth ag y gall gweinidogion yr efengyl, yn ëon alw pawb, ïe, eu cymhell hwynt i ddyfod ato; ac hefyd, bod rhyw ddaioni cyffredinol drwyddo yn dyfod i bawb: ïe, yn ol ymadrodd yr olaf [*Usher*], fod Marwolaeth Crist yn y natur ddynol, gwedi gwneuthur y natur hono yn wrthddrych ymgeledd trugaredd, ac i gyhoeddi efengyl iddi; ac felly yr addef yr ail [*Witsius*] a'r cyntaf [*Perkins*]. Ond nid oes yma ddim, yn yr olaf mwy na'r cyntaf (a barnu yn ddiduedd), o ran ymadrodd na phwnc, yn rhoddi achos i neb gasglu, ei fod yn barnu mai yn nghyfammod Adda y bu Crist fyw a marw yn y natur ddynol, &c., ond mai yn ei gyfammod grasol a thragywyddol ei hun, yn achos yr Eglwys; ac mai hono a brynwyd; a throsti hi y bu Crist farw, ac na bydd neb o'r rhai a roddwyd i Grist yn golledig;—ac eto fod yn yr Iawn anfeidroldeb myrdd mwy na gwerth yr eglwys ynddi ei hun. Yn ddiau, os yw hyn yn gyson â'r Ysgrythyrau, yr wyf yn ofni nad yw llawer o ymadroddion a arferir gan amryw wrth bregethu, yn y dyddiau presennol, yn gyson â'r sobrwydd, ac â'r doethineb sanctaidd a boneddigaidd, sydd yn gweddu i'r efengyl."

Yna y mae yn myned rhagddo i draethu yn helaeth, ar y pwysfawrawgrwydd o ymgadw at iaith a dull yr ysgrythyrau, wrth gyflwyno gwirioneddau yr efengyl ger bron y byd, a pheidio "ysgythru geiriau noethion, mewn dull hyf, am bethau dyfnion dirgeledig arfaeth y Jehovah, fel pe byddem ni yn ddigon cywrain i hollti pob blewyn," ac i esbonio pob anhawsder a ddichon fod ynddynt:—"Pa fodd na byddai mwy o ymgadw at gynildeb yr ysgrythyr yn mhob dull o ymadroddi, yn lle lluchio lliaws o eiriau, mewn mwy o benboethder nag o ddoethineb? Ac ar achlysuron (fel yr wyf yn ofni), yn gwisgo eu nwydau drwg, mewn addurniadau mater da! a chan ddefnyddio yr ysgrythyrau mewn yspryd rhy ddigryn, fel meginau i chwythu tân y cnawd! . . . . Yn wir nid wyf byth yn hoffi clywed neb yn ysgythru geiriau mewn dull anmhwyll ac anystyriol; ac yn enwedig

gydâ'r fath wirionedd a'r mater hwn, pa un ag y mae cydwybodau dynion mor weiniaid ynddo, ac mor agored i gael eu temtio gan Satan i wyro ar bob llaw. Yr ydwyf yn sicr, mai nid fel curo march i ysgraff, y mae yspryd yr efengyl yn dysgu neb i ymddwyn at berchen cydwybod a rheswm. Onid yr un peth yw defnydd yr *iâ* yn Rhagfyr ac Ionawr, ag yw defnydd *gwlaw* Ebrill a Mai? Ond mawr yw'r gwahaniaeth yn mhob ystyr! Mae'r naill yn peri i gnawd ac esgyrn ferwino, ac i'r ddaear gael ei gwisgo âg anffrwythlondeb; a'r llall yn 'reiddio ac yn adfywio pob creadur, ac yn dadebru holl feirwon y maes."

Mae yn myned rhagddo, ar ol hyn, i draethu yn helaeth ac yn ogoneddus ar anfeidroldeb yr Iawn, a'r berthynas sydd rhyngddo, fel sylfaen y Llywodraeth Gyfryngol, â'r byd yn gyffredinol; ac yna yn dychwel eilwaith at yr hyn oedd, dybygid, yn benaf yn ei olwg yn yr holl Ysgrif,—yr angenrheidrwydd o ymgadw at "gynhildeb, a gŵylder, a boneddigeiddrwydd sanctaidd," yr ysgrythyrau:—"Ysgrifenais," meddai, "y nodiadau uchod, nid o ran bod dim yn anesmwyth yn fy meddyliau i fy hun, i'r naill na'r llall, canys gallaf, trwy drugaredd, wrando ar fy holl frodyr yn ddiragfarn, a gweddio am eu llwyddiant; eto ni allaf oddef i'r naill dynu fy llygaid â blewyn, na'r llall gauad fy nghlustiau â pheiswyn. Nid ydwyf heb weled a chlywed pethau ag y mae digon o wahaniaeth rhyngddynt i beri niwed, oni bydd i fawredd y gogoniant aros ar y babell, nes bod ei lewyrch ofnadwy yn llenwi'r holl wersyll â dychryn, yr hyn a baro i bob ysfa —— sefyll yn ol ——. Gobeithio nad yw brawdgarwch gwedi oeri cymmaint eto yn ein plith, fel, od oes genym ryw eiriau yn ein dull yn ymadroddi ag sydd yn dramgwydd i'r naill neu'r llall, nad allwn eu gadael heibio, ac arferyd geiriau nes i iaith y Bibl, yr hwn y mae pawb, meddant hwy, yn ymostwng iddo."

Ond y mae yn rhaid i ni roddi heibio ddyfynu. Y mae yn amlwg, oddiwrth yr Ysgrif hon, fod Mr. Richard Jones, mor foreu a hyn, yn canfod nad oedd y gwahaniaeth rhwng yr amrywiol olygiadau a ffynent yn mhlith Calviniaid, ar y pwnc hwn, ond bychan a dibwys iawn mewn cymhariaeth â'r hyn y cytunent arno: a thra yr oedd efe ei hunan, fel y mae yn eglur, yn gogwyddo yn gryf at olygiad o'r fath ëangaf, y mae mor eglur ei fod, yr un pryd, yn teimlo yn gryfach, fod pob dull cywrain o eirio, ar y naill du a'r llall, yn ymadawiad oddiwrth symledd

a rhyddid y datguddiad dwyfol, ac hefyd oddiwrth ysbryd ac iaith Duwinyddion goreu yr oesoedd; ac yn tueddu, yn arbenig, i bellhau brodyr oddiwrth eu gilydd.

Parhau yr oedd y cyffro yn y wlad, a llawer yn camddarlunio syniadau Mr. Jones o Ddinbych,—yn gymmaint felly, fel y teimlodd yn briodol ddarparu pregeth neillduol ar y pwnc, yr hon a bregethwyd ganddo yn Nghymdeithasfa y Bala, am ddeg ar y gloch, Mehefin 19, 1816. Yn y Gymdeithasfa hono, yr oedd yr hen Gapt. Williams o Gaer, a Mr. Thomas Richard yn pregethu y prydnawn cyntaf. Am chwech, boreu drannoeth, Mr. Michael Roberts, Pwllheli, a Mr. David Evans, Aberaeron. Am ddeg, Mr. Jones, Edern, a Mr. Jones, Dinbych. Am ddau, Mr. Ebenezer Richard a Mr. Elias. Am chwech yn yr hwyr, Mr. Lloyd, Beaumaris, a Mr. Richards, Caernarfon; a Mr. Mark Wilks, yn y Saesonaeg, rhyngddynt. Am chwech y boreu olaf, Mr. James Hughes, Lleyn, a Mr. Roberts, Amlwch. Cafodd Mr. Jones, Dinbych, gydâ'r bregeth hon yn y Bala, ryw hwyl annghyffredin. Ei destyn ydoedd, 1 Ioan ii. 1, 2. Yr oedd y syniadau a draethai yn nghylch mawredd Person y Cyfryngwr, a'r cysylltiad uniongyrchol rhwng yr Iawn a'r Person,—"Efe yw yr Iawn,"—yn ogoneddus dros ben, ac yn cael rhyw effeithiau anarferol ar y dorf; fel y tybid, ar y pryd, y terfynid pob dadl ac ymryson ar y pwnc hwnw, dros byth, yn meddyliau y rhai oeddent yn gwrandaw arno. Y mae yr hen weinidog parchedig, Mr. Morris Roberts, gynt o Drawsfynydd, yn awr o Remsen, yn yr America, mewn llythyr a dderbyniasom oddiwrtho, yn cyfeirio fel y canlyn at y bregeth hon:—"Ni bu fy arosiad i yn mysg corph y Methodistiaid, cyn ymfudo i'r wlad hon, ond byr iawn, tuag un-mlynedd-ar-ddeg [fel Pregethwr], ac yr oeddwn mor anwybodus am ddim yn eu plith, ag y gallwn fod, pan yr ymunais â hwy; ac ni chlywais un ymdriniaeth ar y pethau yr oedd annghydwelediad mewn perthynas iddynt, oddieithr yn unig yn fy achos i fy hun. Yn wir, nis gwyddwn, pan oeddwn yn dechreu pregethu, *fod ond un farn* am danynt, a hono ydoedd barn Mr. Jones o Ddinbych. A'r modd y daethum i wybod y farn hono, oedd, fel y canlyn:—Pan oeddwn yn fachgen, tua phymtheg neu un-ar-bymtheg oed, aethum i *Assosasiwn* y Bala; ac yn yr odfa ddeg, gwelwn hen wr glandeg, tew, ac yn gwisgo *cap* du ar ei ben, yn sefyll i fynu i bregethu, ar y testyn yn 1 Ioan ii. 1, 2. Ac am yr Iawn y pregethai, yn enwedig am ei fawredd a'i anfeidroldeb; a hyny oddiwrth

fawredd y person, yr hwn a osododd Duw yn iawn :—'*Efe* yw yr Iawn.' Safai yn gryf ac yn dŷn iawn dros hyny. Dywedai yn rhywle yn ei bregeth, ac â'i holl nerth,—'pe buasai ganddo ef fagnel digon mawr, y buasai yn saethu y cyfeiliornad am iawn terfynol (neu o feddwl yn gul am dano), yn ei dalcen, gan' milltir o ffordd.' Yr oedd yn llefaru yn ddifrifol, ac egnïol iawn, ac yn dra effeithiol. Ar ol hyny, yn y lle yr oeddwn yn aros, yn agos i Gapel yr Annibynwyr yn Llanuwchllyn, y Sabbath cyntaf ar ol yr *Asosasiwn*, yr oedd amryw o hen aelodau yr hen Gapel wedi cyfarfod yn nghyd, ac yn siarad â'u gilydd; a dyna oedd eu testyn, y bregeth hynod hono yn y Bala. Ac yr wyf yn cofio mai siarad gwresog ac astud oedd yno, gan ei chymmeradwyo yn annghyffredin, a llawenhau yn fawr yn yr athrawiaeth am Anfeidroldeb yr Iawn. Wel, pan yr oeddwn i yn dechreu pregethu, dyna hyny oedd o farn am y peth genyf finau; ac, mor bell ag y gwyddwn i, hyny oedd unol farn y Corph trwy Gymru. Ac ar sail mawredd yr Iawn ynddo ei hun, yr ystyrid fod yr efengyl i'w phregethu i bawb yn gyffredinol, er mai tros yr Eglwys y rhoddasai efe ei einioes yn bridwerth. Gan J. Williams, Cynwyd, a hyny ar ol i mi ddechreu pregethu, y deallais i gyntaf, nad oedd pawb, nac hyd yn nod amryw o'r Methodistiaid, yn cydweled yn hollol â Mr. Jones, Dinbych, ar y pwnc hwn."

Wedi y bregeth hon yn y Bala, fe aeth amryw o'r rhai a goleddent syniadau cyfyngach yn chwerw iawn yn eu hysbryd yn erbyn Mr. Jones, ac i bregethu yn gryf eu golygiadau hwythau, yr hyn a barai iddo ef deimlo yn dra gofidus ac anesmwyth. Yn y teimlad hwn, yn ol ei Gofiant, fe "anfonodd Mr. Jones Lythyr at y Brodyr oll, yn Nghymdeithasfa Caernarfon, yr hon a gynnaliwyd ar y dyddiau cyntaf o *Hydref*, yn yr un flwyddyn. Y mae efe yn y Llythyr hwn, yn cwyno yn drwm iawn, o achos rhai ymadroddion ag oedd yn cael eu harferyd gan rai yn y wlad; eu bod yn tueddu er dianrhydedd i'r Cyfryngwr mawr. Gwnaed sylw teilwng ar y llythyr uchod, ac anfonwyd yr ateb canlynol iddo :—

'Caernarfon, Hydref 4, 1816.

'Barchedig Frawd,

Derbyniasom, a darllenasom, eich caredig a chwynfanus lythyr. Gofidus genym glywed fod eich iechyd yn anmharus, a'ch meddyliau yn anghysurus. Ymdrinasom ar y matter, cynnwysedig yn eich llythyr, mor fanwl ag y gallasom; a methodd genym ddeall,

er chwilio, fod y *Corph* yn gŵyro, mewn un mesur, oddiwrth iawn synied am anfeidroldeb Person, ac Iawn y Cyfryngwr. Ac os darfu i rai, arfer rhai geiriau annoeth, ac anaddas, ryw amser a fu, fe ymrwymodd pawb, yn ein cyfarfod presennol, na byddai iddynt o hyn allan, arfer un dull o ymadroddi ag a fyddai yn debyg o fagu un terfysg; gan hyderu y gwnewch chwithau yr un modd: Ac os clywch, o hyn allan, fod rhyw berson, neu bersonau, yn arfer geiriau anaddas am Iawn y Cyfryngwr, na roddwch hyny yn erbyn y Corph: Ond nodwch y cyfryw, fel y galler eu galw i gyfrif, naill ai mewn Cyfarfod Misol, neu *Association*. Yr y'm o'n calon yn dymuno i chwi bob llwyddiant, ac yn deisyf arnoch, gydâ phob hynawsedd, na dderbynioch, ac na choelioch mo bob chwedlau a glywoch am eich brodyr, gan rai a ddrwg-liwiant bethau yn waeth nag y b'ont. Ni oddef brys ychwanegu;—Yr ydym oll, yn un-llais, yn cyd-garedig gofio atoch, gan ddifrifol ddymuno eich llwyddiant. Ydwyf, dros y Corph,

Eich annheilwng Gyfaill, tra b'wyf,

ROBERT JONES.'"

Yn y Gymdeithasfa hon yn Nghaernarfon, y gyntaf wedi ei ordeinio ef, yr amlygwyd gyntaf, mewn modd arbenig, y gallu annghyffredin oedd gan Mr. Richard Jones, wedi hyny o'r Wern, i dawelu pob terfysg ac ymryson a allai gyfodi rhwng brodyr, oblegyd rhyw annghydweled-iad ar unrhyw fater. Ennillodd y pryd hwn y fath ymddiried am ysbryd barn, fel ag i roddi iddo y dylanwad mwyaf, o hyny allan, mewn ymdrafodaeth ar bob cwestiwn cysylltiedig ag athrawiaeth neu ddysgyblaeth, ag y byddai unrhyw annghydolygiad mewn perthynas iddo. Yr oedd Mr. Ebenezer Morris hefyd yn bresennol yn y Gymdeithasfa hon, ac yn taflu ei holl ddylanwad yn mhlaid tangnefedd, ac yn erbyn pob eithafion a allent ei beryglu.

Ond er penderfyniadau cyffredinol fel hyn mewn Cymdeithasfäoedd, yr oedd y rhai euog o'r pethau y cwynai Mr. Jones o'u herwydd, yn dianc yn ddigerydd; ac felly yr oeddent yn parhau, ac yn ymhyfhau, i daenu eu golygiadau, ac i'w ddifrïo yntau, a'r rhai a gytunent âg ef, megis rhai yn gogwyddo at Arminiaeth. Yr oedd rhai o'r rhai hyny yn myned yn achlysurol ar daith i'r Deheudir, ac yn pregethu yr un syniadau yno: ac, weithiau, yn ymosod ar frawd o'r Deheudir, a ddelai ar daith i'r Gogledd, ac a bregethai, lle y clywent hwy, y syniadau nad oeddent hwy yn gymmeradwyo. Aeth pethau o'r diwedd

fawredd y person, yr hwn a osododd Duw yn iawn :—'*Efe* yw yr Iawn.' Safai yn gryf ac yn dŷn iawn dros hyny. Dywedai yn rhywle yn ei bregeth, ac â'i holl nerth,—'pe buasai ganddo ef fagnel digon mawr, y buasai yn saethu y cyfeiliornad am iawn terfynol (neu o feddwl yn gul am dano), yn ei dalcen, gan' milltir o ffordd.' Yr oedd yn llefaru yn ddifrifol, ac egnïol iawn, ac yn dra effeithiol. Ar ol hyny, yn y lle yr oeddwn yn aros, yn agos i Gapel yr Annibynwyr yn Llanuwchllyn, y Sabbath cyntaf ar ol yr *Asosasiwn*, yr oedd amryw o hen aelodau yr hen Gapel wedi cyfarfod yn nghyd, ac yn siarad â'u gilydd; a dyna oedd eu testyn, y bregeth hynod hono yn y Bala. Ac yr wyf yn cofio mai siarad gwresog ac astud oedd yno, gan ei chymmeradwyo yn annghyffredin, a llawenhau yn fawr yn yr athrawiaeth am Anfeidroldeb yr Iawn. Wel, pan yr oeddwn i yn dechreu pregethu, dyna hyny oedd o farn am y peth genyf finau; ac, mor bell ag y gwyddwn i, hyny oedd unol farn y Corph trwy Gymru. Ac ar sail mawredd yr Iawn ynddo ei hun, yr ystyrid fod yr efengyl i'w phregethu i bawb yn gyffredinol, er mai tros yr Eglwys y rhoddasai efe ei einioes yn bridwerth. Gan J. Williams, Cynwyd, a hyny ar ol i mi ddechreu pregethu, y deallais i gyntaf, nad oedd pawb, nac hyd yn nod amryw o'r Methodistiaid, yn cydweled yn hollol â Mr. Jones, Dinbych, ar y pwnc hwn."

Wedi y bregeth hon yn y Bala, fe aeth amryw o'r rhai a goleddent syniadau cyfyngach yn chwerw iawn yn eu hysbryd yn erbyn Mr. Jones, ac i bregethu yn gryf eu golygiadau hwythau, yr hyn a barai iddo ef deimlo yn dra gofidus ac anesmwyth. Yn y teimlad hwn, yn ol ei Gofiant, fe "anfonodd Mr. Jones Lythyr at y Brodyr oll, yn Nghymdeithasfa Caernarfon, yr hon a gynnaliwyd ar y dyddiau cyntaf o *Hydref*, yn yr un flwyddyn. Y mae efe yn y Llythyr hwn, yn cwyno yn drwm iawn, o achos rhai ymadroddion ag oedd yn cael eu harferyd gan rai yn y wlad; eu bod yn tueddu er dianrhydedd i'r Cyfryngwr mawr. Gwnaed sylw teilwng ar y llythyr uchod, ac anfonwyd yr ateb canlynol iddo :—

'Caernarfon, Hydref 4, 1816.

'Barchedig Frawd,

Derbyniasom, a darllenasom, eich caredig a chwynfanus lythyr. Gofidus genym glywed fod eich iechyd yn anmharus, a'ch meddyliau yn anghysurus. Ymdrinasom ar y matter, cynnwysedig yn eich llythyr, mor fanwl ag y gallasom; a methodd genym ddeall,

er chwilio, fod y *Corph* yn gŵyro, mewn un mesur, oddiwrth iawn synied am anfeidroldeb Person, ac Iawn y Cyfryngwr. Ac os darfu i rai, arfer rhai geiriau annoeth, ac anaddas, ryw amser a fu, fe ymrwymodd pawb, yn ein cyfarfod presennol, na byddai iddynt o hyn allan, arfer un dull o ymadroddi ag a fyddai yn debyg o fagu un terfysg; gan hyderu y gwnewch chwithau yr un modd: Ac os clywch, o hyn allan, fod rhyw berson, neu bersonau, yn arfer geiriau anaddas am Iawn y Cyfryngwr, na roddwch hyny yn erbyn y Corph: Ond nodwch y cyfryw, fel y galler eu galw i gyfrif, naill ai mewn Cyfarfod Misol, neu *Association*. Yr y'm o'n calon yn dymuno i chwi bob llwyddiant, ac yn deisyf arnoch, gydâ phob hynawsedd, na dderbynioch, ac na choelioch mo bob chwedlau a glywoch am eich brodyr, gan rai a ddrwg-liwiant bethau yn waeth nag y b'ont. Ni oddef brys ychwanegu;—Yr ydym oll, yn un-llais, yn cyd-garedig gofio atoch, gan ddifrifol ddymuno eich llwyddiant. Ydwyf, dros y Corph,

Eich annheilwng Gyfaill, tra b'wyf,

ROBERT JONES.'"

Yn y Gymdeithasfa hon yn Nghaernarfon, y gyntaf wedi ei ordeinio ef, yr amlygwyd gyntaf, mewn modd arbenig, y gallu annghyffredin oedd gan Mr. Richard Jones, wedi hyny o'r Wern, i dawelu pob terfysg ac ymryson a allai gyfodi rhwng brodyr, oblegyd rhyw annghydwelediad ar unrhyw fater. Ennillodd y pryd hwn y fath ymddiried am ysbryd barn, fel ag i roddi iddo y dylanwad mwyaf, o hyny allan, mewn ymdrafodaeth ar bob cwestiwn cysylltiedig ag athrawiaeth neu ddysgyblaeth, ag y byddai unrhyw annghydolygiad mewn perthynas iddo. Yr oedd Mr. Ebenezer Morris hefyd yn bresennol yn y Gymdeithasfa hon, ac yn taflu ei holl ddylanwad yn mhlaid tangnefedd, ac yn erbyn pob eithafion a allent ei beryglu.

Ond er penderfyniadau cyffredinol fel hyn mewn Cymdeithasfäoedd, yr oedd y rhai euog o'r pethau y cwynai Mr. Jones o'u herwydd, yn dianc yn ddigerydd; ac felly yr oeddent yn parhau, ac yn ymhyfhau, i daenu eu golygiadau, ac i'w ddifrïo yntau, a'r rhai a gytunent âg ef, megis rhai yn gogwyddo at Arminiaeth. Yr oedd rhai o'r rhai hyny yn myned yn achlysurol ar daith i'r Deheudir, ac yn pregethu yr un syniadau yno: ac, weithiau, yn ymosod ar frawd o'r Deheudir, a ddelai ar daith i'r Gogledd, ac a bregethai, lle y clywent hwy, y syniadau nad oeddent hwy yn gymmeradwyo. Aeth pethau o'r diwedd

mor bell, fel y daeth Brodyr y Deheudir i benderfyniad yn eu Cymdeithasfa yn Llangeitho, yn mis Awst, 1817, i anfon Mr. David Rees, Llanfynydd, a Mr. Ebenezer Richard, yn genhadon drostynt i'r Gymdeithasfa ganlynol yn y Gogledd, i ofyn *barn benderfynol* y brodyr yno ar y pwnc mewn dadl; gydá'r datganiad hefyd,—nad oeddent hwy yn gweled pa fodd y gellid cadw undeb y Corph, yn nau ben y dalaeth, gydâ dim cysur, os goddefid rhyw rai yn ddigerydd, oeddent yn teithio y gwledydd, ac yn pregethu yn erbyn hollddigonolrwydd ac Anfeidroldeb Iawn Crist. Wedi anfon y rhybudd am hyn i Mr. Cadwaladr Williams, Ysgrifenydd Cymdeithasfa y Gogledd, fe alwyd cyfarfod lliosog o brif weinidogion y Gogledd, i ymgynnull yn Mangor, er ceisio dyfod i gyd-ddealltwriaeth heddychol cyn Cymdeithasfa Pwllheli. Yr oedd y Cyfarfod hwnw wedi ei drefnu ar adeg gyfleus i'r rhai oeddent yn y siroedd pellaf, i fod ynddo, ar eu ffordd i'r Gymdeithasfa. Yr oedd iechyd Mr. Jones, Dinbych, yn rhy anmharus iddo ef allu bod yn bresennol. Dygwyddodd rhyw annghaffael i'r llythyr a anfonasid at Mr. Richard Jones, i'w hysbysu am y Cyfarfod, fel yr oedd yn hwyr y noswaith flaenorol i'r dydd yr oedd i gymmeryd lle cyn iddo ef glywed dim am dano. Pa fodd bynnag, fe gyfrwyodd y ceffyl gydâ glasiad y dydd drannoeth, yn y Coedcaedu neu y Llwyn Impiau, ac yr oedd yn y Cyfarfod, yn yr hen Gapel yn *Lôn-y-pobty*, pan oedd rhyw frawd yn ei ddechreu trwy weddi. Yr oedd yno liaws o weinidogion wedi dyfod ynnghyd, a rhai blaenoriaid hefyd yn bresennol. Dewiswyd Mr. Robert Jones, Rhoslan, yn Llywydd. Bu yno ymdriniaeth helaeth a brawdol ar y mater a'u dygasent at eu gilydd; ond yr oedd Mr. Elias yn hynod o hwyrfrydig i ddywedyd dim, gan nad oedd Mr. Jones, Dinbych, yno. O'r diwedd, gan gael ei gymhell, fe gododd, ac, mewn cryn deimlad, a ddatganodd ei ofid oblegyd yr annghydwelediad oedd rhwng brodyr a'u gilydd, ar yr hyn a gredid ganddynt oedd yn fater bywyd iddynt oll; ac y gallai efe roddi ei law ar ei fynwes, a thystiolaethu nad oedd wedi dywedyd un gair, hyd yr oedd efe yn gwybod, er Cymdeithasfa Rhuthin, a allasai flino dim ar Mr. Jones, Dinbych, nac ar eu brodyr anwyl yn y Deheudir. Ond nad oedd Mr. Jones wedi ymddwyn yn hollol felly tuag ato ef. Ei fod yn ei lyfr, ei "*Ymddyddanion ar Brynedigaeth*," er heb ei enwi ef, wedi dyfynu amryw frawddegau o bregeth a draddodasid ganddo ef, brawddegau yr oedd efe i Mr. Jones yn bersonol, yn gyntaf, a thrachefn, i'r holl frawdoliaeth

yn Rhuthin, wedi datgan ei ofid o'u plegyd, ac wedi eu galw yn ol. Ond dyna lle yr oeddent eto; ac yr oedd llawer yn y wlad yn deall mai cyfeirio at yr hyn a ddywedasid ganddo ef yr ydoedd. "Ond gydâ golwg ar y pwnc," meddai, "y mae Mr. Charles ei hunan, yn y '*Geiriadur Ysgrythyrol*,' yn defnyddio y gair '*cyd-bwys*,' pan yn son am yr iawn." Ac yna fe ddarllenodd, gydâ nerth, y geiriau canlynol allan o'r "*Geiriadur*:"—"Fel *iawn*, neu bech-aberth, mae ei berson ef wedi ei roddi yn lle eu personau hwy; eu pechodau hwy yn gyfrifedig arno ef; a chospedigaeth eu heddwch hwy, yn cael ei rhoddi arno ef. Am fod ei berson â bri, gwerth, a mawrhydi anfeidrawl ynddo, mae efe yn *iawn* gwirioneddawl, a gwerth ynddo ac yn ei ddyoddefiadau, cyd-bwys â'r bai, neu â beiau y rhai y dyoddefodd drostynt. Pe buasai yn llai ei werth na'r holl bersonau a brynodd, a'r pechodau a roddwyd arno trwy gyfrifiad, ni buasai yn *iawn;* ond gan fod y Duw Hollwybodawl, cyfiawn, a chywir, yn ei alw yn *iawn*, mae yn gwbl addas i ni iddei olygu felly; ei barchu, a chredu ynddo felly; ac yn anaddas ac yn bechod dirfawr peidio ei olygu felly; neu roddi dim ato, na dim yn ei le fel *iawn*." Ac yna, ychwanegai,—"Dyma eiriau Mr. Charles. Nid wyf fi fy hunan am ddefnyddio y gair mwy; ac nid wyf wedi ei ddefnyddio er Cymdeithasfa Rhuthin; ac nid wyf yn awr yn golygu fod y syniad a gynnwysir ynddo yn gwbl ysgrythyrol; ond y mae yr hyn a ddarllenais yn profi mai nid peth hollol newydd yn y Cyfundeb ydyw y syniad na'r gair; a bod eisiau rhyw gymmaint o gyd-oddefiad yn ein plith, ar y naill du yn gystal a'r llall. Y cwbl yr ydwyf fi yn gryf drosto, ac y byddaf yn gryf drosto hyd farw, ydyw y gosodiad neillduol ar Grist Iesu dros ei bobl, a'r cyfrifiad o'u pechodau hwy arno, ac iddo yntau ddioddef eu cosbedigaeth a marw yn eu lle, boddloni cyfiawnder Duw ar eu rhan, a hyny yn y fath fodd ag y byddai yn gam âg ef, fel eu Meichnïydd, iddynt hwy ddioddef byth yn eu personau eu hunain. Yr un pryd, nid wyf yn golygu fod yr Iawn yn diogelu cadwedigaeth neb heb ffydd, nac yn gwneuthur cadwedigaeth neb yn ddim amgen na gweithred o ras rhydd, a rhad, a phenarglwyddiaethol; ïe, yr wyf yn credu fod y rhai y bu Crist farw drostynt, yn eu personau eu hunain, yn hollol dan felldith y ddeddf, hyd oni chredont yn Mab Duw. Ond y mae ffyddlondeb y Tad i'w Fab mewn cyfammod cadarn, er cyn sylfaenu y byd, yn sicrhau y dygir hwynt oll i'r undeb dirgeledig hwnw âg ef trwy ffydd, ag a'u ceidw i fywyd tragywyddol, ac y gwel ynddynt

oll o lafur ei enaid, nes ei ddiwallu." Fe siaradodd Mr. Elias yno, fel hyn, am yn agos i awr o amser, gan adolygu yn fanwl yr holl ddadl, a hyny yn nodedig o gymhedrol, yn ol fel yr adroddwyd i ni gan Mr. Michael Roberts, ac, yn amlwg, mewn awydd am iachau pob teimlad dolurus, a chadw y Cyfundeb mewn heddwch. Wedi iddo ef ddarfod, fe gododd Mr. Richard Jones, ac a wnaeth un o'r Annerchiadau mwyaf effeithiol, yn ol pob peth a glywsom, a draddodwyd braidd erioed. Ryw bryd, yn ei sylwadau, fe gyfeiriodd at y defnydd a wnelsid o'r gair "*cyd-bwys.*" "Nid oes genyf fi ddim yn erbyn y gair, ond i ni ddeall 'cyd-bwys' â pha beth. Cyd-bwys â gogoniant yr orsedd; cyd-bwys ag anrhydedd y Brenhin tragywyddol; cyd-bwys â 'gogoniant Duw'; 'difai i Dduw.' Dyma rywbeth anfeidrol fwy na'r greadigaeth i gyd, yn ei holl eangderau difesur, o gymmaint ag y mae y Creawdwr yn fwy na'r creadur. Trueni mawr dyn fel pechadur ydyw, ei 'fod yn ol am ogoniant Duw'; a pherffeithrwydd aberth Calfaria, yn cyfodi oddiar fawredd anfeidrol y Person bendigedig a'i hoffrymodd ei hun, yw, ei fod 'yn ddifai i Dduw.' Digon, a digon byth, i ateb holl ofynion cyfiawnder, ac i lanw calon y Duwdod anfeidrol ei hun."—Pan ydoedd yn myned rhagddo fel hyn, a chyn iddo gael gorphen llefaru yr hyn a fwriadai, tywynodd rhyw oleuni dysglaer ar y pethau, nes yr oedd pawb yn y lle yn wylo, a'r Cadeirydd, yr hybarch Robert Jones, yn gwaeddi, wedi colli pob meddiant arno ei hun,—"Fy Arglwydd a'm Duw;" a phawb gydâ'u gilydd fel un, yn barod i gau allan bob culni, ac i ddwyn y dystiolaeth gadarnaf, ac yn y geiriau mwyaf penderfynol, i Anfeidrolddeb Aberth Crist. Ac felly cafwyd y parotöad goreu, a allesid gael, ar gyfer y Gymdeithasfa yn Mhwllheli.

Erbyn i'r Gymdeithasfa gyfarfod, Hydref 1, 2, 1817, yr oedd yno lythyr, drachefn, oddiwrth Mr. Jones, Dinbych, yn cwyno oblegyd yr ymadroddion a ddefnyddid gan rai pregethwyr yn y Cyfundeb, wrth draethu am Iawn Crist, ac yn galw sylw y Gymdeithasfa at yr angenrheidrwydd o wneuthur rhyw beth effeithiol er peri terfyn ar hyny. Yr oedd Mr. David Rees o Lanfynydd, Sir Gaerfyrddin, a Mr. Ebenezer Richard, hefyd yno, fel Cenhadon dros Gymdeithasfa y Deheudir, er cael *meddwl penderfynol* Cymdeithasfa y Gogledd ar y pwnc. Yr hyn a ganlyn yw y cwbl a ddywedir ar hyn, yn Nghofnodau y Gymdeithasfa hon, fel y ceir hwynt yn gyhoeddedig yn y pedwerydd Llyfr o'r hen Drysorfa, y rhifyn am Awst, 1827, *tu dal.* 296 :—" Bu cyfarfod am wyth

y boreu; ac ymdriniwyd ynddo ar athrawiaeth y Prynedigaeth; a phenderfynwyd yr un modd ag o'r blaen yn y Bala, mewn Cymdeithasfa, 1809. (Gwel *Trysorfa Ysprydol*, Llyfr II. *tu dal.* 72, 73.) Addefwyd yma, fel o'r blaen, holl-ddigonedd y Prynwr, ac hefyd neillduolrwydd y Prynedigaeth. Cynnaliwyd cyfarfod genym am 10, lle yr adroddwyd yr ymdrin a fu yn y cyfarfod am wyth y boreu, a phenderfynwyd yr un modd mewn perthynas i Brynedigaeth." Yn Atebiad i Lythyr Mr. Jones, fe anfonwyd y Llythyr canlynol ato oddiwrth y Gymdeithasfa.—

*Pwllheli, Hydref 1af*, 1817.

"ANWYL FRAWD,

Derbyniasom eich Llythyr, yr hwn a ddarllenwyd yn y *Committee* am wyth ar gloch y boreu. Fe a'i gwrandawyd, ac ystyriwyd ei gynnwysiad gydâ phwyll; arwyddwyd hefyd y tiriondeb, a'r caredigrwydd mwyaf tuag atoch, yn eich profedigaeth. Amlygwyd hefyd yr anfoddlonrwydd mwyaf, tuag at y rhai sydd wedi arfer ymadroddion megis 'Pe buasai *chwaneg* i'w hachub, y buasai raid i Grist *ddioddef* ychwaneg, &c.' a phob ymadroddion ereill ag sydd yn tueddu i osod terfyn i ANFEIDROLDEB Y PERSON, EI ABERTH, A'I IAWN.—Ac yn y Cyfarfod ddeg ar gloch, fe alwyd i gyfrif rai personau ag oedd wedi bod yn euog o arfer y cyfryw ymadroddion, a derbyniasant y rhybudd mewn tiriondeb, gan addaw eu gadael heibio rhagllaw.—Y'mhellach, fe ddarllenwyd, allan o'r Drysorfa, yr hyn a gydunwyd arno mewn *Association*, er ys naw mlynedd yn ol: A barnwyd fod yr ymadroddion hyny, ar Brynedigaeth, fel canol-bwynt, neu gynllun o'r modd y dylid gosod allan yr Athrawiaeth o Brynedigaeth, wrth lefaru am dani: Ac os oes gradd o wahanol olygiadau gan rai arno rhoddwyd gorchymyn na byddai i neb ei osod allan mewn dull i ddangos fod dim dadleuaeth yn ein plith.—Gan gydnabod fod pawb, yma, yn ddarostyngedig i lawer o anmherffeithrwydd, rhoddwyd taer annogaeth i oddef ein gilydd mewn cariad. Ydwyf dros yr *Association*, Eich annheilwng Frawd,

GABRIEL DAVIES."

Rhoddodd y penderfyniad hwn, y daethpwyd iddo yn Mhwllheli, foddhad hollol i Gymdeithasfa y Deheudir, ac ymwared mawr i feddwl Mr. Jones. Ynmhen llai na dwy flynedd ar ol hyn,—y mae y "Rhag-

ymadrodd" wedi ei ddyddio "Dinbych, Gorphenaf 26, 1819"—fe gyhoeddodd yr ail argraffiad o'r "*Ymddyddanion ar Brynedigaeth*" gydâ llawer o ychwanegiadau, sef y llyfr sydd wedi bod eisoes (*tu dal.* 414—428), yn helaeth dan sylw genym. Yn y "*Rhagymadrodd*" i hwnw efe a dywed,—" Ond i Dduw y byddo'r dïolch, am iddo nid yn unig roddi cynnaliaeth tan y baich, fel tan feichiau ereill, (er fy ngwaeledd a'm hannheilyngdod mawr) ond hefyd drefnu ymwared mawr, trwy ogwyddo meddyliau fy mrodyr (mewn Cymmanfa) yn erbyn *y gwenieithydd a'r cablydd estronol hwn* [sef, y "*tyb newydd, a difrïawl ar Grist,*" y cyfeiriasai ato ychydig linellau yn flaenorol]. Bu penderfyniad yno mewn modd dwys, i'r perwyl hwn; '*Fod aberth Crist i'w gyfrif yn wir annherfynol ei werth,*'" (*tu dal.* 11).

Wedi cyhoeddi yr argraffiad hwn, fe anfonodd Mr. Jones Lythyr at y Gymdeithasfa yn y Deheudir, yr hon a gynhelid yn Llangeitho, Awst 18fed, 19eg, 1819, yn achos ei ysgrifeniadau, a chafodd Lythyr caredig yn atebiad, oddiwrth Mr. Ebenezer Richard, Ysgrifenydd y Gymdeithasfa, yn yr hwn, yn mhlith pethau ereill, y dywed,—" Anwyl a Pharchedig Frawd, Derbyniwyd eich Llythyr brawdol a charedig, at y Gymdeithasfa yn Llangeitho, a darllenwyd ef gerbron yr holl Bregethwyr a'r Henuriaid; ac wedi cymmeryd ei gynnwysiad dan ddwys ystyriaeth, penderfynwyd yn un-llais, Bod yr oll o'r hyn ydych wedi gyhoeddi yn dra chymmeradwy ganddynt, fel Corph, trwy Ddeheubarth Cymru." Y mae yn amlwg fod syniad y Cyfundeb, erbyn hyn, ar ol blynyddoedd o ymryson, wedi ymsefydlu yn hollol yn y wedd hono ar Anfeidroldeb Aberth yr Arglwydd Iesu Grist, ag oedd gwbl dawel a boddhäol i feddwl Mr. Jones.

Ond, er fod y Gymdeithasfa wedi dyfod yn awr yn un, yr oedd rhai eglwysi neillduol, yma a thraw yn y Siroedd, yn mhell o fod felly. Yr oedd eglwys Caerwys, yn Sir Fflint, yn arbenig, yn un o'r cyfryw. Yr oedd dau o'r blaenoriaid, a chorph y bobl, yn benderfynol dros y golygiad ëang ar aberth Crist, a gymmerid gan Mr. Jones, Dinbych, neu yn hytrach at olygiad eangach, cyffelyb i'r eiddo y Dr. Williams; ond yr oedd yno ychydig nifer, a'r rhai hyny yn cael eu cyfnerthu gan rai blaenoriaid o'r capeli cymmydogaethol, ac yn enwedig gan amryw o bregethwyr y Sir, yn cwyno nad oedd yr addysg athrawiaethol a weinyddid iddynt yn y cyfarfodydd eglwysig, mewn un modd yn cydredeg â'r hyn a ystyrient hwy fel golygiadau y Cyfundeb yn gyffredinol

trwy Gymru. Yr ydym yn ofni y sangem ar dir rhy boenus i deimladau rhai sydd eto yn fyw, ped elem yn fanylach i ryw bethau ereill, mwy personol a llai anrhydeddus, oeddent yn ddiammheuol yn gorwedd wrth wraidd yr holl ymryson, ac, yn fwy uniongyrchol yn achos o hono, nag unrhyw wahaniaeth, o ran athrawiaeth, a allai fod rhyngddynt a'u gilydd. Yr un pryd, nid oes un lle i ammeu nad oedd dau, o leiaf, o'r blaenoriaid yn Nghaerwys, ac amryw o'r bobl ieuainc, a'r rhai hyny y rhai mwyaf darllengar a meddylgar, yn gwahaniaethu cryn lawer oddiwrth yr hyn a bregethid gan y blaid Uchel-Galvinaidd oedd o'u hamgylch, a dichon nad oeddent oll, bob amser, yn ymgadw rhag myned i eithafoedd ar yr ochr gyferbyniol; ac, yn neillduol, nad oeddent yn ddigon gofalus a gochelgar i osod allan eu syniadau yn y modd mwyaf didramgwydd i'r rhai a wahaniaethent oddiwrthynt. A phan y cyhoeddid, fel y gwnelid yn fynych, syniadau Uchel-Galvinaidd o'r pulpud yno, ymosodent yn lled ddidrugaredd ar y pregethwr, can nad pwy a fyddai, gan ei holi â chwestiynau celyd, nes peri argraff felly ar feddwl lliaws, eu bod, gydâ'u gilydd, yn yr hyn a elwid y "*System Newydd.*" Wedi rhai blynyddoedd o ymryson, o'r fath ag ydoedd, ac ymdriniaeth fwy nag unwaith arno yn y Cyfarfod Misol, fe ddygwyd yr achos i sylw y Gymdeithasfa, yr hon a gynhaliwyd yn Ninbych, yn niwedd mis Chwefror, 1820. Yr oedd Mr. Thomas Evans, Maes-y-coed, yn bresennol yn y Gymdeithasfa hono; ac fe wnaeth amddiffyniad mor rymus iddo ei hunan, ac i Mr. Williams ei gydswyddog, ac i'r lleill a gyhuddid, fel yr oedd lliaws mawr yn barnu mai y peth goreu fuasai gadael y mater ar hyny. Ond, ar gais Mr. Evans ei hunan, fel yr hyn a olygid ganddo ef yn well er rhoddi boddhâd i'r holl Gorph, fe bennodwyd ar Mr. Jones, Dinbych, Mr. Elias, Mr. John Roberts, Llangwm, a Mr. Lloyd o'r Bala, i fyned yno, i ymweled â'r eglwys, ac i chwilio i mewn i'r cyhuddiadau a ddygid yn ei herbyn, gydâ llawn awdurdod i weithredu yn ol fel yr ymddangosai pethau iddynt hwy. Yr oedd iechyd Mr. Jones yn rhy anmharus i'w alluogi ef i fyned yno, ac ofnid, gan rai, y buasai y mwyaf doniol o'r brodyr ereill yn tynu y lleill i ryw fesur lled galed at yr eglwys. Arwyddai y cyfarfod, ar y cyntaf, fod yn un tra chynhyrfus, ac ofnid na ddelai dim daioni o hono: ond, erbyn chwilio, fe gafwyd, er fod yno radd o wahaniaeth barn yn mhlith yr aelodau, nad oedd yno unrhyw ymryson na chynhwrf yn eu plith, eithr eu bod yn dangnefeddus hollol

â'u gilydd; ac nad oeddent yn deall eu bod yn gwahaniaethu dim, o ran sylwedd golygiad, ar Aberth Crist a'r Prynedigaeth, oddiwrth yr hyn a ddysgasid gan y Cyfundeb o'i sefydliad cyntaf; tra y cydnabyddent eu bod yn gwahaniaethu yn ddirfawr oddiwrth yr hyn a bregethid gan amryw yn Sir Fflint—y rhai a ddadleuent dros iawn terfynol a chyd-bwys; ac yn erbyn galwad gyffredinol yr efengyl, a rhwymedigaeth pechaduriaid, fel y cyfryw, i ffydd ac edifeirwch.—"Yr ydym ni," meddai Mr. Evans, "yn gwahaniaethu oddiwrth y bobl sydd yn pregethu fel hyn; ac os ydyw Corph y Methodistiaid yn myned i adael hen athrawiaeth eu tadau, ac i amddiffyn y fath bethau â hyn, bydd raid i ni ymadael â'r Methodistiaid, a glynu wrth ein Bibl." Ar hyny, fe gynhyrfodd Mr. Elias, ac a ddywedodd,—"Nid ydyw y Methodistiaid byth am amddiffyn y fath syniadau; nid oes un Armin ar wyneb y ddaear a all bregethu Crist i bawb yn fwy rhydd a didwyll nag y gallwn ni; a goreu po cyntaf y gelwir y rhai a bregethant ddim croes i hyny i gyfrif, er glanhau ein pulpudau am byth oddiwrth y cyhuddiad nad oes genym iachawdwriaeth ddigonol ar gyfer y byd."—Terfynodd y cyfarfod a'r ymweliad yn foddhaol i'r cenhadon, nad oedd dim yn marn yr eglwys, o ran hanfod, yn annghyson â golygiadau y Corph i'r hon y perthynai; a chydâg annogaethau cyffredinol i'r holl aelodau, i feithrin undeb a brawdgarwch rhyngddynt a'u gilydd, ac i ymgadw rhag pob math o gywreinio philosophaidd wrth ymdrin â gwirioneddau yr efengyl, ac aros ar dir eglur yr Ysgrythyrau Sanctaidd.

Yn lled fuan ar ol y cyfarfod hwn yn Nghaerwys, sef Mehefin 16, 1820, fe fu farw Mr. Jones o Ddinbych, yn gyflawn o dangnefedd yr efengyl; ac ar y diwrnod yr oedd efe yn cael ei gladdu, sef Mehefin 19, fe fu farw Mr. Robert Ellis, o'r Wyddgrug, yr hwn oedd yntau yn ŵr duwiol a llafurus, ond yn un tra gwahanol i Mr. Jones yn ei syniadau athrawiaethol, ac yn hynod o ammheus o hono, fel un oedd "yn cymmysgu gwenwyn i'r wlad," yn ei bregethau a'i ysgrifeniadau.

Yn mhen tua mis wedi marwolaeth Mr. Jones, sef Gorph. 20, 1820, yr ysgrifenodd Mr. Elias y Rhagymadrodd i Bregethau Mr. Hurrion, ar Brynedigaeth Neillduol, a fu dan ein sylw eisoes (*tu dal.* 345 a 469), yr hwn a gynnyrchodd gyffro mawr am dymhor yn y wlad, ac nad ydyw, yn sicr, yn un dyrchafiad iddo yntau. Yn y flwyddyn ganlynol, fe ddygwyd allan o'r Wasg, y "*Golygiad Ysgrythyrol ar Gyfiawnhad Pechadur: sef, Traethawd, yn dangos y ffordd y mae Duw, yn ei ras anfeidrol,*

*yn cyfiawnhau pechaduriaid, yn unol â Chyfiawnder ei Natur, ei Union 'eb fel Barnwr, ac â Phurdeb ac Anghyfnewidioldeb ei Gyfraith. Gan* John Elias. Bala: Argraffedig dros yr Awdwr gan R. Saunderson. 1821."—Mae y Cyfarchiad, yn ei ddechreu, "*At y Cymry,*" wedi ei ddyddio, "*Llanfechell, Ebrill* 5, 1821." Yr ydoedd yn adnabyddus, er ys peth amser, fod yr awdwr yn parotoi traethawd ar y testyn hwn, ac yr oedd dysgwyliad mawr am ei ymddangosiad. Mae yn gofus iawn gan yr Ysgrifenydd, ei fod, pan yn blentyn bychan iawn, wedi tori ei "*gadw-ti-gei*" er mwyn prynu y llyfr; a'i fawr siomedigaeth, ac yntau, er mwyr ei gael, yn ymadael â chymaint o arian—dau swllt!—y buasai cyhy o amser yn eu casglu, wrth weled ei fod can lleied peth. Ond, erby hyn, y mae yn ymddangos iddo yn rhadlawn iawn. Er mai fel areith iwr yr oedd yr awdwr yn arbenig yn rhagori, ac nad oedd mewn u modd yn gallu gwneuthur tegwch âg ef ei hunan fel ysgrifenydd, et nid yw y "*traethawd*" hwn yn un dianrhydedd iddo fel y cyfryw; ac y mae yn mhell o gael, y dyddiau hyn, y sylw a deilynga, ynddo ei hunan, yn annibynol ar bob parch i goffadwriaeth Mr. Elias. Er nad oes ond ychydig ynddo, yn arddangos y treiddgarwch a'r manylwch a'r cywreinrwydd, sydd yn dynodi yr Athronydd Cristionogol; nac ond ychydig o'r ddysgeidiaeth a'r pwyll, angenrheidiol er gwneuthur ymchwiliad beirniadol i ystyr a chysylltiadau yr Ysgrythyrau Sanctaidd;—y mae yn arddangos rhywbeth, sydd, i'r darllenydd cyffredin, yn llawn cystal os nad gwell na'r naill na'r llall—gallu annghyffredin i roddi, mewn cylch nad yw mewn cymhariaeth ond bychan, eglurhad goleu a chyflawn a chywir, ar y testyn sydd ganddo dan sylw,—a hyny gydâ theimlad mor ddwys, yn cyfodi oddiar ddyfnder a nerth ei argyhoeddiadau o wirionedd a phwysfawrawgrwydd yr hyn a draethir ganddo, ag sydd yn ei wneuthur, yn neillduol mewn rhai rhanau, yn nodedig o rymus ac effeithiol. Rhoddodd rhai o'r syniadau a ddysgir ganddo yma, fel y gwelsom eisoes (*tu dal.* 477, 486), foddhâd mawr i'r rhai a ddadleuent dros yr hyn a elwid y "*pwnc newydd,*" gan ei fod, yn ol eu golygiad hwy, yn dysgu yr hyn, ond ei ddilyn i'w ganlyniadau naturiol a phriodol, oedd yn arwain yn angenrheidiol i hanfod y pwnc hwnw. Y mae, pa fodd bynnag, un frawddeg ynddo sydd yn cynnwys hanfod y syniad arall, uchel, a goleddid ganddo cyn hyn, am "iawn cyd-bwys;" ac sydd yn profi mor anhawdd ydyw ymryddhau yn hollol oddiwrth unrhyw olygiad fyddo unwaith wedi meddiannu y meddwl. Mae y

dywediad hwnw i'w gael yn *tu dalen* 110, o'r Traethawd:—"Nid yw yn addas dywedyd fod cyfiawnder Crist, fel y gwnaed ef i'r holl eglwys, yn cael ei gyfrif i bob credadyn; ond, yn hytrach, fod yr hyn a wnaeth ac a ddioddefodd Crist yn ei le yn cael ei gyfrif iddo. Y mae cymmaint ag a all cyfiawnder a'r gyfraith ei ofyn ganddo, yn cael ei gyfrif iddo; y mae yn cael ei gyfiawnhau oddiwrth yr holl bethau oedd yn cael eu rhoddi yn ei erbyn o flaen gorsedd Duw."—Yr ydym yn gwybod nad oedd y syniad a ddysgir ganddo yma, mewn un modd yn gymmeradwy ganddo yn ei flynyddoedd diweddaf, ac amryw flynyddoedd cyn ei farwolaeth. Ni a welsom ein hunain lythyr o'i eiddo, at ŵr a ddymunai gael caniatâd ganddo, ar ryw ammodau, i ail gyhoeddi y Traethawd,—yn datgan fod yn dda ganddo ddeall fod galwad am ail-argraffiad o hono, ond nad ydoedd yn foddlawn iddo gael ei argraffu drachefn hyd oni chaffai efe hamdden i gyfnewid rhai golygiadau ynddo, annghydweddol â rhediad cyffredin y Traethawd, ac â'r rhai nad ydoedd yn awr yn cytuno.

Yn ystod y blynyddoedd hyn, yr ydoedd y Ddadl am yr Iawn a'r Prynedigaeth yn cynhyrfu Cymru yn ddirfawr, a meddyliau llawer yn dra anesmwyth ynnghylch yr hyn oedd i'w dderbyn, fel y gwirionedd Ysgrythyrol, o berthynas iddynt. Yr oedd un peth, pa fodd bynnag, yn awr, wedi ei adennill i Gorph y Methodistiaid:—yr oedd y Cymdeithasfäoedd, yn y Gogledd a'r Deheudir, wedi datgan yn bendant eu barn am Holl-ddigonolrwydd ac Anfeidroldeb Aberth Crist, ar gyfer pechaduriaid; a bod galwad ddidwyll a thaer, yn yr efengyl, ar bechaduriaid, *fel y cyfryw*, yn gyffredinol ac yn ddiwahaniaeth, i ddyfod at Iesu Grist am fywyd ac iachawdwriaeth; a rhwymedigaeth uniongyrchol pawb y delo yr efengyl atynt, i ufudd-dod ffydd iddi, ac i roddi derbyniad i'r cynnygiadau grasol a wneir iddynt ynddi. Ni feiddiai neb, gan hyny, mwyach, bregethu "iawn cyd-bwys," na chyfyngu galwad yr efengyl i'r "etholedigion" neu i "bechaduriaid argyhoeddedig" yn unig, na gwadu "dyledswydd pawb i gredu yn Nghrist." Yn ngwyneb yr unfrydedd hwn oedd yn y Cyfundeb, yn gysylltiedig â'r dadleu cynhyrfus oedd yn y wlad, fe farnwyd gan lawer ei bod yn adeg fanteisiol i ddwyn oddiamgylch, yr hyn y buasai cryn ymddyddan am dano er ys rhai blynyddoedd bellach, sef, cael Datganiad mwy manwl a phendant o Olygiadau y Cyfundeb ar wirioneddau neillduol yr efengyl, yn y ffurf o "Gyffes Ffydd." Hyd yn hyn, ac o ddechreuad

y Cyfundeb, nid oedd genym yr un Gyffes ond Erthyglau Ffydd Eglwys Loegr. Mae yn awr ger ein bron yr argraffiad cyntaf, o'r llyfr,—"*Rheolau a Dybenion y Cymdeithasau Neillduol yn mhlith y Bobl a elwir y Methodistiaid yn Nghymru; a gyttunwyd arnynt mewn Cymdeithasfa Chwarterol, yn y Bala, Mehefin* 16, *a'r* 17, 1801. Caerlleon, argraffwyd gan W. C. Jones, 1801."—Yn y Rhagymadrodd i'r Rheolau hyn, fe ddywedir,—"O ran ein daliadau *athrawiaethol*, yr ydym yn cyttuno yn hollol âg Erthyglau egwyddorol Eglwys Loegr" (*tu dal.* vi). Eto:—"I benderfynu hyn, gan ein bod, fel corph, yn gwbl o'r un farn ag *Erthyglau Athrawiaethol* yr Eglwys Sefydledig, ac na's gwyddom am eiriau mwy cymmwys ac ysgrythyrol i'w mynegi, a'u gosod allan, nag a arferir yno gan yr hen Ddiwygwyr enwog, nid ydym yn gweled dim angenrheidrwydd am gyhoeddiad neillduol o'n daliadau a'n hathrawiaethau" (*tu dal.* viii).—Ac mewn Nodiad, yn ngodre'r ddalen, fe gyfeirir at yr Erthyglau canlynol, o'r pedair ar bymtheg ar hugain, megis "Erthyglau egwyddorol:"—1, 2, 4, 5, 6, 7, 9, 10, 11, 13, 15, 17, 18, 19, 25, 27, 28, 31, 38, 39. Yn niwedd y llyfryn, y mae yr Erthyglau 1, 2, 9, 11, 12, a 17, yn cael eu dodi i mewn yn gyflawn, fel "Rhai o Erthyglau'r Eglwys Sefydledig, y cyfeirir attynt yn y Rhagymadrodd." Y mae yn amlwg, wrth hyn, mai yr unig Gyffes Ffydd a arddelid gan yr hen Fethodistiaid, oedd "Erthyglau egwyddorol" Eglwys Loegr. Ond gan fod cryn wahaniaeth, erbyn hyn, yn ngolygiadau y rhai a'u galwent eu hunain yn Galviniaid, a llawer o ddadleu ac ymryson yn y wlad yn nghylch athrawiaeth, fe wnaed cynnyg yn Nghymdeithasfa y Gogledd, a gynnhaliwyd yn Llanrwst, Rhagfyr 29, 30, 1814,—y Gymdeithasfa gyntaf ond un wedi marwolaeth Mr. Charles,—am gael Cyffes Ffydd newydd i'r holl Gyfundeb. Dyma yr Adroddiad am hyny, fel y rhoddwyd ef gan yr Ysgrifenydd, Mr. Cadwaladr Williams, yn y pedwerydd llyfr o'r hen Drysorfa, *tu dalen* 36:—"Sylwyd ar y perygl o fyned i lwybrau cyfeiliornus yn yr athrawiaeth, o ran y matter ei hun, neu y dull o ymdrin âg ef, trwy arfer geiriau anysgrythyrol. Ac yn wyneb hyn, annogwyd pawb, a gai ar ei feddwl, i ysgrifenu Cyffes o'i Ffydd, a'i dwyn i Gymdeithasiad y Bala, fel y gellid gwneuthur un Gyffes gyffredinol i'r holl gorph, a bod honno fel maen-prawf er penderfyniad ar bob matter perthynol i athrawiaeth a disgyblaeth y corph, a thrwy hyny i'w gael i lwybr i fyned ym mlaen yn hwylus rhagllaw." Gan y dadleu a gymmerodd

le yn y Gymdeithasfa ganlynol, yn Rhuthin, fel yr adroddwyd genym eisoes (*tu dal.* 547), ac mewn amryw Gymdeithasfäoedd ar ol hyny, ni wnaed dim yn y cyfeiriad hwn am amryw flynyddoedd, ac yr oedd rhai yn teimlo yn dra gwrthwynebol iddo. Yr oedd Mr. Jones, Dinbych, yn enwedig, yn erbyn ysgogi yn y fath gyfeiriad; ac yn dadleu fod Erthyglau Eglwys Loegr, o'u hiawn esbonio, yn ddigon pendant i gau allan bob cyfeiliornad, ac, ar yr un pryd, yn ddigon ëang fel ag i ganiatau y rhyddid barn ac ymadrodd, cwbl angenrheidiol o fewn rhyw derfynau, er sicrhau undeb gwirioneddol yn y frawdoliaeth. Yr oedd amryw o'r hen bregethwyr, megis Mr. Jones, Edern, Mr. Richards, Caernarfon, ac, yn neillduol, Mr. Richard Jones o'r Wern, yn teimlo yn gyffelyb. Wedi marw Mr. Jones, Dinbych, fe ddaeth y peth drachefn i sylw. Erbyn hyn, yr oedd addfedrwydd mwy gydâ golwg arno, heb neb yn ymddangos yn anmharod ond Mr. Richard Jones; ac yntau yn teimlo felly, yn unig oddiar ofn y byddai rhyw rai yn amcanu at lunio y Gyffes yn rhy gyfyng i ëangder y gwirionedd Biblaidd. Ond fe gydsyniodd yntau, yn y diwedd, i gymmeryd rhan yn ei darpariad. Yn Nghymdeithasfa Pwllheli, yr hon a gynhaliwyd Medi 27, 28, 1821, fe gytunwyd yn unfrydol, yn ol penderfyniad a wnaethid eisoes gan Gymdeithasfa y Deheudir, i ddwyn y peth oddiamgylch; ac enwyd dau neu dri, o bob Sir yn y Gogledd, i ysgrifenu Cyffes Ffydd. Y personau hyny oeddent, Mr. Elias, Mr. Lloyd, Beaumaris, a Mr. Cadwaladr Williams, dros Sir Fon; Mr. Michael Roberts, Mr. John Jones, Tremadoc, a Mr. William Roberts, Clynog, dros Sir Gaernarfon; Mr. John Davies, Nantglyn, Mr. Peter Roberts, Llansanan, a Mr. Thomas Lloyd, Abergele, dros Sir Ddinbych; Mr. John Parry, Caerlleon, a Mr. John Humphreys, Caerwys, dros Sir Fflint; Mr. Lloyd o'r Bala, Mr. John Roberts, Llangwm, a Mr. Richard Jones o'r Wern, dros Sir Feirionydd; a Mr. Evan Griffiths, Meifod, Mr. John Hughes, Pontrobert, a Mr. Humphrey Gwalchmai, dros Sir Drefaldwyn. Dymunwyd ar i'r brodyr hyn ddarllen eu Cyffes yn eu hamrywiol Gyfarfodydd Misol, a chael eu cymmeradwyaeth hwy iddi; ac, yna, eu bod i ymgyfarfod, mewn cysylltiad â Chymdeithasfa y Bala, y flwyddyn ganlynol, er crynhoi y cwbl ynghyd yn un Gyffes. Ac felly fu. Cyfarfuasant yn nhy Mr. Davies, yn y Fronheulog; a lluniwyd un Gyffes o'r amrywiol gynlluniau oeddent yno wedi eu dwyn ynghŷd. Darllenwyd hono oll, yn bwyllog ac yn arafaidd, yn y Gymdeithasfa

yn y Bala, yr hon a gynhaliwyd Mehefin 10, 11, 12, a 13, 1822; a chydsyniodd pawb oll, oeddent yn bresennol, â phob pwnc o honi, heb gymmaint ag un yn gwrthwynebu.

Yn lled gyffelyb y gwnaed yn y Deheudir. Rhoddwyd y cwestiwn am hyn i lawr yno, yn Nghymdeithasfa Llangeitho, Awst 15, 16, 1821, tua chwech wythnos cyn ei osod i lawr yn Mhwllheli. Yr oedd Mr. Elias a Mr. John Roberts, Llangwm, yn bresennol y pryd hyny yn Llangeitho, ac nid ydym yn gwybod pa faint oedd a wnelent hwy â dwyn y peth gerbron. Pa fodd bynnag, fe benderfynwyd yno, yn unfrydol a diwrthwynebiad, fod cael y fath Gyffes yn ddymunol ac yn angenrheidiol. Yn y Gymdeithasfa ganlynol yn y Deheudir, a gynnhaliwyd yn Aberhonddu, Hydref 24, 25, 1821, fe bennodwyd ar Mr. Charles a Mr. Thomas Jones, Caerfyrddin, Mr. John Evans, Llwynffortun, Mr. Arthur Evans, Cynwil, a Mr. Ebenezer Richard, i barotoi cynllun o'r Llyfr y bwriedid ei gael, a bod hwnw i'w ddwyn ganddynt i Gymdeithasfa ddyfodol, er mwyn ei brofi a'i gymmeradwyo gan y brodyr. Erbyn Cymdeithasfa Llangeitho, Awst 7, 8, 1822, yr oedd y brodyr hyny wedi parotoi eu Cyffes, yr hon a ddarllenwyd yno yn bwyllog, ac a gymmeradwywyd yn gwbl. Fe benderfynwyd yno hefyd, ar fod nifer o gynnrychiolwyr, dros y Deheudir a'r Gogledd, i gydgyfarfod yn Nghymdeithasfa Aberystwyth, yn Ngwanwyn y flwyddyn ganlynol, i gymharu Cyffes y ddwy Gymdeithasfa, ac i lunio un gyffredinol o honynt i'r holl Gyfundeb: ac enwyd y cynnrychiolwyr dros y Deheubarth i gymmeryd rhan yn y gorchwyl hwnw. Y Gwanwyn a ddaeth; ac fe gyfarfu y Gymdeithasfa bwysig yn Aberystwyth. Dyddiau neillduol y Gymdeithasfa oeddent, Iau a Gwener, Mawrth 13, 14, 1823: ond daeth y cynnrychiolwyr dros y Deheu a'r Gogledd yno, nos Lun, y 10fed, a buant am y ddau ddiwrnod canlynol, am oriau lawer bob dydd, yn myned trwy y gorchwyl a ymddiriedasid iddynt. Ond nis gallwn wneuthur yn well na dyfynu yma yr Adroddiad a gawn yn Nghofnodau Mr. Ebenezer Richard, Ysgrifenydd Cymdeithasfa y Deheudir, o'r Cyfarfod hynod hwnw:—"Yn ol y penderfyniad yn Nghymdeithasfa Llangeitho, Awst 7, a'r 8fed, 1822, dechreuodd cynnrychiolwyr Deheubarth a Gwynedd ymgynnull ynghyd nos Llun y 10fed; ond ni ddechreuasant ar eu gwaith pwysfawr hyd ddydd Mawrth, yr 11eg, pan y cyfarfuasant yn nhŷ Mr. Robert Davies, Heol y porth tywyll, mewn goruwchystafell ëang ac addas iawn. Dechreu-

wyd am 9 o'r gloch, trwy ddarllen a gweddio, gan John Roberts, Llangwm; a'r personau yn gwneuthur yr eisteddfod i fyny oeddynt y rhai canlynol:—y Parchedigion John Williams, Lledrod, Cymedrolwr; Ebenezer Morris, Dafydd Charles, Thomas Jones [Caerfyrddin], John Roberts, John Elias, John Humphreys [Caerwys], John Hughes [Pont Robert], a Michael Roberts, gydag Humphrey Gwalchmai ac Ebenezer Richard yn Ysgrifenyddion.

Yn gyntaf, cymmerwyd Rheolau a Dybenion y Cymdeithasau Neillduol dan sylw; ac ar ol eu darllen trosodd yn araf ac ystyriol, penderfynwyd yn unllais arnynt, gydâg ychydig dalfyriadau, cyfnewidiadau, ac ychwanegiadau. Yna darllenodd y brawd J. Humphreys yr hyn a ysgrifenasai o hanes dechreuad a chodiad y Corff; a chyttunwyd ar hwn hefyd, gydâg ychydig dalfyriadau ac ychwanegiadau. Yna darllenwyd cyfansawdd [cyfansoddiad] y Corff, a phenderfynwyd ar yr hyn a ysgrifenodd Mr. Dafydd Charles, gydâ rhywfaint o gyfnewidiadau ac ychwanegiadau. Dechreuwyd, yn nesaf, ystyried y Cyffes Ffydd; a darllenwyd yr un o'r Gogledd gan y brawd John Elias, a'r un o'r Deheubarth gan Ebenezer Richard; ac ystyriwyd pob pwnc ac erthygl o hóni, gydâ'r pwys, yr arafwch, a'r manyldra mwyaf; ac wrth fyned ymlaen, dewiswyd, cyfnewidiwyd, ychwanegwyd, talfyrwyd, a chymmysgwyd, fel y gwelid yn fwyaf addas ac angenrheidiol, nes myned trwyddynt oll, bob yn un ac un; a phenderfynwyd ar bob un o honynt yn un llais, heb na digter na dadl. Yna penderfynwyd fod yr oll i gael ei ddarllen ger bron y Corff ynghyd, yn eu cymdeithas am ddau y 13eg, ac am wyth y 14eg; a bod Ebenezer Richard i ddarllen y Rheolau a Chyfansawdd y Corff,—yna bod y Cyffes Ffydd i gael ei darllen, y rhan o'r Gogledd gan y brawd John Elias, a'r rhan o'r Deheubarth gan Ebenezer Richard. Ac yn ol y penderfyniad uchod y gwnaed, nes myned trwy'r cwbl; a chyttunwyd gan yr holl Gorff yn un llais, gydâ'r cyd-gordiad mwyaf hyfryd, ar y cwbl oll, heb gymaint ag un llais croes, nac un gwrthddadl. Penderfynwyd gan yr eisteddfod i'r brawd J. Humphreys barotoi y Rheolau a'r Hanes i'r argraffwasg; ac i'r brawd H. Gwalchmai barotoi Cyfansawdd y Corff a'r Cyffes Ffydd. Penderfynwyd fod y nifer a fernid yn eisiau ar Wynedd i gael eu hargraffu yn y Bala, a'r nifer a fernid yn eisiau ar y Deheubarth i gael eu hargraffu yn Aberystwyth. Ni bu un achos o bwys yn y Gymdeithasfa hon tan sylw ond yr achos uchod. BENDIGEDIG FYDDO ARGLWYDD DDUW ISRAEL."

Yr oedd Mr. Arthur Evans, Cynwil, wedi ei enwi, yn Llangeitho, yn un o'r cynnrychiolwyr dros y Deheudir, ond am ryw achos, anadnabyddus i ni, nid oedd efe yn bresennol yn Aberystwyth. Y prif offeryn yn ffurfiad y Cyffes Ffydd, yn y wedd sydd arno yn bresennol, yn ddiammeu, oedd Mr. Michael Roberts, Pwllheli. Efe oedd bywyd y Cyfeisteddfod, yn yr adffurfiad ar y ddwy Gyffes, yr un o'r Deheudir a'r un o'r Gogledd, er gwneuthur un gyffredinol o honynt i'r holl Gyfundeb. Yr oedd y craffder a'r deheurwydd a ddangosid ganddo yn synu yr holl frawdoliaeth. Clywsom Mr. Davies, Fronheulog, yn adrodd yr hyn a ddywedasai Mr. Ebenezer Morris wrtho ef:—"Nis gwn i pa bryd y daethem i ben â'r gorchwyl, os daethem i ben ag ef byth, oni b'asai y dyn bychan yna o Bwllheli; ond yr oedd efe, ar fynyd, yn gweled pa beth i'w ddodi i mewn, a pha beth i'w adael allan." Er na bu yno ddim dadl yn y Cyfeisteddfod, fe fu yno radd o betrusder gydâ golwg ar y geiriau,—"a hwy yn unig,"—yn yr Erthygl "*Am y Prynedigaeth.*" Tybiai rhai y byddai yn well eu gadael allan; gan eu bod, megis *geiriau*, pa beth bynnag am y syniad, yn gyfryw ag nad oedd yr Ysbryd Glan wedi eu defnyddio yn yr Ysgrythyrau Sanctaidd; ac hefyd am eu bod yn ofni y tueddent i beri i ryw rai o'u brodyr deimlo yn anesmwyth, ac yn anmharod i'w defnyddio fel rhan o'u Cyffes eu hunain. Ond sylwai Mr. Elias, eu bod yn cael eu defnyddio yn y crynodeb, yn yr ail lyfr o'r hen Drysorfa, o'r Ymddyddan ar Brynedigaeth yn Nghymdeithasfa y Bala, yn y flwyddyn 1809, o'r hwn grynodeb, nad oedd yr holl erthygl ond talfyriad. Cytunai Mr. Charles, Caerfyrddin, a'r mwyafrif o'r brodyr ereill, â Mr. Elias, ac felly gadawwyd y geiriau i mewn.

Ond yr oedd eisiau eto cael cadarnhad Cymdeithasfa y Gogledd i'r Erthyglau, yn y wedd newydd oedd yn awr arnynt, cyn y byddent mewn awdurdod i'r holl Gyfundeb. Ac yn Nghymdeithasfa Llanfyllin, yr hon a gynhaliwyd, Ebrill 22, 23, 1823, fe'u cymmerwyd i sylw. Nid oedd Mr. Elias yn bresennol yn y Gymdeithasfa hono, gan ei fod ar ymweliad â Llundain, ond yr oedd Mr. Robert Roberts, Rhosllanerchrugog, yno. A phan yr oeddid yn darllen yr Erthyglau, o un i un, pan y daethpwyd at yr Erthygl ar Brynedigaeth, fe ymosododd Mr. Roberts yn gryf yn erbyn y cyfyngiad oedd yn y geiriau, "a hwy yn unig,"—gan ei alw, yn "gyfyngiad anysgrythyrol," a chyhuddo yr Erthygl o "fod yn ddoeth uwchlaw yr hyn a ysgrifenwyd." Dadleuai

y brodyr ereill, fel y sylwasai Mr. Elias yn Aberystwyth, mai geiriau oeddent a ddefnyddiasid, er ys amryw flynyddoedd, yn y Bala, pan yr ymdrinid, yn amser Mr. Charles, â'r pwnc o Brynedigaeth; ac nad oedd yr Erthygl ond talfyriad o'r ymdriniaeth yno. Dadleuai yntau, nad ydoedd ond talfyriad hannerog; oblegyd bod yn yr Adroddiad yn y Drysorfa, am yr ymddyddan hwnw, dystiolaeth bendant i holl-ddigonolrwydd yr iawn, ar gyfer y rhai nad ydynt yn cael eu cadw trwyddo;—ond nad oeddent, yn yr erthygl, wedi gwneyd un talfyriad o'r dystiolaeth hono, eithr wedi ei gadael allan yn gwbl; "ac wedi dwyn oddiarnom," meddai, "ein hen Gyffes, yn Erthygl rydd Eglwys Loegr ar Brynedigaeth, y mae yr erthygl yma yn ein gadael heb un datganiad o'n ffydd yn holl-ddigonolrwydd yr Iawn ar gyfer y byd yn gyffredinol." Siaradodd gydâ'r fath effaith, nes yr oedd yno lawer yn teimlo y dylasai y geiriau gael eu gadael allan; a dywedid y ceid ail-ystyried y peth yn y Bala. Fe ddaeth Cymdeithasfa y Bala, Mehefin 16, 17, 18, 1823. Aed yno, drachefn, dros yr Erthyglau, fel yn Llanfyllin, a gwnaed yr un cynnyg i adael y geiriau, y cyfeiriwyd atynt, allan. Ond, heblaw Mr. Elias, yr oedd Mr. Charles, Caerfyrddin, yn bresennol yno, ac yn dadleu yn gryf drostynt; gan eu hesbonio yn cyfeirio, nid at yr iawn ynddo ei hunan, ond at y gosodiad meichnïol ar Iesu Grist dros ei bobl; ac, yn yr ystyr hwnw, eu bod yn gwbl briodol—mai drostynt hwy yn unig yr ydoedd wedi ei osod felly. Yr oedd Mr. Elias yn dra anniddig oblegyd y gwrthwynebiad a wneid i'r geiriau: ac rywbryd, yn ystod yr ymddyddan, fe gynhyrfodd gymmaint, nes y dywedodd,—"Fe fyddai yn well genyf fi golli fy mraich ddehau, na cholli y geiriau yna o'm Cyffes Ffydd."—Yn y diwedd, fe benderfynwyd, a hyny yn unfrydol, ar dderbyn yr holl lyfr,—Hanes, Cyfansoddiad, Rheolau Dysgyblaethol, ac Erthyglau Ffydd,—fel y parotoisid ef yn Aberystwyth. Ond gwnaed amryw sylwadau gwerthfawr gan Mr. Charles, Mr. Evans, Llwynffortun, ac, yn enwedig, gan Mr. Richard Jones o'r Wern, er annog pawb i gyd-oddefgarwch â'u gilydd, ac i edrych ar yr Erthyglau megis wedi eu bwriadu i uno yr holl frodyr yn agosach y naill at y llall, ac nid i gaethiwo meddwl unrhyw frawd yn y rhyddid y mae yr efengyl yn ganiatau, ac y mae nerth a chysur cymdeithas o angenrheidrwydd yn ofyn. Ac felly y terfynodd yr ymdriniaeth Cymdeithasfäol diweddaf yn nghylch y "*Cyffes Ffydd.*"

Nid ydym yn gwybod am ddim cyffro neillduol ar ol hyn, yn mhlith

y Methodistiaid, fel y cyfryw, am rai blynyddoedd, oddieithr ychydig ffrwgwd yn y Deheudir, yn nghylch Ysgrif i Mr. James Hughes, Llundain, a elwid,—"*Prynu y Bendithion*," a ymddangosodd yn "*Ngoleuad Cymru*," yn y rhifyn am Gorphenaf, 1824, *tu dal.* 448—451. Yr oedd yr awdwr wedi cyfansoddi pennill, yr hwn a gyhoeddwyd, yn gyntaf, yn Nghofiant Mr. Jones, Dinbych, ac, wedi hyny, yn y "Goleuad" am fis Mawrth, 1824, yn erbyn y syniad am "Brynu bendithion:"

"Nid y nefoedd, na'r bendithion, brynodd Iesu ar y groes;
Ond fe brynodd fyrdd o ddynion, pan ddyoddefodd angeu loes:
'R oedd é'n ffynon pob bendithion, nid oedd achos prynu y rhai'n;
Prynu wnaeth é'r etifeddion, pan goronwyd ef â drain."

Yn y "*Goleuad*" am Mai, tu dal. 390, fe ysgrifenodd rhyw un, a'i galwai ei hunan, *Newyddian yn y ffydd*, yn dymuno cael eglurhâd a phrawf, a oedd yr hyn a ddysgid yn y *Pennill* hwn "yn unol â'r ysgrythyrau." Yn atebiad i *Newyddian*, yr ymddangosodd yr Ysgrif yn awr dan ein sylw. Mae yr awdwr, ynddi, yn rhoddi hanes y modd y cyfansoddasai y *Pennill*, ryw bymtheg mlynedd cyn hyny. Yr oedd ychydig ddadl wedi bod, yn Llundain, ar y pwnc; ac wrth ymddyddan am y peth, ryw bryd wedi hyny, â Mr. James Hughes, Lleyn, yr hwn oedd ar y pryd yn Llundain yn gwasanaethu yr achos yno, ebai ei "gyfaill a'i gyfenwydd" wrtho,—"Iago, gwna bennill ar brynu y bendithion." Ac felly fu. Mae corff yr ysgrif yn amddiffyniad i gywirdeb y syniad a osodir allan yn y *Pennill*. Mae yn dadleu fod "prynu y bendithion yn ymadrodd *ffol* a *gwrthun*;" "yn ymadrodd *anysgrythyrol*;" "yn ymadrodd *croes* i'r ysgrythyr;" "yn *iselu Person anfeidrol y Prynwr*;" ac "*yn groes i drefn ddadguddiedig y cyfammod gras*." Mae yn ysgrifenu yn gryf annghyffredin, ac yn ymosod yn erbyn y syniad, fel pe buasai yn gyfeiliornad dinystriol. Ond y mae rhai o'i resymau yn gyfryw ag y gallasai y sawl a wadai yr Iawn eu defnyddio yn erbyn y Prynedigaeth o gwbl. O ran y peth ynddo ei hun, nid oedd yma, mewn gwirionedd, ond gwahaniaeth yn unig mewn dull o eirio; ac y mae yn ymddangos i ni, yn sicr, fod y geiriad y dadleua efe drosto yn fwy cywir na'r un a gondemnir ganddo; eto yr oedd mor wahanol i'r hyn a arferid ganu, allan o Hymnau Williams, ac ereill, yn y cynnulleidfaoedd, ac mor wahanol i'r modd yr oedd yr hen bregethwyr wedi arfer sôn am brynu maddeuant, a bywyd, a nefoedd, a

phob gras a dawn ysbrydol, fel y parodd yr Ysgrif gyffro annghyffredin yn y Deheudir,—cymmaint cyffro, fel y dygwyd y peth i sylw y Gymdeithasfa a gynhaliwyd yn Llantrisant, Sir Forganwg, Hydref 20, 21, 1824. Penderfynwyd yno ar Gyfeisteddfod i ystyried yr Ysgrif, cynnwysedig o'r personau canlynol:—Mr. Charles, Mr. Arthur Evans, a Mr. Thomas Jones, o Sir Gaerfyrddin; Mr. Ebenezer Morris, Mr. John Thomas, a Mr. Ebenezer Richard, o Sir Aberteifi; Mr. David Griffiths, a Mr. Josiah Evans, o Sir Benfro; Mr. Richard James, Mr. Richard Thomas, a Mr. David Williams, o Sir Forganwg; Mr. Henry Jones a Mr. Morgan Howells, o Sir Fynwy; a Mr. William Havard a Mr. Evan Harris, o Sir Frycheiniog. Y fath gydgasgliad o wyr grymus i gyfansoddi *Committee!* Cyfarfu'y Cyfeisteddfod y noswaith hòno: ac ynddo fe benderfynwyd, fod i'r Ysgrifenydd, Mr. Ebenezer Richard, anfon llythyr at Mr. James Hughes, yn datgan annghymmeradwyaeth y frawdoliaeth o dôn a geiriad ei Ysgrif, ac, yn enwedig, o'r dull caled a gymmerasid ganddo i gondemnio ffurf o ymadroddi oedd wedi bod mor hir yn arferedig yn eu plith, er dyddiau eu tadau, ac felly mor gysegredig yn nheimladau llawer o ddynion da a duwiol; gan ddymuno arno fod yn fwy gochelgar rhagllaw. Ac felly y terfynodd y peth.

Ryw fodd, wedi cyhoeddi ein *Cyffes Ffydd*, heb yr un datganiad croyw a phendant ynddi o ddigonolrwydd anfeidrol Aberth yr Arglwydd Iesu ar gyfer pechaduriaid yn gyffredinol a diwahaniaeth, yn ôl yr hyn oedd wedi ei adennill yn dêg yn ngweinidogaeth y Methodistiaid, yn mlynyddoedd diweddaf Mr. Jones o Ddinbych, fe aeth amryw o'r hen frodyr, uchel eu syniadau, yn hynod o ammheus o bawb a gymmerent gyfeiriad felly yn eu pregethau, gan eu gosod i lawr, ar unwaith, megis rhai yn gogwyddo at, os nad yn cofleidio, yr hyn a alwent hwy y "*System Newydd.*" Ac, y mae yn ddrwg genym ddywedyd, fod Mr. Elias, yr hwn, erbyn hyn, ac er ys rhai blynyddoedd bellach, oedd yn rheoli yn hollol yn y Cymdeithasfäoedd, yn ei ofal am burdeb yr athrawiaeth ac yn annichellrwydd ei ysbryd, yn rhy barod i wrandaw ar ddynion drwg-dybus, os nad maleisus, yn dwyn achwyniadau o ben i ben yn erbyn eu brodyr, gan eu cyhuddo o ryw afiachusrwydd yn y ffydd, a hyny, yn fynych, pan na byddai cymmaint a chysgod rhith o sail i hyny. Yn wir, os arwyddai rhyw un fwy o fanylder meddwl, neu o goethder chwaeth, neu o ddestlusrwydd cyfansoddiad, na'r cyffredin, gosodid ef

i lawr, ar unwaith, gan ryw rai, megis un yn gŵyro ar gyfeiliorn. Nid oes un ammheuaeth, ac nid oes angenrheidrwydd celu, nad oedd rhai yn gwahaniaethu yn ddirfawr, nid yn unig oddiwrth y Galviniaeth uchel yr oedd rhai yn ei dysgu, ond, hyd yn nod, oddiwrth syniadau mwy cymhedrol Mr. Jones o Ddinbych, ac yn cofleidio golygiadau cyffelyb, o ran sylwedd, i'r rhai a ddysgid gan Mr. Roberts, Llanbrynmair. Ond ychydig oedd nifer y rhai hyny; ac yr oedd yr ychydig hyny, gan amlaf, mor ochelgar yn eu gweinidogaeth, ac mor ofalus am osod allan eu syniadau yn ngeiriau yr Ysgrythyr lân ei hunan, fel nas gallai neb gael unrhyw achlysur yn eu herbyn. Ymgadwodd rhai o'r cyfryw, ar hyd eu hoes, rhag syrthio dan ond ychydig ammheuaeth; pryd yr oedd ereill, oeddent heb fyned yn agos mor bell â hwy oddiwrth yr hyn a ystyrid yn *uniongred*, yn wastadol yn cael eu drwg-dybio. Yr oedd rhyw sï, felly, trwy y Siroedd, am amryw, eu bod yn gŵyro oddiwrth yr hen athrawiaeth; ac yr oedd awydd mawr ar y rhai mwyaf eiddigus drosti, am gael mantais a chyfleusdra, i wneuthur esiampl amlwg o ryw rai o honynt, trwy ddiarddeliad, er rhybudd i'r lleill. Ac, yn fynych, ysywaeth! yr oedd rhai o gymeriadau tra isel, a rhai a droisant allan, yn y diwedd, yn warth cyhoeddus i'w swydd, yn cymmeryd mantais ar wendid dynion da, er ceisio eu codi eu hunain yn eu golwg, trwy broffesu gofal mawr am burdeb yr athrawiaeth, a chymmeryd arnynt boeni yn ddirfawr, fod rhai gau-frodyr *yn ddirgel, ond yn sicr*, yn ei llygru hi! Daeth felly yn bwnc cydwybod, gan amryw o'r hen frodyr, ymdrechu dal y rhai euog. Ond yr oeddent yn wastadol yn dianc trwy eu dwylaw. Yr oeddent yn methu cael dim yn eu herbyn y gallent gydio ynddo. Dywedent eu bod yn nyddu eu hedaf mor fain, fel nad oedd modd cael gafael arno. Ond, o'r diwedd, fe dybiwyd fod dau wedi cael eu dal yn hollol,—y diweddar Mr. Robert Roberts, Rhosllanerchrugog, a Mr. Morris Roberts, yn awr o Remsen, yn America. Nid oedd dim cymmaint, ychwaith, yn cael ei roddi yn eu herbyn hwythau, o ran a ddywedasid ganddynt wrth bregethu, ond yn eu hymddyddanion a'u dadleuon, â blaenoriaid ac ereill, yma a thraw, yn nhai y capeli,—heblaw fod rhediad cyffredin eu gweinidogaeth yn hollol wahanol i eiddo y rhai a'u cyhuddent; gydâg ambell dafliad, yn awr ac yn y man, o'r pulpud, yn erbyn pob culni meddwl ac ymadrodd am ddarpariaeth gras. Deallid, pa fodd bynnag, erbyn hyn, fod achos y ddau frawd, a nodwyd, i'w ddwyn dan sylw yn Nghymdeithasfa

y Bala, Mehefin 14, 15, 16, 1826. Yr oedd Mr. Elias yn pregethu yn Llangwm, y nos Sadwrn o flaen y Gymdeithasfa hono, ac yn llettya yn nhŷ Mr. John Roberts; ac yr oedd Mr. Morris Roberts yno hefyd. Dug Mr. John Roberts achos Mr. Morris Roberts ger bron, i edrych a ellid gwellau ychydig arno cyn myned i'r Bala. Derbyniodd Mr. Elias y peth yn siriol iawn. Eithr, wedi peth ymddyddan tra chynhyrfus, aeth mor ddrwg rhyngddynt a'u gilydd,—" efe," meddai Mr. Morris Roberts, mewn llythyr atom, " efe yn wyllt iawn, a minnau, fe allai, yn llawer rhy hŷf i'm hoedran, fel y dywedodd y diarddelid fi yn y Bala. Ond y Bala,"—ychwanega Mr. Morris Roberts,—" a ddaeth; ac nid oedd genyf le yn y byd i fyned ond at yr hen Wern [Mr. Richard Jones] i adrodd fy nghŵyn. Ac meddai yntau wrthyf,—'Arafwch: Ceir gweled; ceir gweled.' Yn y cyfamser, yr oedd yr hen flaenoriaid, Mr. William Jones, Rhiwedog, Mr. Gabriel Davies a Mr. Robert Griffiths, o'r Bala, wedi myned i'r Fronheulog, i gyfarfod Mr. Elias, ac wedi cael llawer o ymddyddan âg ef yn fy nghylch i; fel y darfu iddo gael ei arafu yn y meddwl am fy niarddel i yn y Bala."

Yn y Bala, daeth achos y ddau frawd ger bron. Ymddyddanwyd â hwynt yn fanwl, er tynu allan eu golygiadau ar Brynedigaeth; ond safent yn gryf ar hen dir y Cyfundeb, fel y methid yno a chael dim yn eu herbyn, nac un prawf fod yr un o honynt wedi pregethu yn un lle ddim a allasai neb ei olygu yn gyfeiliornad; tra yr oedd eu cyfeillion goreu yn gorfod cydnabod, nad oeddent, bob amser, wedi bod yn hollol ddoeth yn eu dadleuon yn nhai y capeli. Dibenodd yr ymdriniaeth, pa fodd bynnag, yn y Bala, mewn gohiriad ar yr achos, hyd Gymdeithasfa Caernarfon; ac mewn attaliad ar Mr. Morris Roberts i fyned ar gyhoeddiad, i un man allan o'i Sir, hyd hyny.

Yr oedd dysgwyliad mawr, bellach, am Gymdeithasfa Caernarfon, yr hon oedd i'w chynnal, Medi 27, 28, 1826, a llawer yn ofni yn fawr am y canlyniadau. Ymddangosai y blaid gyfyng ac uchel yn y Cyfundeb fel yn cael y llaw uchaf; ac ofnid fod rhyddid ac ëangder gweinidogaeth yr efengyl yn y perygl o gael eu colli o'n plith. Ond nid oedd cyfeillion y rhai a gyhuddid yn gwbl esgeulus mewn parotoi ar gyfer y prawf. Ysgrifenodd Mr. Thomas Evans, Maes-y-coed, lythyr rhagorol at Mr. Michael Roberts, yr hwn sydd wedi ei argraffu yn "Rhagymadrodd" y "*Myfyrdodau Duwinyddol,*" a gyhoeddwyd ganddo ef, yn erfyn arno sefyll yn y canol i gyfryngu, os gwelai angenrheidrwydd

am hyny, pan y byddai achos y brodyr a gyhuddid yn cael ei ddwyn ger bron y Gymdeithasfa. A chafodd Mr. Evans sicrhâd gan Mr. Michael Roberts ei fod wedi derbyn ei lythyr ef, a'i fod yn hollol yr un farn âg ef ar y mater. Yn Nghyfarfod y Gymdeithasfa, am ddau ar y gloch, pan oedd yr holl swyddogion, yn weinidogion, pregethwyr, a blaenoriaid, yn bresennol, daeth yr achos yn mlaen, a dechreuwyd gydâ Mr. Morris Roberts. Ac yn ffodus iddo ef, galwyd ar Mr. Richard Jones o'r Wern, i'w holi; yr hyn a wnaeth yn fanwl ac i'r pwrpas; ac yr oedd ei atebion yntau yn dra boddhäol i'r holl frawdoliaeth. Ond, gadawer i ni ddefnyddio geiriau Mr. Morris Roberts ei hunan, yn ei lythyr atom:—"A Chaernarfon a ddaeth; a chariodd yr hen Wern y dydd yn dêg o'm tu i yno. Rhyw dro rhyfedd annghyffredin iawn oedd hwnw. Ar ol fy holi am beth amser gan Richard Jones ei hunan, efe a ofynodd, a oedd gan ryw frawd arall ryw gwestiwn yn mhellach i'w roddi i mi? ond dywedai nad ydoedd yn dêg i neb ofyn dim i mi nas gallai ei ateb ei hunan, ac y dylai y gofyn fod er mwyn fy nghynnorthwyo, ac nid er mwyn fy nyrysu. Nid oedd neb yn gofyn dim; ac mi a dybiais ei bod yn darfod ar hyny. Ond dacw Mr. David Elias ar ei draed, ac fe ofynodd i mi, 'A oeddwn i yn credu fod rhyw berthynas rhwng Iawn Crist â rhyw rai heblaw yr eglwys?' Atebais innau,—'fy mod yn credu fod yr Iawn yn anfeidrol, a bod yr Efengyl i'w phregethu i bawb yn gyffredinol, a hyny ar sail yr Iawn, ac, os oedd hyny yn ffurfio perthynas, fy mod yn credu hyny; fel y gair hwnw,—"y pethau a berthynent i'th heddwch."' Gydâ hyny, dyna Mr. John Elias ar ei draed, ac yn gynhyrfus yn dywedyd, 'am i mi beidio meddwl y gallwn i eu twyllo hwy â geiriau mwys.' Ar hyny, dyna Mr. Richard Jones i fynu, ac yn tynu yn *nghoat* Mr. Elias, ac yn awgrymu iddo eistedd i lawr; ac yn dechreu siarad ei hunan ar y gair '*anfeidrol*' fel y gair '*mwys*,' gydâ goleu a nerth ac awdurdod a dylanwad,—ac yn myned rhagddo, yn gynhyrfus ac effeithiol, yn traethu am oludoedd annherfynol, ac ëangderau difesur a diddiwedd, haeddiannau aberth y Gwaredwr mawr, fel yr oedd yr holl bobl, i fynu ac i lawr, wedi codi ar eu traed, ac, yn foddfeydd o ddagrau, yn gwaeddi '*Amenau*,' dros y Capel, fel na chlywech chwi ddim arall. Ar ol hyny, dacw Elias i fynu, fel yr oen, yn llariaidd a hynaws, ac yn cydymdeimlo â mi; a chynnygiodd ei hunan ar i mi fod yn fy lle, ac i'r cwbl am danaf derfynu yn y fan hono; a gofynodd arwydd o hyny, trwy

ddyrchafiad dwylaw; yr hyn a wnaed, am a wn i, gan bawb. A dyna y diwedd, y pryd hyny, ar fy achos i."

Wedi darfod gydâg achos Mr. Morris Roberts, galwyd am Mr. Robert Roberts. Ond nid oedd efe yno. Dywedai Mr. Evans, Maes-y-coed, ei fod ef wedi ei weled un o'r dyddiau blaenorol, a'i fod, y pryd hyny, yn llawn fwriadu dyfod yno, ac yn ymddyddan âg ef yn bendant am hyny; ac nas gwyddai efe paham yr oedd yn absennol, os nad oedd rhywbeth wedi digwydd iddo. "Pa beth a wneir?" meddai Mr. Elias. Ar hyny, fe gyfododd ei frawd, Mr. David Elias, ac a gynnygiodd 'ar iddo gael ei dori ymaith o'i swydd; ei fod ef yn gwybod ei fod, er ys amryw flynyddoedd, yn gwadu y tri Chyfrifiad.' Ond fe gododd Mr. Evans, Maes-y-coed, drachefn, ac a ddywedodd ei fod yntau yn gwybod nad oedd hyny yn wirionedd; y gallai nad oedd Mr. Robert Roberts o'r un farn a *Mr. David Elias* am gyfrifiad, ond mai cam-gyhuddiad oedd ei fod yn ei wadu.' Yna dywedai, 'y gallai fod Mr. Roberts wedi marw, ac yn y nefoedd,—y gwyddent oll ei fod yn ddyn duwiol, a duwiol iawn.' "Heblaw hyny," gofynai Mr. Evans, 'a oedd rhywun wedi rhoddi rhybudd i Mr. Roberts fod ymdriniaeth i fod ar ei achos yn y Gymdeithasfa?' Ond nid oedd neb yn ateb. Yna dadleuai yn erbyn rhesymoldeb a chyfiawnder—gwrandaw ar gyhuddiad yn erbyn brawd, a'i gondemnio yn ei absennoldeb, a hyny heb gymaint a rhoddi rhybudd iddo i ddyfod yno i atteb drosto ei hun.' Ar hyny, fe gododd Mr. John Roberts, Llangwm, ac a ddywedodd, "Na: rhaid i chwi *stopio*—ni wiw i chwi fyned yn mlaen ddim pellach ar hyn." Terfynodd y peth felly yno, a gohiriwyd yr ymdriniaeth âg ef hyd Gymdeithasfa Dinbych,* y flwyddyn ganlynol; gydâ rhybudd i Mr. Roberts i ymddangos yno, er mwyn cael trin ei achos ac yntau yn bresennol. Cynhaliwyd y Gymdeithasfa yn Ninbych, Chwefror 26, 27, 28, 1829. Yr oedd Mr. Richard Jones, o'r Wern, wedi cael digon o foddlonrwydd i'w feddwl ei hunan, fod y cyhuddiadau yn erbyn Mr. Robert Roberts, i'r graddau

* Mae yn ddrwg genym i ni gael ein cam-arwain gydâ golwg ar y *flwyddyn* y bu yr ymdriniaeth yn y Bala, ac yn Nghaernarfon, ar achos Mr. Morris Roberts a Mr. Robert Roberts. Yr ydym yn awr wedi cael sicrwydd hollol ein bod wedi dodi yr amgylchiadau ddwy flynedd yn rhy fuan; ac, am hyny, yn cymmeryd y cyfleusdra cyntaf i gywiro ein hadroddiad. Yn lle yr amseriad *(tu dal.* 576) am Gymdeithasfa y Bala, Mehefin 14, 15, 16, 1826, darllener, Mehefin 17, 18, 19, 1828; ac yn lle Medi 27, 28, 1826, am Gymdeithasfa Caernarfon, darllener, Medi 17, 18, 1828. Teimlwn yn dra diolchgar i'n cyfeillion, am unrhyw gywiriad arall, ar unrhyw adroddiad o'r eiddom.

y dygasid hwynt yn mlaen yn Nghaernarfon, yn gwbl ddisail; ac yr oedd yn benderfynol i fŷnu gweled, hyd y gallai efe, na chai ddim cam yn Ninbych. Gydâ'r amcan hwnw, efe a aeth yno. Yr oedd Mr. Roberts yno hefyd, ac yno yn brydlawn: ac yr oedd yn ei wneuthur ei hunan, yn mhob cyfarfod, mor amlwg ag y gallai, trwy sefyll i fynu, y rhan fwyaf o'r amser, â'i bwys ar un o'r colofnau ar lawr y capel. Yr oedd yno lïaws mawr wedi dyfod yn nghŷd, gan ddysgwyl am yr ymdriniaeth, a llawer yn dra phryderus yn nghylch y modd y terfynai yr achos. Ond, er syndod i bawb, ni soniwyd un gair gan neb am dano: ac aeth pawb oddiyno mewn ystyr yn siomedig, a chan ymofyn, pa beth oedd peth felly? Aeth y Gymdeithasfa ganlynol hefyd heibio, yr hon a gynhelid yn Sir Drefaldwyn, heb un cyfeiriad at y peth. Ond yn Nghymdeithasfa y Bala, y Mehefin canlynol (17, 18, 19), gwnaeth Mr. Elias ryw ymesgusodiad paham na ddygasid yr achos yn mlaen yn Ninbych, fel y pennodasid yn Nghaernarfon, a chynnygiodd, os oedd pawb yn teimlo fel efe, ar i'r peth derfynu fel yr oedd, heb un ymdriniaeth ychwanegol arno; yn gymmaint a'i fod ef yn awr yn clywed fod rhyw gam-ddealltwriaeth wedi bod, ac felly na wnai myned yn mhellach i'r achos ond creu teimladau annghysurus. Ar hyny, fe geisiodd Mr. Richard Jones ganddo ofyn i Mr. Roberts a fyddai hyny yn foddhäol iddo ef. Atebodd Mr. Roberts na byddai: y byddai yn well o lawer ganddo ef gael trin ei fater yn rheolaidd, a gwneuthur ymchwiliad manwl i'r hyn y dywedid ei fod yn euog o hono; fod cam-gyhuddiadau pwysig, yn gorphwys ar gam-dystiolaethau hollol, wedi eu dwyn yn ei erbyn ef, a hyny yn ei absennoldeb; ac nad oedd efe yn ystyried yn deg iddo ef orwedd dan y fath gyhuddiadau, ac i'r cyhuddwyr gael eu gadael yn ddigerydd. Ond, trwy ei berswadio, fe dawelodd o'r diwedd, ac felly y bu y terfyniad, y pryd hwnw, ar ei achos yntau. Siaradodd Mr. Elias, y pryd hwn, yn nerthol iawn yn erbyn y rhai oeddent yn wastadol yn drwg-dybio eu brodyr, ac yn gwneuthur "gŵr yn drosеddwr, o herwydd gair;" a dywedai fod o bwys mawr i bawb gofio am fod ar dir cadarn y gwirionedd, nid yn unig wrth siarad am athrawiaethau mawrion yr efengyl, ond hefyd wrth siarad am eu gilydd.

Cafwyd tawelwch, ar ol hyn, am rai blynyddoedd. Yr oedd y cyfeillion, yn Sir Fflint, oeddent yn tueddu at fod yn gyfyng, trwy fethu dwyn profion yn mlaen i gadarnhau y cyhuddiadau a ddygasid

yn erbyn Mr. Roberts, ar ol arwain Mr. Elias ac ereill i gredu fod ganddynt ddigonedd o honynt, wedi syrthio i fesur o gywilydd; ac yr oeddent yn teimlo mai y peth goreu iddynt hwy, rhagllaw, oedd bod ychydig yn fwy gochelgar a distaw, rhag iddynt golli yn gwbl ymddiried y rhai oeddent wedi bod, trwy y blynyddoedd, yn blaid iddynt. Ond yr oedd yr hen deimlad eiddigus a drwg-dybus yn parhau, ac yn ei ddangos ei hunan yn fynych, yn neillduol ar un adeg arbenig bob blwyddyn, sef, pan y byddai ymofyniad yn cael ei wneuthur yn nghylch y prïodoldeb o alw rhai o'r newydd, yn y Sir, at yr holl waith. Yr oedd yr ymryson oedd yn y Sir wedi peri nad oedd neb oddiyno wedi ei ordeinio, er y flwyddyn 1820, pan yr ordeiniasid yr hen frawd, Mr. John Jones o Dreffynnon. A phan y delai yr amser i gymmeryd hyny i sylw, hysbysid yn ddifloesgni, yn y Cyfarfod Misol, a chymerai rhyw rai arnynt eu hunain y gorchwyl o daenu yr un peth o Gapel i Gapel, —fod o bwys mawr i heddwch a phurdeb y Cyfundeb, peidio tynu neb yn mlaen, dan fwy o gyfrifoldeb, ac i gylch mwy o ddylanwad, ag y byddai unrhyw amheuaeth yn nghylch ei ffydd, neu y tybid ei fod yn gogwyddo dim at yr hyn a elwid, y "*Pwnc Newydd.*" Dyna y rheswm paham yr oedwyd, yn erbyn teimladau yr holl Dywysogaeth, ordeinio y diweddar Mr. Hughes o Liverpool (o Wrexham y pryd hyny), hyd y flwyddyn 1829, a Mr. Robert Roberts, hyd 1832. Nid ydym yn ammeu dim na byddai Mr. Roberts, ar achlysuron felly, yn myned yn fwy eithafol, o leiaf yn fwy cecrus, nag y buasai yn ddymunol, ac yn llefaru yn rhy erwin yn erbyn yr hyn a alwai efe yn "rhagrith" y rhai a broffesent eiddigedd mawr dros wirionedd yr efengyl, tra nad oeddent, yn ol ei feddwl ef, yn gofalu am nemawr ddim ond awdurdod. Wedi marw yr hen frodyr gonest a chydwybodol yno, y rhai, pa peth bynnag a ddywedir am eu syniadau Duwinyddol, nad oes dim ond y goreu i'w ddywedyd am eu cariad at yr efengyl, a chywirdeb dihoced eu hamcanion yn eu holl ymwneyd â'r achos mawr, y mae lle i ofni, i arweiniad y blaid, y perthynent hwy iddi, ddisgyn i ddwylaw rhai tra gwahanol, rhai yr oedd cael y llywodraeth yn fwy yn eu golwg na dim arall. I'r amcan hwnw, hwy a ymostyngent, weithiau, i wneuthur pethau isel a gwael iawn; ac eto gydâ gwedd, ac mewn tôn, mor grefyddol, ag i guddio yn gwbl o olwg llawer o rai gonest a diniwed, yr ysbryd oedd yn hollol amlwg i ereill, oeddent mewn cysylltiad agosach â hwy, ac yn eu hadnabod yn well.

Yr oedd rhagluniaeth ddwyfol hefyd, y pryd hwn, yn ymddangos fel yn pleidio y dynion hyn, yn y colledion mawrion a gafodd y Cyfundeb am lawer o'r gwŷr mwyaf cymmedrol o'n plith. Ar y chweched dydd ar hugain o fis Chwefror, 1833, fe fu farw Mr. Richard Jones o'r Wern; a'r flwyddyn ganlynol, fe fu farw Mr. Lloyd, Beaumaris, a Mr. John Roberts, Llangwm; a'r un flwyddyn, fe ddaeth y fath anmhariaeth ar feddwl Mr. Michael Roberts, ag i'w daflu, am weddill ei oes, oddieithr am ychydig fisoedd ar ei diwedd, allan o'r gwaith cyhoeddus yn gwbl; fel, erbyn hyn, nid yn unig yr oedd llywyddiaeth y Gymdeithasfa yn hollol yn nwylaw Mr. Elias, ond nid oedd nemawr neb yn ddigon mawr ei ddylanwad i sefyll i fynu yn effeithiol i'w wrthwynebu mewn dim. Ac nid oedd y rhai drwg-dybus o'u brodyr yn esgeuluso gwneuthur y defnydd goreu o hyny i'w hamcanion eu hunain, trwy wenwyno ei feddwl ef yn erbyn y rhai a dybid, o leiaf a ammheuid, ganddynt hwy oeddent yn gŵyro oddiwrth y gwirionedd Ac y mae yn ddrwg genym nad oedd yntau, bob amser, yn ddigon gwyliadwrus rhag rhoddi lle iddynt. Fe adnewyddwyd, yn awr, yr hen ammheuaeth am Mr. Roberts o'r Rhos, ac edrychid ar bawb a ystyrid yn gyfeillion iddo, neu a ddywedent ddim yn ei blaid, ar unwaith, megis rhai yn coleddu yr un syniadau ag yntau. Bu y cynhwrf a achlysurwyd gan draethawd Edward Roberts o Gilcen, ar "Wrthddrych Addoliad," yr hyn a derfynodd, fel y gwelsom (*tu dal.* 316), yn ei ddiarddeliad ef o'r Cyfundeb, yn Nghymdeithasfa y Wyddgrug, yn mis Mawrth, 1836, yn foddion i attal rhyw gymmaint ar ddylanwad y rhai drwg-dybus ac eiddigus hyny. Yr oedd rhai,—ac yn eu plith, rhai brodyr digon diniwed,—wedi eu llithio gan ysbryd plaid, yn tueddu i'w amddiffyn ef. Ond yr oedd y teimlad yn rhy gryf yn ei erbyn. Ac, yn enwedig, fe droes Mr. Elias ei hunan arnynt yn ofnadwy. Yn mhlith pethau ereill, fe ddywedodd,—"Nis gwn i ddim pa beth i'w feddwl o honoch yn Sir Fflint yma. Y mae yma ryw ysbryd, er ys blynyddoedd, nas gwn i ddim pa fodd i roddi cyfrif am dano, oddïeithr ei fod wedi dyfod oddiwrth yr un drwg ei hunan. Yr ydych yn gwthio eich gilydd i ryw eithafion, sydd, mi a obeithiaf, yn hollol ddieithr i Siroedd ereill, oddieithr fel y maent yn cael eu llygru gan rai o honoch chwi. Fe ddywedir fod rhai o honoch yn pregethu anallu dyn yn y fath fodd ag i esgusodi y pechadur yn gwbl; ïe, yn gwadu dyledswydd dyn i edifarhau a chredu; ac yn cyfyngu galwad

briodol a gwirioneddol yr efengyl i'r etholedigion yn unig; ac yn dadleu nad ydyw yn perthyn i'r byd yn gyffredinol a diwahaniaeth. Nid oes ryfedd fod syniadau mor anefengylaidd ac anysgrythyrol â'r rhai yna, yn gyru ereill i ryw eithafion yr ochr arall. Yr ydwyf yn gobeithio, ar ol heddyw, y byddwch yn cyd-ymdrech i rodio ar hyd canol y ffordd." Yr oedd y datganiad a wnaed gan Mr. Elias y pryd hwn, a'r hyn a glywsom ein hunain o'i enau laweroedd o weithiau, yn profi nad oedd un gwahaniaeth *ymarferol* rhyngddo ef â'r rhai ëangaf eu golygiadau o fewn y Cyfundeb; ac eto, oblegyd, dybygid, yr argyhoeddiad dwfn oedd yn ei feddwl ef, mai yn nghyfeiriad y golygiadau rhydd ac ëang, a gofleidid gan rai, yr oedd perygl ymadawiad, yn y Cyfundeb, oddiwrth yr hyn a olygai efe yn symledd gwirionedd yr efengyl, yn erbyn y golygiadau hyny y byddai efe, braidd bob amser, yn ymosod yn y Cymdeithasfäoedd. Ac, yn ol fel yr oedd efe yn edrych ar bethau, y mae yn ddiddadl fod rheswm am hyny. Yr oedd cryn nifer, erbyn hyn, yn yr amrywiol Siroedd, yn cymmeryd yr un olwg ar y gwirionedd â'r brodyr a ammheuid yn Sir Fflint, a rhai o honynt,—ac felly yn annibynol ar bob cyfeillgarwch â neb o honynt hwy,—yn syrthio eu hunain dan ammheuaeth. Yr oedd Mr. John Jones, yn enwedig, wedi dyfod felly, yn neillduol ar ol y bregeth yn Nghymdeithasfa y Bala yn y flwyddyn 1835, yr ydym eisoes (*tu dal.* 232—240) wedi cyfeirio yn helaeth ati. Yr oedd ei weinidogaeth ef, y pryd hyny, wedi dechreu cymmeryd cyfeiriad pendant yn erbyn y syniadau eithafol a chyfyng a goleddid gan rai ar Iawn Crist; a byddai yn gosod arbenigrwydd mawr ar ddigonolrwydd y ddarpariaeth trwy Iesu Grist ar gyfer pechaduriaid, fel y cyfryw, ac yn ddiwahaniaeth; ac yn gwasgu mewn modd neillduol at gydwybodau ei holl wrandawwyr, os colledig, yn y diwedd, a fyddent, mai arnynt hwy eu hunain yn unig y byddai y bai o hyny, ac y byddai y Duw mawr am byth yn lân oddiwrth eu gwaed. Dichon nad oedd y gwirionedd cyferbyniol yn cael digon o sylw ganddo, ac nad oedd ei wrandawwyr yn cael eu dwyn i deimlo mor fynych ag y buasai yn ddymunol, os cadwedig fyddent, y byddai y clod i gyd i rad ras. Y gwirionedd arall a ystyrid ganddo ef y gwirionedd arbenig, yr oedd angenrheidrwydd neillduol ei wasgu at feddyliau ei wrandawwyr ar y pryd. Ac, fel y sylwasom eisoes (*tu dal.* 240, 241), fe fyddai ei bregethau yn fynych, y pryd hyny, mewn gwedd ddadleugar, ac yn achosi felly gryn lawer o ddadleu yn

yr amrywiol gymmydogaethau yr ymwelai â hwynt; ac yn peri, yn meddyliau rhai, gryn wrthwynebiad iddo yntau. Nid oedd hyny ond peth i'w ddysgwyl, oddiwrth rai ag oeddent, ar hyd eu hoes wedi arfer meddwl yn wahanol. Yr oedd siarad mawr yn yr amrywiol gymmydogaethau, a berw mawr yn y Sir ynnghylch athrawiaeth, cyn bod gair o sôn am y ddadl mewn cyfarfod Misol.

Y cyntaf yr ymosodwyd arno yno, pwy bynnag a ammheuwyd gyntaf, oedd ein hen gyfaill, Mr. Griffith Hughes, Edern. Ac y mae yn deg i ni ddywedyd, mai efe, mewn gwirionedd, a ymladdodd frwydr y ffydd yn Sir Gaernarfon. Dechreuodd yr ymosodiad arno, mewn Cyfarfod Misol, yn Mhen-y-Caerau, yn mis Awst, 1834. Yr oedd Mr. John Jones yno, ac fe siaradodd yn dda o blaid Mr. Griffith Hughes: a rhoddwyd pob peth i lawr, wedi cael datganiad o'i Gyffes, a methu cael dim ynddi y gellid ei gondemnio. Ond yn Nghyfarfod Misol Ryd-y-clafrdŷ, y Tachwedd canlynol, daeth yn rhuthr eilwaith, heb fod neb yn ei ddysgwyl, na bod neb wedi parotoi dim ar ei gyfer. Y pwnc yno oedd *dyledswydd dyn*. Cyhuddai Mr. John Jones, Tremadoc, ryw rai, eu bod yn annog pechaduriaid at eu dyledswydd, fel pe gallent wneyd y cwbl heb eu haileni. Dywedai un arall, nad oedd rhai pregethwyr—"yn gwneyd un gwahaniaeth rhwng dyledswydd y byd, a'r eiddo yr eglwys; ond eu bod yn cymhell pob peth ar yr annuwiol, fel ar y duwiol." Gofynodd Mr. John Jones, Talsarn, "Pa beth ydym yn gymhell? Nid ydym ni yn cymhell dim ar yr annuwiol, ond yr hyn sydd yn orphwysedig arno, ac a gymhellir arno yn ngair yr Arglwydd; sef, edifarhau ar unwaith am ei bechodau; credu yn yr Arglwydd Iesu Grist; ymarfer â holl foddion gras; darllen gair Duw; gweddïo ar Dduw; cadw addoliad teuluaidd; a dwyn ei blant i fynu yn ofn yr Arglwydd." "Pa beth," meddai Mr. John Jones, Tremadoc, "a gymhellech chwi ddyn annuwiol i 'gadw dyledswydd'? Fe fyddai yn well genyf fi iddo beidio." "O," meddai Mr. John Jones, Talsarn, "ai felly yr ydych yn synio? Fe ganiatäech chwi i lygredigaeth a drwg ac annuwioldeb dyn ei ryddhau oddiwrth ei rwymedigaeth; ac felly, po gwaethaf y byddo dyn, lleiaf oll o ddyledswydd fydd arno." "Wel," meddai Mr. John Jones, Tremadoc, "beth pe gwelech chwi ddyn mewn trallod am ei gyflwr, a gymhellech chwi hwnw at ddyledswydd?" "Felly," meddai Mr. John Jones, Talsarn, "yr ydym yn cael i'r Apostol Paul wneyd. Fe ymofynodd rhyw ŵr, unwaith, âg ef,

mewn trallod mawr, 'Beth sydd raid i mi ei wneuthur fel y byddwyf cadwedig?' A'r hyn a wnaeth efe oedd ei gymhell yn y fan, ac fel yr oedd, at ddyledswydd;—'Cred yn yr Arglwydd Iesu Grist, a chadwedig fyddi.' Ac nid wyf yn meddwl y byddai perygl i ninau fethu llawer trwy wneyd yr un fath ag y gwnaeth yr Apostol Paul." Ac yna fe draethodd yn helaeth, ac yn oleu, ac yn rymus ar y pwnc, nes y gallesid tybied y buasai yn anmhosibl i neb beidio canfod y peth. Ond yr oedd yr hen frodyr yn methu gweled, er nad oedd ganddynt ddim i'w ddywedyd yn erbyn y sylwadau a wnaethid. Hysbyswyd, pa fodd bynnag, y byddai y Cyfarfod Misol am yr Ionawr canlynol yn Nghaernarfon, ac y ceid ymdriniaeth ychwangol ar y pwnc yno; a dysgwylid y byddai Mr. Elias yno i roddi goleuni a boddlonrwydd i bawb arno.

Fe gynnaliwyd y Cyfarfod yn Nghaernarfon, Ionawr 29, 30, 1835. Yn y cynulliad am wyth, y boreu olaf, fe roddwyd y mater i lawr, gan Mr. John Jones, Tremadoc. Yr oedd efe, chwareu têg iddo, yn ymddangos yn y Cyfarfod hwnw yn debycach i ymofynydd gonest am y gwirionedd nag i athraw wedi gwneuthur ei feddwl i fynu yn anffaeledig arno. Ond yr oedd rhai o'r hen frodyr ereill, Mr. Griffith Solomon yn enwedig, yn dadleu yn gryf iawn yn erbyn yr hyn a olygai ac a alwai efe yn "afresymoldeb," o annog creaduriaid oeddent "feirw mewn camweddau a phechodau" at unrhyw ddyledswydd. "Gadewch i ni, Mr. Elias," meddai Mr. John Jones, Tremadoc, "gael eich meddwl chwi ar y pwnc; dyna chwi wedi clywed Griffith Solomon." Cododd Mr. Elias i fynu, a rhoddodd eglurhad ysgrythyrol a thra galluog ar natur y farwolaeth y mae dynolryw dan bechod yn ei gafael; a dangosodd, yn oleu iawn, y seiliau sydd yn natur dyn, yn y berthynas rhwng dyn â Duw, ac yn hawl wreiddiol, naturiol, ddigyfnewid, a thragywyddol y Duw mawr ynddo, i'w rwymedigaeth i ufudd-dod iddo yn mhob datguddiad a rodder ganddo o'i ewyllys. Buasai yn dda genym pe buasai yr araeth hono wedi ei hysgrifenu a'i hargraffu fel y traddodwyd hi. Yr oeddem yn barnu, ar y pryd, ei bod yn un o'r darnau goreu a glywsem neu a ddarllenasem erioed. Ond, gydâ bod Mr. Elias wedi eistedd, ar ol yr eglurhâd rhagorol hwn, dyna Mr. Griffith Solomon i fynu eilwaith, ac fel pe buasai heb sylwi dim ar yr hyn a draethasid, fe ddywedodd, "Pa synwyr sydd mewn cymhell dyn at ddyledswydd, ac yntau heb ddim gallu ganddo i'w chyflawni? Pwy byth feddyliai am gymhell dyn dall i weled, neu ddyn byddar i glywed, neu

ddyn mud i siarad, neu ddyn marw i godi o'i fedd ac i fwyta a cherdded a gweithio? Y mae tystiolaethau y Bibl yn bendant am ddyn ei fod yn ddall, ac, nid yn unig yn dywyll, ond yn dywyllwch; yn fyddar, ac yn farw. Ac yn sicr nid oes dim gallu gan y marw. Ac yr wyf fi yn methu gweled fod dim sail i gymhell dyledswydd ar ddyn heb ddim gallu ganddo." Ar hyny, dyna Mr. Elias i fynu drachefn, ac mewn gradd o gyffro, fe ddywedodd,—"Pa beth sydd a wnelwyf fi â'i allu? Rhyngddo fo â'i allu. Hyd yn nod pe byddai ei anallu y fath ag y darluniwyd ef gan Griffith Solomon, fy nyledswydd i ydyw ei gymhell. Beth ydwy'n siarad? Nid myfi sydd yn ei gymhell. Duw sydd yn ei orchymyn: Ac yn ei orchymyn dan berygl dïoddef tân uffern byth, os anufuddhâ. Ond, mi dybygaf nad ydyw Griffith Solomon wedi rhoddi darluniad cywir o anallu dyn. Mi a geisiais ddangos i chwi eisoes, mor eglur ag y gallwn, mai nid anallu o'r un *natur* ag anallu y dall i weled, neu y byddar i glywed, neu y mudan i lefaru, neu y marw i fwyta a cherdded a gweithïo, ydyw anallu pechadur; ond anallu yn cyfodi oddiar lygredigaeth a drygioni ei galon ei hunan. Ac nid ydych, mi a obeithiaf, yn Sir Gaernarfon, byth yn meddwl gostwng hawliau Duw, i gyfarfod pechadurusrwydd a gelyniaeth dyn. Os ewch chwi i ddysgu y bobl felly, chwi a wnewch y wlad yn fuan yn un domen o Antinomiaeth." "Os na chawn ni," meddai Mr. John Jones, Talsarn, "gymhell rhai heb allu ganddynt at eu dyledswydd, pwy a gawn ni gymhell? Y dyn duwiol, o bawb yn y byd, sydd fwyaf ymwybodol o'i anallu; ac eto ni chewch chwi mo hono ef byth yn ei esgusodi ei hunan o'i oblegyd, ac yn gwadu ei rwymedigaeth. Yn hytrach, y mae yn ei gymmeryd yn gymhelliad i dynu mwy ar y cynnorthwyon dwyfol; i fyned at orseddfainc y gras yn amlach, a bod yno yn daerach, yn gweddïo am 'ras yn gymhorth cyfamserol.'" Aeth yr holl achos yn erbyn yr hen frodyr, ac yn mhlaid yr hyn y dadleuid drosto gan Mr. John Jones, Talsarn, yn Rhyd-y-clafrdŷ. Ac fe gydnabyddodd Mr. John Jones, Tremadoc, yn gyhoeddus, fod Mr. John Jones, Talsarn, yn deall y pwnc; ond awgrymai fod ganddo "*ryw gynffon*," ag yr oedd eisiau iddynt wylio, onidê y byddent hwy yn sicr o gael eu dal. "Yr ydwyf i yn gweled," meddai, "eich bod chwi yn caru ei gweled hi yn myned, fel y mae hi yma heddyw: ond peidiwch chwi a gorfoleddu eto am hyn, a gyru yn mlaen nes dyfod i'r rhwyd ryw dro eto." Yr oedd Mr. David Jones, yr hwn oedd y pryd hyny yn byw yn Nghaer

narfon, wedi gweled a chael ymddyddan â Mr. Elias cyn y Cyfarfod hwn, ac wedi rhoddi ar ddeall iddo pa fodd yr oedd pethau yn sefyll; ac y mae yn ddiammheuol fod hyny, gydâ'r eithafoedd yr aeth Mr. Griffith Solomon iddynt, wedi dylanwadu cryn lawer ar ei feddwl ef, er peri iddo gymmeryd y cyfeiriad a gymmerodd, a hyny mor benderfynol, yn yr ymdriniaeth y pryd hwn.

Bu llawer brwydr galed ar ol hyn, ar y naill bwnc neu y llall, yn Nghyfarfod Misol Sir Gaernarfon; ac yn erbyn Mr. Griffith Hughes yr ymosodid, braidd bob amser. Gallai ein hen gyfaill roddi hanes dyddorol, a lanwai gyfrol drwchus, am yr ymladdfëydd gwaedlyd y bu efe ynddynt, yn Mhen-y-caerau; yn Rhyd-y-clafrdŷ; yn Mwlan; yn y Rhyd-bach; yn Nghlynnog; yn Llanllyfni; ac mewn llëoedd ereill; pan ymosodid arno gan rai o'r hen frodyr, yn bregethwyr a blaenoriaid, oblegyd yr hyn a olygent hwy yn "ymadawiad oddiwrth y ffydd." Y mae yr hyn a nodwyd genym eisioes am Mr. Griffith Solomon, yn y Cyfarfod Misol, yn Nghaernarfon, yn dangos yr eithafion yr oedd rhai o'r hen frodyr wedi myned iddynt, yn eu hathrawiaeth. Gallwn nodi enghraifft arall, am yr un gŵr. Mewn Cyfarfod Misol yn Mwlan, plwyf Llandwrog, yn mis Gorphenaf, 1836, ymosodid ar Mr. Griffith Hughes fel un oedd yn gwadu y pechod gwreiddiol. Yn yr ymddyddan yno, dywedai Mr. Griffith Solomon,—"Yr oedd fy llaw i yn llaw Adda, yn cael ei hestyn at y ffrwyth gwaharddedig; a'm genau i yn ei fwyta, ac yn archwaethu ei flas." Yr oedd y dywediad yn ymddangos, ar y pryd, yn un rhy ynfyd i neb wneuthur un sylw cyhoeddus o hono. Ond dywedai Mr. David Jones, yn mhlith y cyfeillion, ar ol myned allan,—"Bobl anwyl, ni ddarfu i mi erioed feddwl fod Griffith Solomon mor hen, hyd heddyw." "Wele, beth ydyw ei oed o?" meddai rhyw un. "Ni wn i ddim: ond y mae o mor hen, beth bynnag â gardd Eden: oni ddywedodd o yn y Capel yna, yrŵan, ei fod o ynddi hi?" Gallwn nodi enghraifft arall o'r un eithafedd. Pan oedd yr ymdrech Dirwestol yn myned rhagddo yn ei rym, a'r hen blaid Uwch-Galvinaidd, gan mwyaf, yn gryf yn ei erbyn, fe ddarfu i flaenor o'r enw Richard Roberts, o Penygraig, Lleyn, ar gyhoedd, mewn un Cyfarfod Misol, gyhuddo Pregeth i Mr. Henry Rees ar Gymmedroldeb, a draddodasid ganddo yn Nghymdeithasfa y Wyddgrug, Mawrth 9, 1836, ac a gyhoeddasid ar annogaeth llawer o'r rhai a'i gwrandawsent,—o fod "yn un darn o Arminiaeth drwyddi i draw." Syniadau o'r nodwedd yna a gofleidid

gan y rhai a ymosodent yn benaf yn erbyn Mr. Griffith Hughes. Dichon nad oedd efe ei hunan, bob amser, mor ofalus ag y buasai dymunol am osgoi eithafion o'i du yntau; a'i fod, yn enwedig, yn methu ymwadu â'r hyfrydwch o bortrëadu gwrthuni Duwinyddiaeth ei wrthwynebwyr yn y fath fodd dirmygus, ag oedd yn peri i rai chwerthin am ei phen, ac, felly, yn peri i rai o honynt hwy dybied ei fod yn gwneyd gwawd o'r hyn a alwent hwy yn efengyl: ond y mae yn sicr ei fod yn annhraethol nes i symledd gwirionedd yr efengyl nag oeddent hwy; a bod nodwedd ei weinidogaeth, y pryd hwnw, megis ag y mae eto, yn hollol ymarferol, ac felly âg addasrwydd arbenig ynddi i gyfarfod amgylchiadau neillduol y rhai a annerchid ganddo.

Ond yr oedd y blynyddoedd hyn yn flynyddoedd tra phoenus i ni, fel Cyfundeb, yn enwedig yn y Cyfarfodydd Neillduol, yn ein Cymdeithasfäoedd. Yr oedd rhyw rai yn ceisio gwthio yn barhaus i feddwl Mr. Elias, Mr. John Hughes, Pont Robert, Mr. John Jones, Tremadoc, ac ereill, fod amryw, a'r nifer mwyaf, o'r pregethwyr ieuainc, yn gŵyro oddiwrth yr hen athrawiaeth, a bregethid gan eu tadau; ac yr oeddent hwythau yn rhoddi gormod o goel i'r fath chwedlau, a braidd yn mhob Cymdeithasfa, yn taflu allan awgrymiadau annghargarig gydâ golwg ar ryw rai o honynt, a'r rhai hyny, yn gyffredin, heb gymmaint â rhithyn o sail iddynt. Byddai Mr. Roberts o'r Rhos, a Mr. Humphreys o'r Dyffryn, yn fynych yn eu gwrthwynebu; ond yr oeddent hwy eu hunain yn rhai a ammheuid, ac, felly, nid oedd ond ychydig iawn o rym yn eu gwrthwynebiad hwy. O'r diwedd, fe deimlodd Mr. Roberts, Amlwch, fod yn llawn bryd gwneuthur rhywbeth tuag at attal yr ysbryd drwg-dybus, ac annghysurus, oedd yn ymdaenu trwy y Cyfundeb; ac ofnai fod amryw o awgrymiadau a sylwadau Mr. Elias, a'r hen frodyr ereill, o bryd i bryd, yn y Cymdeithasfäoedd, yn feithriniad a chefnogaeth iddo. Yr oedd ei barch ef i Mr. Elias yn annhraethol; ac yr oedd gan Mr. Elias ymddiried braidd diderfyn ynddo yntau. O ran hanfod eu golygiadau athrawiaethol, yr oeddent yn hollol yr un; ond fod Duwinyddiaeth Mr. Roberts yn fwy rhydd, a dilyffethair, ac yn llawer llai caeth i Gyfundraeth. Yr oedd Mr. Roberts hefyd yn llawer mwy arafaidd, a phwyllog, a gochelgar, na Mr. Elias; ac yn deall yn llawer gwell nag efe yr angenrheidrwydd, yn mhob Cymdeithas, am ganiatau rhyw gymmaint o wahaniaeth—a rhyddid i wahaniaeth—barn ac ymadrodd, yn mhlith ei haelodau, tuag at sicrhau undeb a nerth gwir-

ioneddol iddi. Gydâ'r syniadau hyn, ac oddiar yr ysbryd â'i llywodraethai, fe lwyddodd, amrywiol weithiau, i roddi cyfeiriad tra dedwydd i sylwadau, a allasent, heb ei gyfryngiad ef, derfynu yn dra gwahanol. Ni chawn yn awr nodi ond dwy enghraifft o hyny, am eu bod y rhai sydd yn fwyaf bywiog yn ein côf.

Mewn Cymdeithasfa yn Amlwch, Mehefin 20, 21, 1838, yr oedd y diweddar Mr. William Charles, Gwalchmai, a Mr. Richard Roberts, Llanerchymedd, yn cael ymddyddan â hwynt, yn ol y drefn gyffredin y pryd hyny, gydâ golwg ar eu derbyn yn aelodau o'r Gymdeithasfa. Yr oedd Mr. William Charles wedi syrthio dan ammheuaeth gan rai o'r hen frodyr, yn enwedig Mr. David Elias, ei fod yn gŵyro oddiwrth y gwirionedd; ac yr oeddent yn ymosod yn galed arno, er ceisio ei wasgu i adrodd ei gyffes yn eu geiriau cyfyng hwy. Yr oedd Mr. Roberts yno yn ddistaw, yn pallu dywedyd gair; ac, er ei gymhell unwaith ac eilwaith, yr oedd yn nacau cyfodi i ddywedyd dim; tra yn amlwg, yn ei agwedd, yn annghymeradwyo cyfeiriad yr ymddyddan. O'r diwedd, fe gododd; ac, wrth ei weled yn ysgogi at hyny,—"Mi a deimlwn," meddai Mr. William Charles, "fod fy ymwared yn nesau." Ac yna, yn ei ddull cyffröus ac effeithiol ei hunan, fe ddywedodd,—"Ni fydd dim yn fy *mhlesio* i yn fwy mewn pregethwr na'i weled o yn bur ddïofal uwch ben y Bibl. Nid dïofalwch ysgafnder ydwy'n feddwl, ond dïofalwch ffydd. Y mae ambell i bregethwr, fe feirniada awr uwchben y gair '*byd*'; y mae o bron colli ei wynt wrth ddywedyd '*pawb*'; fe 'amgylcha fôr a thir' rhag cyfarfod â '*phob dyn*'; ond am y Bibl, y mae o yn dyweyd '*byd*' mor groew â '*defaid*'; '*pawb*' yr un fath âg '*eglwys*'; '*pob dyn*' fel '*etholedigion*.' *Trustiwch* gryn lawer i'r Bibl, da chwi." Ac ar hyny fe eisteddodd i lawr. Yr oedd y sylw yn gwefreiddio y cyfarfod drwyddo; ac fe roddes gyfeiriad hollol wahanol i'r ymddyddan, oddiyno i'r diwedd.

Yr amgylchiad arall, y cyfeiriwn ato, ydoedd mewn Cymdeithasfa yn Mangor, Medi 11, 12, 1838, pan oeddid yn ymddyddan â Mr. John Owen, Tŷ'n Llwyn, yn awr o'r Caenewydd, ac â Mr. Robert Hughes, Uwchlaw'r ffynnon, i'w derbyn yn aelodau o'r Gymdeithasfa. Yr oedd y ddau frawd, yn enwedig Mr. John Owen, er mor hoff oedd o honynt, wedi syrthio dan gryn ammheuaeth, yn meddwl Mr. John Jones, Tremadoc, ynnghylch cywirdeb eu credo. Yr ydym, erbyn hyn, yn deall fod y ddau wedi bod, cyn hyny, dan arholiad o'i flaen ef yn

bersonol, a'i fod wedi methu eu cael i swnio ei Shibboleth ef; ac yr oedd, yn awr, wedi penderfynu mŷnu datganiad croew o'u ffydd, yn yr hen eiriau oeddent wedi eu hystrydebu ganddo ef. Mr. Cadwaladr Williams a alwyd i'w holi am eu hegwyddorion athrawiaethol. Pan y daeth at Etholedigaeth Gras, dywedodd Mr. John Jones, Tremadoc, y byddai yn well iddo aros gydâ'r pwnc hwnw. Dywedodd Mr. John Owen, ei fod ef yn credu yr athrawiaeth, megis gwirionedd dadguddiad, ond ei fod yn amheus iawn am dano ei hunan, a allasai efe ei bregethu yn y fath fodd ag a fyddai yn debyg o ateb amcan y dadguddiad hwnw. Yr oedd yn hawdd gweled, ar wyneb Mr. Roberts, fod y sylw yn ei foddhau ef yn fawr. Sylwai Mr. Elias, fod eisiau ffyddlondeb mawr ynom fel pregethwyr i "fynegi holl gynghor Duw;" ond, ar yr un pryd, fod eisiau doethineb mawr hefyd, rhag i ni, wrth ymyryd â'r pethau dirgel, eu cyfleu ger bron ein gwrandawwyr yn y fath fodd ag a fyddo yn tueddu i guddio "y pethau amlwg;" a chyfeiriai at sylw o eiddo John Newton, fod etholedigaeth i'w phregethu, nid wrthi ei hunan, ond ei bod i dreiddio trwy ein holl weinidogaeth, fel byddo ei dylanwad a'i blas ar y cwbl, megis ag y mae y *siwgr* yn melysu y *tea*. Ond yr oedd y sylw a wnaethid gan Mr. John Owen, naill ai yn rhy ddwfn, ac felly yn annealladwy i Mr. John Jones, Tremadoc, neu, ynte, yr oedd yn meddwl ei fod wedi ei amcanu i'w daflu ef oddiar y cyfeiriad a fwriedid ganddo, gydâ golwg ar gael datganiad croew o'i ffydd ef: pa fodd bynag, fe wnaeth araeth led faith, hŵy o lawer nag fyddai arferol iddo ef, ar y perygl i ni golli o'n pregethau y gwirioneddau neillduol ac arbenig oeddem wedi dderbyn oddiwrth ein tadau, ac a broffesid genym fel Cyfundeb, nes i ni fyned, ryw fodd o'r diwedd, nas gallai neb wybod beth a fyddem. Yr oedd y sylwadau yn dda iawn: ond yr oeddent yn dygwydd bod, oddiwrtho ef, ar y pryd, yn rhai tra anffodus, ac yn ymddangos braidd yn anngharedig. Yn gymmaint â'i fod ef yn byw nid yn nebpell oddiwrth y ddau frawd oeddent yn cael eu holi, ac felly yn hollol adnabyddus o honynt, yr oedd tuedd ynddynt i adael argraff ar feddyliau y lliaws oeddent yn bresennol, a chan amlaf yn ddieithriaid iddynt, mai rhai felly oeddent hwy. Dilynwyd ef, yn yr un cyfeiriad, gan Mr. David Elias; ac, yna, gan Mr. William Morris, Tŷ Ddewi. Yr oedd Mr. Roberts, y pryd hyn, yn ddistaw hollol, ond yn edrych yn dra anniddig. Ceisiasai y Cadeirydd ganddo ef siarad o flaen Mr. William Morris, ond fe

wrthodasai. Tra yr oedd Mr. Morris yn siarad, yn ddieithr hollol i'r amgylchiadau, ond yn tueddu ei hunan at syniadau lled uchel, ac, yn amlwg, fel un yn ofni fod rhyw ŵyrni yn yr ymgeiswyr, yr oedd Mr. Roberts yn ymddangos yn siomedig a phoenus iawn. Yr oeddem ni yn digwydd eistedd, ar y pryd, yn yr un sêdd â Mr. John Jones, Talsarn; ac meddai wrthym,—"Welwch chwi, Roberts, Amlwch, yn edrych mor anesmwyth. Ni a'i cawn hi allan yn ofnadwy ganddo yn fuan." Wedi i Mr. Morris ddarfod, fe gymhellwyd Mr. Roberts drachefn. A dyna fo yn codi. Ac yr oedd golwg ryfedd ar y Cyfarfod pan y cododd. Yr oedd nifer mawr wedi cyfodi ar eu traed, gan ddysgwyl, yn sicr, am rywbeth tra gwahanol i ddim a ddywedasid; a phawb fel yn teimlo y byddai tôn y Cyfarfod i'w ddiwedd, os nad tynged y ddau frawd oeddent ger bron, yn dibynu ar nodwedd a chyfeiriad ei sylwadau ef. Buasai yn dda iawn genym pe gallasem ddodi y sylwadau hyny ger bron ein darllenwyr, fel y traddodwyd hwynt ganddo ef. Ond y mae hyny yn anmhosibl i ni. Yr oedd eu sylwedd, pa fodd bynnag, yn rhywbeth i'r perwyl canlynol:—"Ar ol codi, nid ydwyf i yn gwybod yn iawn pa beth i'w ddyweyd, gydâ golwg ar gwestiwn fel hwn. Ac y mae o bwys mawr mewn lle fel hyn, na ddywedom ni yr un hanner gair a fyddo yn tueddu i anafu teimladau ein gilydd. Yr oeddwn i, o'm rhan i, yn hoffi yn fawr y sylw a wnaeth y gŵr ieuanc yma,—ei fod ef yn ammheus iawn am dano ei hunan a allai efe bregethu etholedigaeth gras, yn y fath fodd ag i ateb amcan y dadguddiad o honi. Yr oedd y sylw yn fy nharo i fel sylw dyn oedd wedi meddwl fod rhyw bwrpas i bregethu heblaw siarad. Ni wn i ddim a fyddwch chwi byth yn ddigon o bregethwyr i bregethu etholedigaeth. Ni wn i ddim pwy o honom sydd felly, os oes rhyw un. Ond, os ewch chwi byth i dreio, ceisiwch edrych arni i chwi eich hunain, a'i dangos i'ch gwrandawwyr, yn y cysylltiadau y cewch chwi hi ynddynt yn Llyfr Duw. Ac, yn enwedig, peidiwch â'i chadw hi draw yn nhragywyddoldeb; ni wnaiff hi ddaioni i neb byth yno. Dowch a hi i lawr y capel, i ganol y bobl; Hi a wnaiff achub yn y fan hono. Yn ei gwaith, yn unig, y gallwn ni ei deall, os medrwn ni ei deall hi o gwbl. Edrychwch ar y peiriant mawr, cywrain, â'i amrywiol olwynion, a phibellau, a bachau, a chadwynau; y naill yn y llall, ac yn gwau trwy eu gilydd. Y peiriannydd, yr *engineer*, sydd yn deall ei gyfansoddiad, ac a fedr ei esbonio megis y mae ynddo ei hun—ei wahanol

ranau, a pherthynas y gwahanol ranau â'u gilydd, i wneuthur un peiriant. Ond mi allaf fi ei weled yn gweithio: ac fe all dyn cyffredin, anllythyrenog, heb wybod dim am ddeddfau *Mechanics*, ac heb wybod yr enwau sydd gan yr *Engineer* ei hunan ar amrywiol ranau y peiriant, fe all hwnw ei ddefnyddio, a gweithio gydâg ef, i gyrhaedd yr amcan oedd mewn golwg wrth ei wneyd a'i osod i fynu. A chwithig iawn fyddai gweled y gweithwyr anwybodus, yn lle defnyddio y peiriant i'w amcan yn y gwaith, yn myned i ddadleu â'u gilydd ynghylch ei gyfansoddiad. Pan ewch chwi i bregethu etholedigaeth, pregethwch hi yn ei gwaith. Gwyliwch fyned yn hyfion i hylldremu a chwilio yn gywrain i weithrediadau rhanau tufewnol y peiriant; a gochelwch daflu profedigaeth o flaen eich gwrandawwyr i wneuthur yr un peth. Dangoswch werth ac ardderchawgrwydd y peiriant trwy ei ddangos yn gweithio. Dangoswch werth etholedigaeth gras, trwy ei dangos yn achub y rhai sydd yn methu eu hachub eu hunain. Dyna yr olwg a roddir arni yn y Bibl; a dyna, am a wn i, yr unig werth sydd ynddi i bechadur. Oni buasai hyny, ni ydwy' i ddim yn meddwl y buasai yr efengyl byth yn ei chydnabod yn perthyn dim iddi hi. Eithr, o'i deall yn iawn, y mae nid yn unig yn perthyn iddi, ond yn un o'r darnau melusaf o honi. Mae ei Fab o'r fath fri yn meddwl y Duw Mawr, fel na ddamnia efe neb a gaffo fo ynddo, heb ei gwestiyno unwaith byth, pa fodd y cafodd o i fewn iddo; ond y mae yn werth bywyd i ambell greadur dŵl, ac ystyfnig, a dinerth, fel fi, fod ganddo ddarpariaeth, o'i anfeidrol ras, sydd yn ateb i'm hamgylchiad inau; ac na wêl o byth ddim ynof a all droi yn siomedigaeth iddo; ei fod yn gwybod fy holl hanes, yn mhell cyn fy mod i yn gwybod dim o'm hanes fy hunan." Ac yna, fe eisteddodd i lawr.

Yr oedd effeithiau y sylwadau ar y cyfarfod yn hollol drydanol, ac annysgrifiadwy. Nid ydym prin yn cofio gweled dim cyffelyb erioed. "Dyna'r hen Amlwch," meddai Mr. John Jones, Talsarn, wrthym, "wedi tynu eu hadeilad nhw i lawr yn llwyr, a chadw'r pwnc yn gyfan hefyd." Yr oedd yr effeithiau mor syfrdanol, fel yr aeth peth amser heibio cyn i neb ddywedyd gair. Ond dyna Mr. John Jones, Tremadoc, i fynu, o hono ei hunan, gyd â golwg siomedig iawn arno, ac yn niniweidrwydd ei galon, yn dywedyd,—"Wel, dyma hi! Dyma yr holl gwbl a ddarfu i ni ddywedyd wedi cael ei dynu i lawr i gyd!! Fe gymmeran' nhw fantais eto ar hyn i ddyweyd mai nhw sydd yn iawn, a'n bod ni

wedi ei cholli hi yn dêg!!!" Yr oedd Mr. John Jones, Talsarn, yn awr yn chwerthin, fel un wedi colli pob meddiant arno ei hun. "Wel, ïe," meddai Mr. Elias, gan droi at Mr. John Jones, Tremadoc, a chan syrthio ar unwaith i feddwl Mr. Roberts, "Wel, ïe, John Jones, y mae yn rhaid i chwithau gofio, 'Y dirgeledigaethau sydd eiddo yr Arglwydd ein Duw, a'r pethau amlwg a roddwyd i ni, ac i'n plant hyd byth;' a'n pwnc ni ydyw, bod 'yn ddiwyd i wneuthur ein galwedigaeth a'n hetholedigaeth yn sicr.' Ac y mae yn rhaid i *ni* ddechreu yn ein '*galwedigaeth*.' Y mae Duw yn gallu dechreu—ac yn dechreu—yn yr '*etholedigaeth*;' ond y mae yn rhaid i ni ddechreu yn nes atom: a thrwy gydio yn yr hyn sydd yn ein hymyl, hwyrach y down ni yn raddol i allu ymaflyd yn yr hyn sydd yn awr o'n cyrhaedd. Dyna y drefn i'r Cristion ei hunan; a dyna'r modd y dylem deimlo gydâ golwg ar ein gwrandawwyr. Ein pwnc mawr ni ddylai fod, eu cael i gredu yn Mab Duw, am eu bywyd. Ac, yn anad pob peth, ni a ddylem wylio rhag troi yr unig beth ag sydd genym ni i'n calonogi yn ein hymdrech am hyny, yn achlysur digalondid i un pechadur i droi, fel y byddo, at Iesu Grist, ac i obeithio ynddo am iachawdwriaeth. Mae yn rhywbeth pur hynod fod rhai o'r gwahoddiadau tyneraf ac ëangaf o eiddo ein Gwaredwr mawr ar bechaduriaid, i'w cael mewn cysylltiad uniongyrchol â'r datganiadau mwyaf croew a phendant am y bwriadau dwyfol, mewn penarglwyddiaeth a gras, i gadw rhyw rai neillduol i fywyd tragywyddol. Mae hyny yn dangos nad oes un annghysondeb rhyngddynt â'u gilydd yn ei feddwl anfeidrol ef."—Terfynodd y cyfarfod, gydâg amryw sylwadau o'r fath, yn nodedig o lewyrchus a chysurus; a chyflwynwyd y brodyr yn siriol i'r Cyfarfod yn y prydnawn, i'w derbyn yn aelodau o'r Gymdeithasfa. Fel hyn yr oedd Mr. Roberts, braidd yn mhob Cymdeithasfa y byddai efe yn bresennol, yn dylanwadu er cadw pethau o fewn rhyw derfynau, ac felly yn llwyddo i attal llawer iawn o ddrygau.

Ond parhau yn dra anesmwyth yr oedd meddyliau llaweroedd. Yr oedd amryw o'r hen frodyr yn dra amheus o rai ieuangach; a rhai o'r rhai ieuainc, fe ddichon, yn rhy annoeth ac annochelgar, ac yn temtio rhai o'r hen frodyr i fyned i eithafoedd, nad aethent byth iddynt, pe buasent hwy yn fwy gwyliadwrus. Y mae yn dêg i ni hefyd ddywedyd, fod cyhoeddiad ysgrifau "Y Pregethwr a'r Gwrandawr," a'r Llythyrau cysylltiedig, yn y "*Drysorfa*," yn y blynyddoedd 1838, 1839, 1840, y rhai a fuant eisoes dan sylw genym (*tu dal.* 532—536), yn hytrach wedi

peri cynnydd ar yr anesmwythder oedd, ar y pryd, yn y wlad; a'u bod, gan rai, yn dra annghymmeradwy. Yr oeddent yn nodedig felly gan Mr. John Jones, Talsarn; a hyny, nid yn gymmaint oblegyd ei fod yn annghytuno â sylwedd yr hyn a ddysgid ynddynt, ag oblegyd ei fod yn ystyried yr ysgrifau yn hynod o anamserol, ac yn cymmeryd golwg rhy un-ochrog ar wirioneddau yr efengyl; ac nis gallai ymryddhau oddiwrth y meddwl nad oeddent, yn amgylchiadau Cymru ar y pryd, ac yn enwedig amgylchiadau y Cyfundeb Methodistaidd, yn tueddu at wneuthur llawer iawn mwy o niwed nag o les. Yr oedd efe hefyd, rywfodd, wedi ei arwain i gredu, oddiar ryw ymadroddion yma a thraw yn yr ysgrifau, fod yr awdwr yn fynych yn annelu yn uniongyrchol ato ef. Yn ganlynol, nis gallai ymattal, weithiau, rhag gwneyd ymosodiadau cyhoeddus arnynt o'r pulpud, a'r rhai hyny, bob amser, mewn iaith a thôn nodedig o wawdus." "Y mae rhyw '*Bregethwr*'" meddai unwaith, "yn y *Drysorfa* yna, yn ceisio rhoi yr holl wlad yn iawn ar wirioneddau yr efengyl; ac eto, yn y fath fodd ag sydd yn ymddangos i mi yn *gabledd* ar Iawn Crist, yn dywedyd, na ŵyr ê ddim 'pa fodd y mae dynion yn garcharorion gobeithiol.'" Y mae yn ammheus iawn genym ni a oedd yr awdwr yn amcanu cyfeirio yn uniongyrchol, mewn unrhyw sylw o'i eiddo, at ddim a glywsai gan Mr. John Jones: ond, fel y sylwasom eisoes am "*Y Pregethwr a'r Gwrandawr*," y mae yn rhaid addef mai un-ochrog, i raddau mawr, ydyw ei ymdriniaeth ef â'r pynciau sydd ganddo dan sylw; fel y mae yn rhaid addef hefyd, mai un-ochrog hollol oedd pregethau Mr. John Jones ei hunan, y blynyddoedd hyny, ar yr un pynciau; a phe amgen na buasent, mewn un modd, mor debyg i ateb un, o leiaf, o'r amcanion uniongyrchol oedd ganddo ef mewn golwg, yn y cyfansoddiad a'r traddodiad o honynt. Ond o Sir Fflint eto, megis cynt, yr oedd y rhan fwyaf o'r anesmwythder oedd yn y Siroedd yn codi. Yr oedd sefydliad y diweddar Mr. John Phillips, yn Nhreffynnon, a Mr. Roger Edwards, yn y Wyddgrug, a Mr. William Morris, oedd y pryd hyny yno, gyda'u doniau dysglaer a phoblogaidd, yn peryglu myned â'r awdurdod, i fesur mawr, o ddwylaw y rhai oeddent yn perthynu i'r blaid uchel a chyfyng; ac yr oeddent wedi dechreu ofni fod tymhor eu llywodraeth hwy yn agos ar ben. Ped arosasai y diweddar Mr. Hughes yn Ngwrexham, neu yn yr Adwy, hwyrach y cymmerasai y cyfnewidiad le heb ddim terfysg; ond fe symmudodd ê, yn y cyfamser,

i Liverpool: ac, felly, fe dybiodd yr hen deulu y gallent, gydâg ychydig o blaid oddi allan, sicrhau y gadair iddynt eu hunain, er holl ddylanwad y lleill. Ac y mae yn ddrwg genym ddywedyd, eu bod, er mwyn gwneuthur plaid iddynt eu hunain yn y Gymdeithasfa, yn taenu chwedlau ar led y gwledydd fod pethau yn ddrwg iawn yn eu plith hwy; fod y dynion newydd oeddent wedi dyfod yno, yn pleidio Mr. Roberts o'r Rhos, yn hollol yn ei hen gyfeiliornadau; a'i fod yntau yn myned yn waethwaeth; ac oni cheid rhyw ymwared yn fuan, o ryw le, y byddai dyddiau Methodistiaeth, fel y derbyniasid hi oddiwrth eu tadau, wedi darfod yn Sir Fflint. Dyna fel yr oedd pethau yn sefyll pan ysgrifenodd Mr. Elias y llythyr, y cyfeiriasom eisoes ato (*tu dal.* 260, 261), i'r Gymmanfa Gorphoredig, a gynnaliwyd yn Llanidloes, Gorphenaf 28, 29, 30, a'r 31, 1840. Tröed y darllenydd at y tudalenau, y cyfeiriasom atynt, ac fe gaiff weled ystyr y llythyr hwnw, a'r hyn a wnaed yn y canlyniad. Awgrymwyd yn Llanidloes, mai y peth goreu fyddai, cael cyfarfod yn Sir Fflint, cynnwysedig o frodyr dewisedig o holl Siroedd ereill Gogledd Cymru, a'r trefi cysylltiedig, i wneuthur ymchwiliad manwl i holl amgylchiadau yr annghydfod, gydâ llawn awdurdod i benderfynu, yn ol fel yr ymddangosai pethau iddynt hwy yn ngwyneb y tystiolaethau a ddygid yno ger eu bron. Wedi cymmeryd yr achos drachefn i ystyriaeth gan Gymdeithasfa y Gogledd, a gynnaliwyd yn Mhwllheli, Medi 9, 10, 11, 1840, fe benderfynwyd cytuno â'r awgrym a roddasid yn Llanidloes, i gael y fath Gyfarfod yn Sir Fflint; ac hefyd bod i'r Siroedd ddwyn enwau y rhai a ddewisent i weithredu fel dirprwywyr drostynt, yn yr ymchwiliad, i'r Gymdeithasfa ganlynol, yr hon oedd i'w chynnal yn Abergele, Ionawr 7, 8, 1841. Yn ol y penderfyniad hwnw, fe ddygwyd yr enwau i Abergele. Y brodyr a ddewisasid oeddent,—Mr. John Elias, a Mr. Cadwaladr Williams, dros Sir Fon; Mr. John Jones, Tremadoc, a Mr. John Jones, Talsarn, dros Sir Gaernarfon; Mr. Robert Griffith, Dolgellau, a Mr. Richard Humphreys, Dyffryn, dros Sir Feirionydd; Mr. Hugh Hughes, Llanrwst (wedi hyny, Abergele), a Mr. John Davies, y Groes, dros Sir Ddinbych; Mr. John Hughes, Pont Robert, a Mr. Foulk Evans, Machynlleth, dros Sir Drefaldwyn; a Mr. Henry Rees, dros Liverpool. Pennodwyd i'r Gynnadledd gael ei chynnal yn y Wyddgrug, mewn cysylltiad â Chyfarfod Misol Sir Fflint, Mawrth 9, 10, 11, 1841. Cytunwyd hefyd yn Abergele anfon at Mr.

Thomas Richard, Abergwaun, ac at Mr. William Morris, Ty Ddewi, i ddymuno arnynt ddyfod i'r Gynnadledd; gan yr ystyrid yn dra dymunol, er mwyn undeb a chydweithrediad, i frodyr dylanwadol o'r Deheudir gymmeryd rhan yn y fath ymchwiliad. Yn awr, dyma oedd testyn mawr yr holl siarad yn mhlith y Methodistiaid am wythnosau —y Cyfarfod oedd i fod yn y Wyddgrug, ac yr oedd dysgwyliadau pryderus o berthynas iddo. Yr oedd Mr. John Jones, Talsarn, yn teimlo yn nodedig felly, ac yn ofni yn fawr y byddai i'r hen deimladau eiddigus a drwg-dybus, oeddent wedi bod flynyddau lawer cyn hyny, yn mynwesau amryw o'r hen frodyr yn erbyn Mr. Robert Roberts, gael eu hadgyfodi, ac yr arweinid hwy, dan eu dylanwad, i'r fath eithafoedd, fel na chai y tegwch a ddylasai yn yr ymchwiliad. Yr ydoedd efe, gan hyny, yn hynod o awyddus am sicrhau presennoldeb Mr. Thomas Richard yn y Gynnadledd; yn hyderus, os ceid ef yno, na byddai y rhai a gyhuddid heb amddiffynwr ffyddlawn a dylanwadol iddynt. Gydâ golwg ar hyny, efe a anfonodd y llythyr canlynol at Mr. Richard. Buom mewn cryn betrusder yn nghylch y priodoldeb o gyhoeddi y llythyr, gan ei fod yn amlwg wedi ei ysgrifenu mewn graddau helaeth o deimlad, a bod ynddo rai cyfeiriadau llawer rhy bersonol, a rhai awgrymiadau, dybygem ni, cwbl ddisail; ond, ar y cwbl, nid ydym yn gweled y gallem wneyd tegwch â'r hanes, nac â Mr. John Jones ei hunan, trwy ei gadw oddiwrth ein darllenwyr. Dyma y llythyr :—

"ANWYL FRAWD A THAD YN YR ARGLWYDD,

Yr ydwyf yn cymmeryd yr hyfdra i'ch cyfarch yn ostyngedig, heb reswm digonol, fe allai, dros hyny, ond yn unig fy mod yn teimlo yn lled ddwys oddiwrth yr hyn a hysbysir yn y llinellau canlynol.

Y mae yn wybyddus i chwi fod penderfyniad wedi ei wneuthur, yn y Gymmanfa yn Llanidloes, i anfon ymwelwyr i'r amrywiol Siroedd, i wneuthur ymofyniad manwl i natur a seiliau yr achwyniadau a'r cyhuddiadau a ddygir yn erbyn rhai o'n Pregethwyr, a gwyddoch fod y Cyfarfod cyntaf i gael ei gynnal yn Sir Fflint, yn y Wyddgrug, ar y 9 a'r 10 o Mawrth, 1841. Penderfynwyd yn y Gymmanfa, yn Abergele, anfon y deisyfiad taeraf atoch chwi a Mr. William Morris, Tŷ Ddewi, i ddyfod i'n cynorthwyo.

Anwyl frawd, yr ydwyf yn dywedyd, yn ddiweniaeth, fod ein llygaid arnoch fel yr unig un a ddichon achub rhai o'ch brodyr o safn profedigaeth. Chwi a wyddoch am ein brawd Parchedig, Mr. Elias, ei fod yn dueddol i fyrbwylldra, ac i eithafion, gydâ braidd bob peth yr ymaflo ynddo; ac am * * * a * * * a * * * eu bod o farn hynod o gyfyng. Ceisiant bob amser dynu y Bibl i ddau gyfammod, y naill yn damnio rhan o ddynolryw, ac yn eu gadael yn anobeithiol; a'r llall, yn diogelu y rhan arall, cyn eu bod. Dan effeithiau y golygiadau hyn, y mae llawer o filoedd o'r Cymry yn pydru mewn Antinomiaeth. Gan fod y brodyr a enwyd mor gyfyng eu golygiadau, nid oes le i ddisgwyl y gweithredant, yn y fath achos, yn uniawn a diduedd.

Nid ydwyf yn deall fod gwahaniaeth barn, ar unrhyw bwnc o bwys, yn achosi yr ymryson diweddar yn Sir Fflint; ond dichon fod dau beth yn achos o hono:—(1). *Gwahaniaeth yn y dull o bregethu.* Rhai a haerant fod angenrheidrwydd mawr pregethu Etholedigaeth, Neillduolrwydd y Prynedigaeth, anallu dyn, y Cyfammod gweithredoedd, Cyfrifiad Pechod cyntaf Adda i'w hâd, &c. Mewn gair, y maent, er ys rhai blynyddoedd, yn pregethu mewn dull dadleuol, ymrysongar, ac nid pregethu mewn dull cyfaddas i argyhoeddi pechadur o'i berygl, a'i annog i ffoi rhag y llid a fydd. Os drygioni a thrueni dyn fydd dan sylw, nid dangos mai ar y dyn y mae yr holl fai fydd tuedd y bregeth, ond dangos *pa fodd y daeth* yn bechadur, ac, yna, at y Cyfammod Gweithredoedd. Os yr Iawn fydd pwnc y bregeth, nid ei ddangos yn noddfa bywyd i bechadur, a'i annog i ffoi ato, fydd tuedd y bregeth, ond Neillduolrwydd ei osodiad. Os Gwaith yr Ysbryd fydd y pwnc, nid annog i'w geisio, a chyfarwyddo i'w geisio, trwy y moddion y mae yn gweithio trwyddynt, fydd tuedd y bregeth, ond dangos mai ofer fydd *pob peth a wneir*, neu a geisir, hyd nes delo'r Ysbryd, &c., &c.

Yn awr, anwyl frawd, dan wylo yr ydwyf yn ei ysgrifenu, y mae lliaws o'n hen frodyr anwyl, yn y weinidogaeth, yn traddodi llawer o bregethau i'r diben o geisio ennill eu gwrandawwyr i gredu pethau nad oes cadwedigaeth yn gysylltiedig â'u credu; ac y mae mor amlwg i mi â bod haul yn y ffurfafen, nad ydynt yn effeithio yn ddaionus. Ond gallaf ddywedyd yn hŷf, o'r tu arall, a'i brofi trwy ffeithiau amlwg a lliosog, yn ein gwlad ni, fod pregethu ymarferol ac argyhoeddiadol ac annogaethol, wedi bod, dan fendith ac arddeliad yr Ysbryd

Glan, yn foddion i ddychwelyd llawer o gannoedd yn Sir Gaernarfon, y flwyddyn ddiweddaf. Tybir fod o 1800 i 2000 o nifer wedi eu hychwanegu at yr eglwysi, yn ein gwlad ni, y flwyddyn ddiweddaf; a chyfaddefir mai y moddion i hyny oedd, i'r weinidogaeth gael ei thro yn fwy ymarferol ac annogaethol, a llai o bregethu pynciol. Ond, y fath ydyw eiddigedd y rhai hyn dros bregethu eu golygiadau cyfyng, fel na fedrant gydnabod dychweliad y pechaduriaid hyn yn waith Ysbryd Duw; ond dywedant yn hyfion, yn y Cymmanfäoedd, eu bod yn ammheus am ei gywirdeb. Bydd fy nghlustiau yn merwino wrth glywed ymadroddion, yn y fath le, yn tueddu mor drwm at gablu gwaith Ysbryd Duw ar eneidiau pechaduriaid. Yn y Rhosllanerchrugog, fe fu ychwanegiad at yr eglwys o rai cannoedd y flwyddyn ddiweddaf. Ac y mae yn hollol wybyddus mai llafur ein brawd ffyddlawn, Mr. Robert Roberts, a fu yn foddion i ddwyn y Diwygiad hwnw yn mlaen: ei rybuddion a'i annogaethau, yn yr eglwys, i weddïo am Ddiwygiad, ynnghyd â chynnal Cyfarfodydd gweddïo, yn fynych, yn mhlith y brodyr a'r chwiorydd, wrthynt eu hunain, i weddïo am ymweliad yr Arglwydd. Yn raddol, daeth yr eglwys i wewyr dwys am y fath ymweliad; ac nid hir, wedi hyny, y bu raid iddynt aros am dano.

Nid ydym yn dewis pregethu yn ymarferol i'r diben o wrthwynebu ein brodyr, nac oddiar ysbryd ymryson, ond gallaf appelio at fy Marnwr mai oddiar angenrheidrwydd cydwybod yr ydwyf fi yn amcanu at hyny, ac oddiar weled ei fod yn effeithio yn dda. Ac y mae yn llawen genyf ddywedyd wrthych fod Sir Feirionydd, a Sir Gaernarfon, a Fflint, bron yn gyfan, wedi gweled hyn, oddieithr ychydig iawn o nifer sydd yn eithriaid i hyn. Gwnaeth ein tadau y fath ymosodiad yn erbyn Arminiaeth, yn y rhan Ogleddol o'r Dalaeth, fel yr arweiniwyd y cyffredin i eithafion niweidiol o'r tu arall. Y maent yn llawn o dybiau Antinomaidd; a'r rhai hyny yn effeithio mor ddinystriol arnynt ag y mae Mahometaniaeth ar yr Aiphtiaid. Yr hyn sydd yn fwyaf angenrheidiol, gan hyny, yn ol fy syniad i, gydâ'r fath agwedd meddwl a barn, ydyw eu curo allan o'u gau-noddfëydd, a diosg ymaith eu hesgusodion, a'u hannog, yn y modd taeraf, i gynnyg eu hunain i'r Gwaredwr.

(2.) Yr ail, a'r prif achos o'r annghydfod yn Sir Fflint, hyd y deallais i, ydyw, *fod pob un o'r ddwy blaid 'yn chwennych y blaen.'* Bum i yn y Sir hono yr wythnos ddiweddaf, ac, hyd y deallais, hyn yw

bywyd y gynen yno. Y mae . . . . . tad y dichellion, a'i blaid, yn ymdrechu â'i holl egni i gyrhaedd 'cadair Moses'; ond, am nad ydyw yn perchen dylanwad digon grymus ar y 'bodau deallawl,' nac 'yn tuedd-benu,' yn ddigon profedig, 'at lesoli y dynol deulu,' y mae rhyw un â'i broc dano yn ddidor; ac yna rhaid i . . . gicio, a gosod 'yr henuriaid sydd o amgylch ei orseddfainc' ar waith i 'foli yr hwn sydd arni.' Pe rhoddid y 'gadair' yn Sir Fflint ar dân, tybir y sefydlai hyny heddwch yno dros byth. Am y gorseddfeinciau y mae ymladd yn ein byd ni. Yn awr, at fy neges, fy neges bwysig hefyd. Nid oeddwn yn meddwl, trwy hyn o linellau afluniaidd, rhoddi nemawr o wybodaeth i chwi am y cweryl, ond yn unig hyny a ddywedais uchod. Ond yr unig beth o bwys ydyw eich cael chwi i'r Cyfarfod. Yr ydwyf yn deisyf, er mwyn Enw ac Achos yr Arglwydd, arnoch ddyfod i'n Cymhorth:—(1.) Y mae ysbryd pleidiol yn sicr o fod yn llenwi rhai o'r brodyr a anfonir o'r Siroedd, yn erbyn Mr. Robert Roberts, ac ereill o'r brodyr goreu yn Ngogledd Cymru; a byddant yn sicr o wneuthur a allant tuag at ei fwrw ef ymaith, ac ereill hefyd. A chan fod gan y brodyr hyny y fath ddylanwad, y mae perygl mawr iddynt ennill pleidlais y lliaws i'w ffafr hwy. Gan hyny, Anwyl frawd, rhoddwch gymhorth. (2.) Y mae yr ychydig frodyr sydd yn cael eu hystyried yn fwy diduedd dan anfantais fawr i weithredu oherwydd eu bod yn ieuengach o oedran, ac yn annghynefin âg ymddangos yn gyhoeddus yn y Cymmanfäoedd: ac, heblaw hyny, y mae rhai o honom dan y cyhuddiad ein hunain; yr hyn sydd yn cymmeryd ymaith ein nerth, ar unwaith, fel na allwn weithredu gydâ dim effeithioldeb. (3.) Byddai eich presennoldeb chwi yn sicr yn ddigonol, dan fendith yr Arglwydd i'n dwyn trwy 'r perygl yn ddiogel. Ac nid oes genym olwg ar na gobaith am neb, a ystyrid yn anmhleidiol, i sefyll yn ddiduedd dros wirionedd a chydwybod, oni ddewch atom. Yr ydwyf yn dywedyd hyn oddiar y teimladau mwyaf dwys, ac yn ddiragrith. Rhoddai eich presennoldeb chwi, Anwyl frawd, yr wyf yn credu, arswyd ar y gwrthwynebwyr, fel na feiddient, yn eich gŵydd, yr hyn a wnaent yn rhwydd, yn eich absennoldeb. Byddai eich presennoldeb, pe na ddywedech air, yn sicr o attal rhyw gymmaint ar Mr. Elias, fel ag i'w gadw mewn trefn. Mae genyf barch i'r brawd Mr. Morris: ond, gwn mai ymollwng a wna efe gydâ'r ffrwd: ac, os try y Cyfarfod o blaid y golygiadau cyfyng, bydd y canlyniadau yn sicr yn bwysig,

nid yn unig yn Sir Fflint, ond mewn Siroedd ereill hefyd. Gan hyny, ystyriwch ein cyfyngder. O! ystyriwch ein trallod, a rhoddwch help llaw, y waith hon, yn enwedig, anwyl frawd. Os byddai dim byth yn alluadwy i mi i'ch cysuro, neu eich boddloni, teimlwn fy hun dan fil o rwymau i wneuthur hyny, ar yr amnaid lleiaf, tra byddoch chwi a minau ar dir y rhai byw. Yr Arglwydd a'ch tueddo ac a'ch nertho i ddyfod. Byddai eich dyfodiad yn fendith annhraethol i'r achos mawr, sydd yn dioddef llawer o gam, trwy enllibiau anwireddus lliaws o Bregethwyr a Blaenoriaid, er ys blynyddoedd, y rhai sydd yn peri cynnen ac ymrysonau.

Nid oes ar y brodyr yn Sir Fflint, a gam-gyhuddir o gyfeiliornadau pwysig, ddim arswyd yr ymchwiliad manylaf, os caiff ei ddwyn yn mlaen mewn modd têg. Nid ydynt yn ammeu egwyddor ac uniondeb y brodyr sydd wedi eu pennodi at hyny: ond y cwbl sydd yn cael ei ofni ydyw, y bydd rhai o'r hen frodyr, trwy fod wedi derbyn chwedlau trwy 'r blynyddoedd diweddaf, yn llawn rhagfarn, ac mor uchelfrydig a phrysur, fel na fynant wrandaw ar y ddau tu, yn ddiduedd; a thrwy hyny y byddant yn cymmeryd eu camarwain.

Pe dynoethid ymddygiadau dichellgar ac annghyfiawn y blaid gyfyng, byddai yn anhawdd, tybygaf, iddynt gyfodi eu gwynebau ger bron y cyffredin; a diau nad oes yn bosibl iddynt lwyddo yn hir, ar y fath lwybr gwael, ac mor annheilwng o efengyl Crist. Tebygaf y byddai ymosodiad egnïol a chadarn yn erbyn enllibiau, a chyhuddiadau disail, yn feddyginiaeth ddigonol dan fendith Duw i'r holl ddrwg. Nid oes un Gymmanfa Chwarterol wedi bod, yn y Gogledd, er ys llawer o flynyddoedd, nad oes ynddynt y cyhuddiadau mwyaf pwysig yn cael eu cyhoeddi yn erbyn pregethwyr, ac byth yn cael eu profi; ac, yn wir, nas gellir byth eu profi, nac yn y byd hwn, nac yn y byd a ddaw. Galwyd rhai o'r brodyr, yn Nghymmanfa Dolgelleu, yn seirph gwenwynig; a dywedai Elias eu bod yn bresennol yn y Cyfarfod. Dywedwyd fod rhai yn gwadu y Pechod gwreiddiol, a Gwaith yr Ysbryd. Pa beth ellid ddysgwyl, yn ffrwyth y fath iaith, ond llon'd pob calon o ddrwg-dybiau am Bregethwyr? ac, oddiar hyny, y taenir y siarad a'r clebran chwedlau disail trwy yr holl wlad. * * *

* * * * * * * *

* * * * * * * * *

Anwyl frawd, nid ydwyf yn dyweyd newydd i chwi. Gobeithiaf y

cawn eich cymhorth caredig yn yr amgylchiad pwysig hwn. Deallaf fod Mr. Elias wedi anfon ei ddymuniad atoch i ddyfod i'n Cymhorth. Da iawn fyddai genyf, os gwelwch yn dda, gael llinell oddiwrthych. Cofiwch fi yn garedig at Mrs. Richard. Tybiwn i yr enfyn cyfeillion Sir Fflint awyren i'ch cyrchu, cyn y byddant heb eich cael. Yr Arglwydd a'ch amddiffyno, ac a rwyddhäo eich ffordd atom. Eich gwael, ond diffuant frawd, John Jones, Talysarn, Llanllyfni, Caernarvonshire."

Ionawr 13, 1841."

Y mae yn hawdd canfod, oddiwrth y llythyr uchod, fod yr awdwr, ar y pryd, mewn teimladau gofidus a phryderus iawn. Mae yn dra thebygol, nad oedd ei ymweliad yr wythnos flaenorol, â Sir Fflint, y crybwylla am dano yn y llythyr, wedi cael yr effaith fwyaf dymunol ar ei feddwl; ond fod rhyw chwedlau, a adroddesid iddo yno, wedi cythryblu cymmaint arno, nes ei wneuthur yn hynod o ofnus, yn fwy felly nag o'r blaen, gyda golwg ar y Cyfarfod pwysig oedd, bellach, yn mhen tua deu-fis, i gael ei gynnal. Nid oes genym ond braslun anmherffaith ac anorphenol, heb yr un dyddiad wrtho,—wedi ei ysgrifenu ar gefn y llythyr uchod,—o'r Atebiad a anfonwyd iddo gan Mr. Richard. Ond, megis ag y mae, yr ydym yn ei gyflwyno ger bron ein darllenwyr.

"Anwyl frawd, derbyniais eich pwysig a'ch difrifol Ddeisyfiad. Ar ol i mi ei ddarllen, a'i ystyried, gwelais yn ei gynnwysiad gŵyn trwm, —llais calon ofidus, a meddwl llwythog. Nid wyf yn cofio, yn bresennol, i un ysgrifen o'r fath erioed, gael y fath effaith ar fy meddwl. A hyny a barodd i mi ei ddarllen drosodd a throsodd, amryw weithiau, nes yr oeddwn yn teimlo fy hun yn debyg i aderyn mewn cawell (*cage*), am fyned allan, am ehedeg, yn curo ei hun yn erbyn y gwiail haiarn sydd o'i amgylch, ond yn methu. Y mae yn ddrwg iawn genyf, ïe, y mae fy nghalon yn boenus, fy mod yn gorfod, o angenrheidrwydd anhebgor, rhoddi yr Atebiad sydd genyf. Y gwir yw, fy mod yn gwbl analluog, yn mhob ystyr, i'r fath daith faith, ar y fath dymhor ar y flwyddyn, ac at y fath waith pwysig. Oddiar pan welais i chwi, bum, o ran fy iechyd, mewn gwaeledd mawr. Ychydig iawn a allais i fyn'd allan o'r tŷ, wedi ein Cymmanfa, trwy yr holl auaf; a phob tro yr wyf yn myned, yr wyf yn gorfod dioddef llawer yn y canlyniad, oddi-

wrth gaethiwed mawr yn yr anadl, a phoenau annhraethol yn fy mhen, nes meddwl yn fynych yn y dydd, a phob dydd, y byddai raid i'r boen a fyddwn yn deimlo roddi terfyn ar fy einioes. A phe parhâi, mi dybiwn, ond am chwarter munud yn hwy, felly fyddai. A hyn sydd effaith anwyd a fyddaf yn ei gael bob tro yr elwyf allan o'r tŷ. Y mae fy natur wedi ei llethu. Anturio i'r fath daith, yn wyneb y fath amgylchiad a fyddai yn ddiau ynof yn rhyfyg. Hefyd y mae y Gadair (*Gig*) sydd genyf yn rhy wael i ddal y fath daith,—yn hen, gwan, a breuol. Ped anturiwn gydá'r fath glud byddwn yn debyg o gael fy ngollwng i'r llawr heb allu myned yn ôl nac yn mlaen. Hefyd, y mae'r gwaith a fwriedir i'r cyfarfod hwnw y fath, fel y mae arnaf ofn, pe gallwn fyned, y gwnawn fwy o ddrwg nag a allwn wneyd o ddim daioni. Yr wyf yn llawer gwanach fy ngewynau, yn fwy *nervous*, oddiar y clefyd y bum yn agos i Angeu ynddo, er ys dwy flynedd yn ol, fel y mae pob peth o natur derfysglyd yn aethus i'm meddwl, ac yn fy ngwneyd yn boenus iawn. Gydâ fy mod yn ofni i'm cnawdolrwydd, a'm diffyg gwybodaeth mewn pethau ysbrydol, wneyd niwed a thramgwydd yn y gwaith. Yn wyneb yr holl bethau hyn, sydd yn wir ansawdd fy meddyliau, yr wyf yn teimlo eich ocheneidiau gruddfanus, eich meddwl dolurus, eich amgylchiadau poenus, eich ymroddiad, a'ch addewidion a'ch cynnygiadau hynaws, yn fy ngorchfygu ac yn 'fy llethu, fel y llethir mèn lawn o ysgubau.' Oh! pa beth a wnaf i gŵyn fy anwyl frawd? Nid oes ond anmhosiblrwydd a all fy lluddias. Cymmerwn gysur, ni chaiff dim fod yn eisiau i'r hyn sydd oreu er pob diffyg ynom ni; a'r hyn nas gallwn ei wneyd un ffordd arall, ni a ddylem ei wneyd trwy weddi. Byddai yn dda iawn genyf glywed, mewn atebiad buan, a oes rhyw rai o Siroedd y Deheudir i fod yn y Cyfarfod heblaw y rhai a ofynir o Sir Benfro? A pwy sydd i fod o Siroedd y Gogledd? A fuoch chwi eich hun yn Nghymmanfa Abergele? A phwy oedd yno, a threfn y gwaith? A ydych chwi eich hun yn meddwl myned i'r Wyddgrug? A ydyw Mr. Richard Humphreys o'r Dyffryn i fod yno? Mi dybygwn, os na bydd neb o'r Deheudir yno, os bydd rhywbeth yn tueddu i fyned ar ryw derfyn annymunol, y byddai yn gyson â'r undeb sydd yn Nghyfansoddiad ein Corph ni, gohirio y penderfyniad hwnw hyd *Association* y Bala neu Langeitho, gan obeithio na bydd dim anfoddlonrwydd i hyny. Byddwch ofalus na hysbysoch y peth olaf hwn i neb fel oddiwrthyf fi, canys fe

wnaiff hyny gyffröad; eto ni bydd un anaddasrwydd, yn ol fel yr wyf fi yn meddwl, iddo gael ei nodi gan rai o honoch chwi, os rhaid hyny yno."—Can belled â hyn y mae y braslun hwn o atebiad Mr. Richard yn cyrhaedd.

*Y* mae yn hawdd gweled, oddiwrth y llythyrau hyn, y pryder a deimlid gydâ golwg ar y Cyfarfod pwysig oedd i'w gynnal yn y Wyddgrug. Yr amser i'w gynnal, pa fodd bynnag, o'r diwedd, a ddaeth, sef, ar y dyddiau Mawrth a Mercher ac Iau, Mawrth 9, 10, ac 11, 1841. Yr oedd Mr. Elias yn hollol analluog i fod yn bresennol, wedi ei gymmeryd yn glaf o'r afiechyd y bu farw o hono. Pennodwyd Mr. Roberts, Amlwch, gan Gyfarfod Misol Môn, i fyned yn ei le; ond efe a omeddodd fyned. Nis gallasai Mr. Hugh Hughes, Llanrwst, ychwaith fyned; ond fe aeth Mr. Moses Parry o Ddinbych, yn ei le ef. Ac nid oedd yr un o'r ddau frawd o'r Deheudir, a enwasid, yn bresennol. Dewiswyd Mr. Cadwaladr Williams, yn Llywydd y Gynnadledd. Nid ydym yn teimlo angenrheidrwydd arnom, nac yn barnu y byddai yn ddoeth i ni, fyned i mewn i gynnifer o'r manylion ag sydd wybyddus i ni, nac, hyd yn nod i enwi y cyhuddwyr na'r rhai a gyhuddid ganddynt. Ond fe gynnaliwyd amryw gyfarfodydd: ac fe gafodd pawb bob mantais i ddwyn yn mlaen ac i brofi, pob cyhuddiad oedd ganddynt yn erbyn y brodyr yr oedd y fath chwedlau wedi eu taenu yn eu cylch, ac oeddent, o'u herwydd, wedi cael eu drwg-dybio trwy'r blynyddoedd. Eithr erbyn eu chwilio, ni chafwyd cymmaint ag un o honynt yn sefyll. Yr oedd pob cyhuddiad, erbyn edrych ychydig arno, yn ngwyneb y tystiolaethau a ddygid yn mlaen i'w brofi, yn troi yn rhywbeth tra gwahanol. Ac nid yn unig hyny, ond fe droes y rhai a gyhuddid y byrddau yn gwbl ar y rhai a'u cyhuddent; ac a ddygasant brofion pendant, yn y fan a'r lle, o'u bod yn euog o enllibiau hollol, ac anwireddau amlwg a chwbl ddiesgus; yn gymmaint felly, fel yr oedd eu pleidwyr gwresocaf yn cywilyddio o'u plegyd. Ac y mae yn dêg i ni ddywedyd, mai mawrfrydigrwydd y brodyr a gamliwiasid i'r fath raddau ac am gyhyd o amser, heb hoffi taro yn drymach, a gweithio eu buddugoliaeth i ddysgyblaeth ar frodyr oeddent eisoes wedi syrthio mor isel, yn unig a'u cadwodd rhag hyny. A dichon mai tosturi y buasai yn well iddynt hebddo oedd hwnw. Hwyrach, pe buasai y Gynnadledd yn gweinyddu, ar y pryd, y cerydd a haeddasai rhai wedi eu profi yn euog o'r fath gam-gyhuddiadau, y buasai hyny yn cael ei

fendithio er attal rhyw bethau blinion iawn a gymmerasant le ar ol hyny. Pa fodd bynnag, fe aeth yr achos mor amlwg a phenderfynol yn eu herbyn yn y Wyddgrug, nes synu pawb, a siomi yn hollol yr hen frodyr diniwed oeddent wedi myned yno, heb ddysgwyl dim amgen nag y byddai raid iddynt fwrw un o leiaf allan o'r Cyfundeb, a gweinyddu rhyw gymmaint o gerydd ar ddau neu dri ereill. Yn annichellrwydd ei galon, fe ddywedodd Mr. John Jones, Tremadoc, yn gyhoeddus, yn niwedd un o'r Cyfarfodydd, fel yr adroddwyd genym eisoes (*tu dal.* 118), —"Dyma hi: yr wyf fi wedi cael fy siomi; y mae fy nghyfeillion wedi fy nhwyllo i yn gwbl; y rhai oeddwn i yn dybied oreu ydyw y mwyaf beius o ddigon; a'r rhai, yn wir, oeddwn i yn gredu oedd waethaf sydd wedi troi allan yn oreu o ddigon. Y rhai yr oeddwn i yn ofni eu gweled i lawr, dyma nhw wedi dyfod i fynu; a'r rhai yr oeddwn i yn disgwyl eu cael i fynu, dyma nhw wedi myned i lawr." Arddangosid gan Mr. Henry Rees, yn y Cyfarfod hwn, nid yn unig raddau helaeth o'r cywirdeb dihoced oedd mor amlwg yn hynodi ei holl gymeriad, ond mesur annghyffredin o'r doethineb Cristionogol, angenrheidiol er cymhwyso un i ymdrin âg achosion mor ddyrys a phoenus a'r rhai oeddent yn awr ger eu bron. Yr oedd efe, bob amser, yn adnabyddus fel un yn cyd-fyned â Mr. Elias, ac â'r hen frodyr ereill, yn eu golygiadau ar wirioneddau yr efengyl, ac yn eu pryder oblegyd y gogwydd, dybygent hwy, a ganfyddent mewn amryw i ŵyro oddiwrthynt. Yr oedd y blaid gyfyng, gan hyny, yn dysgwyl y caent ynddo ef amddiffynwr ffyddlawn, ac nid oedd y lleill yn gwbl ddiofn na byddai iddynt yn wrthwynebwr galluog. Ond efe a siomodd yn hollol y naill a'r llall. Ymryddhäodd yn gwbl oddiwrth bob teimlad pleidiol, gan chwilio i mewn yn ofalus a manwl a gonest, i seiliau pob achwyniad a ddygid yn mlaen yn erbyn y naill fel y llall, heb adwaen gwyneb neb, nac ymddangos yn meddwl am ddim ond cael allan y gwirionedd, yn yr ymchwiliad a ymddiriedasid iddynt. A'r canlyniad fu, iddo gael agoryd ei lygaid i weled yn amlwg, mai nid yr amcan goreu oedd yn cynhyrfu y rhai yr oedd efe wedi arfer edrych arnynt megis ar yr un ochr i'r gwirionedd ag ef ei hunan, yn y cyhuddiadau a ddygid ganddynt yn erbyn eu brodyr; a thra yr oedd yn parhau i dybied nad oedd y rhai oeddent ar yr ochr arall, yn rhoddi cymmaint o arbenigrwydd ag a ddylasent ar rai gwirioneddau a olygai efe yn hanfodol i'r efengyl, fe'i hargyhoeddwyd yn gwbl eu bod yn ddynion llawer mwy

cywir a didwyll a diddichell eu hegwyddorion, a llawer mwy efengylaidd a boneddigaidd eu hysbryd, na'r rhai a'u cyhuddent. Ac nid peth bychan i Fethodistiaeth Gogledd Cymru, o hyny hyd yn hyn, oedd rhoddi argyhoeddiad felly yn meddwl Mr. Rees. Ond fe fu canlyniadau da, yn mhob ystyr, i'r ymchwiliad a wnaed y pryd hwn. Fe dawelwyd pob cynhwrf a dadleuaeth, ar unwaith, yn Sir Fflint; ac, yn raddol, fe adferwyd y teimladau goreu rhwng yr holl frodyr yno, fel, gydâ'r eithriad o ryw ymryson llëol yn Rhosllanerchrugog, nad oes angenrheidrwydd am i ni gyfeirio yn fanylach ato, y mae wedi bod yn heddwch perffaith yno, o ran pob peth athrawiaethol, o hyny hyd yn hyn. Ac nid yn unig hyny, ond fe roddes y Cyfarfod hefyd dawelwch, er gydà mesur o siomedigaeth, i feddyliau y cyfeillion hyny, yn yr amrywiol Siroedd, oeddent yn cydymdeimlo â'r blaid gyfyng yn Sir Fflint. Yr oedd Mr. Elias ei hunan yn dawel hollol. Yr oedd presennoldeb Mr. Rees yn y Cyfarfod, a'r rhan arbenig a gymmerasid ganddo ef ynddo, a'r sicrhâd a gawsai oddiwrtho ef, nad oedd cymmaint âg un o'r cyhuddiadau a ddygasid yn erbyn y brodyr y cwynid o'u herwydd, yn gorphwys ar ddim tebyg i brawf, ond yn hytrach yn tarddu o anngharîad a chenfigen gydà rhyw awydd cnawdol am y flaenoriaeth, yn ymwared mawr i'w feddwl ef, yn ei gystudd, ac yn peri iddo deimlo yn ddiolchgar, fod yr ymchwiliad wedi ei wneuthur. Aeth Mr. John Jones, Talsarn, yn mhen ychydig wythnosau ar ol hyny, i ymweled âg ef, yn ei afiechyd. Yr oedd yn wael iawn y pryd hyny. Ond yr oedd yn llawen iawn o'i weled; a sicrhäodd iddo, mor dda ganddo oedd clywed am derfyniad yr ymchwiliad yn y Wyddgrug, gydà dymuniad diffuant ei galon, y cedwid y Cyfundeb, hyd byth, yn ffyddlawn i wirionedd yr efengyl.

Y diwrnod pruddaidd o'r diwedd a ddaeth, Mehefin 8, 1841, pan y bu JOHN ELIAS farw! Yr oedd hyny o fewn wythnos i adeg Cymdeithasfa y Bala. Fe'i claddwyd ar ddydd Mawrth, Mehefin 15, diwrnod Cyfeisteddfodydd y Gymdeithasfa. Yr oedd ei farwolaeth wedi toi y Gymdeithasfa hono â thristwch. Yr oedd pawb yn teimlo, a phawb yn *cyd-deimlo*. Mae yn wir ei fod, yn ei flynyddoedd diweddaf, oblegyd gwrando ar ryw chwedlau gwael, ac yn fynych hollol ddisail, am rai pregethwyr, a'i waith, yn yr hyn a olygai efe yn onestrwydd, yn dwyn y cwynion hyny yn mlaen yn y Cymdeithasfäoedd, mewn rhyw wedd gyffredinol ac anmhennodol, yn erbyn pawb, neu y nifer mwyaf o

honynt, wedi myned yn boenus i, ac yn annghymmeradwy gan lawer. Ond, wedi ei golli, yr oedd ei holl wendidau yn cael eu hannghofio, yn yr adgof am y *rhagoriaethau arbenig, a digyffelyb, oeddent yn eiddo iddo.* Ac yr oedd y rhai y buasai drymaf arnynt, erbyn hyn, yn cofio fod ei holl golliadau ef yn cael eu cyfyngu i'w frodyr, yn nghynnadleddau y Gymdeithasfa; ac, er cymmaint a allai y gwahaniaeth rhyngddynt ymddangos yno, nad oedd un gradd o wahaniaeth ymarferol rhyngddo ef â hwythau, yn y cyflwyniad o'r efengyl ger bron y byd; ac na bu pregethwr erioed â mwy o duedd yn ei weinidogaeth, i adael argyhoeddiad yn meddyliau ei wrandawyr, os colledig fyddent, y byddent yn hyny yn hollol ddiesgus, ac mai arnynt hwy eu hunain y byddai yr holl fai yn y diwedd ac nid ar neb arall. Yr un pryd, yr oedd efe yn nerth dirfawr i'r blaid gyfyng oedd yn y Cyfundeb; yn gymmaint â bod y lliaws yn edrych arno braidd megis oracl. Nid annaturiol, gan hyny, oedd i'r blaid arall dybied, fod ei angeu ef yn tueddu at wanhau llawer ar ddylanwad y blaid hono, ac i gryfhau, yn gyfatebol, eu plaid hwy. Yr oedd y lleill drachefn yn ofni rhag, wedi ei golli ef, i ni syrthio ymaith fel Cyfundeb oddiwrth athrawiaeth iachus, yn gystal ag am barhâd ein hundeb gydâ'n gilydd, megis un Corph Crefyddol. Ar y dydd Iau a Gwener, Mehefin 24, 25, yr wythnos ar ol Cymdeithasfa y Bala, yr oedd Cymdeithasfa flynyddol Môn, yn cael ei chynnal yn Amlwch. Ac, oddiwrth y dyfynion canlynol o lythyr, a dderbyniasom oddiwrth ein hen gyfaill, y Parch. Robert Ellis, Llanddeiniolen, fe all y darllenydd gael rhyw ddrychfeddwl am yr amgylchiadau peryglus, yr oeddem, ar y pryd, fel Cyfundeb ynddynt:—

"Ysgoldy, Ionawr 3, 1872.

* * * * * * * *

"O berthynas i'r amgylchiad yn Nghymdeithasfa Amlwch, yn y "flwyddyn 1841, yr wyf wedi methu, er pob ymgais, a galw dim "pendant iawn i gôf, heb law ei bod y gyntaf, yn Môn, ar ol marw "Mr. Elias . . . . . Nid wyf yn cofio er ys pa faint o amser, "cyn hyny, y buasai farw Elias; ond yr wyf yn cofio yn dda, mai "*anwyl Mr. Elias* oedd ei chyfarfodydd neillduol. Yr wyf yn cofio "hefyd fod yr hîn, y diwrnod pregethu, yn wlawog iawn, a hyny yn "nghanol hîn hyfryd. Yn y capel y bu raid pregethu. Yr oedd Mr. "Rees, a John Jones, a John Phillips, yn cymmeryd rhan yn y gwaith "cyhoeddus. Yr oedd Phillips, ar y pryd, yn aros yn Nhreffynnon.

"Yr wyf wedi methu galw i gôf beth oedd testynau y naill na'r llall, "na dim o'u sylwadau. Fel y gwyddoch, yr oedd rhyw *wahaniaeth* "*poenus* yn y Cyfundeb, ar y pryd, yn enwedig yn y Gogledd. Er ei "fod yn fwy mewn *teimlad* na dim arall, eto yr oedd yn *wahaniaeth*. "Yr oedd pob pregethwr, o sylw, yn cael ei ystyried fel yn perthyn i'r "naill blaid neu y llall; a phob gwrandawr, a fyddai ychydig yn fedd-"ylgar, yn teimlo yn fwy ffafriol i'r naill neu y llall. Hyd y gwn i, yr "unig eithriad, nad oedd neb yn gallu ei *glaimio*, oedd Mr. Roberts, "Amlwch. A gwyddai pawb yn mha ochr yr oedd Mr. Elias a Mr. Rees; "ac hefyd fod John Jones, a Mr. Phillips, yn yr ochr wrthgyferbyniol. "A thrwy fod Mr. Elias bellach wedi marw, nid oedd gan y rhai a "fyddent yn 'gwylio 'r athrawiaeth' neb mwy i dderbyn eu chwedlau; "o achos, fel y gwyddoch, dyna oedd gwendid Mr. Elias. Yr oedd "gwyneb Mr. Rees, fel y gwyddoch, yn rhy ddigllawn i'r athrodwyr "gario eu *goods* iddo ef. Ac felly yr oedd yn naturiol i'r Cyfarfod hwn, "yn Amlwch, fod yn un hynod i deimladau y naill blaid a'r llall, o leiaf "felly yr oedd yr argraff ar fy meddwl i fy hun. Gan fy mod, ers yn "ieuanc, yn cydymdeimlo yn yr un ochr â John Jones a'r blaid rydd-"frydig, neu beth ei galwaf, ac yn nghyfrinach y blaid hono, yr oedd "yn naturiol i mi deimlo fod y blaid Uchel-Galvinaidd, os priodol ei "galw felly, wedi ei gwanhau, yn marwolaeth Mr. Elias; a bellach, "y gallai y blaid arall fod yn fwy ëon. Dyna fel yr oeddwn i yn "teimlo: ac yr oedd yn naturiol i mi dybied fod y brodyr oeddent o "gyffelyb gydymdeimlad, yn tybied yn gyffelyb. Eto nid oes genyf "ddim ffeithiau yn fy nghôf i brofi hyn, heblaw y ffaith mai felly yr "oeddwn i fy hun yn teimlo ac yn tybied. Felly nid wyf yn gallu "cofio dim yn ngweinidogaeth John Jones na Phillips, y tro hwnw yn "Amlwch, yn wahanol i'r fel yr arferent fod. Ond hyn sydd hysbys, "fod John Jones, yn y cyfnod hwnw ar ei bregethu, yn ngrym ei "deimlad cryf, yn cymmeryd ei gario weithiau braidd yn rhy bell, hyd "yn nod gan ei edmygwyr a'i gyfeillion penaf; ac felly yn rhoddi "achlysur, i'r rhai oeddent yn ceisio achlysur, i'w ddrwg-dybio a'i "gablu. Nos ddiweddaf y *Sassiwn* hono yn Amlwch, yr oeddwn i yn "digwydd lletÿa yn nhŷ Mr. Roberts; ac nid oedd yno neb dieithr, "oddieithr rhai o berthynasau y teulu, yn lletÿa, y noswaith hono, "ond Mr. Rees a minau. Yr oeddwn i yn ieuanc, ac yn teimlo yn "wylaidd iawn yn nghymdeithas dau ŵr mor enwog. Yr wyf yn

"cofio ein bod, ar ôl swpper, yn y *parlwr*, heb neb ond nyni ein tri. "Yr oedd y ddau ŵr da yn ymddyddan yn rhydd gydâ'u gilydd, ar y "naill beth a'r llall, a minau, fel y dylaswn, yn gwrando yn ddistaw. "Mae yn ddrwg genyf i mi fod mor ysgyfala ag annghofio braidd yr "oll o'u hymddyddanion. Cof drwg sydd genyf am bob peth, oddieithr "rhyw *feirniadaeth* gan ryw rai arnaf fy hunan. Ond yr wyf yn cofio "nad oedd y gyfeillach mewn un modd yn un *siriol*. Yr oedd rhyw "beth yn gymmylog yn nheimladau y ddau. Yr wyf yn cofio yn dda "mai yr hyn a gymmylai deimladau Mr. Roberts oedd, iddynt gael "hin mor annghysurus i gynnal eu *Sassiwn*; un diwrnod drycinog "drwyddo, a hyny yn nghanol hin hafaidd a hyfryd. Yr wyf yn cofio "iddo wneyd rhyw sylwadau hynod ar hyny, ragor nag unwaith. "Ond yr oeddwn yn tybied y pryd hwnw, ac y mae yr argraff yn bar-"haus ar fy meddwl, fod teimladau Mr. Rees yn cael eu pruddhau "gan ryw bethau llawer mwy difrifol. Mae yn ddiau fod cael ei "hunan mewn *Sassiwn*, a'r gyntaf felly yn Môn, a'i hen gyfaill anwyl, "Mr. Elias, yn ei fedd, yn ei bruddhau. Ac yr oedd y gwahanol "deimladau poenus, oeddent yn rhanu y Cyfundeb ar y pryd, yn peri "i'r prudd-der fyned yn llawer dyfnach i'w deimlad. Fel y gwyddoch, "yr oedd yn naturiol, yn nhymher y gwr anwyl hwnw, edrych ar yr "ochr ddu. Yr oedd Mr. Rees, y noswaith hono, o leiaf yn ymddangos "i mi yn y pryder mwyaf. Nid wyf yn cofio iddo wneuthur un cyfeir-"iad personol at neb. Yr oedd yn rhy ochelgar, pe na buasai dim "arall, i wneyd hyny yn mhresennoldeb pregethwr ieuanc, oedd iddo "ef yn hollol ddieithr. Er fy mod wedi gollwng dros gôf braidd yr oll "o'r ymddyddan, a fu rhwng y ddau, eto yr wyf yn cofio yn dda fod "Mr. Rees yn codi o'i gadair, yn cerdded yn ol ac yn mlaen ar hyd yr "ystafell, ac â'i ddwylaw yn gwasgu ei forddwydydd. Ac, ar ol cerdded "felly yn ddistaw am enyd, dywedai,—'Nid wyf fi yn gweled dim o'n "blaen ond ymraniad: ac y mae hyny yn ymddangos i mi yn anochel-"adwy, oddieithr i'r Hollalluog, yn ei drugaredd, gadw ei amddiffyn "drosom.' Nid wyf yn sicr o bob gair, ond yr wyf yn sicr o'r ystyr. "Yr wyf yn cofio hefyd iddo wneyd un sylw arall, pa un ai yn ol ai "yn mlaen i'r sylw uchod, nid wyf yn cofio, sef,—'Byddai yn dda "genyf pe cyfansoddai rhyw un draethawd cryf, i ddangos pa mor bell "y gweddid goddef i frodyr wahaniaethu yn eu golygiadau, ac eto aros "yn un Cyfundeb.' Nid wyf yn sicr o bob gair a sill yn yr uchod,

"ond yr wyf yn sicr o'r prif eiriau, ac o'r ystyr. Nid wyf yn cofio un "sylw a wnaeth Mr. Roberts ar hyn, os gwnaeth hefyd. Ond yr "oeddwn yn tybied nad oedd efe yn cyfranogi yn ddwfn â Mr. Rees, yn "ei bryder o berthynas i'r *ymraniad*. Dyma y cyfan wyf yn allu "adgofio o'r hyn a fu y noswaith hono yn Amlwch. Ac eto y mae "rhyw amheuaeth yn fy meddwl, ddarfod i Mr. Rees wneuthur rhyw "gyfeiriad at yr Ymraniad, ychydig flynyddoedd cyn hyny, yn mhlith "y Presbyteriaid yn yr America. Ond nis gallaf fod yn sicr.

"Nid oes dim *os*, nad cyfwng difrifol oedd yr adeg hon ar ein Cyfun-"deb. Yr oedd llawer, heblaw Mr. Rees, yn pryderu ac yn ofni, rhag "y byddai i'r ddau deimlad gwahanol, oeddent yn trallodi y Cyfundeb "ar y pryd yn y Gogledd, dori allan yn rhwygiad. Yr wyf yn cofio fy "mod, tua'r adeg hono, yn fuan ar ol marw Mr. Elias, yn lletÿa gyda "Mr. J. R. Jones, Bangor, gwr deallus, ac o farn addfed, fel y gwydd-"och, ar bob peth; ac yr oedd yntau, i ryw fesur, yn cyfranogi o "bryder Mr. Rees. Yr wyf yn cofio ei fod, ar ryw achlysur, yn gwneyd "sylw felly:—'Yr wyf yn methu a gweled pa beth a ddaw o honom, "fel enwad, ar ol colli Mr. Elias. Nis gall cymdeithas gadw wrth "ei gilydd, yn dda, heb arweinydd. Nis gall Mr. Rees fod yn arwein-"ydd i ni, fel yr ydym yn bresennol. Y mae yn ormod o ddyn un "blaid i fod yn arweinydd.' Ond, er craffed gŵr oedd Mr. Jones, mor "wahanol i'w ofnau ef, ac ofn pawb oeddent yn ofni yn gyffelyb, y "troes pethau allan! Os priodol y gair *arweinydd* hefyd, gŵyr pawb, "erbyn hyn, na bu gan y Methodistiaid erioed, yn y Gogledd, arwein-"ydd a brofodd yn fwy llwyddiannus na Mr. Rees. Ond, gwyddoch "chwi yn dda, fod Mr. Rees y flwyddyn 1841, a Mr. Rees y flwyddyn "1861, â chryn lawer o wahaniaeth rhyngddynt. A pha beth bynnag "a fu yn foddion i gymmedroli teimladau Mr. Rees, a'i ddwyn i'r "canol, dyna hefyd a fu yn foddion i ddwyn yr holl frodyr at eu gilydd. "Ac erbyn hyn, ac ers hir amser bellach, y mae y teimladau poenus, "a fuant unwaith yn cythryblu y frawdoliaeth, wedi 'toddi ymaith,' "ys dywed y plant, 'fel caseg eira.' Tybiaf y bu mynediad y diweddar "Mr. Hughes i *Liverpool*, at Mr. Rees,—y ddau yn ymdoddi i'w gilydd, "a'r ddau yn cyd-ddyfod i'r Cymdeithasfäoedd, ac yn cyd-weithio yn "yn un a chytun, yn foddion arbenig i hyny. Yr ydwyf yn cofio yn "dda am y ddau yn dyfod felly, am y tro cyntaf, i Gymdeithasfa "Caernarvon, a'r argraff dda a gafodd hyny ar deimladau yr holl Sir."

Iĕ, yn ddiammeu, "cyfwng difrifol ar ein Cyfundeb oedd yr adeg" y cyfeiriwyd ati. Ond, o drugaredd yr Arglwydd, yn lle ymrysen ac ymbleidio ac ymrwygo, fe gafwyd cyd-oddefiad a thangnefedd. Fe ddaeth y naill blaid a'r llall i deimlo, nad oedd y gwahaniaeth rhyngddynt â'u gilydd ond bychan a dibwys ac arwynebol; tra yr oedd eu hundeb yn fawr a dwfn a gwirioneddol. Effeithiodd cymdeithas Mr. Hughes gymaint ar feddwl Mr. Rees, nes, nid yn unig ei argyhoeddi nad oedd dim cyfeiliornad ynddo, ond er peri iddo roddi ymddiried braidd diderfyn yn ei olygiadau ar bob peth, oddieithr ar y prophwydoliaethau am ddyfodol y genedl Iuddewig; a thrwy ymroddi ei hunan i ddarllen ac i astudio ysgrifeniadau John Howe, Andrew Fuller, Robert Hall, John Foster, Isaac Taylor, Alexander Vinet, heb son am Dr. Arnold, Julius Charles Hare, a Thomas Carlyle, fe eangwyd ei feddwl, i'r fath raddau, fel er nad ymadawodd byth â hanfod Duwinyddiaeth ei hen athrawon cyntaf, Dr. Goodwin, ac, yn enwedig Dr. Owen, eto y canfu fod gwirioneddau ereill yn y dadguddiad dwyfol, nad oeddent hwy wedi talu cymmaint o sylw iddynt, mor hanfodol i'r efengyl,—fel darpariaeth ar gyfer amgylchiad pechadur ac fel cenadwri trugaredd at fyd euog yn ei wrthryfel a'i drueni,—â'r gwirioneddau neillduol a ddysgir yn arbenig ganddynt hwy. Ac, megis ag y bu gydâg ef, y bu hefyd, i ryw fesur, gydâg ereill, oeddent wedi cychwyn megis yntau. Ac nid hyny yn unig, ond fe aeth y rhai a olygid o'r blaid ryddfrydig, dan gryn gyfnewidiad. Daethant i ddysgu edrych ar y gwirioneddau gwrthgyferbyniol i'r rhai yn arbenig yr arferent ddadleu drostynt, mor hanfodol i'r efengyl a hwythau, a bod effeithiolrwydd y naill yn dibynu ar awdurdod y lleill. Daethant felly i mewn, yn eu gweinidogaeth, i eangder newydd; eangder yn caniatau ac yn gofyn, neillduolrwydd y naill blaid, a chyffredinolrwydd y blaid arall. Nid eangder yn cau allan, ond yn cymmeryd i mewn, y gwirionedd cyferbyniol am neillduolrwydd; ac nid neillduolrwydd annghydweddol â, ond yn cynnwys, cyffredinolrwydd. Fel y mae y pregethwr yn awr yn ein plith, yn ei deimlo ei hunan yn gwbl rydd a dilyffethair, o fewn cylch ysbrydoliaeth, heb fod yn gaeth i unrhyw Gyfundraeth; a'r hyn sydd ar ryw ystyr yn fwy gwerthfawr, y mae y bobl, braidd yn mhob man, nid yn unig yn goddef, ond yn gofyn hyny. Ac felly y terfynwn y bennod hirfaith hon, ar "DDADLEUON DUWINYDDOL CYMRU."

## PENNOD XII.

### BLYNYDDOEDD CYFLAWNDER EI NERTH: 1841—1849

RHYDDID ODDIWRTH BRYDER DUWINYDDOL—GRADD O FRIW YN AROS YN EI DEIMLAD—TRADDODI Y CYNGHOR YN NGHYMDEITHASFA Y BALA, 1841—EI FEDDWL YN CAEL IACHAD HOLLOL—YMOSODIADAU ARNO TRWY Y WASG—AMDDIFFYNIADAU IDDO—YSBRYD YMFUDO I AMERICA—YMRODDIAD DIARBED I WAITH Y WEINIDOGAETH—EI FEDDWL YN TROI YN FWY AT OCHR DUW YN NHREFN CADW—OEDFA HYNOD MEWN CYMDEITHASFA YN LLANERCHYMEDD, 1844—CYMDEITHASFA FFESTINIOG, 1844—EI BOBLOGRWYDD—LLYTHYR AT Y PARCH. ROGER EDWARDS—MARWOLAETH EI FERCH, ELIN—LLYTHYR O'I EIDDO AT CHWAER GREFYDDOL AR YR ACHLYSUR—LLYTHYR ATO ODDIWRTH MR. ROBERTS, AMLWCH—EBEN VARDD YN EI GYFARCH A RHAI PENNILLION—MARWOLAETH EI GYFAILL, MR. JOHN ROBERT JONES, BANGOR—RHAI ADGOFION AM MR. JONES—LLYTHYR MR. JOHN JONES AT EI WEDDW ALARUS—MR. JOHN JONES A CHYFARFOD MISOL ARFON—TAITH I'R DEHEUDIR, YN Y FLWYDDYN 1846—ADGOFION AM Y DAITH HONO—LLYTHYR O'I EIDDO AT EI FRAWD YN YR AMERICA——TAITH ETO I'R DEHEUDIR, 1847—ADGOFION AM DANI—OEDFA HYNOD YN NGHYMDEITHASFA CAERFYRDDIN—ETO YN NGHYMDEITHASFA ABERTEIFI—CYMDEITHASFA LIVERPOOL, 1848—CYMDEITHASFA Y BALA, 1848—TAITH I SIR DREFALDWYN YN 1849—CYFARFOD MISOL YN CAERSWS—TAITH DRACHEFN I'R DEHEUDIR, I GYMDEITHASFA TY DDEWI, 1849—LLYTHYR AT MR. JONES, YNYSGAIN, WEDI MARWOLAETH EI BRIOD—LLAFUR DIORPHWYS GARTREF AC ODDICARTREF.

YR oedd Mr. John Jones, yn awr, ar ol y Gynnadledd yn y Wyddgrug i chwilio i mewn i'r ymrysonau yn Sir Flint, wedi ei ryddhau i raddau mawr oddiwrth y pryder y buasai ynddo am amser maith, ac yr oedd y penderfyniad y daethpwyd iddo ynddi, gydâ golwg ar y brodyr a gyhuddid, yn ymwared nid bychan i'w feddwl. Yr oedd yn gweled yn eglur, erbyn hyn, nad oedd un perygl i'r Cyfundeb, fel y cyfryw, gydnabod a chymmeradwyo y syniadau cyfyng ag yr oedd efe yn teimlo mor gryf yn eu herbyn; ac yn gweled hefyd, nad oedd dylanwad y rhai a ddadleuent drostynt mewn un modd mor fawr ag yr

oedd efe wedi ofni ei fod, a'i fod yn awr ar ddarfod yn hollol. Ond prin yr oedd yn teimlo fod y Gynnadledd wedi gwneuthur yn gwbl yr hyn a ddylasai. Yr oedd efe yn golygu y dylasai roddi cerydd pendant ar y rhai a brofasid yno yn euog o gamddarlunio eu brodyr, ac o wneuthur eu goreu, mewn amrywiol ffyrdd, i ddistrywio eu dylanwad yn y Siroedd. Mae yn wir na ddarfu iddo ef, na neb arall, gynnyg at ddim o'r fath yn y Gynnadledd. Yr oedd efe yn ymesgusodi, ac, fe allai, yn ddigon priodol, am beidio ei hunan a gwneyd un cynnygiad felly, am y rheswm ei fod ef yn adnabyddus fel un rhy amlwg ar yr ochr arall, ac y gallasai y fath gynnygiad, oddiwrtho ef, gael ei olygu, gan ryw rai, megis o nodwedd ddialgar, ac heb un amcan iddo ond taro yn îs y rhai oeddent eisoes ar lawr. Yn sicr, ac edrych ar y peth ynddo ei hunan, fe ellid tybied na buasai y fath gerydd ond cyfiawnder hollol â'r rhai a gam-gyhuddasid, yn gystal ag â'r achos yn gyffredinol. A hwyrach, fel y sylwasom eisoes (*tu dal.* 602), pe gwnaethid hyny, y pryd hwnw, y buasai yn foddion attal rhai pethau gwaeth, a ddygwyddasant mewn blynyddoedd diweddarach. Pa fodd bynnag, ni chymmerwyd un sylw felly o honynt. Ac yr ydym ni yn tueddu i dybied nad oedd gan y Gynnadledd, fel y cyfryw, ddim arall i'w wneyd. Ei gwaith hi oedd chwilio i mewn i'r achwyniadau a wneid yn erbyn rhai brodyr, eu bod yn gŵyro oddiwrth wirionedd yr efengyl, yn ol fel yr oedd yn cael ei ddeall gan y Cyfundeb, a bod hyny yn achlysur ymrysoniadau yn y Sir y perthynent iddi. Fe wnaeth y Gynnadledd hyny; ac fe syrthiodd y cyhuddiadau i gyd i'r llawr. Ac nid yn unig hyny, ond fe brofwyd y cyhuddwyr yn euog o ŵyro yn ddirfawr oddiwrth eirwiredd, &c., fel y troes yr achos yn gwbl yn eu herbyn hwy. Yn awr, y mae yn ymddangos i ni mai ar ol cyflwyno yr Adroddiad am hyn oll i'r Gymdeithasfa ganlynol, yr hon a gynnaliwyd yn y Drefnewydd, Ebrill 28, 29, 30, 1841, y dylesid, os dylesid hefyd, cymmeryd i ystyriaeth pa beth a wneid gydâ golwg ar y cyhuddwyr. Ond ni wnaed dim yno heblaw rhoddi adroddiad syml. Fe'u gadawwyd heb unrhyw gerydd, ond a ddeuai arnynt oddiwrth eu cydwybodau eu hunain, a'r cywilydd y syrthiasent iddo yn mhlith eu brodyr. Fe adawodd hyny, pa fodd bynnag, gryn *anniddigrwydd* yn meddwl Mr. John Jones. Ofnai fod mwy o bleidgarwch yn cael ei ddangos, yn y tynerwch hwn, tuag at y cyhuddwyr, nag a fuasid yn ddangos tuag at y rhai a gyhuddid. Yr oedd efe yn hollol argyhoeddedig fod yn mryd

amryw o'r rhai a bennodasid i chwilio i mewn i'r achos, ddiarddel un, o leiaf, o'r rhai a gyhuddid, pe cawsid rhyw le i hyny; ac nid oedd yn gallu ymryddhau oddiwrth y meddwl na ddylesid rhoddi rhyw gerydd ar y lleill, wedi eu profi yn euog o'r fath gam-gyhuddiadau.

Ond pa beth bynnag a ddywedir am syniad Mr. John Jones, gydà golwg ar yr hyn a ddylasai y Gynnadledd ei wneuthur, y mae yn sicr fod teimlad cyffredin y Cyfundeb, y pryd hwn, yn gryf yn mhlaid y brodyr ag oeddent wedi bod, trwy y blynyddoedd, dan radd o ammheuaeth ynnghylch iachusrwydd eu hathrawiaeth. Digon o brawf o hyny yw, fod y Gymdeithasfa, y cyfeiriasom eisoes ati, a gynnaliwyd yn y Drefnewydd, wedi pennodi y diweddar Mr. Richard Humphreys, o'r Dyffryn, i draethu ar "*Ddyledswydd yr Eglwys at ei Gweinidigion*," a Mr. John Jones i roddi y "*Cynghor*," yn y gwasanaeth Ordeinio, yn y Gymdeithasfa ganlynol, yn y Bala, Mehefin 15, 16, 17,—yr hyn hefyd a wnaethant. Dyma yr unig dro i Mr. John Jones gyflawni y gorchwyl hwnw. Nid ydym yn gallu galw ond ychydig o'r "*Cynghor*" y pryd hwn i'n côf, heblaw ei brif linellau, a'n bod yn cofio yr argraff oedd ar ein meddwl, wrth ei wrandaw, ei fod wedi ei rag-ddarpar yn fanwl a gofalus iawn, ond bod ei arddull braidd yn rhy farddonol. Er na enwodd yr un adnod fel testyn, yr oedd yn amlwg ei fod wedi ei seilio ar 2 Cor. v. 14; ac yr oedd yn cynnwys lliaws o sylwadau gwerthfawr a grymus, ar "Gariad Crist fel cymhelliad," a "Chariad Crist fel cymhwysder," i waith y weinidogaeth. Ond yr oedd rhai rhanau o hono yn ymddangos yn eglur fel wedi eu cyfansoddi, ac yn cael eu traddodi, dan ddylanwad yr *anniddigrwydd* meddwl y cyfeiriasom ato uchod, ac yn cynnwys geiriau cryfion, mewn tôn wawdus, ac nid yn y dymher oreu,—na'r chwaeth oreu ar y fath achlysur,—yn portreadu rhyw rai,—"â mwy o sancteiddrwydd ar eu gwynebau nag a fu ganddynt erioed yn eu calonau, a fynent i'r byd dybied nad ydynt yn cael eu 'cymhell' gan ddim ond 'cariad Crist' ac eiddigedd dros ei wirionedd a'i ogoniant ef, ond â'u holl fryd, trwy chwedlau disail ac ystrywiau maleisus, ar geisio difetha dylanwad dynion mil gwell na hwy eu hunain, dynion y mae eu heneidiau hwy, druain! yn rhy fychain a chrebachlyd a rhagfarnllyd i allu canfod eu mawredd, ac eto yn ddigon hunanol a balch a drwg i genfigenu wrth eu llwyddiant." Gallasem ddodi brawddeg arall i mewn, yn yr un cyfeiriad, lemach fyth, ond dichon mai gwell i ni ymattal. Fe barhäodd gradd o friw-

yn ei deimlad am beth amser, yr hyn a effeithiodd, nid ydym yn ammeu dim, am rai misoedd, yn anfanteisiol ar ei weinidogaeth. Yr oedd teimlad cyffredin yn mhlith ei gyfeillion ffyddlonaf, tua y pryd hwn, fod ei bregethau yn fwy unochrog nag yr arferent fod, ac, erbyn hyn, gryn lawer yn ormod felly; ac, yn enwedig, fe gwynid fod rhywbeth yn nhôn ac ysbryd y pregethwr, ag oedd yn ei wneuthur yn dra gwahanol, o ran dylanwad, i'r hyn oedd gyffredin iddo ef. Ond trwy drugaredd fawr iddo ef, a thrugaredd fwy i'w genedl, tua diwedd y flwyddyn 1841, fe ryddhäwyd ei feddwl yn hollol oddiwrth y blinder hwn; ac fe ddaeth i weled, ac i deimlo, ac i gyfaddef, mai llawer gwell oedd bod pethau wedi eu gadael i ddarfod, fel y gwnaethant, yn y Wyddgrug, na phe buasid yn myned i ail-gynhyrfu. Yn mhen rhai blynyddoedd ar ol hyn, wrth sôn am ryw ymdrafod mewn Cymdeithasfa yn y Wyddgrug, Mawrth 5, 6, 7, 1844, ynnghylch ymryson oedd, ar y pryd, yn Rhosllanerchrugog, yr ydym yn ei gofio yn dywedyd,—"Yr wyf fi yn bur dawel fy meddwl, er ei bod hi yn edrych yn lled ddu yrwan, y daw y Duw mawr allan ei hunan, ryw ffordd, er amddiffyn i'r rhai cywir, ac er cerydd ar y rhai, yr ydwyf fi yn ofni, nad ydynt felly."—Geiriau a droisant allan, yn y canlyniad, yn hollol brophwydoliaethol.

Fe daflwyd ei feddwl, tua y pryd hwn, i gryn lawer o flinder gan beth arall. Yn y "*Dysgedydd*" am fis Awst, 1841 (*tu dal.* 248, 249), fe ymddangosodd Ysgrif dan yr enw "*Jenkyniaeth Drwyadl,*" yn yr hon y proffesid dyfynu brawddegau o bregeth a draddodasid ganddo ef, yn rhyw le yn Môn ni a dybiem, er prawf o ryw gyhuddiad a ddygasid yn erbyn rhai o Weinidogion y Methodistiaid, "eu bod yn euog o bregethu Ffwleriaeth." Yr hen frawd ymyrgar *Edeyrn*, y cyfarfuasom âg ef gynnifer o weithiau yn ein Hadolygiad ar "*Ddadleuon Duwinyddol Cymru,*" oedd awdwr yr Ysgrif hon. Nid ydym yn ammeu nad yn y teimlad goreu at Mr. John Jones, ac heb un amcan peri unrhyw annghysur iddo ef, yr ysgrifenodd *Edeyrn* yr erthygl hon. Yr un pryd, y mae yn amlwg nad oedd ei gysur, na'i annghysur ef, ond peth bychan iawn yn ei olwg, mewn cymhariaeth â'r fantais a dybiai efe yr oedd yn awr wedi ei chael i roddi dyrnod i'r Methodistiaid, mewn lle a ystyrid ganddynt hwy yn dra thyner. Y mae yr Ysgrif, yn wir, fel pob peth arall odditan ei law, yn brawf neillduol o gulni meddwl ei hawdwr. Heb son, yn awr, am y cam dybryd a wneir

ynddi â Mr. Andrew Fuller, trwy gysylltu ei enw â golygiadau mor hollol groes i'r rhai a gredid ac a ddysgid ganddo ef, y mae yn ddigrifol iawn ei weled yn ceisio profi, fod rhai o Weinidogion y Methodistiaid "yn euog o bregethu Ffwleriaeth," trwy ddyfynu ymadroddion o eiddo Mr. John Jones, yn y bregeth grybwylledig, yn dysgu "fod Duw yn gweithio ar feddyliau dynion yn gyffredin trwy foddion, sef, gweinidogaeth yr efengyl; a hyny nid mewn modd gwyrthiol, ond trwy eu perswadio a'u denu; a bod y weinidogaeth, fel y gosodir hi allan yn y Bibl, yr addasaf a allasai dwyfol ddoethineb gynllunio i hyny; ac mai gwaith ofer a phechadurus ydyw i ddynion ddysgwyl rhyw argyhoeddiad mawr, yr hwn nad allant ei orchfygu, i'w llusgo at grefydd; fod yr Arglwydd, trwy ei Ysbryd, yn ymryson â hwynt drwy bob moddion o ras; ac, ond iddynt hwythau fagu y pethau bach a deimlent dan y weinidogaeth, y byddant yn sicr o ddyfod yn bethau mawr; fod Duw yn gweithio ei ochr ef, ac mai ochr dyn sydd ar ol, &c."

Ni a gawsom ddigon o brofion, yn ein cyfeiriadau at rai o ysgrifau blaenorol *Edeyrn* (*tu dal.* 504—507; 517—520; 522, 523), o'i anallu ef i ddyfynu yn gywir, hyd yn nod allan o'r hyn a *ddarllenasid* ganddo, mewn llyfrau argraffedig, fel, pe na buasai genym dystiolaeth bendant Mr. John Jones ei hunan am annghywirdeb y dyfyniadau a wneir ganddo o'r bregeth hon, a draddodasid yn unig yn ei *glyw*, y buasem yn hollol ammheus o gywirdeb yr adroddiad a roddir ganddo ef o honi. Yr ydym yn cael yma, yn sicr, rai o eiriau Mr. John Jones; ond mewn cysylltiadau a gwedd, y mae yn ddiammheuol genym, ag sydd yn peri iddynt gyflwyno meddwl i gryn raddau yn wahanol i'r hyn a amcenid ganddo ef. Ond tybier fod yr adroddiad yn hollol gywir: nid ydym ni yn gweled fod yn yr hyn a ddyfynir unrhyw sail i'r haeriad, fod Mr. John Jones, fel un "o brif weinidogion y Corff" y perthynai iddo, yn "hyf a didderbynwyneb . . . yn gwadu yn ddigywilydd y rhan waethaf o'i gyfundraeth, er holl felldithion y *deed* a *bulls* Cymdeithasfäoedd." Heb gyfeirio yn awr at y dybiaeth annheg ac annghariadig, a gymmerir yma yn ganiatäol am olygiadau y Methodistiaid, ni a allwn gydnabod fod y bregeth, yn ol yr adroddiad hwn o honi, fel ei bregethau yn gyffredin y pryd hyny, yn *un-ochrog*, ac, fe ddichon, yn ormodol felly; ond nid ydyw hyny mewn un modd yn profi ei bod yn *annghyson* â gwirioneddau ereill, yr oedd Mr. John Jones yn eu proffesu, ac a bregethid ganddo, weithiau, mor eglur a

phenderfynol ag y gwneid gan neb o'i frodyr. Ac, heblaw hyny, fe ddylasai *Edeyrn* wybod, nad oedd un, o leiaf, o'r gwirioneddau arbenig a nodir ganddo, a ddysgid yn y bregeth,—sef, "fod Duw yn gweithio ar feddyliau dynion yn gyffredin, trwy foddion,"—mewn un modd yn newydd yn ngweinidogaeth yr hen Fethodistiaid, o'r dechreuad cyntaf; ac mai yn hyny, yn wir, yr oedd yr unig wahaniaeth pynciol rhyngddynt â'u brodyr a'u cyfeillion yr Annibynwyr. Ond, yn gymmaint a bod amryw o'r Annibynwyr, ychydig cyn hyn, wedi dyfod drosodd i'r syniad yr oedd y Methodistiaid bob amser wedi bod yn dadleu drosto, fe dybiodd *Edeyrn*,—yn ei ddieithrwch i'r pethau yr ymgymmerasai ag ysgrifenu yn eu cylch,—pan y clybu Mr. John Jones yn ei bregethu, y rhaid ei fod ef wedi gadael athrawiaeth yr hen Fethodistiaid, ac wedi cofleidio "*Jenkyniaeth Drwyadl!*" Fe ellid gwneuthur sylwadau cyffelyb, gydâ golwg ar y pynciau ereill, y cyfeirir atynt yn yr Ysgrif hon; ond nid ydym yn gweled fod hyny mewn un modd yn angenrheidiol. Ond, er nad oes dim yn y brawddegau a ddyfynir, hyd yn nod yn ol Adroddiad *Edeyrn* o honynt, annghydweddol â'r golygiadau Calvinaidd cyffredin ar y pynciau dan sylw, a bod *rhai* o'r ymadroddion yn cyflwyno y gwirionedd mewn gwedd *oedd yn briodol yn arbenig i'r Methodistiaid*, eto yr oedd cysylltu ei enw ef, â'r hyn a elwid y pryd hyny yn "*Jenkyniaeth*," yn cael ei ystyried gan Mr. John Jones, os nad yn uniongyrchol wedi ei fwriadu, eto yn naturiol yn tueddu, i niweidio ei gymeriad a'i ddylanwad gweinidogaethol ef yn y Cyfundeb y perthynai iddo: ac oblegyd hyny, ynghŷd â'r gwrthwynebiad cryf a deimlid ganddo i bob math o gyfeiriad ato ei hunan trwy y wasg, fe barodd cyhoeddiad yr Ysgrif flinder mawr i'w feddwl,—llawer mwy felly nag a deilyngai oherwydd unrhyw bwysigrwydd a berthynai iddi ynddi ei hunan.

Yn y "*Drysorfa*" am fis Hydref, 1841 (*tu dal.* 307—310), fe ymddangosodd Amddiffyniad i Mr. John Jones, yn erbyn cyhuddiadau *Edeyrn*, gan un a'i galwai ei hunan, *Philalethes*, sef Mr. William Pugh, a arferai y pryd hyny arwain y canu yn Nghapel Pall Mall, Liverpool, a mab i'r hen bregethwr synwyrol, William Hugh, o Sir Feirionydd. Y mae yr Amddiffyniad hwn yn gyflawn a galluog, a dylasai fod yn gwbl benderfynol. Nid ydyw ond megis doe genym gyfarfod â Mr. John Jones, mewn Cyfarfod Misol yn Llanllyfni, ddydd Llun a dydd Mawrth, Hydref 4, 5, pan oedd y rhifyn o'r "*Drysorfa*" newydd ddyfod

i'w law, ac y dywedai wrthym mor llawen oedd ganddo fod yr amddiffyniad wedi ei wneuthur iddo, er nad oedd ganddo, y pryd hwnw, un dychymyg pwy a allai yr awdwr o hono fod. Yr oedd yn lled hyderus, erbyn hyn, na allai yr Ysgrif yn y "*Dysgedydd*" wneuthur nemawr niwed iddo yn meddyliau ei frodyr. Yn y "*Dysgedydd*" am Ionawr, 1842 (*tu dal.* 18—21), daeth *Edeyrn* allan drachefn, gydâg Atebiad i ysgrif *Philalethes*, er cadarnhau yr honiadau a wnaethid ganddo eisoes, ac er ceisio profi fod y brawddegau a ddyfynasid ganddo o bregeth Mr. John Jones yn hollol annghyson â golygiadau y Methodistiaid. Mae holl nodwedd ddadleuol *Edeyrn* yn cael ei arddangos yn dra eglur yn yr Ysgrif hon: yn enwedig, ei anallu i fyned i mewn i ystyr unrhyw ymresymiad, oddieithr yn unig yn y cylch yr oedd efe wedi arfer troi ynddo; ei duedd gwastadol i wneuthur haeriadau heb unrhyw sail iddynt; a'i wendid yn ymyraeth â phynciau, yr oedd ei feddwl bychan ef yn gwbl analluog i'w dirnad. Y mae, yn yr Ysgrif hon, yn ail-ddyfynu, ond gan eu hail-ddarnio, yr ymadroddion o eiddo Mr. Richard Jones o'r Wern, a fuant eisoes (*tu dal.* 517—520) dan sylw genym, er ceisio profi fod y Methodistiaid yn Uwch-Galviniaid, ac yn gwadu "Helaethrwydd yr Iawn." Yn y "*Drysorfa*" am Mehefin, 1842 (*tu dal.* 170—173), gydâ pharhad o'r unrhyw yn y rhifyn am Gorphenaf (*tu dal.* 205—208), daeth Mr. William Pugh allan drachefn, dan ei enw ei hunan, gydâg—"Amddiffyniad y Parch. J. Jones, Llanllyfni, a'i Bregeth, yn ngwyneb cyhuddiadau '*Edeyrn*,' yn y '*Dysgedydd*.'" Mae hwn eto yn sicr yn dra galluog, ac yn ymddangos i ni, ar y cwbl, yn hollol dêg. Y mae unwaith neu ddwy yn cymmeryd mantais ar ryw wall cystrawen yn mrawddegau ei wrthwynebwr, i roddi crafiad iddo, pan nad oedd cymmaint achos: oddieithr hyny, y mae ei dôn yn llawn cystal ag y gallesid dysgwyl iddo fod, wrth ateb y fath un ag *Edeyrn*. Ni wnaeth *Edeyrn* unrhyw Sylw o'r "*Amddiffyniad*" hwn. Yn y "*Drysorfa*" am Medi, 1842 (*tu dal.* 273, 274), cyhoeddodd Mr. William Pugh ohebiaeth fechan a fuasai rhyngddo â Mr. John Jones. Yr oedd hon wedi cymmeryd lle, ar ol cyhoeddiad yr "Amddiffyniad" diweddaf yn y "*Drysorfa*." Yr oedd efe, yn ei lythyr at Mr. John Jones, dyddiedig Gorph. 4, 1842, yn ymofyn, a oedd cyhuddiadau "*Edeyrn*" i'w erbyn yn gywir ai nid oeddent? ac, os ydoedd wedi llefaru yr ymadroddion a gyhoeddasid yn y "*Dysgedydd*" fel dyfyniadau o'i bregeth, ai yn ol yr ystyr y ceisiai "*Edeyrn*" ei osod arnynt, ynte

yn ol yr ystyr a roddasid ganddo ef, yn yr "Amddiffyniad" a wnaethai iddo, yr oedd wedi eu defnyddio?' I'r llythyr a gynnwysai y gofyniadau hyn, fe anfonodd Mr. John Jones yr Atebiad canlynol:—

"Anwyl Syr,—Derbyniais eich llythyr o'r 4ydd o'r mis presenol, yn yr hwn y gwelwyf eich bod yn dymuno cael gwybod, a ydyw y cyhuddiadau i'm herbyn, o'r eiddo 'Edeyrn,' a ymddangosasant yn y '*Dysgedydd*,' yn gywir. Nid ydwyf yn ystyried y cyhuddiadau hyny yn teilyngu fy sylw, nac yn ystyried fy hun yn rhwymedig i ymddangos ger bron gorsedd Golygydd y '*Dysgedydd*,' i roddi cyfrif o'm hegwyddorion, tra y mae genyf luaws o bethau anghenrheitiach i'w gwneuthur. Nis gallaf weled fod 'Edeyrn' na'r Golygydd, yn gwneud yr ymosodiad hwn mewn modd caredig a diniwaid, ond ymddengys i mi eu bod yn amcanu drygu fy nghymeriad fel pregethwr yn y Cyfundeb y perthynwyf iddo. Nid yw yr ymadroddion a adroddodd 'Edeyrn' megys dyfyniadau o'm pregeth yn gywir, na'r casgliadau a dynodd oddiwrthynt yn briodol. Ni ddywedais 'mai gwaith ofer a phechadurus ydyw i ddynion ddysgwyl argyhoeddiad,' neu 'argyhoeddiad mawr,' fel ymadrodd cyflawn. Ni ddywedais, ac ni awgrymais, 'nad yw yr Iawn yn sicrhau achubiaeth.' Ni alwyd mo honof i gyfrif mewn un man, gan neb erioed, am bregethu 'Ffwleriaeth, Jenkyniaeth,' nac unrhyw gyfeiliornad arall. Ei holl gyhuddiadau hyn i'm herbyn nid ydynt ond camdystiolaethau noethion. Ni all wneuthur 'Jenkyniaeth' o'r un o'm hymadroddion, nac ychwaith o'r cwbl o honynt ynghyd.

'Jenkyniaeth Drwyadl! Jenkyniaeth Drwyadl!' Os yw yr ychydig eiriau—y cymmerodd 'Edeyrn' arno eu dyfynu, yn cynnwys cyfundraeth Jenkyn yn drwyadl, yr hon sydd yn llenwi cyfrolau lawer, ac wedi rhoddi cymmaint o waith traethu i gynnifer o weinidogion dysgedig trwy Gymru er ys cymmaint o flynyddoedd bellach, oni allai argraffu y crynodeb byr hwnw ateb yn rhagorol, gan ei fod yn 'drwyadl,' a'i anfon i bob eglwys trwy Gymru, ïe, a'r byd oll? Rhoddid 'Jenkyniaeth Drwyadl' felly yn ngeneuau yr holl genedloedd mewn llai cylch na 'Chredo yr Apostolion!'

Yr wyf yn cyfrif yr amddiffyniad a wnaethoch yn gywir a digonol. Yn gymmaint ag yr ymaflasoch yn y gorchwyl, ac y'i cyflawnasoch yn briodol a medrus, os er anrhydedd y gwirionedd y canfyddwch achos myned yn mhellach yn y ffordd hon, yr wyf yn cyflwyno y gwaith yn

hollol i'ch gofal, gan eich cefnogi i fyned yn mlaen rhaglaw.—Wyf, eich annheilwng frawd,

JOHN JONES."

*Tal-y-sarn, Llanllyfni, Gorph.* 14, 1842.

Er nad oedd 'Edeyrn' wedi rhoddi un atebiad i'r "Amddiffyniad" diweddaf a wnaethid i Mr. John Jones gan Mr. William Pugh, ac nad ydoedd, ni a dybygem, yn bwriadu hyny, yr oedd cyhoeddiad y llythyr hwn, o eiddo Mr. John Jones ei hunan, yn fwy nag y gallai ei oddef i fyned heibio yn ddisylw. Yn ganlynol, yn y "*Dysgedydd*" am Tachwedd, 1842 (*tu dal.* 339—341), fe ddaeth allan drachefn, gydâ Llythyr, yn ail-gadarnhau pob peth a haeresid ganddo yn flaenorol; ac yn honi, yn ngwyneb ac yn erbyn tystiolaeth bendant Mr. John Jones ei hunan am annghywirdeb y dyfyniadau a wnelsid ganddo, 'nad oedd wedi gwyro drwch y blewyn oddiwrth y gwirionedd, yn yr hyn a adroddasai o'i bregeth.' Mewn gwirionedd, y mae '*Edeyrn*,'—dan ddylanwad rhyw deimlad ag y mae yn well genym beidio amcanu at ei ddynodi,—wedi iddo glywed, o ryw le, fod pregethau Mr. John Jones "wedi '*newid*,' . . . o fod yn Jenkyniaeth drwyadl i Uwch-Galfiniaeth drwyadl"—yn myned mor bell, yn y llythyr hwn, ag i feiddio yn ddigywilydd llefaru fel hyn am dano:—" Gresyn os yw cyn lleied peth yn peri iddo bregethu athrawiaeth groes i'w gydwybod, yn lle yr 'athrawiaeth iachus' y llafuriodd gymaint o'i phlaid, ac y dyoddefodd gymaint o'i herwydd. Os nad ydyw yn ystyried ei hun yn rhwymedig i ymddangos ger bron Gorsedd Golygydd y Dysgedydd i roddi cyfrif o'i egwyddorion, gobeithio yr ystyria y bydd yn 'rhaid' iddo 'ymddangos ger bron brawdle Crist,' i roddi cyfrif' o'r hyn a bregetho—ac y bydd iddo ddewis yn hytrach ymddadrus o rwymau y *Deed* a'r Gyffes, na chynnyg pregethu yr hyn nad all ei gredu." Ac eto, ni a gawn y gwr sy'n ysgrifenu fel hyn, cyn diwedd yr Ysgrif, yn ceisio ymresymu, gyda golwg ar y brawddegau a ddyfynasid ganddo, fel pe na byddai profi eu cysondeb â'r Gyffes, mewn un modd yn ddigon i'w hamddiffyn rhag y cyhuddiadau a ddygasid ganddo ef yn eu herbyn! Fel ag y gallesid dysgwyl, ni wnaeth Mr. John Jones ei hunan byth un sylw ar y llythyr enllibus hwn; ond yn y "*Drysorfa*" am Chwefror, 1843 (*tu dal.* 44—46), fe ddaeth Mr. William Pugh allan drachefn âg Atebiad byr iddo; a dyna y diwedd, hyd ag yr ydym ni yn gwybod, ar yr ymosodiad hwn. Yr oedd ymddygiadau *Edeyrn*, yn y peth hwn, yn

dra anngharedig, ac, oddiar ei safle ef ei hunan, dybygem ni, yn eithaf annoeth. Nis gallasai wneuthur dim mwy boddhäol i deimladau, na mwy gwasanaethgar i amcanion, y rhai cyfyng ac uchel yn mhlith y Methodistiaid, yr oedd eu dylanwad, ar ol y Gynnadledd a gynnaliesid yn y Wyddgrug, braidd yn gwbl ar ben: ac yr oedd yn tueddu yn uniongyrchol i droi meddwl Mr. John Jones, oddiar y cyfeiriad a gymmerasid ganddo ac yr oedd wedi bod cyhyd arno, nid, fel yr awgrymai Edeyrn, "i bregethu yn groes i'w gydwybod," ond at y gwirioneddau gwrthgyferbyniol yn yr "athrawiaeth iachus," fel yr oedd efe yn ei deall, ag yr ydoedd, er ys amryw flynyddoedd, wedi bod yn rhy ddieithr iddynt. A dyna, mewn gwirionedd, yr effaith a gafodd, mewn rhan, arno ef: nes peri i ryw rai fel *Edeyrn* dybied ei fod, erbyn hyn, yn pregethu Uwch-Galviniaeth.

Yr oedd peth arall hefyd, y blynyddoedd hyn, yn myned â llawer iawn o'i feddwl—yr oedd yn llawn ysbryd ymfudo i America. Yr oedd yr ysbryd hwnw wedi bod yn gryf iawn ynddo, tua y blynyddoedd 1829, 1830, a dechreu 1831; ond yr oedd pregeth i Mr. Elias, mewn Cyfarfod Misol yn Nghapel y Graig, gerllaw Bangor, yn mis Mawrth, 1831, oddiar Psal. xlvi. 10, wedi rhoddi ergyd hollol i'r gogwydd tuag at hyny, y pryd hwnw. Yr oedd yr un ysbryd, yn awr, pa fodd bynnag, wedi ail-ymaflyd ynddo, a chyda nerth llawer mwy. Yr oedd ei frawd, Mr. Richard Jones, a'i chwiorydd, a'u teuluoedd, a chyfeillion ereill amryw, wedi myned yno; ac yr oeddent yn anfon newyddion cysurus yn ol iddo ef am y wlad, ac am eu llwyddiant ynddi; ac yn defnyddio eu holl ddylanwad er ei berswadio yntau i'w dilyn. Yr oedd ei hunan yn gweled ei deulu yn awr yn lliosog; ac er ei fod, erbyn hyn, mewn amgylchiadau lled gysurus, ac yn gwneyd yn dda gydâ'r byd, eto nid oedd heb lawer o bryder yn nghylch ei blant; a pha fwyaf a feddyliai am danynt, yr oedd yr argyhoeddiad yn cynnyddu fwyfwy yn ei feddwl, mai ei ddyledswydd, er eu mwyn hwy, oedd myned drosodd ac ymsefydlu yn America. Yr oedd cynnydd egwyddorion Pabaidd hefyd y pryd hyny yn Eglwys Loegr, yn peri iddo ofni rhag i'r bwystfil gael ail afael ar y deyrnas hon, a gwneyd y wlad yn dra annghysurus, os nad yn beryglus, i garedigion y gwirionedd yn ei symledd a'i burdeb Biblaidd. Rhwng pob peth, yr oedd ei fryd ar fyned. Parodd yr awydd hwn iddo gymmeryd dyddordeb annghyffredin yn mhob peth cysylltiedig â Thaleithiau Cyfunol yr America: nes y daeth yn gwbl

gydnabyddus â'u ffurf-lywodraeth, eu hanes, eu daearyddiaeth, eu hafonydd, eu llynoedd, eu mynyddoedd, eu gwastadeddau, a'u prif ddynion, yn y wladwriaeth ac yn mhlith yr amrywiol enwadau crefyddol;—ac yr oedd yn edmygwr difesur arnynt braidd yn mhob peth, oddieithr y caeth-wasanaeth a ffynai, y pryd hyny, yn y Taleithiau Deheuol. A mawr fuasai ei lawenydd, pe cawsai fyw i weled, yr hyn a welir erbyn hyn, y Taleithiau eang oll wedi dyfod, yn holl ystyr wladwriaethol a chymdeithasol y gair, yn Daleithiau rhyddion. Ambell ddiwrnod, tra yr oedd yr ysbryd hwn arno, nis gellid ei gael braidd at ddim oddiwrth America. Yr ydym yn cofio yn dda ein bod ar nos Sabbath, Mehefin 30, 1844, yn cydgysgu âg ef yn Nhyddyn y Cae, yn nghymmydogaeth Bodüan, Lleyn; a'n bod yn cyd-deithio â'n gilydd, drannoeth, tua Beddgelert, lle yr oedd Cyfarfod Misol i'w gynnal y diwrnod hwnw a'r canlynol, Gorphenaf 1, 2. Nid oedd dim i'w gael ganddo y boreu Llun hwnw, gydâ ei fod wedi deffro, ond America. Ar foreufwyd, gydâ'r hen amaethwr parchus a'i wraig, dyna yr holl siarad: y fath dir rhagorol oedd yn America; a'r ffermydd ardderchog, mawrion, oeddent yno yn barod, heb ond eisiau rhyw rai i'w cau i mewn, ac i'w diwyllio. "Ie," meddai Mrs. Hughes, "ond y mae Cymru i gyd yn *ffarm* i chwi yma, John Jones, bach. Da chwi, peidiwch â son na meddwl am fyned byth oddiyma, nes y byddwch yn myned i'r nefoedd." "Ië, yn wir," meddai Mr. Hughes, "yma y mae eich lle chwi. Y mae digon o bobl a fedr drin tir can gystled â chwithau, ond pregethu ydyw eich gwaith chwi." Yr oeddem braidd yn gobeithio fod y cyfeiriad at Gymru fel "*ffarm*" iddo, wedi effeithio rhyw gymmaint ar ei feddwl, ac y ceid llonydd gan America, ar ol hyny, y diwrnod hwnw beth bynnag. Ond, wedi i ni gychwyn tua Beddgelert, nid oedd dim i'w gael ganddo ond America; ac er i ni gynnyg lawer gwaith rhoddi cyfeiriad arall i'r ymddyddan, byddai yn dychwelyd drachefn a thrachefn i'r un man, nes yr oeddem, mewn gwirionedd, yn ofni mai ymfudo yno a wnai, fel y troisom, o'r diwedd, yn ddifrifol, i geisio ei ddarbwyllo, er mwyn Cymru, i beidio â meddwl dim am y fath beth. Wedi cyrhaedd i ryw le ar y ffordd, nad oedd yr un o honom yn gwybod yn iawn pa gyfeiriad i'w gymmeryd,—"Aroswch," meddai, "mi yraf i yn mlaen, i edrych pa fath ffordd ydyw hona sydd ar y dde, yn y fan yna." Ac fel yr oedd yn gyru yn lled gyflym, ar ffordd go ddrwg, dyna y ceffyl yn syrthio, a'r cenglau

yn tori, ac yntau yn gledran ar y llawr, nes yr oeddem yn ofni ei fod wedi derbyn niwed braidd angeuol. Yn gymmaint a'i fod ef yn gyru mor gyflym, ac yntau o gorph mawr, lled drwm, a'r ffordd yn garegog a garw, yr oedd yn ymddangos i ni yn un o'r codymau gwaethaf a welsem erioed. "Ah!" meddem wrthym ein hunan, "dyna ddiwedd am America a phob man arall iddo ef." Ond yn fuan fe gododd; ac, yn ffodus, nid oedd wedi derbyn dim niwed oddieithr yr ysgytiad, ac ychydig rugliad ar y croen ar un o'r arddyrnau. Wedi i ni fyned ychydig rhagom, daethom at le y cafwyd gwella y cyfrwy, ac aethom yn mlaen tua Beddgelert. Ond, er y codwm a'r cwbl, nid oedd dim i'w gael ganddo, yr holl ffordd, ond yr America. Parhäodd y tuedd hwn ynddo am amryw flynyddoedd: a thrwy daerineb cyfeillion, ac argyhoeddiad graddol yn ei feddwl ei hunan mai yn Nghymru yr oedd y lle mwyaf manteisiol iddo ef i wasanaethu Duw yn efengyl ei Fab, y perswadiwyd ef yn y diwedd i beidio ymfudo i America.

Ond, yn nghanol yr holl drafferth yr oedd ei feddwl ynddo gydâ golwg ar hyn, yr oedd yn ymroddi gydâg egni diarbed i'r hyn oedd, mewn gwirionedd, yn orchwyl mawr ei oes. Wedi iachau ei deimlad gydâ golwg ar yr hyn a wnaethid yn Sir Fflint, a'i ryddhau yn gwbl oddiwrth bob pryder Duwinyddol, fe gafodd hefyd ryw adnewyddiad annghyffredin i'w ysbryd yn ei weinidogaeth. Fel yr awgrymasom eisoes, fe droes ei feddwl, mewn modd neillduol, at hanfod yr efengyl, megis darpariaeth gras yn haeddiant yr aberth mawr ar gyfer amgylchiad pechadur; ac at drefn fawr cadw, yn ei chysylltiad â phriodoliaethau a chyfammod ac addewidion Duw; gwirioneddau ag yr oedd efe, heb roddi, er ys rhai blynyddoedd, y fath arbenigrwydd arnynt yn ei weinidogaeth ag a fuasai dymunol ac a garasai yntau roddi, pe cawsai lonydd gan argyhoeddiad ei gydwybod o'r rhwymedigaeth oedd arno, yn ngwyneb amgylchiadau y wlad ac ansawdd gyffredin meddyliau ei gydwladwyr ar y pryd, i aros ar wirioneddau ereill. Ond, gydâ y gwirioneddau a ddaethant yn awr o'r newydd yn arbenig i'w sylw, y byddai efe wrth fodd ei galon. Byddem braidd bob amser, wrth wrandaw arno yn ymdrin â hwynt, yn tueddu i resynu fod dim yn tynu ei feddwl oddiwrthynt, ac yn amddifadu y cynnulleidfäoedd o'r seigiau breision, blasus, a daenid ganddo, pan gydâ hwynt, ger eu bron. Yr oedd y fath gydnawsedd rhwng ffrwythlonedd a nerth ei ddychymyg, priodoldeb a thlysni ei gymhariaethau, dwysder ac

angerddoldeb ei deimlad, cyfoeth anhysbyddadwy ei iaith, a pheroriaeth swynol ac annysgrifiadwy ei lais, â'r fath bynciau, fel y byddai yn ymddangos yn hollol yn ei elfen gydâ hwynt, a'r effeithiau ar y gwrandawwyr y fath, nes y byddent, braidd yn ddieithriad, wedi eu hannghofio eu hunain yn hollol, ac wedi ymgolli yn gwbl mewn syndod a diolchgarwch a gorfoledd. Gallem gyfeirio at amryw oedfäon hynod iawn iddo, yn ystod y blynyddoedd hyn, o'r nodwedd hwn. Cafodd un nodedig felly mewn Cymdeithasfa yn Llanerchymedd, yr hon a gynnelid Iau a Gwener, Mehefin 13, 14, 1844. Yr oedd Mr. John Jones yn pregethu am ddau ar y gloch, ar ol y diweddar Mr. Rees Phillips, Llanymddyfri. Yr oedd y diweddar Mr. John Jones, Llanbedr, Sir Aberteifi, a'r diweddar Mr. Hughes o Liverpool, wedi pregethu am ddeg. Yr oedd Mr. Hughes wedi pregethu yn afaelgar, ac effeithiol, oddiar Iago i. 26. Y mae y Parch. Richard Parry, Llandudno, yn garedig iawn, wedi anfon i ni yr adroddiad canlynol, am yr oedfa am ddau ar y gloch; am yr hwn yr ydym yn teimlo, ac y mae yn sicr genym y teimla ein holl ddarllenwyr, yn dra diolchgar iddo:—

"Y mae cynnulliad o amgylchiadau yn ffafriol, ac weithiau yn anffafriol, i bregethwr. Y mae dylanwad cryf gan ansawdd yr hin; y mae cryn bwys yn y ffordd y byddo y gwynt yn chwythu; y mae cryn effeithiad gan agweddiad yr ystafell neu y maes lle y byddir yn traddodi; y mae llawer o bwys yn nghyflëad y gadair ymadrodd; ac y mae llawer yn dybynu ar deimladau y gwrandawyr—gydâ lluaws o amgylchiadau ereill, rhy amrywiol i'w henwi ar hyn o bryd.

Y mae llawer iawn o bethau yn ei gwneyd yn dra anfanteisiol yma heddyw. Dyma ddiwrnod annedwydd iawn i gynnal Cymanfa. Y mae yr hin yn hynod o farwaidd; y mae yr awr ar y dydd, dau o'r gloch, yn drymllyd iawn. Y mae y niwl tew, a'r gwlith mân, sydd yn gorchuddio wyneb yr wybren, a'r hîn mor frwd, yn ei gwneyd yn anhawdd iawn i ymgynnal, yn enwedig wrth feddwl nad oes un chwa o wynt, gymaint ag i siglo dail y coed. Y mae yn anhaws sefyll allan ar y maes yma yn awr nag a fyddai dan boethder tywyniad haul, pan y byddo yr awel yn lled fywiog. Y mae y gynulleidfa fawr fel pe byddai yn mron methu anadlu. Y mae y bobl yn ymwasgaru i orweddian, megis mewn lludded, ar y maes. Dyna ryw un yn syrthio i lewyg, ac yn cael ei godi ar y gadair, a'r *ffanau* yn cael eu hysgwyd

yn ei wyneb; ac y mae hyn oll cyn pen haner awr wedi dechreu yr oedfa!

Pa fodd bynag, dyna y canu drosodd. Dacw ddyn hardd, golygus, a dymunol yr olwg arno, yn codi i fynu i bregethu. Y mae yn darllen ei destyn gydâ llais seingar, ac ychydig o dôn, 'Cofia gyfodi Iesu Grist, o had Dafydd, o feirw, yn ol fy efengyl i.' Testyn cyffrous iawn; ond y mae yn o anhawdd cyffroi dim ar y bobl heddyw. Y mae y gwr yn myned rhagddo, ac yn ymadroddi yn bert; eto y mae pob gair fel pe byddai yn syrthio yn farw wrth ei draed; nid yw ei eiriau yn gwneyd effaith ar ddim, ond y blinder sydd yn cael ei dynu arno ei hun. Y mae efe fel pe byddai yn digaloni, ac yn colli golwg ar y sylwadau oedd ganddo mewn bwriad i'w traddodi. Y mae yn troi yn ol ac yn mlaen, at y naill beth a'r llall; ond y mae yn methu yn lân a chael gafael ar ddim rywfodd. Y mae yn gweithio ei ffordd rhagddo drwy anialwch a dyrysni, gan ymbalfalu, oreu gallo, er mwyn cael gafael ar yr Amen rywfodd. Y mae yn terfynu, ac yn eistedd i lawr, gan sychu ei chwys, er na threuliodd braidd chwarter awr o amser. Y mae yn gollwng ochenaid drom, gan sibrwd yn ddistaw wrtho ei hun, 'Wel, wel, yn ofer y llafuriais—yn ofer ac am ddim y treuliais fy nerth; gobeithio y daw hi yn well gydâ y nesaf; nid oes yr un gofid arnaf fi ond ofn fod yr Achos Mawr wedi cael ei iselu yn fy nwylaw.'

Dacw un arall yn codi i fynu. Dyn tàl, graenus, *plaen*, dirodres, â gwyneb iachus awyr Dolyddelen ganddo. Nid yw yn gnodiog iawn. Y mae ganddo wynebpryd treiddgar, ac ymddangosiad hardd, gydàg ychydig o loeren ar uwchaf ei arleisiau; a'i wallt yn disgyn yn rhydd-wastad, led deneu, tuag i lawr. Y mae yn edrych yn haner digllawn—nid digllawn chwaith. Y mae yn ysbïo drwy ei aeliau weithiau. Y mae yna feddwl yn neidio allan drwy y llygaid a'r wynebpryd yna! Dyn gwledig—nid gwledig chwaith. Dyn tebyg i ffarmwr—nid ffarmwr chwaith. Y mae yn anhawdd gwneyd dosbarth o hono. Beth bynag, y mae yna bob arwyddion ei fod yn *rhyw un!* Y mae yn haner pesychu rhwng ei wddf a'i fynwes, ac yn rhoddi penill allan i'w ganu:

'Bywyd y meirw, tyr'd i'n plith,
A thrwy dy Ysbryd arnom chwyth,' &c.

O! y mae yntau wedi deall ansawdd yr hin, feddyliem, wrth ei ddewisiad o benill. Y mae yn ysbïo drwy ei aeliau ar y cymylau niwl eto.

Y mae yn ceisio dyfalu beth a ddaw o hono. Y mae y canu fel sŵn dan badell. Y mae hen ŵr Hafod-yr-afr [Hafod-y-myn] yn methu yn lân a chael ei lais allan i gychwyn y gân fel arferol. Y mae pibellau lleisiol y cantorion oll wedi haner tagu. Y mae pob peth fel pe byddent wedi cytuno â'u gilydd i wneyd yr oedfa yn drymllyd, a'r *sassiwn* yn ddigalon. Nid oes dim cerdded mewn dim; y mae pob olwyn wedi cydsefyll. Nid oes mo'r help am dani; dyna fel y mae yn dygwydd weithiau. Dywedodd yr hen Gristmas Evans unwaith, wedi gwrando ar ddyn go egwan yn pregethu mewn Cymanfa yn Nghaernarfon, 'Hawyr bach, bobol! beth ydyw rhyw *spar-bils* fel hyn; pa le y mae yr hen *hoelion wyth* wedi myned i gyd?' 'Wel,' meddem ninau, ar y pryd, 'dyma hoelen wyth yn myned i gynyg ar y bwrdd derw; cawn weled, cyn hir, pa un ai plygu dan y morthwyl a wna, ynte gweithio ei ffordd drwy y trwch.'

Y mae y pregethwr yn darllen ei destyn—ond mor isel, fel nad ydym ond prin glywed ambell air—'Yn yr hyn Duw, yn ewyllysio yn helaethach ddangos i etifeddion yr addewid ddianwadalwch ei gynghor, a gyfryngodd trwy lw: fel trwy ddau beth dïanwadal, yn y rhai yr oedd yn anmhosibl i Dduw fod yn gelwyddog, y gallem ni gael cysur cryf, y rhai a ffoisom i gymmeryd gafael yn y gobaith a osodwyd o'n blaen: yr hwn sydd genym ni megis angor yr enaid, yn ddiogel ac yn sicr, ac yn myned i mewn hyd at yr hyn sydd o'r tu fewn i'r llen!' Y mae yn myned rhagddo; ond y mae yn ymadroddi yn rhy isel o lawer ar gyfer torf mor fawr. Y mae y bobl yn ymwasgu i wrandaw, a phawb yn dechreu codi clust, a chryn ddysgwyliad yn cael ei greu; eto y mae pob peth yn parhau yn hynod o farwaidd; nid oes dim *myn'd* mewn dim eto: dyna bymtheg munud wedi myned heibio bron yn ofer. Y mae y bobl yn ymollwng eilwaith, a'r dysgwyliad yn darfod, a llawer yn troi yn ol i orweddian ar y maes. Y mae efe wedi llefaru bellach dros haner awr, ac heb un math o symudiad. Y mae pob peth mor ddigyffro a'r bedd! y mae y cyfan yn hynod o anfuddiol. '*Sassiwn* go drom ydyw hon, onide?' meddai rhyw hen flaenor yn ddystaw wrth gyfaill oedd yn sefyll gerllaw. 'Ie,' meddai y llall, 'y mae hi yn ddilewyrch iawn—onid yw John yn farwaidd iawn?'—A'r ddau hen frawd, druain, heb wybod dim am y lli' yr oedd efe yn rhwyfo yn ei erbyn. 'Dyma Gymanfa wedi troi allan yn fethiant,' oedd yn sylw dystaw yn mynwes pawb. Y mae hi yn llawn tri chwarter awr er

pan y mae efe wedi dechreu pregethu, ac heb ddim effaith; byddai yn well o lawer iddo roddi i fynu, na blino y dorf â meithder yn mhellach. Ah! aroswch, aroswch! Dyna ryw symudiad newydd ar y pregethwr, ac y mae yna ryw ysgogiad newydd ar y dorf! Dyna y pregethwr, fel pe byddai yn cael tanio ei ysbryd ar unwaith. Y mae yn codi ei fraich, ac yn dyrchafu ei lais treiddgar, hyd yn nod at derfyn sill olaf ei frawddeg, a hyny mor soniarus a phe byddai udgorn arian y cysegr wrth ei enau, 'Bobl, y mae yr hen lŵ eto o'r tu ce-e-e-fn!' Brenin anwyl! Dyna ryw *electricity* ar darawiad amrant yn rhedeg yn fyw drwy yr holl dorf! Y mae y ddaear yn siglo dan draed y bobl yn sicr! Dyna yr hoelen drwy y bwrdd derw yn deg, a dacw hi yn cael ei sicrhau gan feistr y gynnulleidfa! Y mae teimladau y dorf yn hollol at ei law! Y mae 'ysbryd y peth byw' wedi trydanu pob mynwes! Y fath gyfnewidiad ar foment! 'Y mae yr hen lŵ o'r tu cefn eto.' '*Yr hen lŵ*.' Nid ydym yn clywed yr ymadrodd yn dyfod gydâ chwaeth dda, ond ni waeth beth a fo, y mae yn myned felusach, felusach, bob tro. 'Paham yr oedd raid i'r Duw digelwyddog a digyfeiliorn chwanegu ei lŵ at ei addewid? A oedd yr addewid yn rhy wan heb y llŵ? a glybuwyd erioed iddo addaw heb gywiro? A oedd raid wrth y llŵ i gryfhau yr addewid? A allasai yr addewid ddim sefyll ar ei throed ei hun? &c.' 'Nac oedd dim rhaid, ond fel yr oedd yr hen ymryson yna yn parhau yn dy galon gyndyn di; a bod "llw, er sicrwydd, yn derfyn ar bob ymryson:" y mae digon o nerth yn yr hen lŵ (yr hen lŵ eto) i roddi terfyn tragywyddol ar yr ymryson sydd yn dy feddwl cildynus dithau. Dyma ein calondid i wynebu ar dorf galed, mewn Cymanfa fawr, yn nghanol trymder hîn! "I mi fy hun y tyngais, medd yr Arglwydd." I bwy? "I mi fy hun." I un o'r angylion? Nage: ni buasai Gabriel ddim mwy na gwybedyn i dyngu iddo ar drefn iachawdwriaeth dyn! I bwy? I un o'r bryniau? Nage: "y bryniau a symudant." I bwy? I un o'r mynyddoedd ynte? Nage: fe fydd y Wyddfa a'r Siabod a'u gwadnau i fynu, ac yn neidio fel hyrddod cyn hir. I bwy ynte? "I mi fy hun." Wel, yn wir, ni allasai dyngu i neb oedd fwy. Yr oedd yn rhaid cael cadarn sail Duw i dyngu iddi.'

Erbyn hyn yr oedd yr holl dorf fel pe buasai wedi cael ei tharaw â syndod! Yr oedd ffrydlif diorphwys ei hyawdledd, seingarwch swynol ei acenion, a nerth annghydmarol ei lais, yn yr holl ofynion a'r atebion uchod, yn disgyn fel gwreichion gwasgarog ar y dorf! Nid oeddym

yn gallu dylyn y bregeth; yr oedd y cysylltiadau wedi cael eu tori lawer gwaith; rai troion gan ei ddystawrwydd ef ei hun ar y dechreu, a throion ereill gan ruddfanau y bobl, yn y cyffro mawr tua'r diwedd. Daeth ef yn fuan i ymadroddi yn fwy rheolaidd, a'r bobl, am ychydig funudau, i wrandaw yn fwy astud, yn enwedig, tra y bu yn darlunio fel yr oedd sancteiddrwydd a gallu Duw wedi eu gwystlo dros lwyddiant y gwaith. "Tyngais i'm sancteiddrwydd, medd yr Arglwydd." Dyna ei sancteiddrwydd wedi ei wystlo: dyma ei allu eto, "Tyngodd yr Arglwydd i'w ddeheulaw." Dyna ddigon ynte am byth! Pa law? Ei ddeheulaw!

"Yr Arglwydd â'i *ddeheulaw gref*,
Hwn a wnaeth nef a daear."

(Yr oedd ei floedd wrth adrodd y darn penill yn rhwygo yr awyr fel taran gref). Y llaw a fu yn dyrchafu ei Fab: "Hwn a ddyrchafodd Duw â'i ddeheulaw." Fe wywa ac fe ddiffrwytha y llaw fu yn codi Iesu o'r bedd, os na bydd pob addewid yn ïe ac yn Amen yn Nghrist. Fe ddad ymchwelir yr orsedd gan gythreuliaid, fe falurir y goron dan draed annuwiolion, os collir un pechadur a gredo! "Zel Arglwydd y lluoedd a wna hyn." Nid oedd ryfedd i'r Salmydd waeddi allan, "Amen ac Amen." Gan fod y llaw wedi ei selio, yr wyf yn galw ar bob pechadur sydd ar y maes yma yn awr i dyngu, "Byw yw yr Arglwydd, mewn gwirionedd, mewn barn, ac mewn cyfiawnder." Fel hyn yr oedd y brophwydoliaeth wedi cerdded o'r blaen, "I mi y plyga pob glin, ac y cyffesa pob tafod." Bellach, bechadur, tyr'd dithau a dy Amen, i gyfarfod "Amen ac Amen" y Salmydd, i'w goroni yn Arglwydd pawb oll am byth.'

Erbyn hyn nid oedd modd dylyn y pregethwr yn mhellach, oblegyd yr oedd ocheneidiau y dorf yn boddi ei lais yn fynych, er cryfed ydoedd. Yr oedd yn traddodi mor rymus am agosrwydd a diogelwch y noddfa, nes yr oedd y bobl wedi eu llwyr syfrdanu. Yr oeddym yn gallu deall fod y gair 'ffowch' ganddo yn fynych, rhwng y cyfyngau. Gwaeddodd allan yn rymus ac eglur iawn, drwy yr holl amlygiad o deimladau i gyd,—'Bobl anwyl, y mae y gobaith o'ch blaen; y mae y noddfa yn eich ymyl! O! diolch i Dduw, mi a glywaf drwst traed rhai o honoch ar yr hiniog y funyd yma. I mewn—i mewn, bobl anwyl—i mewn bob enaid o honoch,' &c. Ni allem ddeall dim ychwaneg yn eglur; a therfynodd yn nghanol dagrau, ocheneidiau, gruddfanau, gorfoledd, a chaniadau y dorf fawr!

Y mae yn anhawdd gollwng yr adgofion uchod heibio, heb ychwanegu atynt rai o'r sylwadau oedd yn cynyg eu hunain i'n meddwl ar y pryd. Ni welsom effeithiau yr un fath ar dorf erioed o'r blaen. Cof yw genym weled dylanwadau dwysach, a mwy gafaelgar, droiau; ond nid ydym yn gallu galw i gof am yr un effeithiad mor sydyn, mor gyffrous, ac mor danllyd, ar unwaith. Yr oeddym yn meddwl weithiau am air y werin am 'gwmwl wedi tori.' *Cwmwl wedi tori* oedd yma y tro hwn, feddyliem. Yr oedd fel pe buasai y nen wedi ei gorchuddio â chwmwl tor-lwythog, llawn o wefryddiaeth, a bod ergyd mellten yn ei hollti ar unwaith, nes oedd ei holl gynnwysiad o wlaw, a chenllysg, a mellt, a marwor tanllyd, yn disgyn yn gawod gymmysgedig ar ben saith mil o bobl ar funyd awr, nes oedd yr holl gynulleidfa fel pe buasai wedi colli meddiant ar ei theimladau ei hun! Cof yw genym ar un amgylchiad weled cwmwl gwefrol yn cael ei godi gan gorwynt troellog o fôr Ynys Seiriol, nes yr oedd natur fel pe buasai wedi ymfeichiogi ar ystorm ar funyd, ac yn ei gario dros y Penmaenmawr, ac yn ei dywallt yn ddylif ar ben Sychnant ar unwaith. Rhywbeth tra thebyg oedd effeithiau yr oedfa hon. Yr oedd y pregethwr wedi arwain cwmwl y weinidogaeth uwchben y maes, ac (i ddychwelyd at y gydmariaeth gyntaf) wedi cael yr hoel drwy drwch y bwrdd derw, a rhoi cŷn ar ei hol nes ei hollti o'r naill ben i'r llall, ac yna tywalltai hyawdledd cysegredig yr areithfa rhwng yr hollt mawr, dros bob teimlad yn y lle, a hyny megys ar funyd awr! Hynodrwydd mwyaf arbenig y tro hwn, oedd ei sydynrwydd aruthrol, yn nghanol trymder a syrthni mor fawr. Gwelsom rai pregethwyr gydâ mwy o *science* sanctaidd, a hono yn gwbl guddiedig oddiwrth lygad pob dyn ac angel, yn gweithio ei ffordd, drwy yr holl drymder, *yn raddol*, at deimladau y bobl; ond yr oedd y tro hwn mor rymus ag ergyd magnel. Tarawyd y pregethwr ei hun â theimlad cyffrous iawn; cyflwynodd yntau holl drydaniaeth y teimlad hwnw ar foment i fynwesau yr holl dorf oedd ger ei fron. Yr oedd yma enghraifft hynod o natur yn taraw natur.

Wrth adgofio yr effeithiau a ganlynasant y tro rhyfedd hwn, dylid sylwi mai nid llawer a ddychwelwyd at grefydd ar y pryd. Dychwelwyd rhai, y mae'n wir, ond nid rhyw luaws mawr. Yr oedd pawb wedi synu, llawer wedi dychryn, a rhai wedi eu hachub. Yr effaith mwyaf arbenig a gynnyrchwyd oedd, creu mwy o hyder diysgog yn meddyliau dynion am lwyddiant crefydd. Yr oedd y darluniad o'r

'ymryson' sydd yn y byd, yn mhob modd, yn erbyn crefydd, yn darawiadol iawn, ond pan y daeth ef a chadernid trefn Duw yn wyneb sicrwydd yr addewid a'r llŵ, i olwg y dorf, yr oedd pob rhwystr megys yn diflanu o'r golwg ar unwaith, a phob llygad yn gweled y byddai i gadarn sail Duw sefyll, er gwaethaf holl allu pyrth uffern, a chynghreiriau cythreuliaid a dynion drwg; a phawb megys yn dychymygu fod y mil blynyddoedd ger llaw. Yr oedd yn dda iawn i'r pregethwr wrth ei nerth corphorol ar y pryd; hebddo, diau y buasai trymder yr hîn yn ei lethu ef, fel ei gyfaill o'i flaen. Ond yn lle hyny, yr oedd efe yn cryfhau gydâ phob brawddeg, fel yr oedd yn myned rhagddo. Yr oedd cyferbyniad rhyfedd iawn rhwng dau ben y bregeth. Y tri chwarter awr hwyaf a welsom erioed oedd y tri chwarter awr cyntaf o'r bregeth, a'r haner awr byraf a welsom erioed oedd yr haner awr olaf o honi. Buasem yn haeru nad ydoedd dros ddeng munyd, ond fel yr oeddem wedi bod yn gwylio ar yr amser. Ac wrth adgofio yr holl hanes, am yr amgylchiad hynod hwn, ni allem lai nag adfeddwl am y darluniad o ddychweliad yr hen genedl o'r caethiwed gynt,—'Pan ddychwelodd yr Arglwydd gaethiwed Sion yr oeddym fel rhai yn breuddwydio. Yna y llanwyd ein genau â chwerthin, a'n tafod â chanu; yna y dywedasant yn mysg y cenhedloedd, Yr Arglwydd a wnaeth bethau mawrion i'r rhai hyn. Yr Arglwydd a wnaeth i ni bethau mawrion; am hyny yr ydym yn llawen!'"

Can belled a hyna y mae adgofion a sylwadau Mr. Parry, am yr oedfa hynod hon, yn myned. Y maent yn ymestyn yn lled faith, ond nis gallem gael ar ein calon adael dim o honynt allan. Y mae ein hen gyfaill, y Parch. Ebenezer Davies, Llanerchymedd, trwy law yr hwn y cawsom yr ysgrif oddiwrth Mr. Parry, yn ei lythyr atom, yn dywedyd,—"Am yr oedfa hynod yr ymofynwch yn ei chylch, nid oes genyf unrhyw gofion o'm heiddo fy hun, i'w hysgrifenu, ond bod yr effeithiau ar y dorf fawr yn *aruthrol.* Yr ydwyf fi, a llawer ereill, yn lystion byw o wirionedd y dysgrifiad yn yr Ysgrif hon."

Yn mhen ychydig fisoedd ar ol hyn, fe gafodd oedfa hynod iawn arall, un o'r rhai hynotaf a gafodd yn ei holl oes; un mor hynod, yn wir, fel ag y mae amryw wedi crybwyll wrthym, a rhai wedi ysgrifenu atom, yr ystyrid ei Gofiant, ganddynt hwy, yn hollol anmherffaith, pe na byddai cyfeiriad neillduol ac arbenig ynddo ati. Yr oedd y tro hwn mewn Cymdeithasfa a gynnaliwyd yn Ffestiniog, y Mercher a'r Iau,

Hydref 2, 3, 1844. Yr oedd y Gymdeithasfa hono, am y flwyddyn hono, yn cymmeryd lle y Gymdeithasfa a arferid gynnal yn flynyddol, y pryd hyny, yn Nolgelleu. Y prydnawn cyntaf, yr oedd Mr. Daniel Evans, Capel Drindod, a Mr. William Havard, yn pregethu. Am chwech, boreu drannoeth, pregethodd Mr. William Jones, Rhyd-y-Saeson. Yr oeddid yn amcanu pregethu allan am ddeg, a phob parotöad wedi ei wneuthur tuag at hyny; ond trodd yr hin mor anfanteisiol, gan wlaw trwm, fel y gwelwyd y byddai yn anmhosibl aros allan; ac felly trefnwyd fod pregethu i fod yn Nghapeli yr Annibynwyr a'r Wesleyaid, yn gystal ag yn Nghapel y Methodistiaid. Yn Nghapel y Methodistiaid yr oedd y diweddar Mr. Daniel Jones o Gaernarfon, gynt o Lanllechid, a Mr. John Jones yn pregethu. Yr oedd y capel eang wedi ei orlenwi â gwrandaẅwyr, pob congl o hono dan sang. Testyn Mr. John Jones oedd, Psal. xxxvi. 7. "Mor werthfawr yw dy drugaredd, O Dduw! am hyny yr ymddiried meibion dynion dan gysgod dy adenydd." Yr oedd hwn yn un o'r troion cyntaf iddo bregethu ar yr adnod hon. Bu, ar ol hyn, am bedair neu bum' mlynedd, yn un o'i hoff destynau; ac y mae yn ddiddadl fod y bregeth yn un o'i brif bregethau. Y mae y Parch. Robert Parry, Ffestiniog, a Mr. Rees Roberts, Harlech, wedi bod mor garedig ag anfon i ni eu hadgofion hwy am dani megys ag y traddodwyd hi y pryd hwn; ac y mae yr Adroddiad canlynol wedi ei wneyd i fynu o'u hadroddiadau hwy, ynnghyd âg o'n hadgofion ein hunain am y bregeth, fel y clywsom ni hi mewn Cyfarfod yn Llanwyddelen, Sir Drefaldwyn, Ionawr 18, 1849. Mater y bregeth oedd, "Gwerthfawrawgrwydd Trugaredd Duw." Yr oedd yn hawdd gweled ar y pregethwr, o'r dechreu, y tro hwn, ei fod yn y dymher oreu, a bod pob peth o'i amgylch yn cael ei deimlo ganddo yn fanteisiol iddo; yr holl gynnulleidfa yn dysgwyl wrtho, fel wrth angel Duw, ac yntau yn gwbl ymwybodol fod ganddo y peth goreu a gwerthfawrocaf mewn bod i'w gyhoeddi iddynt. Nid oedd yn ym ddangos mewn dim brys. Yr oedd yn ymsymud rhagddo yn bwyllog, fel arferol, ac yn cymmeryd hamdden i egluro yn fanwl y gwirionedd oedd ganddo i'w draddodi; gan osod i lawr sail ddofn a chadarn, yn neall ei wrandawwyr, i'r effeithiau y dymunai eu cynnyrchu ar eu calonau. Ac yr oedd ei bortröad o Drugaredd Duw yn fywiog ac effeithiol tu hwnt i bob dysgrifiad, ac yn un o'r rhai mwyaf gogoneddus, yn ddiddadl, a dynwyd allan erioed o flaen byd colledig. "Y mae

trugaredd," meddai, "yn happus iawn yma, yn gymmaint a bod ganddi gyfoeth annherfynol at ei llaw, i wasanaethu ei holl amcanion: holl Briodoliaethau y Duwdod anfeidrol; ei Hollwybodaeth; ei Hollalluawgrwydd; a'r holl gyfoeth anchwiliadwy ac anhysbyddadwy sydd yn eiddo iddo. Chwi ganfyddwch yn fynych," meddai, "dosturi dynol cryf angerddol; ond druan o hono! nis gall wneuthur dim daioni i'w wrthddrych o ddiffyg gallu. Oh! beth na wnai y fam dyner, â'i chalon yn rhwygo mewn cydymdeimlad â'i phlentyn, dan ddirdyniadau cystudd ac yn nghyfyngder marwolaeth, pe gallai? Pe gallai hi daflu yr haul allan o'r ffurfafen i achub bywyd ei baban, ni fyddai genyf fi ddim ymddiried yn y byd y caem ni haul am bum' munud yn hwy. Ond druan o honi! nid oes ganddi ddim i'w wneyd ond edrych yn fud trwy ei dagrau ar ei arteithiau a'i ingau o dan ddwylaw creulawn y gelyn diweddaf, heb allu cymhorth dim arno. Ond am drugaredd Duw, y mae yn marchogaeth yn ogoneddus yn holl fawredd nerth Hollalluawgrwydd, i weinyddu ymwared ac ymgeledd i'w gwrthddrychau hi. Ni chaiff dim sydd yn bosibl i fraich yr Anfeidrol fod heb ei wneuthur er sicrhau eu happusrwydd." "Drachefn,—y mae trugaredd yn Naw a holl sylw Hollwybodaeth ganddi, i wylio dros ac i ofalu am ei gwrthddrychau. Y mae edrych ar ei hanes hi, yn yr hen Fibl yma, braidd yn peri i mi feddwl ei bod hi megis yn eiddigus o Gyfiawnder, ac yn fanwl iawn yn gwylio ar ei holl ysgogiadau rhag iddo gyffwrdd a'i hanwyliaid hi. Mi dybiwn, pa bryd bynnag y gwelai hi ef yn myned allan i'r byd, y byddai hithau yn rhywle yn agos i'w sodlau, ac yna yn prysuro o'i flaen, i gymmeryd gofal am ei gwrthddrychau ei hunan, ac yn eu cuddio mewn diogelwch, rhag iddo wneuthur unrhyw niwed iddynt. Un diwrnod dacw Gyfiawnder yn myned allan i foddi y byd: ond y mae trugaredd yn rhedeg o'i flaen, ac yn diogelu Noah a'i deulu yn yr Arch. Ryw ddiwrnod, ar ol hyny, dacw Gyfiawnder yn myned allan drachefn, i droi dinasoedd Sodom a Gomorrah yn lludw, a'u damnio hwy â dymchweliad, gan eu gosod yn esampl i'r rhai a fyddent yn annuwiol,' canys yr oedd eu 'gwaedd yn ddirfawr, a'u pechod hwynt yn drwm iawn.' 'Ah!' meddai trugaredd, 'y mae genyf innau ryw rai yno, y rhaid i mi ofalu am danynt;' ac, ar ffrwst, dacw hi yn myned o flaen Cyfiawnder, ac yn 'gwaredu Lot gyfiawn.' Ryw ddiwrnod, wedi hyny, dacw Drugaredd yn craffu ar Gyfiawnder yn ymwisgo mewn rhwysg a gogoniant mwy dyrchafedig nag a welsai arno erioed. 'Y mae

yn myned allan, heddyw,' meddai, 'i ryw amcan arbenig ofnadwy, yr wyf yn ofni fod dïal mawr ar ei galon ar y ddaear yna.' Pa fodd bynnag, dacw hithau yn ymbarotoi: a chydâ ei fod yn cychwyn, y mae wrth ei sodlau yn ei ddilyn. 'Fy niwrnod i ydyw heddyw,' meddai Cyfiawnder, 'rhaid i ti aros adref, Drugaredd.' 'Na, y mae yn rhaid i mi gael dyfod, onide, hwyrach y byddi di wedi eu lladd nhw i gyd.' 'Na, nid myned i ddïal fy ngham ac i ladd yr ydwyf, heddyw, dim ond i gyhoeddi fy hawliau; nid oes genyt ti ddim i'w wneyd nac i'w ddywedyd heddyw.' Ac i ba le y mae cyfiawnder yn cyfeirio ond tua Sinai, i gyhoeddi y gyfraith danllyd. Y mae y mynydd yn mygu; y mellt yn saethu; y taranau yn rhuo; y ddaear yn crynu; tân, a chwmwl, a thywyllwch, a thymhestl, a sain udgorn Duw yn hir-llaes. A dacw gyfiawnder yn dechreu cyhoeddi y ddeddf dragywyddol; a'r bobl yn llewygu gan ofn—ac hyd yn nod Moses, gan yr olygfa ofnadwy, yn dywedyd, 'Yr ydwyf yn ofni ac yn crynu.' Ond, mi welaf Drugaredd wedi gweithio ei ffordd i'r cwmmwl tywyll tew, ac yno yn gwylio am ryw-gyfleusdra i ddywedyd gair, er calonogi y miloedd trueiniaid sydd ar farw yn ngodreu y mynydd; a thra bu Cyfiawnder yn cymmeryd ei wynt, dacw hi yn neidio i'r bwlch, ac yn ei llais peraidd ac â'i hacenau bendigedig ei hunan yn gwaeddi, nes y clywai yr holl wersyll,—'AC YN GWNEUTHUR TRUGAREDD I FILOEDD.'"

Yr oedd wedi ei ddyrchafu i'r fath dymer sanctaidd a gorfoleddus, yn ei ymdeimlad â'i destyn, fel yr oedd yn ymddangos, iddo ei hunan, yn gwbl annghymmwys i wneyd dim tebyg i degwch âg ef. "Oh! na byddai genyf ddoniau angelion a seraphiaid i draethu am, ac i ganmol dy drugaredd di, O Arglwydd Ior! O, Gabriel, dyro fenthyg dy ddawn nefol i mi am ychydig funudau, i fawrygu trugaredd fy Nuw! Hi ydyw fy mam; ar ei gofal hi y'm bwriwyd i o'r bru; ei dwylaw tyner hi fuant yn fy ymgeleddu, pan yn faban egwan; o'i bronau hi y bum i yn sugno; ar ei gliniau hi y cefais fy magu, pan yn blentyn bychan; hi fu yn gwylio drosof, yn nyddiau fy ieuenctyd; hi gadwodd fy mywyd, yn nydd yr ystorm fawr; hi sydd wedi fy arwain a'm coledd yr holl ffordd, trwy anialwch mawr ac ofnadwy y byd drwg yma; oddiwrthi hi yr ydwyf fi yn dysgwyl fy mhob peth, o hyn hyd y diwedd; a phan y dôf fi i'r diwedd, ei llaw hi wyf fi yn ddysgwyl, i gynnal fy mhen i fynu, rhag boddi yn yr afon donog; ac ar ei bwrdd hi yr ydwyf fi yn dysgwyl cael gwledda byth, yn y byd a ddaw. 'Mor werthfawr yw dy drugaredd, O Dduw.'"

Yna elai rhagddo i edrych ar helaethrwydd ac eangder trugaredd, yn ei chysylltiad yn arbenig âg iachawdwriaeth dyn; a'i phenderfyniad i gyfarfod, a goresgyn, yr holl rwystrau oeddent ar ei ffordd, er dwyn ei hamcanion i ben. "Pan y ceir," meddai, "ambell waith ar y ddaear yma, galon fawr haelionus a chyfoeth lawer, wedi cyd-gyfarfod yn yr un personau, y mae gan y rhai hyny, yn gyffredin, ryw wrthddrychau y maent mor hoff o honynt, fel y cai y byd fyned i drancedigaeth a difancoll tragywyddol cyn yr ymadawent â hwynt; ond am drugaredd Duw, y mae y fath eangder anfeidrol ac anamgyffredadwy i ni ynddi, fel y cafodd y nefoedd fod yn wâg o'r MAB, yn hytrach na bod dim angenrheidiol tuag at ddedwyddwch tragywyddol ei gwrthddrychau hi heb ei sicrhau." "A phan," meddai Mr. Rees Roberts, "y gwaeddai y gair Mâà-â-âb, a hyny mewn modd nad oedd neb ond efe a allasai ei waeddi, torodd allan y fath floedd o orfoledd gan ddegau, os nad ugeiniau, ar unwaith, fel, er cryfed, ac er mor dreiddgar oedd llais y pregethwr, nas gellid, am rai munudau, prin glywed un gair a ddywedai, gan faint y cyffro, a bloeddiadau y gwrandawwyr." "Yr oeddwn i," meddai Mr. Robert Parry, "ar risiau y pulpud, ac mewn lle manteisiol i ganfod y cwbl: ac ni welais y fath olygfa yn fy holl fywyd; ac nid wyf yn gallu dysgwyl gweled ei chyffelyb byth. Pan y darluniai Drugaredd yn dywedyd, 'y cai y nefoedd fod yn wâg o'r Mab, cyn y câi dim angenrheidiol er sicrhau iachawdwriaeth i bechadur fod heb ei gwblhau,' disgynodd rhywbeth ar y gynnulleidfa nad ydyw ond ofer ceisio ei ddysgrifio, oedd, yn wir, yn annysgrifiadwy. Rhoddwyd un lêf gyffredinol gan yr holl dorf, fel pe buasai wedi ei tharo gan fellten; a chafodd pawb ryddhâd i'w teimladau—rhai trwy waeddi, llawer trwy wylo, a rhai trwy wylo a gorfoleddu. Ac ni therfynodd effeithiau y bregeth yn y Capel, ond bu yn dwyn ffrwyth am flynyddoedd. Bu rhai yn dyfod i'r eglwysi, yn y cymmydogaethau hyn, am amser maith, wedi eu deffro yn ddifrifol, am y tro cyntaf erioed, trwy y bregeth hon."

Yr ydym yn ofni fod lliaws o'n darllenwyr ieuainc nas gallant ffurfio un drychfeddwl tebyg i gywir am y Cyfarfod hynod hwn, oddiwrth y darluniad uchod; ond yr ydym yn dra sicr y dwg Mr. John Jones yn dra bywiog i gôf lliaws o'i hen wrandawwyr, a'r effeithiau rhyfeddol i'w weinidogaeth, y buant hwy eu hunain, a rhai o honynt laweroedd o weithiau, yn dystion o honynt.

Yr oedd Mr. John Jones, y pryd hyn, yn nerth mwyaf ei boblog-

rwydd. Ar yr adegau mwyaf cyffredin,—cyfarfodydd ganol yr wythnos a chanol dydd,—i ba le bynnag yr elai, byddai y Capeli yn llawnion, hyd y drysau; ac ar adegau annghyffredin, yn ngwyneb hîn anfanteisiol, megis yn y Cyfarfod hwn yn Ffestiniog, byddai y rhedeg ar ei ol yn rhywbeth aruthrol a pheryglus. Y mae yn ymddangos ei bod yn nodedig felly yno, y pryd hwn. Yr oedd y gwlaw, tua haner dydd, wedi peidio, a'r haul yn tywynu, a dysgwylid prydnawn têg; ac felly, am ddau ar y gloch, fe aed i'r maes, lle yr oedd Mr. William Havard, a Mr. John Jones eto, i bregethu. Pregethodd Mr. William Havard; ond, cyn iddo ef ddarfod, daeth yn wlaw trwm drachefn, ac yn wlaw mor drwm, fel nad oedd un gobaith y gallai Mr. John Jones bregethu allan. Ond, gadawer i ni ddefnyddio geiriau Mr. Rees Roberts, yn ei lythyr atom, yr hwn oedd ei hunan yn bresennol:—"Ni ddygwyddodd mi erioed weled y fath amlygiad o boblogrwydd un dyn, ag a welais o boblogrwydd gwrthddrych eich Cofiant, yn *Sassiwn* Ffestiniog." Ac yna, wedi adrodd am y bregeth yn y boreu, y cyfeiriwyd ati uchod, y mae yn myned rhagddo:—"Ond at yr olygfa ar y maes, yr odfa ddau o'r gloch, yr hon olygfa oedd yn ddiau yn effaith dylanwad nerthol y bregeth yn y boreu, yr oeddwn i yn meddwl cyfeirio, fel prawf o boblogrwydd annghydmarol, yr hwn a alwai *Glan Alun*, yn dra phriodol a dysgrifiadol,—PREGETHWR Y BOBL. Yr oedd yr hen dad hybarch, William Havard, yn pregethu yn gyntaf; a daeth yn wlaw mor drwm, yn mhell cyn diwedd ei bregeth ef, fel ag yr oedd teimlad o siomiant yn meddiannu meddyliau y dorf fawr bryderus am glywed John Jones drachefn; ond prin yr oedd yr '*Amen*' dros wefusau y pregethwr cyntaf, nad oedd rhyw un yn camu yn mlaen, i wyneb y *stage*, ac yn cyhoeddi y byddai John Jones yn pregethu, yn ddioed yn y Capel. Treiddiodd y cyhoeddiad, gydâg effaith drydanol, trwy'r miloedd oeddent yno ynnghyd. Daeth pawb, ar amrantiad, yn ddyn neu yn ddynes, *un idea!* Ymddangosai y dyrfa i gyd wedi ei meddiannu gan un meddwl ac un amcan, sef, sicrhau mynediad i'r Capel, cyn iddo gael ei orlenwi. Bum yn llygad-dyst o ruthriadau miloedd ein trefi mawrion, i weled a chlywed rhyfeddodau; ond erioed ni welais yn Liverpool, Manchester, na Llundain, y fath ruthr, na dim cyffelyb, i'r tro hwn, ar gae Ffestiniog. Gallech weled, yn y cwr yma, *Umbrella* un yn chwyrlio latheni o bellder oddiwrth ei berchenog; het un arall, megis mewn digllonedd, yn ymadael â'r pen gorphwyllog a'i gwisgai; ac

aml un yn rhoddi prawf eglur fod yr ewyllys i gyrhaedd y fan yn llawer mwy na'r gallu, yn syrthio yn gledran ar y ddaear wleb; a'r lleill yn praneio drostynt, heb ofalu dim pwy oeddent, na pha beth a ddeuai o honynt.

Erbyn cyrhaedd y capel, clywid drysau yn clecian; gwisgoedd yn rhwygo; ffenestri yn dryllio yn deilchion; ac aml un, fel pe buasai wedi annghofio yn llwyr fod ganddo na chnawd nac esgyrn, yn ymwthio â'i holl egni, yn ddibris o bob peth, am y caffai ei hunan, rywsut, o fewn i'r muriau, yn y corph neu allan o hono. Ar ol cael tawelwch, cawsom bregeth ragorol ar 'Gymhwysder y Gair fel moddion Iachawdwriaeth.' Yr oedd y bregeth hon, drachefn, yn un ddylanwadol a gwlithog; er fod y cwmwl mawr, o'r hwn y disgynai curwlaw y boreu, erbyn hyn wedi ei chwythu dros y mynydd. . . . Gallaf eich sicrhau nad yw y lliwiau, yn y darluniad hwn, mewn un modd yn rhy gryfion." Y mae Mr. Robert Parry yn cyfeirio at yr un peth:—"Yr oedd y rhedeg, y gwylltio, a'r gwthio, i fyned i mewn i'r Capel, i wrandaw arno, mor fawr, fel y mae yn syndod na buasai llaweroedd wedi eu niweidio yn ddirfawr. Yr oedd yn pregethu, drachefn, yn afaelgar ac yn nerthol iawn. Ei destyn oedd, Heb. iv. 2. Traethai gydâ grym a hyawdledd a dylanwad mawr, ar allu y gwirionedd. Ond yr oedfa ddeg oedd pregeth y *Sassiwn;* ac y mae yn ddiammeu ei bod yn un o'i brif bregethau yntau."

Yn mis Ionawr, 1845, y daeth y rhifyn cyntaf o'r "TRAETHODYDD" allan o'r wasg, cyhoeddiad a werthfawrogid yn ddirfawr gan Mr. John Jones, ac y bu hyd ei farwolaeth yn gefnogwr ffyddlawn iddo. Ar gyhoeddiad y rhifyn cyntaf hwn, fe ysgrifenodd y Parch. Roger Edwards ato, gydâ golwg ar gais a wneid gan gyfeillion Llundain, ar iddo fyned yno i'w Cymmanfa, y Pasg canlynol, ac aros am y tymhor arferol i'w gwasanaethu; yn gystal ag am ysgrif oddiwrtho i'r "TRAETHODYDD." I'r llythyr hwnw, fe anfonodd yntau yr atebiad canlynol:—

"ANWYL FRAWD,

Derbyniais eich llythyr heddyw, yn yr hwn y gwelaf annogaeth i mi fyned i Lundain. Bum yn ymddyddan â Mr. Griffith Davies am hyny; a dywedais wrtho nas gallwn ddyfod. Mae fy nheulu yn fawr ac yn fân, ac nis gallaf eu gadael cyhŷd o amser. Gan hyny dymunaf gael fy esgusodi; nis gallaf fyned o herwydd llawer o rwystrau.

Am y 'TRAETHODYDD,' yr ydwyf yn cael fy moddhau yn fawr ynddo, ac yn dysgwyl llawer wrtho rhag llaw. Hyderaf mai hwn fydd y cyhoeddiad goreu eto. Gobeithiaf y bydd yr ysgrifau ar 'Athroniaeth Bacon' cyhŷd âg Esboniad Matthew Henry, neu Caryl ar Job. A dysgwyliaf nad ydyw 'Cysondeb y Ffydd' ond yn dechreu carthu ei wddf. Ofnwyf fod yr 'Undeb Cristionogol' wedi ei orphen. Nid oes dyn yn gwybod pa mor bell yr â 'Hanes yr Eglwys yn Geneva' cyn eistedd i lawr. Tybiwn fod o'i flaen lawer o ffordd; a llwyddiant iddo. Cawsom ychydig gydnabyddiaeth â '*Robert Hall*' yn ol y cnawd; a gobeithio y cawn olwg arno yn ol yr ysbryd; canys ei enaid oedd ei ragoriaeth yn sicr. Dichon fod yn bosibl ei dynu i roddi tro trwy Gymru unwaith bob chwarter blwyddyn.

Diammeu genyf y bydd y cyhoeddiad hwn yn fuddiolach nag un arall a fu neu sydd yn Nghymru. O ïe! cân Dafydd fy mrawd ar 'Aberth Crist:' meddyliais wrth ei darllen, y buasai Cariad at Grist yn adyn grwgnachlyd ac anniddig, oni bae fod o'i flaen dragywyddoldeb, a digon o gwmni iawn, i ganmawl byth. Tragywyddoldeb a gynnyrcha fawl anfeidrol. Nid oes genyf fi ddim yn werth ei anfon i'r 'TRAETHODYDD,' ac onidê cawsai gychwyn yn ddioed. Yr wyf yn dymuno ei lwyddiant o'm calon.

Cofiwch ni ein dau at Mrs. Edwards yn garedig, a chymerwch eich hunan yr un arwydd diffuant o gariad.

Ydwyf eich annheilwng gyfaill,

JOHN JONES."

"TALYSARN, *Ionawr* 21, 1845."

Yn ystod y flwyddyn hon, yr oedd mewn pryder mawr yn nghylch ei ferch Ellen, yr hon oedd yn nychu o'r darfodedigaeth, ac a fu farw Hydref 15, 1845, yn bedair-ar-ddeg oed. Yr oedd yn eneth ieuanc nodedig o brydweddol; o dymher naturiol hynod garuaidd; ac yn dwyn arwyddion tra amlwg ei bod yn wir dduwiol. Yr oedd serchiadau teuluaidd Mr. John Jones yn gryfion iawn, ac fe deimlodd yn ddirfawr oddiwrth y brofedigaeth hon. Mae yn y Gyfrol werthfawr o'i Bregethau, a ddygwyd trwy y wasg dan olygiad y Parch. Griffith Parry, ac a gyhoeddwyd gan Mr. Gee, Dinbych, un bregeth a gyfansoddwyd ganddo ar yr achlysur o'i marwolaeth hi. Nid ydym yn sicr a draddodwyd y bregeth hono ganddo o'r pulpud ai peidio: y mae ynddi, pa

fodd bynnag, yn rhoddi ymarllwysiad rhydd i'w deimladau yn yr amgylchiad teuluaidd galarus yr ydoedd ynddo, a hyny gydá dwysder a difrifwch ac effeithiolrwydd annghyffredin. Mae yn gystal dadguddiad a dim a welsom odditan ei law, o'i fywyd mewnol. Mae yn rhy faith i'w dyfynu, ac yn rhy dda i'w thalfyru; ac felly, nid oes genym ond cyfeirio y darllenydd ati, gan ddymuno arno ei darllen yn ofalus, os ydyw am adnabod calon gwrthddrych ein cofiant. Daeth un llythyr i'n llaw, a ysgrifenwyd ganddo at chwaer grefyddol, pan yn nyfnder y tristwch hwn; ac yr ydym yn ei gyflwyno ger bron ein darllenwyr:—

"ANWYL MRS. WILLIAMS,

Fe allai eich bod wedi clywed am ein profedigaeth chwerw. Yr ydym yn gwybod y buasech chwi wedi dyfod yma, ond fel yr ydych eich hunan wedi eich dal gan brofedigaeth ddwys, ac yn gorfod bod uwch ben eich anwyl ferch, sydd mewn iselder mawr. Ni ddichon neb ddirnad ein teimladau archolledig ond y rhai a fuant mewn amgylchiad cyffelyb; ac nid llawer o'r rhai hyny a allant fyned i mewn yn hollol i'r eiddom ni. Yr oedd fy anwyl Elin yn meddu y fath ragoriaethau, fel nad oes un o fil yn meddu'r fath, ac nid oedd neb yn eu prisio mor uchel a'i rhieni. Mae ei hymddygiad amyneddgar, tawel, yn holl ystod ei hafiechyd, ynnghydâ'i hymddyddanion synwyrol crefyddol, a'i dull tra effeithiol, ac annioddefol i dosturi tad a mam, pan yn ymadael a'r byd hwn, wedi cael y fath argraff ar ein meddyliau, ag sydd yn ein llethu yn dra isel. Yr ydym, er hyny, ein dau yn ceisio gweddio am gael ein cadw rhag grwgnach dim yn erbyn ordeiniad yr unig ddoeth Dduw. Y noswaith cyn ei marwolaeth, ymddangosai yn dra siriol: cymerai damaid o gynhaliaeth; a galwai am ychydig lyfrau, a rhyw bethau ereill oedd ganddi mewn *Drawer* dan glô. Ar ol edrych drostynt, rhoddai hwynt i'w cloi i fynu drachefn, gan gadw yr agoriad: a gadawodd Destament bychan oedd ganddi yn ei hymyl, yn y gwely. Yna aeth pawb ymaith ond myfi. . . . . Yn mhen o gylch awr, cafodd gwrs o beswch trwm; a'r pesychiad diweddaf yn arwyddo fod rhyw beth yn tori y tu fewn. . . . . Gorweddai ar ddull un wedi ymroddi i farw. Gofynais, 'A wyt ti yn pwyso ar Gyfryngwr, Elin bach?' 'O ydwyf,' meddai. Rhoddai ei llaw am fy ngwddf, a'r llaw arall yn fy llaw. Galwodd am ei mham. 'Ffarwel,' meddai, 'fy mam bach: yr ydwyf fi yn myned i ffordd.' Yna ceisiai deimlo â'i llaw guriad y gwaed. Ond nid oedd yno ddim curiad i'w deimlo. Teimlai

y gwaed-gûr drachefn, yr un modd; ond nid oedd dim. Sicrhäwyd ei meddwl ei bod yn marw. Yna gosododd ei llaw dan ei gên, gan roddi pwys ei phen i raddau arni, a gwenai megis wên siriol, ac ymddangosai yn debyg i un yn syrthio i drymgwsg, hyd oni ymadawodd yr holl ogoniant o'i theml. Ni chadwyd hi yn y poenau hyn ond am amser byr, o gylch deugain munud y parhaodd yr holl frwydr. Cawsom lawer o le i feddwl ei bod yn gredadyn; a gobeithiaf y cawn oll fel teulu weled, trwy hyn, werth Cyfryngwr.

Eich annheilwng gyfaill,

JOHN JONES."

"O. Y.—Soniodd lawer am eich caredigrwydd tuag ati, pan yna yn gorwedd yn glaf."

Pan ydoedd yn y brofedigaeth hon, fe'i cyfarchwyd ef a'i briod â'r llythyr canlynol, oddiwrth ein hen barchedig dad-yn-nghyfraith:—

"AMLWCH, *Tach. 7fed*, 1845.

"ANWYL FRAWD A CHWAER,—

Pan y gwelais hysbysiad yn Mhapur y Newyddion o'ch profedigaeth lem, bwriedais, os cawn fyw, anfon llinell atoch i gyffesu gradd o'm cyd-ymdeimlad â chwi. Ond pa les yw hyny wedi'r cyfan? Canys nis gall neb ysgrifenu, na dim arall, i symud ymaith y teimladau chwerwon a brofwch eich dau oherwydd colli oddiwrthych eich anwyl Eneth. Ond pa beth yw eich *colled fechan* chwi, wrth yr *enill* a gafodd hi? A phaham, anwyl gyfeillion, y dysgwyliech chwi y bywyd hwn yn beth na addawwyd ef i neb o'r saint? Canys dywed eich Meistr, 'Yn y byd gorthrymder a gewch': eto gorchfygodd ef y byd ac uffern hefyd. Ac onid hwyrach fod ganddo EF ryw law yn dwyn arnoch y profiad treidd-gar yr ydych eich dau heddyw yn gorwedd tano. Eto, er bod tano, Efe a fedr gyd-oddef â'i blant gweiniaid yn eu holl drallodau. Nid wyf yn sicr a glywais i ryw sibrwd,—'Mae'r America yn fawr; ac y mae genym ninau lawer o blant; ac er eu mwyn hwy yr ydym yn ymestyn am wlad well, &c.' A phwy a ŵyr nad allai hyny gael ei hysbysu i'r gŵr a biau'r America, a ninau hefyd? Pa fodd bynnag, y mae Ef mor hyf a dangos mai Efe sydd yn llywodraethu; a hyderaf fod fy Mrawd a'm Chwaer yn Nhal-y-sarn, ar ryw droïau yn darllen cariad ar hyn i gyd. 'Canys pa *fab* sydd, yr hwn nid yw ei dad yn ei geryddu?' a hyny 'er llesâd i ni, fel y byddem gyfranogion o'i sancteiddrwydd ef.'

"Nid rhaid i'r Arglwydd gael rhyw feiau mawrion yn ei blant er agor ffordd i brofedigaethau eu cyfarfod; ond weithiau fe wêl na ddwg dim mo'u hysbrydoedd i agweddau wrth ei fodd ef ond pethau chwerwon; ac yna, 'efe a chwardd am ben profedigaeth y diniwed.' Bryd arall, fe wel nad oes dim a'u cymhwysa i gyfarfod â rhyw amgylchiadau a fyddant o'u blaen, ond gosod eu 'henaid mewn heiyrn,' fel Joseph gynt. Fe allai fod rhagluniaeth yn bwriadu dangos rhyw wên pur siriol eto arnoch eich dau, ac yn ofni eich niweidio trwy hyny heb chwerwi tipyn ar eich teimladau er eich cymhwyso i'w derbyn. Ni ddywed ef mo'i ddiben i chwi, hwyrach, enyd eto, canys y mae Efe yn lled hŷf ar ei greaduriaid ei hun.

"Mae yn ddrwg genyf i mi fod cyhyd heb eich cyfarch, ond nid oeddwn gartref, er ys tro, hyd neithiwr. Gwyddoch nad yw fy nhŷb am eich anesmwythder ond ffrwyth fy nychymygion fy hunan; a byddaf weithiau yn hyderu mai *felly* y bydd fy mrawd a'm chwaer yn cyfarch eu gilydd, yn y drws, pan y bydd ef yn dychwelyd o'i gyhoeddiad Sabbath,—'Da y gwnaeth efe bob peth!!' ''Does yma ddim ond pechadur wedi *ildio*': a'r llall yn barod i ddywedyd, 'Felly finau.' Wele, bellach, *Farewell* i chwi eich dau; canys gwn y gwelwch y *stori* hon yn fwy na digon o hyd. Mae fy nheulu yn cyd-gofio atoch chwi a'r eiddoch oll. Maddeuwch bob hyfder gormodol a arferais arnoch yn y *scrawl* hon.

Oddiwrth yr eiddoch yn ddifrad,

W. ROBERTS."

Ar yr achlysur hwn hefyd, fe gyflwynwyd iddo y llinellau canlynol, gan EBEN VARDD, y rhai a argraffwyd, yn mhen blynyddoedd, yn niwedd y Farwnad a gyhoeddwyd gan EBEN i Mr. John Jones ei hunan:—

1. "Frawd! cofiwch, bu DAFYDD â'i blentyn ar drangc,
A phrofwyd ei grefydd trwy angeu ei langc;
Can's Dafydd ymolchodd a chododd drachefn,
Ei Dduw a addolodd pan drodd yn ei drefn.

2. "Beth meddwch, Frawd, eilwaith, am Job yn y pant,
Ac angeu, ar unwaith, yn llyncu 'i *holl* blant?
'Yr Arglwydd,' dywedai, 'a roddodd am dro,
'A'r Arglwydd ddug ymaith,—Bendigaid a fo.'

3. "Ni chollodd eich geneth wrth basio y ser,—
Mae 'n byw yn ei phalas yn ninas ein Ner;
Yr *hanfod* lwys dyner a fuoch chwi 'n drin,
Rhyw seraph a'i cymer yn awr ar ei lin.

4. "Mae 'r *meddwl* bach, cymysg, y bu arnoch boen
I roi iddo addysg am rinwedd yr OEN,
Yn awr o ryw argraff mwy dysglaer na dydd,
Yn taflu, braidd, Seraph neu Gerub dan gudd!

5. "Pan gaiff ei *chorph* cryno, heb arno ôl bedd,
I undeb â'i *henaid*, bydd ganaid ei gwedd;
Ill dau, ewch i'r awyr, eich geneth ni'ch gâd,
Ond geilw 'n ddiwewyr,—'Fy nhad! O! fy nhad!'"

Pan ydoedd Mr. John Jones yn nyfnder y trallod hwn, ar ol colli ei ferch, fe dderbyniodd y newydd galarus am farwolaeth un o'r cyfeillion anwylaf oedd ganddo, ac un yr oedd efe bob amser, ac hyd ddiwedd ei oes, yn teimlo fod arno rwymau arbenig iddo,—y diweddar Mr. John Robert Jones, Bangor. Yr oedd Mr. Jones yn fab i Mr. John Roberts, Mynachdŷ, Tydweiliog, Llëyn, lle y ganwyd ef tua diwedd y flwyddyn 1792. Cafodd, pan yn blentyn, y manteision addysg goreu oeddent i'w cael yn y gymydogaeth hono, a gwnaeth yntau y defnydd goreu o honynt. Yr oedd, o'r dechreu, yn llawn awyddfryd am wybodaeth; yn gymaint felly, fel nad oedd ganddo amser i chwareu fel plant yn gyffredin, ond byddai yn wastadol gyda'i lyfrau, a hyny gartref fel yn yr ysgol. Wedi iddo dyfu yn llefnyn, o bymtheg i ddeunaw oed, a phan y dysgwylid iddo, o ran oedran, gymmeryd rhan yn ngwaith y *ffarm*, yr oedd mor ymroddedig i'w lyfrau, fel y canfyddwyd yn fuan y byddai yn well iddo droi at rywbeth arall na ffarmio. Unwaith, pan oedd wedi ei anfon i geisio tywod, tuag at wrteithio y tir, ar ol llwytho y dròl, yr oedd efe â'i lyfr yn ei law, yn canlyn y ceffylau o lan y môr, hyd nes y daethant i'r cae lle yr oedd y llwyth i'w ddosbarthu yn fân-docynau. Ond wedi dyfod i'r lle, edrychodd am enyd yn ei lyfr; a gollyngodd yn annghof fod llwyth yn y dròl, a thynodd y ceffylau o honi, ac adref âg ef heb feddwl mwy am dano, y pryd hwnw. Bu am ryw gymaint o amser, ar ol hyny, yn Saethon,

yn athraw i'r diweddar Mr. David Williams, Castell Deudraeth, yr aelod seneddol diweddar dros Sir Feirionydd. Yr oedd Mr. Williams y pryd hyny yn dyoddef gan ryw wendid mawr, ac yn cael ei gaethiwo yn hollol i'w wely: ond yr oedd yn alluog yno i gymmeryd gwersi gan Mr. Jones. Ar ol hyny bu am yspaid yn cadw ysgol yn Edëyrn, lle y daeth i gyfarfyddiad mynych â, ac y cafodd lawer o gymdeithas yr hen bregethwr, y Parch. John Jones; a difyrus iawn fyddai ei glywed yn adrodd ei adgofion am dano. Er fod ei rieni yn aelodau eglwysig flynyddoedd cyn ei eni ef, eto, yn gymmaint ag nad oedd yn arferiad y pryd hyny yn Nhydweiliog dwyn y plant i fynu yn yr eglwys, ni chafodd Mr. Jones y fraint hono. Ond pan ydoedd yn ddeuddeng mlwydd oed efe a ymunodd â'r eglwys. Yr ydoedd y pryd hyny dan argraffiadau crefyddol dwysion iawn, y rhai a derfynasant yn ei wir ddychweliad at Dduw yn Nghrist. Cymerodd yn fuan, er ieuenged ydoedd, ran yn y cyfarfodydd gweddïau, yn yr Ysgol Sabbothol, &c., fel aelodau ereill; ac yr oedd yn cael pleser mawr wrth ymroddi i lafur crefydd. Byddai Mr. Elias, y pryd hyny, yn rhoddi cyhoeddiad trwy Lëyn yn gyson bob dwy flynedd; a chlywsom Mr. Jones yn dywedyd y byddai efe yn arfer ei ddilyn o gapel i gapel trwy Lëyn i gyd, bob tro y delai i'r wlad tra y bu efe yn aros yno. Pan ydoedd tuag un ar hugain oed fe'i dewiswyd yn flaenor yn Nhydweiliog. Yn mhen ychydig ar ol hyny, er mwyn ychwanegu at ei gymhwysder fel Athraw, a chydâg amcan hefyd, y pryd hwnw, o ymroddi i'r weinidogaeth, fe aeth, yn y flwyddyn 1820, i *Liverpool*, i ysgol a gedwid yno gan Dr. Stewart, lle y bu am hanner blwyddyn. Yr oedd, trwy lafur blynyddoedd blaenorol, wedi meistroli elfenau y Lladin a'r Groeg, nes ei alluogi i ddarllen awdwyr cyffredin yn lled rwydd ynddynt, yr hyn a barhäodd i'w wneud, hyd ddiwedd ei oes; ond y pryd hyn, yn Liverpool, y daeth gyntaf i gyfarfyddiad âg un oedd yn feistr hollol ar yr ieithoedd hyny, ac yn alluog i roddi iddo y cyfarwyddiadau ag yr oedd wedi hir ddymuno eu cael. Ymroddodd hefyd yma i ddysgu yr iaith Hebraeg, a daeth, yn mhen amser, mor gydnabyddus â hi fel ag i allu darllen yr Hen Destament ynddi gydâ graddau mawr o hyfrydwch. Yr ydym yn tybied na adawodd i un diwrnod fyned heibio, tra y bu byw, os byddai gartref, heb fynu amser i ddarllen rhyw gymmaint ar yr Hen Destament, a'r Newydd, yn yr ieithoedd yr ysgrifenwyd hwynt yn gyntaf ynddynt. Wedi gorphen gydâ Dr. Stewart, fe ddychwelodd i Lëyn, lle y bu yn cadw

ysgol drachefn yn Nhydweiliog ac Edeyrn, hyd tua diwedd 1821. Yn mis Rhagfyr, y flwyddyn hono, aeth yn ei ôl i Liverpool: a bu yn cadw ysgol yn Bedford Street yno, ar hyd y flwyddyn 1822. Yn mis Ionawr, 1823, fe adawodd Liverpool, ac a ymsefydlodd yn Mangor, i gadw ysgol. Ac ysgol nodedig o lwyddiannus a fu ganddo yno tra y parhäodd gydâ hi, yr hyn a fu am tua phedair blynedd. Chwefror 11, 1824, fe ymbrïododd â Hannah, merch ieuengaf y diweddar Mr. Evan Evans, yr hwn oedd y pryd hyny yn flaenor yn Mangor, ac o'r hon y ganwyd iddo, os nad ydym yn cam-gofio, bedwar-ar-ddeg o blant, tri o'r rhai yn unig sydd yn awr yn fyw; ac o'r rhai y bu naw farw o'i flaen ef. Y mae ei brïod eto yn fyw, ac erbyn hyn, hithau, yn tynu at nawn-ddydd einioes; ond wedi cael gras i gadw yn agos at y golofn, a bod yn ffyddlawn iawn i "arch Duw," yr holl ffordd hyd yma. A dymuniad ein calon yw, ar i gysgod y nefoedd fod drosti hyd y diwedd; a phan y daw y diwedd, ar iddi ei gael yn dangnefedd pur!

Yn ddioed wedi ei ymsefydliad yn Mangor, fe'i galwyd i gymmeryd rhan yn ngolygiaeth yr achos yno fel blaenor. Yn mhen tua thair blynedd ar ol priodi, wrth weled ei deulu yn cynnyddu, a chyda'r amcan i'w wellau ei hunan yn ei amgylchiadau, yn gystal a chan obeithio cael mwy o ryddid i ddilyn y Cyfarfodydd Misol, ac i wasanaethu yr achos mawr yn gyffredinol yn y Sir, fe roddes yr ysgol i fynu ac a ymgymmerodd â masnach; yn yr hyn, drachefn, y llwyddodd i raddau mawr. Ymroddai gydâ ffyddlondeb neillduol i ofal am yr achos, yn ei holl ranau, yn ei gartref ei hunan; ac yn fuan daeth yn un o'r rhai mwyaf dylanwadol, yn mhlith ei frodyr, yn y Cyfarfodydd Misol. Yr oedd ei bwyll a'i arafwch yn ddiarebol; ac yr oedd hyny, yn gysylltiedig a rhyw allu oedd, dybygid, yn gynhenid ynddo, i ganfod ar unwaith hanfod yr anhawsderau perthynol i ba achos bynnag a fyddai dan sylw, yn ei wneuthur, pan y delai rhyw gwestiynau dyrys ger bron, yn gynghorwr braidd digyffelyb. Yn ei ddosbarth yn yr Ysgol Sabbothol, yr oedd yn athraw mewn gwirionedd. Yr ydym ni yn ystyried y fantais a gawsom i fod tan ei addysg ef, mewn dosbarth felly, am ran o flwyddyn, yn mysg prif freintiau ein hoes. Yr oedd ganddo ryw ddawn annghyffredin i dynu allan feddyliau y rhai oeddent dan ei ofal i ddirnadaeth o ystyr yr hyn a ddarllenid ganddynt; a hyny, nid yn gymmaint trwy ei ddywedyd ei hunan wrthynt, a thrwy ofyn cwestiynau â chymhwysder ynddynt i'w harwain hwy eu hunain

i'w ganfod. Yr ydym yn cofio, er esiampl, ein bod yn darllen Marc i. 32, "Ac wedi iddi hwyrhâu, pan fachludodd yr haul, hwy a ddygasant atto yr holl rai drwg eu hwyl, a'r rhai cythreulig." "Paham y dywedir," meddai, "'Ac wedi iddi hwyrhâu, pan fachludodd yr haul'?" "Am," meddai un o'r bechgyn, "mai dyna y pryd y daethant." "Ie," meddai yntau, heb sylwi ar y ffraethder ffôl ac anamserol, "ond, paham y daethant y pryd hwnw?" "Yr oedd yr hin," meddai rhywun, "yn y wlad hono, yn boeth yn y dydd, ac felly gallai fod yn beryglus iddynt eu dwyn ato y pryd hwnw; ond wedi 'machludo'r haul' gellid gwneyd hyny yn ddiberygl." "Rhyw un arall?" "Dichon fod llawer o honynt yn dlodion, a chydâ'u gorchwylion yn ystod y dydd; ond, 'wedi ei hwyrhâu hi,' yr oeddent at eu rhyddid i gymmeryd eu cleifion at yr Iesu." "Rhyw un eto?" "Hwyrach mai yn ddiweddar yr oeddent wedi clywed am dano yn eu cymmydogaeth, ac, felly, fod yr haul wedi machludo cyn iddynt gyrhaedd ato." "Rhyw un arall?" "Hwyrach fod ein Harglwydd yn brysur yn dysgu y tyrfäoedd yn ystod y dydd, ac felly, eu bod yn tybied y byddai mwy o hamdden ganddo i iachau eu cleifion, 'wedi iddi hwyrhâu.'" "Rhyw un arall?" "Dichon fod arnynt ryw gymmaint o gywilydd cyrchu ato liw dydd, a'u bod yn aros nes 'wedi ei hwyrhâu hi,' er mwyn osgoi sylw eu cymmydogion." Wedi cael allan o'r bechgyn bob eglurhad a allent roddi, ond heb gael yr hyn oedd yn ei feddwl ei hunan, fe ofynodd o'r diwedd,—"Pa ddiwrnod oedd hwn?" Erbyn troi yn ol, fe welid mai y "dydd sabbath" ydoedd. "Beth ydyw y rheswm yn awr," meddai, "am iddynt ddyfod 'wedi iddi hwyrhâu'?" "Am fod y 'Sabbath' drosodd." "Pa bryd y byddai y Sabbath Iuddewig yn dechreu?" "Gyda machludiad haul." "A pha bryd y byddai yn darfod?" "Gyda machludiad haul." "Ond," meddai un o'r bechgyn, "fe ddywedir yma fod ein Harglwydd wedi iachau dau yn ystod y dydd hwn, fel nad oedd un gwrthwynebiad ganddo ef i'w hiachau ar y Sabbath." "Digon gwir," meddai Mr. Jones; "ond y mae yr efengylwr sanctaidd yn adrodd yr hanes fod hyn wedi digwydd, nid gan gyfeirio at ei olygiadau ef, ond at syniadau a theimladau y bobl." Nid ydyw hyn ond *enghraifft* o'i ddull cyffredin yn yr Ysgol Sabbothol. Ond mewn ymddyddanion yn y Cyfarfodydd Eglwysig, y byddai ei ragoriaethau yn dyfod yn neillduol ac arbenig i'r golwg. Yr oedd yma, mewn gwirionedd, yn un *digyffelyb*. Ni chyfarfuasom ni, o

ieiaf, â neb erioed â'r fath allu ganddo i olrhain pechadur i'w gudd-feydd mwyaf dirgel, a'i ddatguddio iddo ei hunan yn ngwir agwedd ei feddwl; ac, wedi hyny, i'w gyfarwyddo at drefn yr efengyl am ym-wared. Yr oedd fel Meddyg medrus, tyner, ac eto ffyddlawn, yn adnabod ar unwaith holl arwyddion yr afiechyd; yn cyfarwyddo y claf at y cyfferiau goreu er ei wellhad; ac yna, yn llawn pryder a gofal na byddai y feddyginiaeth yn cael ei hesgeuluso. Ni a glywsom, o bryd i bryd, gryn nifer o rai tra rhagorol am gynnal Cyfarfodydd Eglwysig; ond ein barn bwyllog ni ydyw, na chlywsom ni neb erioed,—na phre-gethwr na blaenor,—yn dyfod yn agos, yn *hyny*, at Mr. John Robert Jones. Fel y gellid casglu, yr oedd ei bresenoldeb yn y Capel yn gryn brofedigaeth i lawer o'r pregethwyr a ddelent yno, y rhai oeddent adnabyddus o hono yn ei alluoedd a'i ddysgeidiaeth. Ond ni bu gwran-dawr erioed mwy gostyngedig nag efe. Yr oedd yn ymddifyru, yn enwedig, mewn cael allan yr undod, a gredid ganddo ef, oedd yn gorwedd yn mhob cyfansoddiad, yn meddwl yr awdwr o hono; ac y mae yn sicr genym y buasai llawer o'r hen frodyr yn synu at y drefn, a ganfyddid ganddo ef, a berthynai i'w pregethau hwy. Ond er colled annhraethol i'r achos mawr yn Mangor, yn gystal ag o fewn cylch Cyfarfod Misol Arfon yn gyffredin, i'r hwn yr ydoedd er ys llawer o flynyddoedd yn Ysgrifenydd, fe'i cymmerwyd ymaith, cyn bod neb wedi meddwl am hyny. Bu farw, o ennynfa yr ysgyfaint, yn gyflawn o dangnefedd yr efengyl, Hydref 21, 1845. Yr oedd Mr. John Jones, o'i ddyfodiad cyntaf i Arfon, wedi cael ynddo ef y cyfaill ffyddlonaf; ac ni a'i clywsom ef ei hunan yn dywedyd, nad oedd un dyn yn Nghymru, ag yr oedd efe, yn bersonol, yn teimlo mor ddyledus iddo â Mr. Jones. Yn mhen ychydig wedi ei farwolaeth, efe a gyfeiriodd y llythyr canlynol at ei weddw alarus:—

"Anwyl Chwaer,

Meddyliais lawer am eich profedigaeth chwerw, a gallai gydymdeimlo â chwi i raddau, er nad yn berffaith. Gallaf ddywedyd na effeithiodd marwolaeth un swyddog eglwysig yn y sir hon erioed gymmaint ar fy meddwl, ac nid ydwyf yn disgwyl y gallaf annghofio ein colled tra byddwyf byw. Yr oeddwn wedi ei ddewis yn gyfaill calon er ys llawer blwyddyn, a'i gael bob amser yn ffyddlon; ac nid oes dim a fu rhyngom, yn yr holl flynyddoedd, yn awr yn ofid i'm cyd-

wybod: o herwydd yn achos yr efengyl y byddem yn wastadol yn cyd-ymgynghori. Nid ydwyf yn adnabod neb mor dyner a ffyddlon a doeth.

"Yr ydwyf yn gwybod fod y rhinweddau a ymddangosent ynddo, er eu bod yn brofion cedyrn i chwi o'i ddedwyddwch perffaith ef, yn tueddu yn hytrach i ychwanegu at eich hiraeth chwi, er eu bod, ar yr un pryd, yn gymhorth mawr i chwi i fod yn foddlawn. Yr ydwyf yn ceisio gwahaniaethu rhwng hiraeth ac anfoddlonrwydd. Yr ydwyf yn hyderu fod yr hwn sydd wedi planu ynof y fath serchiadau angerddol at fy anwyl Elin, yn caniatau i mi ollwng dagrau hiraeth i lawr bob dydd, tra yr ydwyf yn gobeithio cael fy nghadw rhag grwgnach yn erbyn trefn Duw. Yr ydwyf yn gallu dyfod gydâ chwi i gyd-alaru am golli un o'r gwrthddrychau a gerais fwyaf ar y ddaear, ac i gyd-ddiolch am ei bod wedi rhoddi boddlonrwydd i mi ei bod yn marw yn yr Arglwydd, ac wedi ei rhyddhau o'i gofid yr un dydd. Ond rhaid i mi addef fod genych chwi golled i'w theimlo nad ydyw yn perthyn i mi yn awr, sef, colled am lywodraethwr a chysgod i chwi eich hunan a'ch plant. Ond gwneir hon i fynu i chwi yn Nuw, yr hwn a addawodd fod ei *hunan* yn *Dad* ac yn *Farnwr*, lle y byddo wedi cymmeryd ymaith Dad a phriod y rhai a'i hadwaenant. Pa mor fawr bynag, gan hyny, yr ydych yn edrych ar y gwagle yn eich teulu, neu yn yr eglwys, os Duw ei hun sydd yn dyfod i mewn iddo, ni bydd eisiau neb arall. Byddwch mor ddiogel ag erioed. Cewch droi eto, yn eich holl gyfyngderau, at eich prïod nefol, a mynegi iddo eich holl galedi, gofyn iddo ei gyfarwyddyd ar bob achos, gydâ mwy o ymddiried yn ei ddoethineb a'i ffyddlondeb, nag y gallasech gydâ'r un a gollasoch. Cofiwch fod pob congl ag y gwelwch eisiau Mr. Jones ynddi yn llawn o Dduw: os ar y gadair lle yr eisteddai yr edrychwch, neu ar unrhyw le arall yr arferai efe fod yn barod i'ch cynnorthwyo, cofiwch fod yno un eto llawn mor dosturiol, mor alluog, mor ddoeth, parod i gynnorthwyo.

"Chwi a gwynfanasoch lawer, 'O na chawswn ef i orphen magu fy anwyl blant!' Bwriad sicr eich amddiffynwr newydd ydyw, magu eich plant; ac nid oes neb yn medru yn debyg iddo ef. Ond fe allai y mynai gael mwy o'ch cymdeithas yn eu cylch; a'i fod wedi cymmeryd ymaith yr hwn y dysgwyliech wrtho o'r blaen, er mwyn eich cael, o hyn allan, i ddisgwyl mwy wrtho ef ei hun. Cofiwch na bydd plant ei anwyl was ddim yn faich anesmwyth ar yr Hollalluog. Nid ydyw

yn debyg o'u dirmygu na'u hesgeuluso. 'Ymddiriedwch yn yr ARGLWYDD byth; o herwydd yn yr ARGLWYDD DDUW y mae cadernid tragywyddol.'

Eich brawd annheilwng sydd yn cyd-ofidio â chwi,

JOHN JONES, TALYSARN."

"*Tach.* 15*fed*, 1845."

Mae yn ddrwg genym i raddau o oerni ddyfod i mewn i deimladau Mr. John Jones tuag at y Cyfarfod Misol yr oedd yn Aelod o hono, am beth amser, wedi marwolaeth Mr. John Robert Jones. Nid oes angenrheidrwydd arnom, ac ni byddai yn ddymunol genym, nac yn ddymunol i ni, fyned i mewn yn fanwl i'r achos. Ond, wedi rhaniad y Sir yn ddau Gyfarfod Misol, nid oedd neb yn tybied, nac yn dychymygu, nad oedd yr Arweiniad yn Arfon yn disgyn yn naturiol i ddwylaw Mr. John Jones. Yr ydoedd o ran dylanwad y blaenaf o bawb, a'r blaenaf o lawer, ac yn cael ei gydnabod felly yn gyffredinol. Ac, er y teimlad gwerinaidd oedd yn meddyliau nifer mawr yn Arfon, yn ganlyniad yr arglwyddiaeth yr oeddent wedi bod tani pan mewn cysylltiad â'r pen arall i'r Sir yn un Cyfarfod Misol, nid oes un ammheuaeth, pe buasai efe yn ymgymmeryd yn galonog â blaenori ei frodyr, na buasent oll yn barod ac yn llawen i gyd-weithredu âg ef yn y modd mwyaf unol a thawel. Ond nid oedd efe yn teimlo dim awydd, ac nid yn unig hyny, yr oedd yn teimlo gwrthwynebiad mawr, i fod ar y *blaen*. "Dywedodd wrthyf lawer gwaith," meddai Mr. Ellis James, mewn llythyr atom, "mai cydweithwyr Duw oeddem. Yr oedd, ryw fodd, fel pe buasai wedi *casau* awydd i fod ar y blaen am byth, oddiwrth hen arglwyddiaeth y Parch. John Jones, Tremadoc." Yr un pryd, fel y sylwa y Parch. Robert Ellis, mewn llythyr ar hyn, "Nid mewn cymhwysder i flaenori yr oedd rhagoriaeth John Jones. Dyn y pulpud oedd efe, ac nid dyn y Gynnadledd. Yn y Gynnadledd byddai yn llai nag ef ei hun; ac yn gadael mantais i ereill,—blaenoriaid a phregethwyr,—oeddent yn annhraethol lai yn mhob man arall, i fod yn llawn cymmaint ag yntau yno." Yr oedd Mr. John Jones ei hunan, ni a dybiem, yn ymdeimlo â'r annghymmwysder oedd ynddo i ddisgyn i fanylion rhyw bethau bychain a dibwys, ac i ateb ar unwaith, fel y rhaid i Arweinydd, i raddau helaeth, y mân-gwestiynau cysylltiedig â phob achos â dim dyryswch ynddo, a ddelai yn destyn sylw ac ym-

chwiliad; ac nid ydym yn ammeu nad oedd a wnelai yr ymdeimlad hwnw lawn cymmaint â dim, er peri y gwrthwynebiad oedd yn ei feddwl i ymgymmeryd â'r arweiniad yn y Cyfarfod Misol. Pa fodd bynnag, ymwrthod yn gwbl a fynai â'r fath gyfrifoldeb; ac nid yn unig hyny, ond yr oedd yn dra anmharod hyd yn nod i gymmeryd y gadair yno yn achlysurol, gan geisio gwthio yr anrhydedd hwnw, bron bob amser, ar ryw un arall, ac yn enwedigol ar ei frawd, Mr. David Jones. Ond yr oedd Mr. David Jones, yntau, y pryd hyny, yn ymwrthod yn hollol â'r cyfrifoldeb o arwain y gwaith rhagddo, gan wybod a theimlo fod llygaid pawb ar, a dysgwyliad pawb wrth, ei frawd enwocach. Y canlyniad i hyn a fu, i'r Cyfarfod Misol yn Arfon, o'i ddechreuad, lithro i ryw ffurf werinaidd, a Mr. John Jones, neu Mr. David Jones, neu ryw frawd arall, yn Gadeirydd,—ond hwy eu dau yn amlach o lawer na neb arall,—a'r Cyfarfod, mewn gwirionedd, yn cael ei ddwyn yn mlaen dan arweiniad yr Ysgrifenydd, Mr. John R. Jones. Ac yr oedd y fath feddwl gan Mr. John Jones, a Mr. David Jones, ac yn wir gan y frawdoliaeth yn gyffredinol, am ei gymhwysderau ef, ac yntau yn gweithredu mor ddistaw a diymhongar, fel yr oedd pob peth, tra y bu efe byw, yn myned rhagddo yn nodedig o esmwyth a chysurus. Ond wedi marwolaeth Mr. J. R. Jones, a cholli y doethineb a'r arafwch oeddent yn ei hynodi ef, ac yn dylanwadu yn amlwg trwyddo ar y Cyfarfod yn gyffredinol, ac esgeulusdra anesgusodol Mr. John Jones, ac yn wir Mr. David Jones hefyd, i gadw yr arweiniad yn eu dwylaw eu hunain, yr oedd pethau yn arwyddo myned yn lled chwithig, ac yn peryglu myned yn annghysurus yno. Yr oedd un hen frawd parchus wedi cymmeryd arno ei hunan enwi y Cadeirydd bob amser; ac, yn fynych, yn dygwydd enwi rhywun lled annghymmwys i'r fath le; ond, o barch iddo ef, ni wrthwynebid dim arno. Ond o'r diwedd fe enwodd . . . . . . . . . . . . . . . un heb un gradd o gymhwysder ynddo; un nad oedd ei allu ond eiddilwch ei hunan, ac un heb ddigon o bwysau crefydd yn ei gymeriad i wneyd i fynu am ei ddiffygion ereill. Yr oedd hyny yn rhy annioddefol: ac felly daeth terfyn am byth i ddewisiad y Llywydd, trwy gynnygiad yr hen frawd anwyl hwnw. Yn yr adeg hon, fe ymwthiodd rhyw nifer o flaenoriaid,—dynion lled alluog, o feddyliau tra phenderfynol, ac nid, hwyrach, heb ryw dipyn o duedd at awdurdod,—i gryn gyhoeddusrwydd yn y Cyfarfod Misol. "Ymddangosent," meddai Mr. Ellis

James, "fel wedi rhaglunio i fod yn hynod o flaenllaw ac unol i ddwyn rhyw bethau yn mlaen braidd yn erbyn chwaeth Mr. John Jones. Yr oedd yn digwydd ryw fodd nad oedd efe a'r brodyr da hyny ond yn dra anaml yn teimlo yn gyffelyb i'w gilydd, gydâ golwg ar wahanol ranau y gwaith:—megis rhyw bynciau o athrawiaeth, rhyw gwestiynau o ddysgyblaeth, tuedd rhyw ddulliau neillduol o bregethu, ac, yn enwedig, cynnaliaeth y weinidogaeth. Ond pan godai efe ar ei draed, i siarad am y pethau hyn, byddai pawb mor ddistaw a llygod. Gwelais hyny lawer gwaith. 'Tywysog Duw' oedd efe yn ein mysg. Anhawdd iawn, y mae yn wir, oedd cael ganddo godi i siarad am ddim, oni byddai yn teimlo fod y mater o bwys mawr. Ond pan y codai, ac y llefarai, gallasai ddywedyd fel Job, 'Ar ol fy ymadrodd ni ddywedent hwy eilwaith.' Byddai ei sylwadau yn gyffredin yn derfyn ar bob dadl, a'i ddifrifoldeb mawr yn gwywo pob gau ddibenion." Mae yn sicr fod rhyw fesurau o eiddo y cyfeillion hyn wedi peri cryn flinder i Mr. John Jones. O'n rhan ein hunain, yr ydym yn mhell o dybied fod yr hen frodyr y cyfeiriwn atynt yn amcanu cael mwy na'u rhan yn nygiad yr achos yn mlaen: ond, wrth weled yr hwn a ddylasai fod yn blaenori yn gadael i'r gwaith fyned rywfodd i ddwylaw pawb, yr oeddent yn teimlo, er mwyn yr achos, rwymau arnynt i wneuthur eu goreu drosto, ac yn cael mantais yn ei ddistawrwydd ef, ar ryw gwestiynau cyffredin, i ymddangos i ereill, ac, fe allai, i'w tybied eu hunain yn llawn mor alluog i'w penderfynu ag yntau. "Ond," meddai y Parch. Robert Ellis, "nis gallai John Jones yn hawdd oddef hyny. Wrth weled ereill yn gwneyd yr hyn a dybiai efe oedd yn fwy na'u rhan, yr oedd yn myned braidd yn eiddigus o honynt, a'i ysbryd yn tueddu i chwerwi, a byddai, yn fynych, â golwg go anfoddog arno mewn Cynnadledd. Ac, o'r diwedd, aeth i esgeuluso y Cyfarfod Misol i fesur poenus." Yn mhen amser, pa fodd bynnag, fe ddaeth Mr. David Jones i foddloni i'r hyn a deimlai yn angenrheidrwydd arno, ac i gymmeryd yr arweiniad. "Yr oedd John Jones," meddai y Parch. Robert Ellis, "yn ddigon boddlawn i'w frawd fod ar y blaen; ac, yn wir, yr oedd pawb ereill felly. Ni oddefid iddo gan ei frodyr fod yn un lle arall. Gellid ei wrthwynebu ef heb iddo deimlo, yr hyn ni ellid mor hawdd, o leiaf gan bawb, â'r llall." "Yr oedd yn llawer gwell ganddo," meddai Mr. Ellis James, "weled ei frawd, Mr. David Jones, yn Llywydd yn y Cyfarfod Misol, na chael bod ei hunan. Yn wir, yr

oedd efe fel pe buasai yn rhaglunio yn wastadol i osgoi hyny. Byddai yn ddiweddar iawn arno y *rhan amlaf* yn cyrhaedd i'r Cyfarfodydd Misol, haner y Cyfarfod, yn fynych, wedi myned heibio cyn iddo ef wneuthur ei ymddangosiad. Yr ydych yn gwybod nad oedd yr un *Train* i'w gael, y pryd hyny, i gludo *pawb* yno ar unwaith. Pe buasai efe yno yn brydlawn, buasai raid iddo yntau, er ei holl esgusodion oblegyd ei fod *yn clywed yn drwm*, &c., lywyddu yn llawer amlach; nid yn unig oblegyd y parch annhraethol a deimlid tuag ato gan bawb fel pregethwr, ond oblegyd cryn fesur o gymhwysder, llawer mwy nag a gredai efe ei hunan, oedd yn eiddo iddo i arwain yr achos yn mlaen yn ei holl ranau. Y mae ein chwithdod am dano heb ddarfod eto. Gwasanaethodd grefydd yn Arfon yn ffyddlon iawn, a hyny, am y rhan fwyaf o'i oes, am *ychydig iawn* o arian. Yn wir, yr oedd ei dâl yn gywilyddus o fychan. Ychydig sylltau a fyddai yn gael o gydnabyddiaeth am ei lafur am Sabbath. Yr ydwyf yn cofio yn dda y tro cyntaf y rhoddais i *bunt* iddo, am ei wasanaeth i ni yn y Graig. Yr oedd yn gwenu yn siriol arni. Yr oedd hyny fel peth newydd ar y ddaear y pryd hwnw. Wedi iddo ddychwelyd adref un tro o Gymmanfa yn y Deheudir (Caerfyrddin), daeth ataf yn lled fuan, a dywedodd, 'fod y brodyr yno, wedi rhoddi pum punt iddo!' Yr oedd yn edrych yn siriol a chalonog." Gydâ golwg ar ei gysylltiad â'r Cyfarfod Misol, a'r rheswm paham na buasai yn cymmeryd yr arweiniad yn llwyrach ynddo, y mae yn ymddangos i ni fod y Parch. William Ambrose, Portmadoc, yn ei *Farwnad* ragorol iddo, wedi disgyn yn uniongyrchol ar yr eglurhad:—

"Nid ymyrwr blin, diorphwys—nid anesmwyth flaenor rhawd;
Ond, diymffrost efengylwr, oedd ein hanrhydeddus frawd:
Ef, ni anwyd i deyrnasu, ond i weithio dros ei Dduw;
*Rhwyfo* 'n galed, bu drwy 'i fywyd, gadael ereill wrth y *llyw*."

Yn yr haf, yn y flwyddyn 1846, aeth ar daith, am amryw wythnosau, trwy siroedd Brycheiniog, Mynwy, Morganwg, a Chaerfyrddin. Yr oedd y Parch. Robert Hughes, Uwchlaw'r Ffynnon, yn gyfaill iddo ar y daith hon, ac y mae wedi anfon i ni yr adgofion canlynol am dani:— "Nid oedd John Jones wedi bod, yn y parthau hyn, er ys llawer iawn o flynyddoedd, ac felly yr oedd dysgwyliadau mawr iawn am dano.

Yn wir, yr oedd y dysgwyliadau y fath fel ag yr oedd braidd yn anmhosibl iddynt beidio cael i fesur eu siomi. Nid wyf yn meddwl y bu un dyn ar y ddaear erioed a fuasai yn llanw eu holl ddysgwyliad. Yr oeddent wedi ffurfio eu barn, rywfodd, y byddai bob amser yn pregethu am ddwy awr:—yr awr gyntaf yn ymresymu, â'i ddwy fraich ar y Bibl, heb symmud, a hyny gydâ mwy o nerth na Phaul yn Athen; ac wedi hyny, am yr awr arall, fel cerub wedi myned ar dân, fel nas gallai yr un cnawd ddal ger ei fron. Byddai cannoedd, yn nghymmydogaethau poblogaidd y gweithfeydd, yn dyfod i'r drysau i gael golwg arno wrth fyned heibio; gwragedd â'u plant bach ar eu breichiau, a'r hen wŷr a'r hen wragedd, wrth eu ffŷn, fel pe buasent yn dysgwyl gweled y frenhines yn myned trwodd. Eithr erbyn myned i'r capel, ni byddai y bregeth ond anfynych yn parhau dros awr; ac, er y byddai bob amser yn cynnwys y gwirioneddau mwyaf pwysig a difrifol, ac yn amlwg i'r meddylgar, yn gyfansoddiad galluog, ac yn gyffredin tra athrylithgar, eto byddai yn aml yn dibenu, gan ymddangos heb geisio codi y *steam* uwchlaw *half-speed*, ac heb gymmaint âg un floedd yn y diwedd; yr hyn a dröai yn siomedigaeth i'r rhan liosocaf o'i wrandawwyr. Y mae yn rhaid i mi gyfaddef y byddai, ar y daith hon, yn amlach islaw iddo ei hun, nag fel arall. Ac yr oedd, yn fynych, fel o ddireidi, yn herio ac yn gwawdio rhyw uchel-Galviniaid, nes creu rhagfarn afreidiol yn ei erbyn ei hunan yn meddyliau rhyw rai oeddent yn tueddu at y syniadau a ddirmygid felly ganddo.

"Ond cafodd rai odfeuon, yn ystod y daith hon, mor rymus ac effeithiol ag a glywais ganddo erioed; y rhai a'i profent yn John Jones, Talsarn, mewn gwirionedd, ac a lanwent, a mwy na llanw, dysgwyliadau pawb. Un o'r tröion hyn, ac un nodedig felly, oedd yn Nhredegar, ar nos Sabbath. Yr oedd wedi bod yn hynod o dŷn arno am ddeg a dau, yn Nantyglo a Phenycae. Ond nid oedd hyny yn lleihau dim ar awydd y bobl i ddyfod ar ei ol. Erbyn yr hwyr, yn Nhredegar, fe fernid fod yno tua *chwe mil* yn gwrandaw. Yr oedd yr enwadau ereill wedi rhoddi eu cyfarfodydd am bedwar yn y pryduawn, fel y gallent ddarfod erbyn chwech. Ei destyn y tro hwnw oedd, Ioan xv. 14: 'Chwychwi yw fy nghyfeillion, os gwnewch pa bethau bynnag yr wyf yn eu gorchymyn i chwi.' Yr oedd yr holl gynnulleidfa fawr fel wedi ei thoddi gan y tynerwch anorchfygol hwnw, a nodweddai y bregeth hono, pan y byddai efe mewn hwyl iawn yn ei thraddodi. Ac yr oedd mewn

hwyl ogoneddus y noswaith hono. Clywais hi lawer gwaith, cyn ac wedi hyny, ond nid dim yn debyg i'r tro hwnw.

"Tro grymus iawn arall, ar y daith hon, oedd yn Mhontmorlais, Merthyr Tydfil, y nos Lun canlynol i'r odfa yn Nhredegar. Ei destyn yno oedd, Psalm xxxvi. 7: 'Mor werthfawr yw dy drugaredd, O Dduw! am hyny yr ymddiried meibion dynion dan gysgod dy adenydd.' Cyhoeddid yn y Papurau Newyddion, yr wythnos hono, fod tua phum mil yn gwrandaw; ac yr oedd pob un fel pe buasai wedi ei ddal gan syndod anfeidrol! Nid wyf yn gwybod i mi weled golwg yr un *fath* ar gynnulleidfa erioed. Nid oedd y teimladau wedi eu dryllio a'u toddi, fel y nos o'r blaen, yn Nhredegar; ond pawb a'u llygaid yn grwn agored, fel wedi *rhythu*, gan yr hyawdledd a'r tanbeidrwydd a'r nerth ofnadwy, a deimlid ganddynt yn ffrydlifo oddiwrtho.

"Nos drannoeth, wedi hyny, yn Nghaerdydd, oedd, yr wyf yn meddwl, un o dröion caletaf ei oes. Ei destyn yno oedd, Heb. xi. 13: 'Mewn ffydd y bu farw y rhai hyn oll, heb dderbyn yr addewidion, eithr o bell eu gweled hwynt, a chredu, a chyfarch, a chyfaddef mai dieithriaid a phererinion oeddynt ar y ddaear.' Pregeth ardderchog, a wnaethai rymusderau laweroedd o weithiau. Ofnai galedwch y lle hwnw yn fawr cyn myned yno. Nid ydwyf yn cofio pa beth oedd ei reswm am hyny, os dywedodd. A'r hyn a fawr ofnodd a ddaeth arno. Erbyn iddo fyned i bregethu, ni ddôi hi yr un hono. Yr oedd yn methu ymysgwyd dim. Nid oedd dim i'w wneyd ond pesychu a thagu. Methai gael gafael ar na phen na drychfeddwl. Yr oedd y cwbl yn diflanu o'i olwg, ac yn colli dan ei ddwylaw. Toc, dechreuai larpio darnau o ddwy neu dair o bregethau ereill oeddent yr un rhediad â hon. Ond ni chydiai y lleiniau newyddion hyny, mewn un modd, yn yr hen ddilledyn; nid oeddent, yn wir, namyn gwneyd y rhwyg yn waeth. Yr oedd pob peth yn ffaelio ac yn darfod dan ei ddwylaw. Ond, rywfodd, ymlusgodd i'r dibenu, a'r '*Amen*'; a da oedd cyraedd hyny *rywsut*. Wedi iddo eistedd, mi ddywedais,—'Go galed oedd hi, onide?' 'Caled,' ebe ynte, 'y mae yma ryw gythraul o galedwch, yn y fan yma, y methu gan Mr. Rees a gwneyd dim o hono, pan y bu yma ddechreu'r haf: pe buasai rhyw un yn medru, fo fuasai. Nid ydyw ddim *ffit*, ac nid oes dim rheswm, gyru dyn i'r fath le a hwn; y mae'n ddigon i ladd un gŵr.'

"Dygwyddai, weithiau, ambell beth lled ddigrifol, a effeithiai yn

ddirfawr ar ei deimladau ef. Chwi a wyddoch fod llawer iawn o rywbeth chwareus yn naturiol yn ei ddawn ef; a phan y byddai mewn tymher led hwylus y deuai hyny allan, mewn rhyw wedd neu gilydd, ond bob amser, yn y pulpud, o fewn terfynau sobrwydd. Pan oedd felly yn Nhalgarth, yn haner digrifol, o leiaf rhwng difrif a chwareu, yn cyfeirio at fyfyrwyr y Coleg a'u Hathraw, 'eu bod hwy wedi cael manteision dysg, yr hyn na chawsai efe na'i gyfaill; ac, oherwydd hyny, nas gellid disgwyl iddynt hwy (ei gyfaill ac yntau) gadw yn fanwl iawn at drefn gywrain wrth bregethu; y byddai ef, weithiau, ar ganol y bregeth, yn troi i weddio, pan y teimlai, yn ddisymwth, angen arno am ryw beth neillduol; a'i fod yn hyderu y byddai i'w gyfeillion dysgedig faddeu ei holl annhrefn.' Gydâ'i fod yn cyfeirio at faddeuant, dyna ryw hen frawd yn y *seat* fawr, mewn cydymdeimlad dwys âg ef, yn ei ateb, dros y capel,—'Ewch yn mlaen, Mr. Jones bach, ewch yn mlaen: yr ydych yn ddigon yn drech na nhw i gyd, efo'u holl ddysgeidiaeth.' Tybiai yr hen frawd ei fod ar fin cael ei orchfygu gan ofn y dysgedigion, heb ddychymygu ei fod ef yn amcanu rhoddi tipyn o wers fechan iddynt hwy yn ei ffordd ei hunan.

"Byddai'n bur ddigrifol, weithiau, gydâ'i Saesonaeg. Sylwodd, pan oeddem yn myned oddiwrth Lanidloes, ac yn croesi drosodd i'r Deheudir:—'Peth moel iawn ydyw bod heb dipyn o Saesonaeg yn y Deheudir yma, gan eu bod yn arfer cymmaint o hono yn y tai. Yr wyf fi wedi dŵad yn dda iawn, yrŵan; y mae genyf bron gymmaint sydd yn eisiau wrth y bwrdd, wrth fwyta. Mi a ddysgais gryn lawer yn Llundain, pan oeddwn i yno y tro diweddaf. Ac y mae nhw yn dyweyd nad oes gan neb well Saesonaeg tra y pery o: ond, y drwg ydyw, ei fod o yn darfod toc. Mae ganddyn' nhw ryw air sydd yn fy nyrysu i o hyd. Pan y byddan' nhw yn gofyn, '*Will you have some more?*' a minau yn eu hateb, '*Not any more, thank you,*' ac yn edrych yn *right* ddifrif wrth ddyweyd; y maent hwythau yn gofyn, wedi hyny,—'*Would you rather not?*' Beth ydyw y '*Rather*' hwnw sydd ganddyn' nhw fel clo ar y cwbl?'"

Yn mis Chwefror, 1847,—nid oes wrtho amseriad manylach,—fe anfonwyd y llythyr canlynol ganddo at ei frawd Mr. Richard Jones, yr hwn, fel y sylwasom eisoes (*tu dal.* 619), oedd wedi ymfudo i'r America:—

"Fy Anwyl Frawd,—

Nid oes genym ddim newydd o bwys i'w fynegi. Nid ydyw achos y Cyfryngwr ond cyffelyb i'r modd y gwelsoch ef. Y mae cynllun yn awr dan sylw y Senedd sydd yn ein hanfoddloni yn fawr iawn, sef, un yn nghylch rhoddi addysg i'r ieuenctyd. Bernir ei fod yn cynnwys dichellion yr esgobion yn erbyn Ymneillduwyr yn Mrydain. Tebygol y bydd yma frwydr fawr iawn. Hyderwn y bydd i'r Arglwydd ddadleu ein dadl, yn erbyn y rhai a amcanant ein gorthrymu. Nid oes i wir grefydd ddim i'w dysgwyl ond maglau a thramgwyddiadau oddiwrth awdurdodau y ddaear; y mae ei holl nerth a'i diogelwch hi yn y Cyfryngwr ei hun. Rhaid iddi gyrchu ei chymhellion a'i nerth o'r byd anweledig. Mae gorseddfeinciau y ddaear, ar y cyfan, eto yn elyniaethol iddi. Mae llawer o achos ofni am ryddid crefyddol Prydain. Y mae cynnydd dirfawr ar Babyddiaeth ynddi; ac y mae awyddfryd cryf yn yr uchel-eglwyswyr am adfeddiannu poblogaeth y deyrnas; ac y mae eu llid a'u cenfigen at Ymneillduwyr yn cynnyddu. A diammeu y bydd eich plant yn bendithio eich llwch, am anturio eu dwyn o'r peryglon i America, pan yn clywed oddidraw am erledigaethau trymion yn Mrydain Fawr. Nid wyf yn honi gallu prophwydoliaethol; ond nid oes angenrheidrwydd am lygaid craff i allu canfod achosion ofni y pethau hyn. Pa beth a ddaw o'n Capeli drudfawr? Ai yn Synagogau Satan y troir hwynt? Pa beth fydd helynt ein hiliogaeth? Ai yn ferthyron neu yn wrthgilwyr y cânt eu rhestru, ar ddalenau hanesyddiaeth yr oesoedd a ddaw? Gweddïwn ar yr hwn y mae calonau brenhinoedd yn ei law, ar iddo wneuthur 'cynghor Ahitophel yn ffolineb.' Efe a ddichon ddyrysu amcanion y cyfrwys, a threfnu ymwared i'w bobl, 'sydd yn llefain arno ddydd a nos.' Nid oes i ni ein dau lawer o amser eto i'w ddysgwyl—ond ychydig ddyddiau i ymbarotoi erbyn tragywyddoldeb. Llafuriwn am 'lawn sicrwydd gobaith.' Bydd yn dra gwerthfawr yn angeu.

Dy anwyl frawd,

JOHN."

Nid ydym wedi cyfarfod ag odid ddim, yn holl hanes Mr. John Jones, yn dwyn prawf mwy amlwg i ni o grefyddolrwydd ei ysbryd na'r llythyr hwn. Edrycher arno yn ysgrifenu at ei frawd i'r America,—ac i eithaf yr America, braidd, y pryd hyny, Wisconsin,—â'i feddwl wedi ei lyngcu i fynu mor lwyr gan bethau crefydd, fel nad yw yn gwneuthur cym-

maint ag un cyfeiriad ynddo at na'i iechyd na'i amgylchiadau ef ei hunan na'i deulu, nac at ddim arall perthynol i'r byd a'r bywyd presenol, oddieithr y cyfeiriad at yr helyntion gwladwriaethol yn eu cysylltiad â chrefydd. Mae pob peth yn ein harwain i gasglu fod ei feddwl, yn ystod y blynyddoedd hyn, ac wedi marwolaeth ei ferch Elin, yn cartrefu braidd yn gwbl gydâ phethau ysbrydol a thragywyddol. Fe adgofia y llythyr hefyd i'w hen gyfeillion, y gwrthwynebiad angerddol a deimlid ganddo bob amser i Babyddiaeth; a'r iaith gref a ddefnyddiai er darlunio ei chyfrwysdra cythreulig i dwyllo y cenhedloedd. Oblegyd ei gydnabyddiaeth âg ysbryd erledigaethus Eglwys Rhufain, ac â'r dichellion yr ymostyngai iddynt er sicrhau ei hamcanion ei hunan, yr oedd yn dra eiddigus o gynnydd syniadau Pabaidd yn Eglwys Loegr, ac yn ofni yn fawr mai y diwedd fyddai iddynt daflu y deyrnas hon drachefn i ddwylaw y dyn pechod, cyn i ysbryd Protestanaidd y bobl gael ei gynhyrfu i ystyriaeth wirioneddol a difrifol o'u perygl.

Yn niwedd mis Mehefin, y flwyddyn hon, fe gychwynodd ar daith faith i'r Deheudir. Yr oedd y Parch. John Jones, yn awr o Bryn 'r Odyn, yn gyfaill gydâg ef ar y daith hon; ac y mae efe, yn garedig iawn, wedi anfon i ni yr adgofion canlynol am dani:—

"Y flwyddyn 1847, ydoedd blwyddyn Taith Fawr John Jones, Talsarn, trwy'r Deheudir. Parhäodd y daith hon am ddau fis cyflawn; a phregethodd dair gwaith bob dydd, heb un eithriad, oddigerth ar ddyddiau y Cymmanfaoedd y buom ynddynt. Dywedodd, lawer gwaith, mai dyma y daith y cafodd fwyaf o hyfrydwch ynddi o'r un y bu ynddi yn ei oes; ac, yn sicr, yr oedd y cynnulleidfäoedd, yn mhob man, yn mwynhau hyfrydwch annhraethol ynddo yntau. Yr oedd y pryd hyny yn anterth ei boblogrwydd a'i yni gweinidogaethol; a'r dylanwadau trwyddo ar ei wrandawyr, gan amlaf, yn annysgrifiadwy. Ymwelsom â siroedd Aberteifi, Caerfyrddin, a Phenfro; gan *fyned* trwy Drawsfynydd, Dolgelleu a Machynlleth; a *dychwelyd* trwy Aberdyfi, yr Abermaw a'r Dyffryn. Cawsom ddwy Gymmanfa yn y Deheudir; sef, y Gymmanfa Flynyddol, yn Nghaerfyrddin, yn mis Gorphenaf; a'r Gymmanfa Chwarterol, yn Awst, yn Aberteifi. Cawsom, gydâ hyny, ryw *Sassiwn* lëol yn Nhowyn, yn Sir Feirionydd, ar ein ffordd adref. Mewn lliaws mawr o ardaloedd ni byddem yn cael myned o gwbl i'r Capeli; ond, gan y miloedd a gyrchent ar ei ol ef, yr oedd yn rhaid pregethu allan. Dechreuasom ein Taith ar ddydd Mercher, Mehefin 30, yn Peniel, ger-

llaw Beddgelert, lle yr oeddem am ddau yn y prydnawn; ac yna, yn Ffestiniog am saith yn yr hwyr. Yr oedd John Jones yn dra anfoddlawn i roddi oedfa yn Peniel, gan, fel y dywedai, nad ydoedd yno ond megis wrth ddrws ei dŷ ei hun. Ond yn Nanmor, y tro hwn, yn ol fel y dywedai y cyfeillion yno yn mhen blynyddoedd ar ol hyny, ac y cofia llawer sydd eto yn fyw, y gwelwyd y goleuni mwyaf a welwyd braidd erioed ar wirioneddau yr efengyl. Ei destyn yno oedd, 2 Tim. i. 12: 'Mi a wn i bwy y credais; ac y mae yn ddiammeu genyf ei fod ef yn abl i gadw yr hyn a roddais ato erbyn y dydd hwnw;' a Ffydd, a sicrwydd Ffydd, a'r gwahaniaeth rhyngddynt, oeddent bynciau y bregeth. Yr oedd holl Nanmor a Chroesor, a rhai o gyrau Ffestiniog, wedi cyrchu i Peniel i'w wrando y tro hwn. Ac mi gofiaf byth ei dôn soniarus, pan yn tynu at ddiwedd y bregeth yma, wrth gyfeirio at 'y dydd hwnw,'—'a roddais ato erbyn y dydd hwnw:'—'Nid ydym,' meddai, 'yn gwybod dim pa beth a'n cyferfydd ar ein taith oddiyma i'r "dydd hwnw," ond ni a wyddom pwy sydd "yn abl i gadw." Nid wyf yn gwybod, fy mhobl i, pa faint o gystuddiau a'm cyferfydd, na pha fath fydd eu natur, nac am ba hyd y parhânt, na pha fodd y byddaf yn teimlo oddi tanynt, na llawer o bethau ereill oddiyma i'r "dydd hwnw," ond mi a wn pwy sydd "yn abl i gadw." Nid wyf yn gwybod yn y byd pa le y byddaf marw; ai mewn unigedd ar fynydd noeth wrth ddyfod adref o'm taith, ai yn mhell oddicartref yn nghanol dieithriaid, ai ynte a ganiateir i mi gael marw gartref, yn mynwes fy nheulu, a'm prïod a'm plant yn yr ystafell o'm hamgylch,—nid wyf yn gwybod, y mae hyn oll yn hollol ddieithr i mi; ond, mi a wn pwy yw y cyfaill a lŷn pan y bydd pawb yn cefnu, a erys gydâ mi wedi i bawb fy ngadael a methu fy nilyn, yr hwn sydd "yn abl i gadw . . . . . erbyn y dydd hwnw." Yr oedd o wyth i ddeuddeg o hen frodyr yn Nanmor y pryd hyny, a phob un o honynt yn rhywle o bump a thriugain i ddeg a thriugain oed; dynion cryfion, tàl, esgyrnog, ac oll yn hiliogaeth Diwygiad mawr Beddgelert, yn y flwyddyn 1818. Yr oedd y rhai hyny, y tro hwn, fel arferol, yn gwrando yn y *seat* fawr, ac yn codi eu dwylaw i fynu mor uchel a phen y pregethwr, ac yn dal dan eu teimladau hyd onid oeddent ar ymdori; ac yna, ar derfyn pob brawddeg i'r pregethwr, yn tori allan mewn un lef orfoleddus,—'Gogoniant!! O Diolch!!' Yr oedd yr effeithiau yn ogoneddus mewn gwirionedd, ac i'w cofio byth.

"Aethom i Ffestiniog at yr hwyr, lle y pregethodd oddiar 2 Petr iii. 9: 'Nid ydyw 'r Arglwydd yn oedi ei addewid (fel y mae rhai yn cyfrif oed), ond hir-ymarhous yw efe tuag atom ni, heb ewyllysio bod neb yn golledig, ond dyfod o bawb i edifeirwch.' Lled drymaidd oedd yr oedfa hono yn Ffestiniog; ond yr wyf yn cofio yn dda fod yr hen flaenor athrylithgar, William Ellis, Maentwrog, yn nofio mewn hyfrydwch wrth wrandaw arno. Dywedir mai ychydig iawn o weithiau y pregethodd John Jones yn un man, yn y pen yna i Sir Feirionydd, na byddai William Ellis yn gwrando arno. Yn y fan yma hefyd y mae yn dyfod i'm côf, y gallu mawr oedd gan John Jones i gofio y ffyrdd a'r llwybrau mwyaf annghysbell, fel na byddai byth yn colli y ffordd, nac o dan angenrheidrwydd, lle y buasai o'r blaen, i ofyn cyfarwyddyd gan neb. Yr ydwyf yn cofio iddo unioni, y tro hwn, ar draws gwinllan goediog, ar hyd llwybr bychan ac ammheus, gan ddyfod yn gymmwys i'r fan, i gael gafael ar y ffordd fawr; wedi unioni, beth bynag, tua milltir. Yr wyf yn cofio dro arall, fy mod yn cyddeithio âg ef o Gwm-y-coryn, dros fynydd y Bwlch mawr, i Gapel uchaf Clynnog. Yr oedd yn gwybod pob cam ar y mynydd, sydd tua thair milltir i'w groesi, ac yn dyfod at y llidiart bychan yn y gwaelod, mor ddifeth a dibryder a phe buasai ar y ffordd fawr o Gaergybi i Lundain. Gallai, gan ei fod yn taro i'm cof, y byddai yn ddymunol crybwyll hefyd am ei ddull uchel a boneddigaidd a thywysogaidd, gydâ phethau bychain allanol ac amgylchiadol. Ni chlywid mo hono ef byth yn beio oblegid lle gwael neu annghysurus; neu oblegyd unrhyw ddiffyg yn y ddarpariaeth gydâ golwg ar letty neu ymborth; ïe, hyd yn nod pan y dygwyddai, weithiau, ambell beth lled annymunol, ni chanfyddid arno ef unrhyw arwydd o anfoddlonrwydd. Yr wyf yn cofio ein bod un tro, ar y daith hon, mewn lle yr oedd Tŷ y Capel ar y llofft, a'r ystabl odditanodd. Ac, yn gymmaint ag y byddai cynnifer yn cyrchu o bob man i wrandaw arno ef, byddai pob lle y gellid dodi ceffylau ynddo yn wastadol yn llawn, hyd at dyndra. Yr oedd yn nodedig felly y tro hwn. Ac yr oeddem yn bwyta ein ciniaw ar y llofft, a'r diwrnod yn wresog; ond yr oedd agenau rhwng y planciau ar lawr y llofft, fel yr oedd arogl yr ystabl yn dyfod i fynu yn gryf, ac mor annioddefol i'r archwaeth, fel yr wyf yn cofio na ellais i fwyta ond ychydig iawn. Ond ni ynganodd efe un haner gair am y peth; ac yr wyf yn meddwl eto na sylwodd o gwbl ar y peth; eithr bod ei

ysbryd wedi ei lyngcu i fynu mor lwyr gan y gwaith yr oedd wedi ymgymmeryd âg ef, fel na theimlodd ddim oddiwrth yr annghyfleusdra.

"Mi a sylwais yn fynych, yn y daith hon, ar ei ofal rhag cymmeryd y dylanwad naturiol oddiwrth ddawn a llais a thymher, yn lle y peth ysbrydol a dwyfol. Yr wyf yn cofio fel yr oeddem yn nesau at dref Aberteifi, rai wythnosau cyn y Gymdeithasfa oedd i'w chynnal yno, fod yr ymddyddan yma rhyngom a'n gilydd:—'A ddarfu i chwi ddal sylw,' meddai, 'bob tro y byddwch chwi yn cael pregeth ysgafn y byddaf finau yn cael un ysgafn ar eich ol?' 'Do,' meddwn inau, 'ac yr oeddwn i wedi meddwl crybwyll y peth wrthych chwi cyn i chwi wneyd y sylw.' Yna aed i dipyn o ymresymu ar y peth. Yr oedd efe yn meddwl y gallai fod llawer o hyny yn perthyn i'r teimladau naturiol; ac mai peth oedd i'w gadw i lawr; ac na ddylai gyffwrdd âg ysbryd y pregethwr yn ei waith. Sylwid lle byddai dau lled gyfartal yn cyd-bregethu, a'r cyntaf yn cael goleuni a nerth anarferol, y bydd yr olaf, yn lled fynych, yn ei chael yn galetach ac yn dywyllach na chyffredin; ond lle byddo digon o nerth yn yr olaf, ei fod allan o berygl, can nad pwy a fyddo, na pha fodd y byddo ar y sawl a fyddo yn pregethu o'i flaen ef. Tra yn ymddyddan fel hyn â'n gilydd, cyrhaeddasom Aberteifi, yn nghanol cynhyrfiad y tyrfaoedd, o'r holl wlad oddiamgylch, oeddent yn ymgasglu i'r Dref, i wrandaw arno ef. Dechreuwyd yr oedfa, fel arferol, trwy ganu, darllen, a gweddio; canwyd drachefn; yna cymmerais destyn, a dechreuais bregethu. Ond yr oedd yn galed, yn adamantaidd felly, ac yn arswydus o dywyll arnaf, hyd yr '*Amen*'; a da oedd ei gyrhaedd rywfodd. Yna dyna John Jones yn codi, ac yn rhoddi allan y penill o'r Salm, ei hoffus benill,—

'O gyr dy oleu, moes dy wir,
Ac felly t'wysir finnau;
Arweiniant fi i'th breswylfeydd,
I'th fynydd, ac i'th demlau;'—

ac yna cymerodd ei destyn, 1 Thess. v. 19: 'Na ddiffoddwch yr Ysbryd.' Yr oedd ei lais yn hwylus; ei oslef yn fawreddog; y meddyliau yn gryfion; y cyfansoddiad yn ardderchog; a'r traddodiad yn nerthol: ond, wedi iddo bregethu yn egnïol am dri chwarter awr, yr oedd y dorf yn ymddangos mor farwaidd a digyffro a dideimlad a phe buasem yn

y fynwent. 'Ah!' meddwn wrthyf fy hunan, 'Dyma le iddo fo *dreio* ei nerth.' Yn mhen yr awr, dechreuai y gynnulleidfa ymysgwyd ac ysgafnu; yn mhen awr a chwarter, yr oedd yr holl gynnulleidfa i'w gweled yn syn a brawychus; ac ar ben yr awr a haner, yr oedd yr olygfa yn ofnadwy; cannoedd yn llefain, yn mhob man,—i fynu ar y *Gallery*, ac ar y llawr, ac oddiallan yn *front* y capel, hyd yr Ystryd, a'r effeithiau ar bawb yn gyfryw ag y byddai yn haws i'r rhai a'i clywsant ef eu dychymygu nag i mi eu darlunio. Yr oedd hyn pan oeddem yn *myned* i Gymmanfa Caerfyrddin; ac y mae yn ddiddadl mai effeithiau y bregeth yma a achlysurodd y fath gynhyrfiad, y noswaith gyntaf yn Nghymmanfa Aberteifi, Awst 4, 5, pan oeddem yn dyfod yno *yn ol*, ar ein ffordd adref. Chwi a glywsoch, o bosibl, am y tro hwnw. Yr oedd John Jones i bregethu ar y cae; ond daeth yn wlaw mawr, fel y gwasgarwyd y bobl i'r gwahanol gapelau, ac aed ag ef i'n Capel ni, a brodyr ereill i leoedd ereill. Ond yr oedd y tyrfäoedd pobl yn gynhyrfus eisiau gwybod yn mha gapel yr oedd John Jones; ac oll yn tybied mai yn ein Capel ni y byddai, gan mai hwnw, ar y pryd, dybygaf, oedd y mwyaf. Pa beth a wnaeth y blaenoriaid, er ceisio troi y llanw yn ol oddiwrth y capel, ond rhoddi brawd o'r Deheu i ddechreu yr oedfa, a rhoddi y Parch. Thomas Richard, Abergwaen, yn y pulpud, a chadw John Jones yn y *Vestry*, fel na ddeallid mai yno yr oedd efe i fod. Bu darlleniad hir; a chanu hir; a gweddi hir; er ceisio gwasgar y bobl oddiwrth y Capel. Ni wyddai John Jones ddim am yr helynt hwn hyd nes aeth y cwbl heibio; ond pan ddeallodd efe, drannoeth, am y ddyfais a gymmerasid, yr oedd yn arwyddo cryn lawer o anfoddlonrwydd. 'Nid yw peth fel yna,' meddai, 'yn chwareu têg: dylid gadael pob dyn arno ei hunan, i fyny neu i lawr, ger bron y wlad.' Yr oedd, yn wir, wedi digio. Fe gafodd, pa fodd bynnag, oedfa ryfedd, a rhyfedd iawn, yn y Capel y noswaith hono. Yr oedd y dyrfa fawr, bob enaid o honi, yn ei law; a'r effeithiau drwyddo ar deimladau pawb yn gyfryw fel nas gallant byth eu hannghofio. Y testyn oedd, 1 Tim. vi. 12: 'Cymmer afael ar y bywyd tragywyddol.' Meddyliodd John Jones fod Mr. Thomas Richard i bregethu ar ei ôl ef, wrth ei weled yn eistedd yn y pulpud; ac wrth ddibenu pregethu, dymunai ar i'r Arglwydd 'arddel ei was.' 'Pwy yw hwnw?' meddai Mr. Richard, yn uchel. 'Yr oeddwn i,' meddai John Jones, 'yn meddwl eich bod chwi i bregethu ar fy ol i.' '*Ar eich ol chwi?*' meddai Mr. Richard, 'does dim *ar eich ol chwi i fod.*' Ar

hyny, fe derfynodd John Jones trwy weddi. Drannoeth, am ddeg ar y gloch, ar y maes, yr oedd yn pregethu ar ol Cadwaladr Owen. Ei destyn y pryd hyny oedd, Jer. viii. 22. 'Onid oes driagl yn Gilead? Onid oes yno physygwr? Paham na wellhâ iechyd merch fy mhobl?'

Cynnaliwyd Cymmanfa Caerfyrddin, yn yr hon y pregethodd ar 'Golli yr enaid,' ag y mae eich brawd wedi ysgrifenu ei Adgofion am dani, Gorphenaf y 7fed a'r 8fed. Y mae nodiadau eich brawd am y bregeth hono, fel y traddodwyd hi y tro hwnw, mor ragorol, fel mai ofer fyddai i mi geisio cael dim ar ei ol ef. Pa fodd bynnag, yr oeddwn i fy hun yn tybied fod y bregeth yn cael ei hedmygu yn fwy, a bod ei dylanwad yn gryfach ar *stage* y pregethwyr, nag oedd ei heffeithiau ar y dorf. Ni welais, yr wyf yn meddwl, gymaint o effaith erioed ar *stage* y pregethwyr ag ydoedd dan y bregeth hono. Ond yr oeddem yn Nghaerfyrddin ar y Sabbath, Gorphenaf 18, sef, yr ail Sabbath ar ol y Gymmanfa; ac yn yr oedfa yr hwyr, y dydd hwnw, y gwelais yr effeithiau mwyaf difäol a welais yn un man ar y daith; ac ni welais odid ddim cyffelyb erioed. Yr oedd, mewn gwirionedd, yn ofnadwy. Nid oes dim gair arall i'w arfer. Ei destyn ydoedd, Matt. xxv. 6: 'Ac ar hanner nos y bu gwaedd, Wele, y mae y prïod-fab yn dyfod; ewch allan i gyfarfod ag ef.' Yr oedd yn dywedyd y byddai deall y dyn, yn ei ymwybyddiaeth o'i berygl, yn rhoi 'gwaedd'; dyfodiad y *Doctor*—y Meddyg—i'r teulu, yn rhoi 'gwaedd'; cydwybod, wedi deffro, yn rhoi 'gwaedd'; y Barnwr ei hunan, yn rhoi gwaedd. Yr oedd ei sylwadau ar hyn mor dreiddiol a thanllyd, nes oedd y Capel drwyddo yn sibrydu mewn galar a dychryn a wylofain. Ond, yn nychryn mawr diwedd y bregeth, dyna yntau yn rhöi ei lef ardderchog allan, ac yn gwaeddi,—'A wyddoch chwi, fy mhobl i, yr wyf fi y funud yma yn gweled y llaw a fu dan hoelion yn estyn y fodrwy, ac yn cynnyg priodi â chwi; a'ch priod a fydd efe y dydd hwnw, ond i chwi ei dderbyn ef yn awr.' Ar ol yr oedfa, aethom i'n lletty i dŷ Mr. Harris. A phan oeddem wrth y bwrdd, clywid llefain a wylo dwys o'r llofftydd, yn rhyw le: a phan ofynwyd, pa beth ydoedd? dywedai Mrs. Harris mai y ddwy forwyn oeddent yno, wedi dyfod o'r Capel, a'u bod wedi annghofio pob peth, a'i gadael hithau ei hunan i *attendio* ar y dïeithriaid; a bu gradd o debygrwydd, am ysbaid byr, y buasai Mrs. Harris yn myned at y genethod i waeddi a gorfoleddu gydâ hwynt, a gadael i bob peth fyned fel yr elai.

Y Sul canlynol i'r Sul hwn yn Nghaerfyrddin, sef Gorph. 25, yr wyf yn cofio ein bod yn Nghlos-y-Graig am ddau yn y prydnawn, ac yn Nghastell newydd Emlyn, am chwech yn yr hwyr. Yr oedd yn pregethu allan, yn Nghlos-y-Graig, mewn *Yard*, a thròl yn Bulpud iddo. Yr oedd bryn yn codi, mor agos a chyrhaeddiad y llais, gyferbyn a'r *Yard* hon; ac y mae yr olygfa ar y miloedd pobl oeddent wedi ymgasglu yno, ac yn gorchuddio y bryn hwnw a'i amgylchoedd, yn fyw byth, fel *panorama*, o flaen fy meddwl. A chan fod yr *Yard* grybwylledig yn isel, a'r hin yn drymaidd, ac yntau yn pregethu gydâg egni anarferol, dyma yr unig dro, yn y daith, y clywais ef yn cwyno gan ei *freast*. Dywedai wrthyf wrth ddyfod i lawr at Castellnewydd,—'Mae yn gâs genyf bregethu allan; bydd arnaf ofn bob amser, wrth bregethu allan, rhag i ryw beth dori yn fy *mreast*.' Ar ol hyn, byddwn yn cydymdeimlo llawer âg ef pan y byddai yn gorfod pregethu allan. Cafodd bregeth nerthol annghyffredin yn Nghastellnewydd, y nos Sabbath yma. Ei destyn oedd, Jer. viii. 22: 'Onid oes driagl yn Gilead?' &c. Wedi olrhain am '*Gilead*' a pha beth yn llythyrenol a olygid wrth y '*triagl*,' ynnghyd a'i effeithiau iachusol, efe a syrthiodd ar fater ei bregeth,—'Pa fodd y mae moddion gras heb ateb dybenion eu sefydliad?' Cymmerodd olwg ar Gynghor ac Arfaeth Duw, ac Etholedigaeth gras, er cael allan a oedd achos yr aflwyddiant yno. Ac wedi llefaru am tua chwarter awr ar y gwirionedd, yn y cyfeiriad yna, cyn gadael y mater, dyna y cwestiwn yn dyfod fel corwynt, yn cael ei yru gan y fath hyawdledd doniau, a'r fath gyfoeth tymheredd llais, a'r fath ireidd-dra ysbryd, wedi dal cymdeithas mor agos â'r Dwyfol a'r Tragywyddol fel nas gallesid eu gwahaniaethu,—a'r cwestiwn ydoedd,—'Paham y mae moddion gras heb ateb dibenion eu hordeiniad? "Paham na wellhâ iechyd merch fy mhobl?"' Yna fe droes i edrych ar yr iawn, yn ei werth anfeidrol; ar addasrwydd moddion gras; ar natur goruchwyliaeth yr Ysbryd, a nodwedd y cymhelliadau y mae pechaduriaid yn deimlo ar eu meddyliau dan weinidogaeth y gair; ac yr oedd yn terfynu pob pwnc gydâ'r un cwestiwn, 'Paham na wellhâ iechyd merch fy mhobl?' nes oedd difrifwch a phryder gwirioneddol wedi meddiannu yr holl dorf. Ac yna, yn y diwedd, fe waeddodd gydâ'i lais soniarus ei hunan, 'Y mae "triagl yn Gilead," fy mhobl i, a all wella ein clwyf. Y mae yma physygwr heb ei fath. "Myfi yr hwn a lefaraf mewn cyfiawnder, ac wyf gadarn i

iachau." "Eu Gwaredwr hwy sydd gryf, Arglwydd y lluoedd yw ei enw." Mae gan y Cenhedloedd eu duwiau ond nis gallant achub. Pa beth a wnaf fi, sydd yn bechadur, â'r duw hwnw ag y gallaf ei roddi yn fy llogell? Yn boeth y bo'r duwiau yna i gyd na allant fy achub i. Yr ydym ni wedi rhoddi y Daith yma trwy eich gwlad chwi, fy mhobl i, yn un pwrpas i ddyweyd am un a all achub; i ddyweyd fod "triagl yn Gilead;" fod "gwaed Iesu Grist ei Fab ef," â digon o rinwedd ynddo i "lanhau oddiwrth bob pechod."' Y mae yn hawdd gweled i'r oedfa derfynu mewn rhyw hwyl orfoleddus iawn.

Cefais lawer iawn o bleser gydâg ef yn Nhŷ Ddewi. Yr ydoedd yno mewn tymher ragorol. Yr oeddem yn myned yno, yn ol a allaf gofio, o Drefin; ac yr oedd y ffordd yn llawn o gerbydau, am bellder na allaf, rhag cam ddyweyd, nodi ei faint; a ninau ein dau yn myned yn hytrach ar ol y lliaws, ar ein ceffylau. Wrth weled y tyrfäoedd pobl, dywedais wrtho,—'Trugaredd annhraethol ydyw fod genych chwi ddigon o bob peth fel ag i'ch galluogi i foddhau tyrfäoedd mawrion fel hyn. Pe buasai dau bregethwr cyffredin, ac i foddhâd tyrfäoedd o'r fath yma ddibynu ar y ddamwain, gallasai ymgyrch fel hyn droi allan yn siomedigaeth ddifrifol.' Gwenodd, fel y byddai arferol mewn ymddyddanion o'r fath, a dywedodd,—'Yn wir, ni wn i ddim: ond y mae y bobl yma am grafu ein hesgyrn ni. Y maent fel pe byddent wedi penderfynu mŷnu gwybod pa nifer o bregethau sydd genym.' Chwi a wyddoch fod gan John Jones grediniaeth gref mewn ysbrydion. Pan oeddem yn yr ardal yma, yr oedd yr Ymddyddan yn cael ei droi at yr Angladdau y dywedid y byddai y bobl yn eu gweled liw dydd goleu. Gofynodd John Jones, a oedd yno ryw ddyn neu ddynes, o ddifrifwch a geirwiredd, oedd wedi gweled un o'r Angladdau hyny? Dywedid wrtho fod yno, ac enwyd gwraig eirwir a chrefyddol; a dywedwyd wrtho y gallai efe gael ymddiddan â hi ei hunan cyn myned o'r gymmydogaeth. Ac felly fu. Yr oedd y wraig hono, yr wyf yn cofio yn dda, yn ymddangos yn drefnus a pharchus, a golwg ddeallgar arni, ac yn edrych tua haner cant oed. Dywedai hi iddi gyfarfod âg Angladd liw dydd goleu, ar y ffordd fawr i Dy Ddewi; a bod y ffordd yn ymddangos iddi hi mor lawn o bobl, fel mai o'r braidd y gallai fyned trwyddynt gan y tŷndra. Ar ol gwrando y dystiolaeth hon, dywedai John Jones, 'Pa fodd y gall neb wadu tystiolaethau mor ddifrifol, ac yn ymddangos yn cael eu rhoddi mor eirwir a didwyll? O'm rhan i, nid wyf yn gallu

deall pa beth y mae y bobl yn geisio ennill wrth wadu ffeithiau o'r fath yma.' Nid oedd efe mewn un modd yn ddyn gwlanenaidd ac ofnus. I'r gwrthwyneb, cerddai ar draed, neu ynte elai ar ei geffyl, i unrhyw fan y nos fel y dydd. Ond cydnabyddai y teimlai ryw fesur o arswyd, os dygwyddai iddo fyned, yn y nos, heibio i ryw fan y dygwyddasai rhyw ddamwain angeuol ynddo i ddynion hynod o annuwiol.

Synwyd fi laweroedd o weithiau, ar y daith hon, wrth y dylanwad oedd ganddo, yn y naill wedd a'r llall, ar ei gynnulleidfa. Rywbryd, pan oeddem yn Sir Benfro, yr oedd i bregethu am ddau ar y gloch yn y prydnawn, mewn lle o'r enw 'Gwastad.' (?) Yr oedd y *Railway*, y pryd hyny, yn cael ei gweithio yn rhywle yn y cŵr hwnw o'r wlad; ac yr oedd ugeiniau o'r gweithwyr wedi dechreu eu diwrnod er pedwar ar y gloch yn y boreu, er mwyn dyfod i wrando Jones o Dalsarn. Ond pan oedd John Jones ar ganol pregethu, a'r dydd yn wresog, a'r awr yn drymaidd, a'r gweithwyr druain yn lluddedig, yn eu blinder dyna nhw yn ymollwng ar ymylon yr eisteddleoedd, ac yn syrthio i gwsg. Yr oedd efe yn pregethu ei egni, a hwythau yn amlwg yn cysgu. O'r diwedd, dyna fo yn dechreu rhoi ei besychiad, yn ol ei arfer cyn dywedyd rhyw beth eithriadol ar ei bregeth, ac yna, yn ei dôn ymgomiawl, dyner, eto awdurdodol, dyna fo yn dywedyd,—'Codwch eich penau, 'mhobl i; nid ydyw rhyw agwedd swrth, ddioglyd, fel yna, mewn un modd yn agwedd deilwng wrth wrando geiriau Duw.' Cododd amryw eu penau i fynu ar unwaith; ond yr oedd rhai eto yn ymddangos yn parhau i gysgu. 'Ië,' meddai yntau drachefn, yn yr un dôn, 'Ië, daliwch eich penau i fynu. Nid yw y *seti* yna wedi eu gwneyd i chwi roddi eich penau arnynt i gysgu; ac nid i'ch süo chwi i gysgu yr ydym ni wedi dyfod yr holl ffordd o eithaf y Gogledd i'r fan yma; a gwnaethai tŵr o hen wragedd y tro yn burion i hyny.' Erbyn hyn yr oedd penau pawb i fynu. Ond yr oedd yno un dyn mawr canol oed, a chwsg yn rhy gryf iddo: eithr, gan na chai gysgu â'i ben ar ymyl yr eisteddle, fe gododd ei ben i fynu. Ond yr oedd yn parhau i gysgu felly ac ystum ddigrifol iawn arno, * * * * * * * * a holl ddawn John Jones yn analluog i'w gadw ar ddihun. Mynych y chwarddodd yn galonog wrth adgofio am yr agwedd oedd ar y cysgwr hwnw.

Cafodd oedfa nerthol iawn yn Llanrhystyd ar nos Sabbath, Awst 15. Ei destyn yno oedd, Job xiv. 20: 'Yr wyt yn ei orchfygu ef yn dragywydd, fel yr elo ymaith: a chan newidio ei wyneb ef, yr wyt yn ei

ddanfon ef i ffordd.' Yr oedd yn darlunio y dyn yn angeu yn yr ymdrechfa galed ac yn cael ei orchfygu; y bobl yn yr ystafell, nad oedd sŵn dim ynddi ond sŵn yr ymdrech, yn dywedyd wrth eu gilydd,—'Onid ydyw yn parhau yn hir iawn?' 'Ydyw y mae: a dyna y rheswm paham, y gwr y mae allweddau marwolaeth ganddo sydd eto heb ddyfod yna i roi yr agoriad yn y clô.' "Yr wyt yn ei ddanfon ef i ffordd": o ran ei gorph, o'i dŷ i'r bedd, tŷ ei hir gartref. Lle tawel iawn yw y bedd; lle i gysgu yw y bedd; ti a gysgi mor dawel yn y bedd fel na theimli un awydd codi ar dy benelin yn mhen mil o flynyddoedd.'

Yr oedd rhai, yma a thraw, yn ammheus o gywirdeb ei athrawiaeth. Gwelais yn Sir Aberteifi, mewn dau le, Pontrhydfendigaid oedd un o honynt, a Bronant, yr wyf yn meddwl, ond nid wyf yn hollol sicr, oedd y lle arall, rai yn dyfod ato i ymofyn yn nghylch hyny. Yn un o'r lleoedd hyny, anfonodd un o'r gwrandawyr (nad oedd swyddog) ato, i ofyn a gai siarad ag ef. Caniatäwyd hyny iddo gydâ phob sirioldeb. Dywedodd y dyn ei olygiad ar y naill wirionedd a'r llall, wrth i John Jones ofyn iddo. Ond yr oedd yn rhoi ambell gwestiwn, a'r dyn yn methu eu hateb. Cymerai John Jones yntau fantais ar hyny, i egluro cysylltiadau y naill wirionedd a'r llall a'u cysondeb â'u gilydd, mewn dull nodedig o ddeheuig, a thyner, a thra effeithiol. Erbyn hyn, yr oedd y dyn yn synu, ac wedi ei foddhau yn ddirfawr; ac aeth ymaith fel un wedi cael ysglyfaeth lawer. Ac yr oedd y bobl yn dywedyd wrthym, drannoeth, ei fod yn myned adref dan orfoleddu, a chan waeddi dros yr ardal—'Gogoniant! nid ydyw John Jones, Llanllyfni, yn gyfeiliornwr.' Yn y lle arall, mi gymmerais i arnaf fy hunan ddywedyd wrth y Blaenoriaid, am iddynt attal y dyn a fynai ymosod arno, a gochel cefnogi dim ar y fath ryfyg ynddo.

Pan oeddem yn gadael Sir Aberteifi ar ein dychweliad yn ol, wrth groesi y traeth i Aberdyfi, bu agos iawn i John Jones a'i Ferlen a boddi. Ni wnawn hysbysiad têg o'r Daith heb grybwyll am hyn. Pan oeddem ar y traeth, o fewn dau neu dri rhwd i'r cwch, mi a welwn John Jones, a'r gaseg oedd tano mewn ymdrech difrifol. Yr oedd y gaseg yn carlamu; a hyd at ei thòr mewn tro-bwll tywodlyd, a'i hysgogiadau mor gyflym a'r fellten, a John Jones ar ei chefn; ac mewn hanner munud yr oedd allan o'r tro-bwll, fel pe buasai yn teimlo y gwerth oedd mewn cael yr hwn oedd yn marchogaeth arni i'r lan yn

fyw. Yr oedd efe yn hoff iawn o'r gaseg yma ar hyd y daith; ond, oddiyma adref, yr oedd, mewn gwirionedd, yn *dotio* arni; ac yn cyfrif ei hunan yn ddyledus am ei fywyd i'w gwasanaeth hi. Yr oedd y cychwyr yn sicrhau mai un o gant o geffylau a ddaethai byth i'r lan o dro-bwll o'r fath. Caseg wineu-goch ydoedd, yn codi yn bump oed, a thua phymtheg dyrnfedd o uchder; ac yn un hynod o brydferth. Wedi cael ei benthyg yr ydoedd John Jones i'r daith gan Pierce Roberts, Llyndŷ, Beddgelert; gŵr i gyfnither iddo. Mae Pierce Roberts yn gwybod am y tro yma yn dda.

Pan ddaeth i Aberdyfi, y noswaith hono, yr oedd yn pregethu ar 'Golli yr enaid.' Ac wrth ddarlunio y golled yn golled o esgeulusdra, yr oedd yn defnyddio cymhariaeth o dŷ yn myned ar dân, tra bu y fam am ychydig amser allan. Yr oedd y fam wedi gadael geneth fechan wyth oed yn y tŷ ei hunan; a phan ddaeth y wraig yn ol, gwelai fod y tŷ ar dân, a'r eneth fach yn llosgi ynddo. 'O!' meddai y fam, 'O! na buaswn wedi ei chymmeryd hi gyda mi! O! na buaswn wedi ei rhoddi dan ofal rhyw un o'r cymmydogion! O! colli fy ngeneth fach yn unig o herwydd esgeulusdra!' Dygwyddai fod gwraig yn y gynnulleidfa oedd wedi cyfarfod âg amgylchiad o'r fâth yn dra diweddar. Ond, wedi tynu y darluniad, aeth y pregethwr rhagddo, gydâ nerth ofnadwy, yn ei gyfeiriad at gydwybodau y bobl: 'Pa beth ydyw colli tŷ, a cholli plentyn wyth neu ddeg oed, wrth *golli enaid!*' Ar hyny, dyna 'r wraig y cyfeiriwyd ati yn rhoi bloedd o eigion ei henaid; a chan fod y pregethwr yntau yn awr yn bloeddio, yr oedd yma lais mewn llais, ag oedd yn gwefreiddio y dyrfa, fel yr aeth pawb, yr wyf yn meddwl, oeddent yn y lle, naill ai i ochain, neu i wylo, neu i waeddi. Nid annghofiaf wyneb Robert Williams tra fyddaf ar y ddaear: ac os caf fy nyrchafu i weled ei wyneb ef yn y nefoedd, yr wyf yn sicr o gofio, can gynted ag y gwelaf ef, am wedd ei wyneb yn Aberdyfi, ar ddiwedd pregeth John Jones, Talsarn, ar '*Golli yr enaid!*' O Aberdyfi, ni a aethom i *Sassiwn* a arferid gadw yn flynyddol, y pryd hyny, yn Nhowyn Meirionydd. Ac, yn y Gymmanfa hono, ni phregethodd neb o'r dechreu i'r diwedd ond nyni ein dau. Nid oedd yno gymmaint ag un gwr dieithr o Siroedd ereill; ac ni phregethai yr un o frodyr Sir Feirionydd gydâ John Jones, a byddai efe yn gwneyd i mi bregethu gydag ef bob tro; fel y cadwyd y Gymmanfa yma, ar ddiwedd y daith, genym ni ein dau. Nid oedd Mr. Humphreys na Mr. Morgan yn dygwyddo

bod yno; ac ni fynai y brodyr ereill o'r Sir, oeddent yno, gymmeryd dim rhan yn y pregethu. Ond yr oedd y peth mor ddieithrol, fel yr oedd un o honom, os nad oeddem ein dau, braidd yn ammheus pa un ai gradd o ddirmyg, ai ynte anrhydedd, a amcenid osod arnom.

Y Sabbath olaf o'r daith, sef Awst 29, yr oeddem yn yr Abermaw am ddeg yn y boreu, ac yn y Dyffryn am ddau yn y prydnawn ac am chwech yn yr hwyr. Yn fuan wedi iddo ddechreu pregethu, yn yr Abermaw, dechreuodd clychau yr eglwys ganu; a chanu a chanu a chanu y buont, fel ag i aflonyddu yr addoliad yn y capel yn fawr. O'r diwedd, dyna John Jones yn dechreu carthu ei wddf,—yn ol ei arfer, ac mewn rhyw ddull a fyddai yn gosod bri ar ei lais a braidd ar ei ymresymiadau,—ac yn dyweyd,—'Os nad yw y bobl yna, druain! am addoli eu hunain, paham na adawant hwy lonydd i bobl ereill, ag y mae hyny ar eu calon, geisio addoli?' Yr oedd Mrs. Humphreys o'r Dyffryn wedi dyfod i'r Abermaw i'n cyfarfod; ac, mewn digrifwch, yr oedd yn dweyd wrth John Jones, 'mai y cast mwyaf a gafodd hi arno erioed oedd, ei weled wedi gwylltio wrth glychau y Llan yn yr Abermaw.'

Yr oeddem yn canu bob nos wrth fyned i orphwys, efe'r *Bass* a minau y *Tenor*: a pharhäodd yr un Dôn a'r un pennill yn eu blas ar hyd y daith, am ddau fis. Enw y Dôn ydyw *Mount Pleasant*; a'r pennill a ganem ydoedd,—

'Da'i mofyn haeddiant fyth na nerth,
Na ffafr neb na'u hedd;
Ond hwnw 'n unig gŵyd fy llwch
Yn fyw i'r lan o'r bedd.'

Dywedodd, lawer gwaith, mai dyna'r pennill goreu, ac mai dyna'r dôn oreu, a welsai, neu a glywsai efe erioed. A fyddai yn rhywbeth o'i le, pe rhoddid y Dôn a'r Emyn yn ei Gofiant?

Dylwn ychwanegu, y byddai yn bedyddio llawer iawn o blant yn y Daith hon. Ambell dro, ond nid yn fynych, yn y Capel. Y llwybr a gymmerid ganddynt braidd yn mhob man oedd, dyfod a'r plant i'r Tŷ lle y byddai efe yn bwyta, neu yn llettya: ac ni chlywais ef gymmaint ag unwaith yn dyweyd yr un peth wrth fedyddio. Yr wir, mi a sylwais ar hyny yn fanylach ynddo mewn blynyddoedd diweddarach. Yr oedd yn byw yn agos ataf,—canys nid oes ond tair milltir oddiyma i Dalsarn,—a chlywais ef yn bedyddio mwy o blant na neb arall. Ond

nid wyf yn cofio i mi ei glywed erioed yn traethu yr un peth ddwywaith, ar achlysur o'r fath. Yr oedd ganddo rywbeth newydd yn wastadol. Yr oedd y fath gyflawnder diddiwedd yn ei ddoniau, fel ag i beri, yn mha ran bynnag o'r gwaith yr ymaflai, na byddai braidd un amser dan angenrheidrwydd hyd yn nod i'w ail-adrodd ei hunan. Yr hen bregethwr ardderchog! Yr hen gyfaill anwyl! Y mae ei goffadwriaeth yn fy nheimladau, ac fe fydd byth, yn fendigedig."

Y mae y Parch. Evan Evans, Pennant, Sir Aberteifi, wedi anfon i ni ychydig o'i adgofion yntau am Mr. John Jones, pan ar y daith hon, y rhai ydynt fel y canlyn:—"Yn y flwyddyn 1847, y clywais i y Gwron o Dalsarn gyntaf, pan ar ei daith i *Sassiwn* Awst, yr hon oedd yn Aberteifi. Ei gyfaill, y tro hwn, oedd y Parch. John Jones, Rhydddu, yn awr o Bryn 'r Odyn. Yr oeddwn i, ar yr adeg hono, yn yr ysgol yn Llangeitho, gydâ'r Parch. Robert Roberts. Aethum, ar nos Sadwrn, i Blaenpenal i'w wrando. Nid oeddwn wedi ei weled o'r blaen. Yr oeddwn wedi dychymygu am dano, oddiwrth a glywswn, fod rhyw wedd dywysogaidd arno; ac ni chefais fy siomi. Ei destyn, y tro hwn, oedd 2 Peter iii. 9: "Nid ydyw yr Arglwydd yn oedi ei addewid (fel y mae rhai yn cyfrif oed), ond hir-ymarhous yw efe tuag atom ni, heb ewyllysio bod neb yn golledig, ond dyfod o bawb i edifeirwch.' Amynedd Duw oedd mater y bregeth. 'Mae Cyfiawnder,' meddai, 'yn gwaeddi, "Taro;" ond Amynedd yn gwaeddi, "Attal dy law;" er mwyn i ti, bechadur, cael cyfle i ddianc.' 'Y mae yna gwmwl dû, trwm-lwythog, yn crogi uwch dy ben; a buasai wedi dechreu gwlawio, er ys dyddiau bellach, oni buasai fod Amynedd yn ymaflyd yn ngodreu 'r cwmwl, fel ag i'w rwymo, er attal ei gynnwysiad rhag ymarllwys. Ffowch, bobl, cyn i'r gawod ddisgyn!' Yr oedd yn oedfa dda iawn; eto, hwyrach na buasai yn ysgrifenu '*Gwlaw*' am y tro hwn.

Boreu Sabboth, daeth at ddeg i Langeitho. Yr oedd y capel yn orlawn, yn mhob cwr o hono. Ond yr oedd y pregethwr yn mhell, y boreu hwnw, o fod yn ei hwyl oreu; ac yr oedd yn cwyno gan anwyd. Ei destyn oedd, Matt. xxv. 1—13. Oedfa drymaidd ac aneffeithiol oedd hon. Am ddau ar y gloch, yr oedd yn Llwynpïod. Ei destyn yma oedd, Matt. xvi. 24: 'Os myn neb ddyfod ar fy ol i, ymwaded âg ef ei hun, a chyfoded ei groes, a chanlyned fi.' Yr oedd y tro hwn yn ei nerth. 'Mynu myned i uffern y mae yr annuwiol.' 'Mynu meddwi y mae y dyn.' 'Peidiwch a cham-gyhuddo y cythraul bobl. Ni chlyw-

ais i ddim sôn erioed fod yr un cythraul yn dal y dyn, a chythraul arall yn tywallt y pethau meddwol i'w safn; ond mynu meddwi y mae y dyn, gan rym ei chwant. A *mynu* myned ar ol yr Iesu, ac i'r nefoedd, y mae y dyn duwiol. O Arglwydd, yr wyf fi wedi penderfynu *mynu* y nefoedd genyt ti.' Gallasai ysgrifenu '*Gwlaw*' am yr oedfa hon. Yr oedd yn orfoledd mawr trwy 'r Capel. Am chwech ar y gloch, yr oedd yn Nhregaron. Ei destyn yno oedd, Psal. xxxvi. 7: 'Mor werthfawr yw dy drugaredd' &c. Gallasai ddywedyd, '*Gwlaw*,' '*Gwlaw mawr*,' am yr oedfa hon. Yr oedd yn gyfarfod i'w gofio byth. Cofus genyf fod y Parch. John Hughes, Vicar Tregaron, yn gwrandaw arno. Pan y dechreuodd bregethu yr oedd y *Vicar* yn sefyll yn y *lobby*, yn gyfagos i'r drws. Ond yn mhell cyn ei fod wedi cyrhaedd hanner y bregeth, yr oedd y *Vicar* wedi ymwthio yn mlaen, trwy dyndra y dorf, nes cael ei hunan yn sefyll o flaen y *seat* fawr. Brawd i Esgob presennol Llanelwy oedd y diweddar *Vicar*.

Ni wrandewais ar John Jones ar ol hyny hyd y *Sassiwn* yn Aberteifi. Oedfa ryfedd oedd oedfa y dydd cyntaf, ar 'Cymmer afael ar y bywyd tragywyddol.' Drannoeth ar y maes, oedfa *flat* a gafodd.

Pan yr oedd yn dyfod yn ei ol o'r *Sassiwn*, bum yn ei wrando ar nos Sabbath yn 'Rhiwbwys.' Ei destyn oedd, Job xiv. 20: 'Yr wyt yn ei orchfygu ef yn dragywydd, &c.' Tro hynod iawn oedd hwn. Sylwai 'Fod marw yn osodiad o eiddo Duw i ddynion.' Ryw bryd, ar y pen yna, dywedai, 'Nid oes angen am y dwymyn boeth, na nychdod henaint am flynyddoedd, er rhoddi mantais i angeu fyned a dy enaid di o dy gorph. O na: fe all Duw anfon angeu atat ar aden y fellten, neu trwy ryw genad anweledig i neb, a'th gymmeryd ymaith yn dy gwsg, cyn boreu foru, i fyd arall. Wrth i ni olrhain achosion marwolaeth dynion, cyn belled ag y mae hyny yn bosibl i ni, yr ydym yn gweled fod pob peth o'r bron wedi bod yn wás i angeu.' Sylwai,—'Er fod marwolaeth yn osodiad o eiddo Duw, peth anhawdd iawn gan ddyn ydyw ei gyfarfod: y mae gwaith gorchfygu arno.' Sylwai yma, yn dra effeithiol, ar chwerwder marwolaeth i'r corph; ymadawiad dyn â'i berthynasau agos ac â'i gyfeillion anwyl; mynediad dïeithrol yr enaid, yn ysbryd noeth, ger bron Duw; anmharodrwydd dyn i fyned i orwedd yn y bedd, na wyddai am ba hyd. 'Anhawdd iawn,' meddai, 'ydyw cymmodi a thŷ mor fychan, mor oer, mor ddistaw, mor ddigymdeithas ag ydyw y bedd. Y peth sydd yn peri i mi dawelu yn fwy na phob

peth i r dretn o fyned i'r bedd ydyw, cofio fod fy Ngheidwad wedi gorwedd ar ei gefn briw ar ei waelod am ran o dridiau o'm blaen i.' Wedi gweithio y gynnulleidfa, trwy ryw sylwadau fel hyn, i ddifrifoldeb annghyffredin, fe droes, yn y diwedd, i waeddi, 'Ymddiried dy achos, enaid anwyl, i'r gwr a orchfygodd angeu. Ni fydd dy orchfygu di a minau fawr o beth iddo: ond, wrth ymosod ar Iesu, fe gollodd ei fywyd ei hunan; fe'i llyncwyd ganddo mewn buddugoliaeth. A thrwy y fuddugoliaeth a gafodd ei hunan ar angau, gall ef wneyd ein gorchfygiad ni ganddo yn fwy o les nag o niwed i ni. Trwyddo ef, y mae marw yn elw. Ni bydd ein gorchfygu yn ddim mwy o niwed i ni na gorchfygiad y baban bychan, gan gwsg, i hun hyfryd ac adfywiol.' Tra yr ydoedd gyda hyn, fe dorodd allan yn un gorfoledd cyffredinol trwy yr holl gapel, ac aeth pawb i'w ffordd yn llawen.

Dranoeth, ddydd Llun, am ddeg yn y boreu, yr ydoedd yn Bethania. Ei destyn yno oedd, 2 Cor. v. 20: 'yr ydym yn erfyn dros Grist, Cymmoder chwi â Duw.' Yr ydoedd yma yn ogoneddus iawn. Wrth sôn am yr angenrheidrwydd am y Cymmod, dywedai,—'Nid heb angen, 'mhobl i, y mae fy mrawd a minau wedi dyfod o bellderau y Gogledd, i alw arnoch i dderbyn y Cymmod. Y mae yr ymrafael yn rhy amlwg i'w wadu; ac nid oes genych ddim nerth i ymladd, na lle i ffoi. Pan fyddai Abdel Cader yn ymladd â'r Ffrancod, a'i nerth i ymladd yn darfod, yr oedd efe yn gallu ffoi i anialwch mawr Sahara, am ddiogelwch; ac ni feiddiai y Ffrancod, er glewed oeddent, ei ddilyn ef yno. Ond am danat ti, bechadur, nid oes genyt nerth i ymladd, na man i ffoi. Pe byddit yn meddwl am ffoi, i ba le yr ait ti? Pe ba'it yn myned i'r nefoedd, ti a fyddit o flaen ei wyneb yno. Pe diengit i uffern, ni wnait ti ddim ond disgyn ar fin ei gleddyf ef yno, &c.' Ymunodd lliaws â'r Cymdeithasau eglwysig yn y lle a'r cymmydogaethau ar ol y bregeth hon. Daeth rhai i'r eglwys yr wyf fi yn perthyn iddi; ac y mae dau, o'r rhai a ddaliwyd yn y bregeth hono, yn flaenoriaid erbyn hyn."

Ni a wnaem gam hollol â'n darllenwyr, heb sôn am ein teimladau ein hunain, ped attaliem oddiwrthynt adgofion ein brawd, y Parch. John Thomas, Liverpool, am y bregeth a draddodwyd gan Mr. John Jones yn Nghymdeithasfa Caerfyrddin, pan ydoedd yn y Deheudir ar y daith y cyfeiriwyd ati uchod. Cyhoeddwyd yr adgofion, y tro cyntaf, mewn ysgrif ar Mr. John Jones, a ymddangosodd yn yr Annibynwr, y mis wedi ei farwolaeth ef; ac ail argraffwyd hwynt,

yn y gyfrol gan ein brawd, o "*Draethodau, Pregethau, ac Egluriadau Ysgrythyrol,*" a gyhoeddwyd yn y flwyddyn 1868. Mae y dyfyniadau yn lled faith, ond yr ydym yn sicr y bydd ein holl ddarllenwyr yn llawen o'u cael, ac yn ddiolchgar iawn am danynt:—

"Ni bu dyn erioed wedi ei wneyd gan natur yn well at bregethu. Yn sicr yr oedd yn 'llestr etholedig i'r gorchwyl—wedi 'ei neillduo o groth ei fam' i'r gwaith. Yr oedd o gorff cryf, llathraidd, golygus—llygaid gloewon treiddgraff—ymadrodd croew eglur—llais cryf, clir, peraidd, yn swyno y glust—a'i ddawn rhwydd, diattal, fel afon yn myned a'r cwbl o'i blaen. Yr oedd holl hanfodion pregethwr poblogaidd yn cydgyfarfod ynddo. Yr oedd rhywbeth yn ei ymddangosiad, pan y safai yn y pwlpud, yn cymmeryd perchenogaeth o'r gynulleidfa yn ddiarwybod iddi; ac wedi iddo agor ei enau, yr oedd yn sicr o gadw meddiant o honi. Yr oedd o athrylith naturiol rymus iawn. Yr oedd delw gwreiddioldeb ar bob peth o'i gylch—yn *feddyliwr* gwreiddiol—yn *gynlluniwr* gwreiddiol—ac yn *draddodwr* gwreiddiol. Nid amcanodd ddilyn neb, ond torodd allan lwybr iddo ei hun—'rhodiodd lwybr disathr.' Yr oedd ganddo feddwl galluog i greu; ac yr oedd ynddo ddigon o wroldeb i ddwyn ei greadigaethau i'r golwg. Nid oedd byth yn ymofyn a ddywedodd rhyw un hyn o'i flaen. Yr oedd yn ddeddf iddo ei hun. Ac yr oedd codiad John Jones yn ddechreuad cyfnod newydd yn nodwedd gweinidogaeth y Corff parchus i'r hwn y perthynai. Gwnaeth fwy na neb arall i wrthweithio llif Antinomiaeth, a newid tôn y weinidogaeth yn eu plith. Yr oedd yn ymddangos wrth ei fodd yn ymlid ar ol pechaduriaid—chwalai eu holl wrthddadleuon—boddai eu holl lochesau—gyrai hwy o'u holl noddfeydd—a llosgai eu holl glustogau. Yr oedd fel wedi diofrydu, os marw yn eu hanghrediniaeth a fynent, y caent farw heb un gobenydd i bwyso arno. Ac wedi pregethu yr egwyddorion yma yn y pwlpud, a dyfod i lawr i dŷ y capel, amddiffynai ei weinidogaeth yn ngwyneb hen flaenoriaid anwybodus a rhagfarnllyd, a phregethwyr culion eu heneidiau, a gymerent arnynt fod yn angylion gwarcheidiol yr athrawiaeth. Erbyn hyn, y mae gweinidogaeth y Methodistiaid mor rydd a chymhelliadol ag eiddo un enwad yn y Dywysogaeth. Ond John Jones, yn benaf, a dorodd y garw; ac yr oedd yn rhaid cael dyn o alluoedd cryfion—o ysbryd annibynol—o wroldeb disigl—ac o ddoniau poblogaidd i wneyd hyny; ac yr oedd y cwbl yn cyfarfod ynddo ef.

Yr ydym yn cofio yn dda rai o'i bregethau gorchestol bum' mlynedd ar hugain yn ol, a'r dylanwad nerthol fyddai yn cydfyned â hwy. O! y mae ei sŵn yn ein clustiau y munyd yma, a'r hen olygfeydd yn ymrithio o flaen ein llygaid pan yn ysgrifenu. Rhoddodd argraff ddyfnach o'i fawredd ar ein meddwl ni nag un pregethwr a wrandawsom erioed. Nid ydym yn dyweyd mai efe oedd y mwyaf, ond yn unig na lwyddodd neb i adael yr un argraff ar ein meddwl ni ag a wnaeth efe. Gall fod hyny yn cyfodi oddiar ein hadnabyddiaeth o hono—y ffaith mai efe oedd hoff bregethwr ein mebyd—yn nghydag i ni ddigwydd lawer gwaith ei glywed ar ei uchel-fanau, yr hyn ni buom mor ffodus gydag amryw ereill o gewri y pwlpud Cymreig. Pa fodd bynag, rhwng pob peth, gadawodd argraff ar ein meddwl ni mai efe oedd tywysog pregethwyr ei oes. Ac yn wir, wedi adystyriaeth, a dyfod i oedran aeddfetach, nid ydym yn gweled llawer o achos i ni newid ein cred. Ni chlywsom neb erioed yn dyfod mor agos i'r dychymyg sydd genym ni beth a ddylai pregethu yr efengyl fod. Yr oedd bywyd yr efengyl ganddo am fywyd ei gwrandawyr.

Wedi i ni fod am flynyddau lawer heb gael cyfle i'w glywed, daeth Cymdeithasfa i Gaerfyrddin; ac yn mysg y dyeithriaid a ddysgwylid yr oedd *John Jones, Llanllyfni.* Yn wir, John Jones oedd y cwbl. Nid oedd dim sôn am neb arall, na neb yn ymofyn neb arall wedi cael sicrwydd ei fod ef yn dyfod. Ni bu yr un plentyn ysgol erioed yn fwy awyddus am weled y gwyliau i gael myned adref nag oeddym ni am weled y Gymmanfa hono, a hyny yn unig er mwyn clywed John Jones. Daeth y Gymmanfa, a daeth yntau iddi. Yr oedd amryw Weinidogion Annibynol wedi dyfod o gryn bellder er mwyn ei glywed; ac yr oeddym wedi canmol cymaint arno wrthynt, fel yr oeddym yn gobeithio y deuai allan ar ei oreu. Cynelid y Gymmanfa yn y Farchnad Newydd, lle digon anghyfleus i bregethu a gwrando. Yn yr oedfa ddeg o'r gloch, ar 'ddydd mawr yr ŵyl,' yr oedd yno dorf luosog wedi dyfod yn nghyd; ac ar ol pregeth fer, fywiog, cododd John Jones i fyny. Dacw fe—yn sefyll yn lled syth, gan ymafael â'i ddwylaw yn yr astell sydd o dan y Bibl, ac yn cadw ei lygaid ar y llyfr, oddigerth ei fod yn achlysurol, yn taflu cip-drem i'r ddê neu i'r aswy. Mae y dorf fawr yn ymlonyddu—y crwydrwyr yn sefyll—y rhai oedd bell yn nesau—mae pawb mor ddystaw a'r bedd—y Gweinidogion ar yr esgynlawr oll ar eu traed, oddigerth ambell i hen ben eiddigus sydd yn edrych yn

drwynsur iawn. Mae y dorf yn estyn eu penau yn mlaen, gan glustfeinio am y testyn. Mae yn hawdd deall yn mhryder ac awydd y miloedd fod etholedig y dyrfa wedi codi i lefaru. Ust! Dyna fe yn darllen ei destyn mewn cywair isel, ac eto rhoddai allan gorff cryf o lais dwfn, clir, gan acenu yn bwyllog a phwysleisiol, 'Canys pa lesad i ddyn os ynill efe yr holl fyd, a cholli ei enaid ei hun?' Hen destyn cyfarwydd, mae yn wir; ond y mae rhywbeth yn ei ddull dylanwadol o'i ddarllen yn peri i ni ddysgwyl rhywbeth newydd arno. Byr iawn oedd ei ragymadrodd, byrach o lawer na chyffredin. Daeth rhagddo i wneyd y sylw pwysfawr, FOD COLLI YR ENAID YN GOLLED FAWR. Nid oedd yn rhoddi un awgrym i'r gynulleidfa ei fod yn myned i gymeryd hyny fel mater ychwaith. Yr oedd rhywbeth yn ei ddull yn llwyddiannus iawn i gelu pob peth tebyg i gyfansoddiad; ac eto yr oedd ganddo gyfansoddiad, a chyfansoddiad gorchestol hefyd. Disgynodd ar ei fater ar y dechreu, a glynodd gydag ef hyd y diwedd, gan gadw y pethau cryfaf yn olaf. I ddangos *fod colli yr enaid yn golled fawr*, cymerai olwg, i ddechreu, ar werth yr enaid. Ymresymai werth yr enaid oddiwrth gywreinrwydd y corff. Triniai y corff fel peiriant rhyfedd ac ofnadwy—manylai ar bob rhan o hono; ac yr oedd ei sylwadau arno yn fywiog a difyrus, y fath ag a greai wên siriol ar wyneb y gynulleidfa oll, ac yntau wrthi yn araf hwylio y dorf i dymher dda. Ymddangosai fel ar ei oreu am enill eu serch, a myned i'w mynwes; ac eto nid anhawdd oedd canfod fod ganddo rywbeth heblaw eu boddio mewn golwg.

Wedi darlunio y corff yn ei wahanol ranau, dywedai,—'Wel, 'rwan, os ydyw y corff mor werthfawr, beth feddyliech chi am yr enaid? os ydyw y babell wnaed iddo i fyw dros ychydig amser yma mor ardderchog, beth dybiech chi raid fod y preswylydd sydd oddifewn?' A daeth yn mlaen, o radd i radd, gan ymgodi yn uwch,—uwch, i ddangos gwerth enaid. 'Ond, ond,' meddai o'r diwedd, 'i ba beth yr ydw' i yn ymdroi fel hyn gydâ rhyw îs-brofion? os mynwch chi olwg glir ar unwaith ar werth enaid, ewch i Galfaria i weled pris prynedigaeth yr enaid—yr iawn anfeidrol roddwyd yno dros yr enaid.' Ar hyn, gwefreiddiai ei eiriau y gynulleidfa. Mae cawod ysgafn o ddagrau yn myned dros y dorf; ond y mae y pregethwr fel yn ymattal—yn codi y fflodiardau i rwystro y llifeiriant yn mlaen; yn galw ei hyawdledd yn ol; o chan daflu ei lais i daflod ei enau, yn anadlu gweddi fer,—'O

Arglwydd! dangos i'r bobl yma werth eu heneidiau.' Ac mewn eiliad, dyna filoedd o '*Amenau*' yn ysgwyd y gynnulleidfa. Mae yna bawb yn cymeryd eu hanadl—y dagrau yn cael eu sychu—y dorf yn adfedd-ianu ei hun i wrando—a phob un yn gwenu ar ei gyfaill, i ddangos eu bod yn mwynhâu y wledd. Ac wedi i'r pregethwr, yntau, gael ei anadl, ac ystwytho ei beiriannau llafar trwy ryw ymgarthiad, â yn mlaen, fel un yn teimlo fod y gynnulleidfa fawr oll yn ei law.

Mae yn brofedigaeth i ni geisio tynu darlun o ryw gymeriadau adnabyddus i ni yn y dorf, ond y mae ein terfynau yn rhy gyfyng; ond nis gallwn amattal heb gyfeirio at un a dynodd ein sylw neillduol. Hen weinidog o enwad arall ydoedd, a ddaethai, yn mysg ereill, er mwyn clywed John Jones. Yr oedd yr olwg arno yn batriarchaidd, ei wallt agos yn wyn i gyd. Mae yn araf ymsymud â'i ddwylaw yn ol, ac yn amneidio ar hwn a'r llall i ddangos y boddhâd y mae yn ei gael. Mae yr egwyddorion yr un ag y bu ef ei hun am lawn deugain mlynedd yn eu pregethu, ac y goddefodd lawer o wawd a dirmyg o'u herwydd; ac y mae yn mwynhau wrth glywed yr un golygiadau yn cael eu preg-ethu mor groew gan un o brif ddynion y bobl fu flynyddau cyn hyny yn ei gyhoeddi ef fel heretic oblegyd eu pregethu. Gwyddem wrth ei wyneb nas gallasai gael gwell gwledd; ac o'r diwedd yr oedd wedi araf symud hyd atom, ac meddai, gan ysgwyd ei ben, 'Mae ê yn dyweyd yn anwyl,—hyfryd,' ac yn fuan aeth ymaith, a bron heb wybod iddo ei hun, yr oedd wedi amgylchu y dorf. Esgusoded ein darllenwyr ni am y llam yma a roisom; gwnaethom ef i ddangos y swyn oedd gan y pregethwr ar y dorf; a dyma ni yn dychwelyd i fyned yn mlaen.

*Fod colli yr enaid yn golled fawr.* Oddi yna y mae y pregethwr yn cychwyn, ac i'r fan yna y mae yn dychwelyd; dyna ei osodiad, a dyna ei gasgliad—yna y mae yn dechreu, ac yna y mae yn diweddu. Ym-godai o radd i radd—dringai yn uwch, uwch, a'i sylwadau yn cryfhau wrth fyned rhagddo; ac wedi myned heibio i lawer o bethau sydd yn dangos fod colli yr enaid yn golled fawr, daeth at y sylw—

*Colled ydyw y bydd ei holl ganlyniadau yn disgyn ar un.* Darluniai gwmnïau y byd yn cyfarfod â cholledion, ond fod yno lawer i gydym-gynal dan y golled; fel, er ei bod yn fawr, na theimlir cymmaint oddi-wrthi gan ei bod rhwng llawer. '*Ond,*' meddai, 'enaid anwyl! os colli di dy enaid, fe fydd y golled i gyd yn disgyn arnat ti dy hun. Ni chei di yr un cythraul nac enaid damnedig i'th helpu dani—fe fyddan'

nhw yn golledig fel tithau.' Fflamiai ei lygaid—rhuai ei lais—a rhwygai ei floedd gyda'r geiriau yna; ac yr oedd sefyll y fath gawodydd o hyawdledd ofnadwy yn ormod i gnawd, oni bai i'r pregethwr roddi cyfle i'r bobl gael eu hanadl, tra y gollyngai allan bwt o weddi, 'O Arglwydd! dangos i'r bobl yma berygl colli enaid.'

Mae y pregethwr yn dirwyn yn mlaen—mae ei waed yn poethi—ei ysbryd yn bywiogi—ei deimlad yn dwysâu—ei lais yn chwyddo—a'i hyawdledd yn cyflymu. Mae difrifwch i'w ddarllen yn ngwyneb y dorf; mae colli neu gadw enaid wedi llyncu pob peth arall.

'*Fod colli enaid yn golled fawr.*' Ust! y mae rhywbeth ofnadwy gan y pregethwr i'w ddyweyd yn awr. Mae yn ofni nad yw pawb o'r gynnulleidfa ddim yn ddigon difrif-ddwys; oblegyd hyny y mae yn ail ddyweyd, '*fod colli enaid yn golled fawr!! oblegyd colled o esgeulusdra a fydd.*' Mae y dorf yn ochain, ac yntau yn ail ddyweyd, mewn llais dwfn, dwys, haner crynedig, '*Colled o esgeulusdra fydd!!*' Mae yn darlunio plentyn wedi llosgi i farwolaeth trwy esgeulusdra ei rieni, a'r teimladau alaethus sydd yn llenwi calonau y tad a'r fam. Mae y plentyn yn cael ei bortreiadu gyda'r fath fywiogrwydd a phriodoldeb, fel y mae pawb yn gweled y fflamau yn ymdorchi o'i gwmpas, y tâd yn ei godi yn ei freichiau, y fam yn tynu ei gwallt yn ei gwallgofrwydd, y deigryn gloew wedi sefyll ar rudd y plentyn, yr olygfa yn ymrithio o'u blaen yn mhen ugain mlynedd; ond dyna sydd fel taran yn rhwygo y fynwes, esgeulusdra wnaeth y cwbl. Mae ocheneidiau y tâd a'r fam yn disgyn ar glust y dorf, ac y mae yr adsain yn para—esgeulusdra wnaeth y cwbl. Mae y lle mewn gwirionedd yn ofnadwy. Mae yna filoedd o ocheneidiau yn codi o galonau, a miloedd o wynebau yn wlybion gan ddagrau. Nid oes amser gan neb i edrych o'i gwmpas; nid oedd neb yn gwenu ar ei gyfaill. Mae ein hen gyfaill oedd yn araf ymsymud, yn awr yn sefyll fel delw, a'i lygaid fel dwy ffynnon, yn gollwng eu dagrau gloewon. Mae pob llygad yn tremio ar y pregethwr, a phob clust wedi ei hoelio wrth ei wefus. Mae yna bawb yn ymddangos wedi anghofio pob peth ond yr enaid, ac arswyd colli yr enaid sydd lon'd pob mynwes. Yn nghanol y teimladau ofnadwy yna ar y gynnulleidfa, mae y pregethwr, fel dyn Duw, yn sefyll mewn hunan-feddiant perffaith, ac ymddengys yn benderfynol o fyny meistrolaeth lwyr arnynt. Casgla ei holl nerth—mae difrifoldeb seraffaidd ar ganwyll ei lygaid—mae rhyw danbeidrwydd uwch-ddynol yn ei

wynebpryd—teifl ei lais cryf yn ol i'w wddf, ac â rhyw floedd ddofn, gynhyrfus, gwaeddai, '*Ow! Ow! bobl anwyl, colli yr enaid o esgeulusdra!!*' nes y mae y dorf wedi ei gorchfygu, a'r pregethwr fel yn ymfoddhâu yn ngoruchafiaeth yr efengyl. Ond nid ymddengys fod y pregethwr eto wedi cyrhaedd ei amcan, ac y mae yn mhell o roddi allan ei nerth. Mae plygiau yn ei ddawn eto heb eu dwyn i'r golwg. Mae yna seiniau yn ei lais eto heb eu rhoddi allan; y dwfn, y dwys, y difrifol, gweinidogaeth y lladd sydd wedi bod hyd yma, ac y mae wedi gwneyd hyny yn effeithiol hefyd.

Aroswch! Dacw y pregethwr fel yn cymmeryd ei anadl, ac mewn eiliad mae ei wyneb yn sirioli, ei lygaid yn bywiogi, a'i ysbryd yn ysgafnhau. Mae yn amlwg yn ei wyneb fod ganddo genadwri hedd i'w chyhoeddi. Mae, ar ol gwasgu y dorf i gongl, am ddangos iddynt ddrws gobaith—ar ol eu lladd, am ddangos man iddynt i gael bywyd. Mae yn codi ei lais i gywair uwch, ac âg un fanllef beraidd yn gwaeddi, '*Mae modd cadw yr enaid.*' Mae y floedd yn gweithio fel trydan trwy y dorf, ac ugeiniau ar unwaith yn gwaeddi, 'O diolch!' 'Bendigedig!' &c. Ailgasglai yntau ei nerth; taniai ei holl enaid. Mae ei lais yn fwy swynol a thoddedig nag o'r blaen, a rhydd floedd beraidd dros ben, uwch o lawer na'r gyntaf,—'MAE MODD CADW ENAID.' Erbyn hyn yr oedd y dorf wedi ei gorchfygu; pob cylch wedi dryllio; pob cadwen wedi tori; llestri llawer o'r hen seintiau yn llifo dros yr ymylau; banllefau gorfoledd o gylch yr esgynlawr; hen wŷr a hen wragedd â'u lleisiau cryglyd yn moliannu Duw; ac er uched oedd llais y pregethwr, mae llais y bobl yn uwch. Dechreuai yntau ganmol ac ymollwng gydâ hwy, a rhoddai hergwd i'r bobl sydd yn cwyno fod 'y gogoniant yn ymadael;' a chyfeiriai at agwedd y dorf, gan ddyweyd, 'Os oedd o yn ymadael, ei fod yn ymadael yn rhyfedd iawn.' Ac yn y teimlad gorfoleddus hwnw y terfynwyd yr oedfa. Ni welsom bregethwr erioed yn cario meistrolaeth lwyrach ar gynnulleidfa fawr nag a gariodd John Jones y boreu hwnw. Ond! beth dal siarad? mae ei hyawdledd wedi dystewi yn angeu.

> 'O ardderchawgrwydd Israel!
> Pa fodd y cwympodd y cedyrn?'"

Yr oedd ei weinidogaeth, y blynyddoedd hyn, yn ogoneddus mewn gwirionedd, a'i heffeithiau ar y cynnulleidfäoedd braidd yn wastadol y fath ag i'w meistroli yn hollol, ac yn fynych, fel yn yr engreifftiau a

ddygwyd eisoes ger ein bron, yn gwbl annysgrifiadwy. Ac eto fe ddygwyddai iddo weithiau, hyd yn nod y pryd hwn, rai oedfäon hynod o dywyll a chelyd a dieffaith, yn ymylu, yn wir, ar fod yn dlodaidd, a hyny gydâ rhai o'r pregethau mwyaf nerthol a draddodwyd ganddo erioed ar adegau ereill. Yr ydym yn cofio un tro yn neillduol felly yn Nghymdeithasfa *Liverpool*, ar adeg y Sulgwyn, 1848. Y nos Sadwrn, Mehefin 10, yr oedd yn pregethu yn Nghapel *Pall Mall*,—yr oedfa, y pryd hyny, a ystyrid y bwysicaf o lawer mewn cysylltiad â Chymdeith-asfaoedd *Liverpool*. Y noswaith hono yr oedd y capel yn orlawn, a dysgwyliad mawr yn mhob mynwes am rywbeth annghyffredin yn y Cyfarfod. Yr oedd y pregethwyr yno fel un gwr: ac yr ydym yn cofio fod Mr. Roberts, Amlwch, Mr. Rees, Mr. Hughes, Mr. Edwards o'r Bala, Mr. Cadwaladr Williams, ac amryw ereill, yn yr eisteddleoedd agosaf i'r pulpud, a'u llygaid oll yn fyw ar y pregethwr, gan ddysgwyl y mwynhad uchaf drwyddo. Fe ddarllenodd yn destyn, Matt. xvi. 26: "Canys pa lesâd i ddyn, os ynnill efe yr holl fyd, a cholli ei enaid ei hun? neu pa beth a rydd dyn yn gyfnewid am ei enaid?" Yr oeddem wedi clywed llawer o sôn am y bregeth am "*golli 'r enaid*," fel mai llawenydd nid bychan i ni oedd clywed darlleniad y testyn, oblegid y cyfleusdra a roddid i ni i'w gwrandaw, a hyny mewn amgylchiadau a ymddangosent i ni mor fanteisiol. Ond, yn bur fuan, yr oedd yn hawdd canfod nad oedd y pregethwr mewn un hwyl at ei waith. Yr oedd yn amlwg mewn rhyw gaethiwed, ac yn methu meddiannu ei hunan fel arferol. Ymddangosai fel pe buasai wedi syrthio allan â'i bregeth, ac yn tybied nad oedd dim ynddi yn werth ei draethu ganddo; a'r bregeth fel yn ymddigio wrtho yntau, ac yn dianc yn gwbl o'i afael. Nid oedd dim *myn'd* ynddi, a phrin y parhäodd am dri chwarter awr. Mae yn wir fod y sylwadau, y fath ag oeddent, yn briodol a gwerthfawr, ond yr oeddent yn cael eu traddodi yn ddiyni, a dieffaith; a'r pregethwr mawr, nerthol, dylanwadol, o'r golwg yn gwbl. Yr oeddem yn meddwl ar y pryd, pe dygwyddasai fod yno ryw un yn bresennol heb ei glywed erioed o'r blaen, ac heb gyfleusdra i'w glywed drachefn, mor wahanol fuasai raid i syniad hwnw am dano fod, i syniadau ei wrandawwyr cyffredin yn ei gylch, ac mor wahanol hefyd i'r hyn oedd yn arbenig yn wirionedd am dano ef. Ni ddygwyddodd i ni ei glywed, ar ol hyny, yn y Gymdeithasfa hono; ond ni a glywem, yn niwedd y Sul, ei fod trwy y dydd yn ei hwyliau goreu, a'i fod, yn enwedig y nos Sabbath yn

nghapel *Bedford Street*, pan yn pregethu oddiar 1 Tim. vi. 12, wedi cael oedfa annghyffredin iawn, un o'r rhai mwyaf hynod yn ei oes. Dywedai y diweddar Mr. Hughes wrthym am dani, y boreu Llun canlynol, ei bod yn un o'r pethau rhyfeddaf a wrandawsai efe erioed. Y mae y bregeth hono, megis ag y traddodwyd hi y pryd hyny, yn argraffedig yn y Gyfrol o'i Bregethau a gyhoeddwyd gan Mr. Gee. Y dydd Mawrth canlynol, yr oedd cryn nifer o honom yn myned tua'r Bala, i'r Gymdeithasfa oedd yn cael ei chynnal yno yr wythnos hono. Yr oeddem yn teithio gydâ'r ager-gerbyd hyd Riwabon; ac oddiyno, ar ben y cerbyd cyffredin, tua'r Bala. Fel yr oeddem yn nesau at Bont Cysyllte, gan ymddyddan am y naill beth a'r llall, pan y daeth y Dwfr-drosglwyddydd i'r golwg, fe ofynodd Mr. John Jones gwestiwn, oedd yn arwyddo ei gydnabyddiaeth arbenig ag egwyddorion Awsafiaeth, yn gystal a chraffder cyffredin ei feddwl:—"A welsoch chwi," meddai, "lwyth o hanner can tunell neu fwy yn myned dros Bont, a dim mwy o bwysau ar y Bont pan oedd y llwyth arni, na chyn ei fod yn myned drosti?"

Yr oedd prif ddiwrnod y pregethu yn y Bala, y flwyddyn hono, ar ddydd Gwener, Mehefin 16. Am ddeg yn y boreu, yr oedd Mr. Michael Roberts, a Mr. John Jones yn pregethu. Testyn Mr. Michael Roberts oedd, Psalm ix. 4: "Canys gwnaethost fy marn a'm matter yn dda: eisteddaist ar orseddfainc, gan farnu yn gyfiawn." Dyma yr unig dro i Mr. Michael Roberts bregethu mewn Cymdeithasfa wedi y gradd o adferiad fu ar ei feddwl yn niwedd ei oes; ac er nad oedd ond ychydig o'r hen nerth ag a fuasai unwaith yn hynodi ei weinidogaeth i'w deimlo y pryd hwn, eto yr oedd yr *olwg arno am unwaith*, pe na buasai dim arall, wedi ei golli am bedair blynedd ar ddeg, yn rhoddi boddhad annhraethol i gannoedd a miloedd o'i hen wrandawwyr. Ar ei ol, pregethodd Mr. John Jones. Darllenodd yn destyn, Matt. xvi. 26, yr un testyn ag oedd ganddo yn *Liverpool* y nos Sadwrn blaenorol. Ond rhyfedd y fath wahaniaeth oedd yn y bregeth. Prin, ni a allem dybied, y bu erioed gymmaint. Yr oedd yn pregethu, y tro hwn, gydâ gafael, a nerth, a dylanwad ofnadwy. Yr oedd y gwirionedd yn chwyddo dan ei ddwylaw, ac yn ymagor gyda'r fath eglurder, ac yn y fath ogoniant, ger bron ei feddwl, fel yr oedd y bregeth nad oedd y diwrnod o'r blaen ond prin yn cyrhaedd tri chwarter awr, heddyw yn ymestyn i awr a hanner. Ac yr oedd yr effeithiau ar y dorf fawr yn

parhau ac yn cynnyddu hyd y diwedd. Yr oedd y pwys a'r perygl o "*golli yr enaid*" wedi meddiannu pawb, fel nad oedd gan neb hamdden i feddwl am ddim arall. Yr oedd yno ugeiniau, cyn y diwedd, wedi tori allan i waeddi mewn gorfoledd am drefn *cadw enaid;* ac yr oedd y dwysder teimlad a amlygid gan y miloedd oeddent yn bresennol ar y *Green* y boreu hwnw, yn rhywbeth i'w gofio byth.

Yr ydym yn cael iddo fod y flwyddyn hon yn Nghymdeithasfa Dolgelleu, Medi 6, 7, lle y pregethodd ddwywaith; oddiar 1 Tim. vi. 12, a Zech. iv. 10; ond ni chlywsom am ddim neillduol gydâ golwg ar y pregethau. Ar ddydd Sadwrn, Tachwedd 4, 1848, fe gychwynodd ar daith trwy siroedd Dinbych a Fflint. Bu yn pregethu, y pryd hyn, am fis cyfan ddwy waith, ac yn fynych dair gwaith, bob dydd. Ni chawsom ddim hanes neillduol am y daith hon, heblaw ei fod yn pregethu â'i holl egni, ac yn aml gydâ hwyl annghyffredin; ac, yn arbenig, iddo gael oedfa anarferol mewn rhyw Gyfarfod Pregethu a gynnaliwyd y pryd hyn yn Ninbych, Tach. 9, 10. Ni chyrhaeddodd ei gartref hyd ddydd Llun, Rhagfyr 4. Ar nos Lun, y dydd cyntaf o Ionawr, 1849, yr ydoedd yn Ffestiniog, yn cychwyn ar daith trwy ben dwyreiniol Sir Feirionydd, a Sir Drefaldwyn. Bu, y pryd hyn, mewn Cyfarfod Misol yn y Bala, Ionawr 4, lle y pregethodd ddwy waith; oddiar Matt. xx. 6, a 1 Thess. v. 19. Wedi pregethu yn Llanuwchllyn, croesodd drosodd i Ddinas Mawddwy, ac oddiyno dechreuodd ar Sir Drefaldwyn. Nid ydoedd wedi bod, gydâ dim manylder, trwy y Sir hono, er ys amryw flynyddoedd cyn hyny, ac yr oedd dysgwyliadau annghyffredin am dano, a chyrchu dirfawr ar ei ol. Yr oeddem ni, y pryd hyny, yn aros yn y Drefnewydd, ac ni a gawsom gyfleusdra i'w wrando amrywiol weithiau. Yr oedd yn pregethu, bob tro, gydâg egni a nerth ac ymröad anarferol, fel un yn penderfynu gwneuthur ei oreu tuag at sicrhau iachawdwriaeth ei wrandawwyr; ac yr oedd yn amlwg, yn mhob man, nad oedd ei weinidogaeth yn gwbl ddieffaith arnynt hwythau. Daeth ar y daith hon i Gyfarfod Misol, a gynhelid yn Nghaersws, ar y dyddiau Iau a Gwener, Ionawr 11, 12, 1849. Pregethodd yno ddwywaith,—y noswaith gyntaf, a dau ar y gloch drannoeth. Ei destyn, y prydnawn cyntaf, ydoedd Zech. iv. 10: "Canys pwy a ddiystyrodd ddydd y pethau bychain?" Ei bwnc ydoedd, "Y pechadurusrwydd a'r perygl o anufuddhau i unrhyw gymhelliad crefyddol, a deimlid yn y meddwl, oblegyd ei fod yn fychan." Yr oedd y

bregeth hon yn nodedig o effeithiol, a'r tynerwch teimlad, a arddang osid gan y gynnulleidfa, y fath fel nad ydym yn meddwl fod yno gym maint ag un llygad sych yn y lle, ac yr oedd lliaws mawr yn wylo yn hidl. Nis gallwn byth annghofio un dywediad o'i eiddo, y pryd hwn: —"Yr ydwyf fi," meddai, "wedi penderfynu, er ys rhai blynyddoedd bellach, gwneyd aberth o honof fy hunan, os rhaid hyny, i gyndynrwydd fy nghenedl."

Am ddau ar y gloch drannoeth, yr oedd yn pregethu oddiar Matt. xx. 6: "Paham y sefwch chwi yma ar hyd y dydd yn segur?" Yr oedd y cyfarfod hwn, yn ddiddadl, yn gyfarfod hynod iawn, ar ryw ystyr, yn un o'r rhai hynotaf y buom ni ynddo erioed. Nid oeddem ar y pryd, ac nid ydym eto, mor sicr o nodwedd grefyddol yr effeithiau cynhyrfus a gynnyrchwyd ar deimladau y gynnulleidfa tua'r diwedd, ond am yr effeithiau eu hunain, yr oeddent, mewn gwirionedd, yn rhai rhyfedd iawn. Wedi amryw sylwadau gwerthfawr ar ystyr ac amcan y ddammeg, y cymmerasid y testyn o honi, gan ei hesbonio yn fanwl yn ei chysylltiad â'r genedl Iuddewig ac â galwad y Cenhedloedd i mewn i'r eglwys, fe ddefnyddiodd y geiriau fel ymliwiad â'i wrandawwyr yn nghylch eu hwyrfrydigrwydd i ddilyn Crist, ac i wneuthur arddeliad cyhoeddus o'i grefydd. Y drychfeddwl oedd "*cyflogi*." Yr oedd yn siarad yn hollol yn iaith llanciau a merched gweini y wlad. "Yr ydwyf fi wedi dyfod yma heddyw," meddai, "dros fy Meistr, i geisio eich cyflogi chwi bob un i'w wasanaeth. Yr ydych wedi eich cymhell i hyny gannoedd a miloedd o weithiau o'r blaen, ond y mae arnaf ofn fod yma lawer o honoch heb wneyd eto, ac yn parhau i wasanaethu Satan a phechod. Wel, gadewch i ni gael gwybod genych pa beth yw yr achos eich bod yn nacau cyflogi. 'Paham y sefwch chwi yma ar hyd y dydd yn segur?' 1. "*Paham? A oes genych chwi rywbeth yn erbyn y Meistr?*" Yna fe arosodd ar hyn, yn iaith llanciau y wlad yn siarad am wahanol feistriaid, gan ganmol, gydâ hyawdledd nerthol, y Meistr yr oedd ô yn gennad drosto, a'i gyferbynu, yn ei ragoriaethau anfeidrol, ar ddiafol, y meistr a wasanaethid ganddynt hwy; nes yr oedd teimlad y dorf drwyddi wedi cynhesu, a gwên foddhäol ar bob wyneb. Elai rhagddo,— 2. "*Paham? A oes genych chwi rywbeth yn erbyn y gwaith?*" Yma eto, yn iaith y wlad, fe ddarluniai resymoldeb ac esmwythdra ac urddas gwasanaeth Crist, gan ei gyferbynu eto â'r ynfydrwydd a'r trueni a'r anfri a'r sarhad a berthyn i wasanaeth Satan a phechod, a hyny mewn

dull mor effeithiol nes yr oedd pawb braidd yn ymddangos yn barod i ddywedyd "Digon i ni yr amser a aeth heibio o'r einioes i weithredu ewyllys y Cenhedloedd." Ai yn mlaen,—3. *"Paham? A oes genych chwi rywbeth yn erbyn y cyflog?"* Yma darluniai, yn yr un iaith ag a arferid ganddo o'r dechreu, rai yn nacau cyflogi i fyned i leoedd a gydnabyddid ganddynt braidd yn mhob peth yn ddymunol ond fod y cyflog heb fod wrth eu bôdd; ac fe dynai y cyferbyniad mwyaf bywiog a happus ac effeithiol, rhwng "bywyd tragywyddol" fel gwobr gwasanaeth Crist, a "marwolaeth" fel "cyflog pechod." Yr oedd y capel yn awr yn fyw o deimlad; ac nis gallwn yn hir annghofio yr olwg oedd ar ein hen gyfaill, y diweddar Mr. Chapman o'r Drefnewydd, pan y gwaeddai y pregethwr fod Iesu yn talu yn dda yma, ac na byddai raid iddynt gwyno llawer pe na buasai dim mwy i'w gael yn y gwasanaeth nag oeddent wedi gael eisoes yn yr "ernes;" ond nad oedd yr "ernes," wedi y cwbl, ond rhywbeth i sugno y galon yn llwyrach i'r gwasanaeth, yn y sicrwydd a gynnyrchai o rywbeth annhraethol fwy "yn y byd a ddaw." Elai rhagddo,—4. *"Paham? A oes genych chwi rywbeth yn erbyn y gweision ereill?"* Gan lefaru eto yn iaith y wlad, dechreuai ganmol yn hyawdl yr hen weision, o'r cynfyd, a thrwy yr oesoedd, fel "rhai rhagorol" y ddaear, "goleuni y byd," "halen y ddaear," "rhai nid oedd y byd yn deilwng o honynt;" gan eu cyferbynu â'r "ellyllon yn nghrwyn dynion," y "seirph," yr "hiliogaeth gwiberod," y rhai "llawn dichell a phob annghyfiawnder" sydd yn ngwasanaeth yr un drwg. Portreadodd yma y gymdeithas sydd i'w dysgwyl rhwng yr holl weision a'u gilydd yn y byd a ddaw, mewn dull mor swynol nes oedd pawb yn y lle fel wedi eu gwirioni ganddo. Ai yn mlaen drachefn,—5. *"Paham? A oes genych chwi rywbeth yn erbyn y gynhaliaeth, yn erbyn y bwrdd, yn erbyn yr ymborth?"* Gan barhau i siarad yn iaith y wlad, fe ddarluniai yn ogoneddus y gwleddoedd sydd yn nhŷ Crist,—y pasgedigion,—y pasgedigion breision; y gloyw-win, y gloyw-win puredig; y brasder sydd yn y tŷ, y mae y gweision yn cael eu llawn ddigoni o hono, a'r afon hyfrydwch y maent yn cael eu diodi â hi; y manna cuddiedig; pren y bywyd; grawn sypiau Canaan; diodydd goreu y gwin-dŷ; ffrwyth melus y pren afalau; a chan gyferbynu yn nerthol y danteithion hyn, â'r "lludw," a'r "grawnwin bustlaidd" a'r "afalau Sodom" sydd ar fwrdd y diafol. Yr oedd ei iaith a'i ddelweddau mor syml ac eglur ac agos at y bobl; ei lais mor swynol; a'i deimlad ei

hunan mor ddwys ac angerddol; fel yr oedd yr effeithiau ar y gwrandawwyr yn hynod mewn gwirionedd. Yr oedd y gynnulleidfa yn gwbl yn ei law, i'w thrin fel y mynai. Nid oedd yno neb wedi tori allan i waeddi, ac eto fe allesid tybied fod pawb yn barod i hyny, neu i unrhyw beth a geisiasai y pregethwr ganddynt.

Wedi ymliw â hwynt, yn y dull a nodwyd genym, a phawb yn arwyddo y boddhad mwyaf wrth glywed canmol gwasanaeth Iesu Grist, fe droes arnynt, i fynu cael gwybod yn benderfynol ganddynt yn mhlaid pwy yr oeddent:—"Wel, fy mhobl i," meddai, "dyna fi wedi gosod allan y ddau feistr mor dêg ag y gallwn. Yr ydwyf yn sicr na wnaethum i ddim cam â'r diafol. Os gwnaethum i gam â rhyw un, â Iesu Grist y gwnaethum; oblegyd nid oes genyf fi ddim tebyg i allu i wneuthur cyfiawnder âg ef: rhaid i ni fyned i'r nefoedd i hyny, a chael tragywyddoldeb at hyny. Ond yr ydych wedi clywed digon, mi dybiwn, fel yr ydych yn barod, bellach, i ddyfod i ryw benderfyniad, ac wedi gwneyd eich meddyliau i fynu pwy ydych am wasanaethu. Gadewch i mi, gan hyny, gael gwybod genych yn bendant pa beth ydych am wneyd, pwy ydych am bleidio, dros bwy yr ydych am *votio*. Beth a allwn ni wneyd yn well na rhoddi y ddau i fynu i lais, a rhanu y tŷ, a chael gwybod yn dêg pwy sydd dros y naill a'r llall. A rhag i neb gael achlysur i ddyweyd fy mod i am wneyd un cam â'r diafol, mi a roddaf iddo ef y cynnyg cyntaf, a byddwch chwithau ei bleidwyr yn barod i roddi eich llais drosto, ac i wneuthur arddeliad cyhoeddus o hono:—

'O Beelzebub, tywysog y fagddu fawr, archelyn yr Anfeidrol, a chadfridog llu annwn,—y mae yn hyfryd genym gydnabod dy awdurdod; y mae dy wasanaeth yn anwyl genym, a'r rhagolygon ar y gyflog yn ddymunol i'n teimladau; yr ydym o'n calon yn dymuno ar i ti fyw byth, llywodraethu arnom yn dragywydd, ac estyn dy deyrnwialen ar frys dros holl derfynau y greadigaeth.' Dowch â'ch '*Amen*' o'i blaid." Eithr nid oedd neb yn dywedyd gair, ond pawb yn edrych yn syn ac yn gyffrous. Yna dechreuai drachefn. "Yn mha le y mae eich '*Amen*' chwi? Paham yr ydych mor ddistaw? Ai nid oeddech yn fy neall? Yn mha le y mae gweision Satan? Deuwch allan fel dynion i arddel eich meistr. Dyma i chwi gynnyg eto:—'O ardderchocaf Satan, ymerawdwr uffern, pennaeth mawr holl gythreuliaid distryw, yr hwn nid arswydaist daran-folltau yr Hollalluog, ond yn feiddgar a'i

heriaist i ryfel; ac a lwyddaist yn dy ymgyrch nes taenu galar a gruddfan a gwae dros ororau hyfrydaf a mwyaf paradwysaidd ei lywodraeth; yr ydym yn caru bod yn ddilynwyr i ti, yn ymlawenychu yn dy arglwyddiaeth arnom, ac yn ymrwymo bod am byth yn ffyddlawn i ti. Bydd fyw yn dragywydd a theyrnasa arnom yn oes oesoedd.' Yrŵan am eich '*Amen.*'" Eithr nid oedd eto na llef na neb yn ateb, ond distawrwydd perffaith, ac arswydol braidd, yn yr holl le; a'r pregethwr ei hunan yn ymattal am enyd, er gadael cyfleusdra i bleidwyr Satan ddangos eu hochr. Yn fuan torai ar y distawrwydd, gan ddywedyd,—"Ai nid oes yma neb o weision diafol? Od oes, 'does bosibl eich bod yn myned i'w wadu yn gyhoeddus fel hyn? Pa le yr ydych chwi oeddech yn galw arno yn ddigywilydd yn y ffair y dydd o'r blaen? Dyma fi yn myned i roddi un cynnyg eto i chwi. Yn awr neu byth am dani. Sefwch dros eich meistr fel dynion. Arddelwch ef yn y Cyfarfod Misol fel yn y ffair a'r dafarn. Dowch, yn awr, â'ch llais drosto:—'Bendigedig fyddo dy enw, O dywysog Gehenna, brenhin galluocaf annwn, ac ymerawdwr y pydew diwaelod, yr hwn wyt yn adeiladu dy orseddfainc ar drais, yn gweinyddu dy lywodraeth mewn twyll, ac yn ysgrifenu dy gyfreithiau â gwaed dy ddeiliaid; ar dy ben y byddo y goron byth; cadarnhaer dy frenhiniaeth yn dragywydd; diorsedder y Duwdod o'i holl hawliau; dadymchwaler ei awdurdod yn mhob man; bydded y llywodraeth yn oes oesoedd yn eiddo i ti; a phrysura i'n dwyn ninau yn nes atat, i gymundeb agosach â'th fawrhydi Satanaidd, ac o dan ddarostyngiad llwyrach i ti.' Deuwch yn awr â'ch '*Amen*' o'r galon drosto." Eithr nid oedd eto ond distawrwydd hollol, oddieithr yr ocheneidiau a glywid yn awr yn esgyn o fynwesau ugeiniau, os nad cannoedd, yn y lle, a phawb yn ymddangos yn syn a brawchus, a gwir ddychryn wedi meddiannu meddyliau ugeiniau. Ond, dyna y pregethwr yn dechreu drachefn:—"Wel, nis gall y diafol ei hunan ddywedyd na roddais i bob mantais i'w bleidwyr, pe buasai yma rai o honynt, i wneuthur arddeliad o hono; ond y mae yn ymddangos ei bod wedi dygwydd yn happus iawn yma heddyw; dyma gapelaid o bobl heb gymmaint yn eu plith ag un o weision y cythraul; o leiaf, os daethant yma felly, y maent yn cywilyddio o hono, ac mi a obeithiaf eu bod yn penderfynu na wasanaethant ef mwy. Ond, gadewch i ni gael gweled pwy sydd yma, a pha nifer sydd yma, dros Iesu Grist; ac a oes arnynt *hwy*

gywilydd ei arddel *ef.* Pa le yr ydych chwi yr hen weision yn Sir Drefaldwyn yma? Y mae yma rai o honoch yn y gwasanaeth bellach er ys dros hanner can' mlynedd, ac y mae genych chwi, erbyn hyn, brofiad go dda o hono, gadewch i ni gael clywed eich meddwl chwi am dano. Yn awr, ynte, am dani:—"O Iesu Bendigedig, ti a'th roddaist dy hunan yn ein lle, ac a'n prynaist â'th werthfawr waed; ac o'th anfeidrol ras ti a'n gwaredaist o'r caethiwed caled yr oeddem ynddo, dan iau y cryf-arfog, ac a'n derbyniaist i'th wasanaeth hyfryd, ac i'th dŷ anwyl, dy hunan: yr ydym o'n calonau yn bendithio dy enw am dy garedigrwydd annhraethol i ni; yr ydym yn penderfynu dy wasanaethu di bellach tra y byddwn ni byw; ac nis gallwn ddymuno gwell nefoedd byth, na bod wedi ein rhyddhau oddiwrth bob peth sydd yn tueddu i'n hannghymhwyso i'th wasanaeth a'th addoliad di, ac i gael bwrw ein coronau wrth dy draed yn dragywydd. O Iesu anwyl, Mab y Bendigedig, Ceidwad pechadur, derbyn ein gwasanaeth anmherffaith ac annheilwng; a gad i ni gael bod am byth, yn rhywle, yn ceisio gwneuthur rhywbeth drosot.'" Gydâ hyny, dyna gannoedd o "*Amenau*" yn treiddio trwy y capel, fel pe buasai pawb wedi rhag-gytuno i gyd-waeddi ar yr un amrantiad. "O ïe," meddai y pregethwr, "dyna hi. Y mae yn dda genyf fi glywed yr '*Amen*' yna, yr hen '*Amen*' a glywais i yn Sir Drefaldwyn, er's yn agos i bedair blynedd ar hugain yn ôl. Y mae yn profi i mi, yr hyn oeddwn i o hyd yn feddwl, fod yma lawer o hen weision i Iesu Grist, yn barod i'w ganmol, ac heb ddim cywilydd ei arddel. Gadewch i ni gael gweled a oes yma ryw rai o'r newydd am ymroddi i'w wasanaeth ef. Deuwch yn awr gydâ mi:—'O Iesu mawr, Mab Duw, Gwaredwr pechaduriaid, yr hwn wyt wedi dy eneinio er tragywyddoldeb yn Frenhin arnom, ac y mae hawl hollol genyt ar ein gwasanaeth,—y mae yn ddrwg gan ein calon ein bod wedi oedi cyhyd roddi ein hunain yn gwbl i ti. Wele ni yn awr yn dyfod atat, i'n cynnyg ein hunain i ti. Derbyn ni, O Geidwad dyn, i'n hachub yn haeddiant dy aberth mawr, a derbyn ni i geisio gwneuthur cymmaint ag a allwn byth dros dy enw a'th ogoniant. Bydd fyw yn dragywydd yn Waredwr i ni, ac yn Frenhin arnom, ac ar dy ben y byddo y goron yn oes oesoedd, Amen.'" Gydâ ei "*Amen*" ef, dyna floeddiadau o "*Amenau*" yn cyd-ddyrchafu, fe allesid meddwl, o eneuau pawb yn y lle. "Ië, dyna rywbeth," meddai y pregethwr, "ac mi a obeithiaf mai nid rhywbeth dan gynhyrfiad y foment ydyw, ond ei fod

yn arwyddo gwir benderfyniad y galon dros Iesu Grist. Beth fyddai i ni wneuthur un cynnyg eto, er mwyn gweled faint o honoch sydd yn gywir am roddi gorsedd y galon iddo. Deuwch, yrŵan, gadewch i mi glywed:—'O Iesu anwyl, yr hwn yn ein hisel-radd a'n cofiaist ni, o herwydd dy drugaredd yr hon sydd yn dragywydd; ac yn dy anfeidrol ras, a thithau yn gyfoethog a ddaethost er ein mwyn ni yn dlawd; a gymmeraist ein hachos arnat dy hunan, a ddioddefaist ein cosbedigaeth, ac a dywelltaist dy enaid i farwolaeth yn ein lle, ac er gwneuthur cymmod tragywyddol trosom: cymmer y llywodraeth yn gwbl arnom; eistedd ar ein calonau yn frenhin yn dragywydd; ac ymestyned dy frenhiniaeth i holl gyrau y ddaear, a thros holl drigolion y byd. Y fendith, a'r gogoniant, a'r doethineb, a'r diolch, a'r anrhydedd, a'r gallu, a'r nerth, a fyddo yn eiddo i ti yn oes oesoedd, Amen.'" Ar hyn, ac fel saethiad mellten, yr oedd yno y gwaeddi rhyfeddaf o "*Amen*" a glywsom ni erioed. Ymddangosai i ni fod pawb yn gwaeddi,—rhai dibroffes fel proffeswyr, a'r Saeson, oeddent yn y capel, fel y Cymry. Yr ydoedd fel tân gwyllt yn treiddio trwy y lle. Ac felly y terfynodd y cyfarfod. Fel yr awgrymasom eisoes, nid ydym yn hollol sicr o nodwedd grefyddol y cynhwrf hwn. Yr oedd yno liaws mawr, y mae yn ddiammheuol genym, yn teimlo mewn gwirionedd; ond yr oedd yno nifer mwy, yr ydym yn ofni, wedi eu cludo i rywbeth tebyg i ysbryd etholiad gwladwriaethol, os nad oeddent wedi annghofio nad mewn cyfarfod felly yr oeddent. Eithr nid ydym yn cofio i ni erioed weled meistrolaeth lwyrach o eiddo pregethwr ar gynnulleidfa. Y mae yr adroddiad uchod am y bregeth wedi ei ysgrifenu yn gwbl o'n côf: a thra nad yw ond byr ac anmherffaith iawn, mewn cymhariaeth i'r hyn a fuasai pe dygwyddasai fod yno ryw un yn ysgrifenu ar y pryd, eto, can belled ag y mae yn myned, yr ydym yn sicr o'i fod yn hollol gywir.

Y noswaith hono, am saith ar y gloch, yr oedd yn pregethu yn y Drefnewydd. Ei destyn yno ydoedd 1 Thess. v. 19. Yr oedd y bregeth hon yn gyfansoddiad manwl, athronyddol, ac yn cael ei thraddodi, y pryd hyn, mewn hwyl ragorol, a chydâg effeithiau hyfryd ar deimladau y gwrandawwyr. Y dydd Llun, a'r dydd Mawrth canlynol, Ionawr 15, 16, yr ydoedd mewn Cyfarfod Pregethu yn Llanwyddelen. Boreu y dydd Mawrth hwn y pregethodd, yn ein clywedigaeth ni, y bregeth hynod ar "*Werthfawrawgrwydd Trugaredd,*" y cyfeiriasom ati eisoes (*tu dal.* 629—632), mewn cysylltiad â Chymdeithasfa Ffestiniog.

Yr oedd y diweddar Mr. John Williams, Gweinidog y Bedyddwyr yn y Drefnewydd y pryd hyny, wedi ei wahodd i gymmeryd rhan yn y Cyfarfod hwn, ac yn gwrandaw ar Mr. John Jones y boreu hwnw. Dyma yr unig dro erioed i Mr. Williams wrandaw arno; ac nid oedd diwedd, ar ol hyny, ar ei sôn am dano. Aeth Mr. John Jones yn fanwl i bob Capel Cymraeg braidd, yn Sir Drefaldwyn y pryd hyn, ac yna i lawr, trwy Langollen a Chorwen, trwy y gweddill o ben dwyreiniol Sir Feirionydd; gan orphen ei daith yn Maentwrog, yn y boreu am unarddeg ar y gloch, ddydd Iau, Chwefror 1, a chyrhaedd ei gartref y noswaith hono.

Ar y dydd Mercher, Mawrth 21, 1849, fe ddechreuodd, yn '*Gilead*,' ar daith, o ryw *ddeuddeng* niwrnod, trwy Sir Fôn; ond gorfu arno ddychwelyd ar ol y Sul, Ebrill 1, yn Nghaergybi, i Gyfarfod Misol a gynnelid yn Nghaernarfon, Ebrill 2, 3; a'r dydd Iau canlynol, yr oedd yn cychwyn tua Llundain, at y Gymdeithasfa yno, oedd yn dechreu Ddydd Gwener y Groglith, Ebrill 6. Pregethodd yn Jewin Crescent ddwy waith y diwrnod hwnw; a thrachefn ddwy waith y Sabbath; a thrachefn nos Lun; a thrachefn nos Iau; ac felly, yn y Crescent, bob Sabbath ddwywaith, ac unwaith yn yr wythnos; a'r oedfaon ereill, yn yr wythnos, yn y Cambrian a Denmark Street a Deptford, hyd nes y gadawodd Lundain am Liverpool, at Gymdeithasfa y Sulgwyn yno, Mai 26, 27, 28, 1849. Ei bregeth yn *Bedford Street*, y nos Lun, y pryd hwn, ar Psalm xciii. 1: "Yr Arglwydd sydd yn teyrnasu, &c." ydyw yr un y mae mwyaf o sôn am dani, gan ei hen wrandawwyr, o'r holl bregethau braidd a draddodwyd ganddo erioed yn y dref hono. Ar ddydd Iau, Mehefin 14, fe gychwynodd drachefn ar ychydig daith trwy Sir Ddinbych, gan bregethu yn Ninbych y Sabbath, Mehefin 17, a gorphen ei daith yn y Betws, y Capel Curig, a Dolyddelen, y Sul canlynol, Mehefin 24. Yr oedd fel hyn yn teithio braidd yn ddibaid. Yn mis Gorphenaf, o'r 14 hyd y 23ain, fe aeth yn fanwl iawn ar daith trwy Lëyn, heb fyned heibio braidd i un Capel yno. Ar ddydd Mercher, Medi 19, yr ydoedd yn y Penrhyn, yn cychwyn ar daith i'r Deheudir, mewn cysylltiad â Chymmanfa yn Nhy Ddewi, yr hon a gynnelid ar y dyddiau Mawrth a Mercher, Hydref 2, 3. Bu y pryd hyn Sabbath yn Aberystwyth; Sabbath yn Abergwaen neu ryw le yn Sir Benfro; Sabbath yn Nghaerfyrddin; a Sabbath yn Llangeitho. Dychwelodd adref ddydd Gwener, Hydref 19. Nid ydym wedi llwyddo i gael dim

manylion am y daith hon i'r Deheudir, oddieithr yn unig yr hyn a ganlyn, a dderbyniasom oddiwrth y Parch. George Williams, Tŷ Ddewi:—

"Buaswn wedi ateb eich llythyr yn gynt ond fel yr oeddwn yn dysgwyl derbyn rhyw hysbysiadau ynnghylch Taith Mr. Jones i Sir Benfro, ac i Gymdeithasfa Tŷ Ddewi, yn y flwyddyn 1849. Yr ydwyf, pa fodd bynnag, wedi methu a chael dim. Yr ydwyf yn cofio ei fod yma. Efe a ddaeth ar gais taeraf Mr. Morris, yr hwn, gyda'm brawd hynaf, Ebenezer, a aethai i Gymdeithasfa Pwllheli, ychydig cyn hyny, yn arbenig er mwyn sicrhau dyfodiad Mr. Jones atom ni. Y mae yn ymddangos mai ymweliad byr a brysiog oedd ymweliad Mr. Jones y pryd hyny â'n gwlad ni. Yr ydwyf yn cofio yn dda am dano yn pregethu yn y Gymdeithasfa, a'i fod yn ateb yn gyflawn i'm dysgwyliadau, er fod y rhai hyny yn uchel iawn. Ac y mae y pregethau a draddodwyd ganddo y pryd hwnw, yn cael, hyd y dydd hwn, eu trysori yn nghof lliaws mawr o bobl Sir Benfro. '*Diystyru dydd y pethau bychain*' ydoedd un, a '*Phregeth y Cyflogi*,' fel y mae hyd heddyw yn cael ei galw, oedd y llall. Mi a glywais y ddwy, yn bur ddiweddar, yn cael cyfeirio atynt yn ein cymdeithas eglwysig. Yr ydwyf yn cofio y byddai rhai o'n hen bobl, hyd ddiwedd eu dyddiau, yn siarad llawer am '*Bregeth yr Adgyfodiad*,' a draddodwyd gan y diweddar Mr. Rees Jones o'r Browyr, ar yr hen 'Groes,' mewn rhyw Gymdeithasfa yn Nhŷ Ddewi. Ac nid oes genyf un amheuaeth na bydd llawer o'r rhai a wrandawsant ar Mr. Jones, Talsarn, yn y flwyddyn 1849, yn parhau, hyd ddydd eu marwolaeth hwythau, i siarad am '*Bregeth y Cyflogi*,' fel pinacl uchaf y weinidogaeth Efengylaidd, o fewn holl gylch eu profiad a'u sylw hwy."

Daeth y llythyr canlynol i'n llaw, a ysgrifenwyd gan Mr. John Jones, pan oedd newydd ddychwelyd adref o'r daith hon, at gyfaill iddo, Mr. John Jones, Ynysgain, Llanystumdwy, ar yr achlysur o farwolaeth ei briod, yr hon a fuasai farw Medi 17, 1849:—

"*Talysarn, Hydref* 22, 1849.

"ANWYL GYFAILL,

Yr ydwyf wedi meddwl llawer am danoch yn eich profedigaeth ddofn. Hysbyswyd fi, trwy weledigaeth nos yn Sir Benfro, am eich colled fawr. Yr ydwyf yn cydymdeimlo â chwi i raddau, anwyl frawd, ac yn gobeithio eich bod yn cael cymhorth i

ymddiried yn yr Arglwydd. Gwn fod eich profedigaeth o'r fath natur bwysig fel nas gall natur ymgynnal dani. Y mae yn ei llethu, ac yn ei rhwygo, yn y fath fodd, fel nas gall gael hamdden i edrych i fynu at Dduw. Ond pa faint bynnag o ystyriaethau trallodedig y mae yr amgylchiad hwn yn ddwyn i'ch meddwl dolurus, eto y mae yn gyfiawn cymmeryd golwg ar y *cyfan* a berthyn i'r amgylchiad. Cymmerwch gyfrif o'r daioni a'r manteision, yn gystal ag o'r drygau a'r anfanteision. Chwi a gollasoch briod anwyl ac ymgeleddgar; ond, beth yw eich colled chwi at ennill mawr eich diweddar wraig? Nid oes genych achos ammeu munud na bu marw yn elw, uwchlaw holl gyfoeth y ddaear, iddi hi. Os teimlai yn anhawdd eich gadael, tra yr oeddech yn ei golwg, bendithiai Dduw, y munud nesaf, am eich enciliad ymaith, i roddi lle i bresennoldeb cyfaill gwell. Mae yn gysur iddi, yn awr, fod eich symmudiad chwithau yn agos. Am eich marwolaeth yn yr Arglwydd y mae yn mawr hiraethu. Yr ydych yn awr eich dau yn dra gwahanol eich golygiadau ar amser ei symmudiad hi ymaith. Yr ydych chwi yn gweled ei lle hi yn wag yn y teulu, ond y mae hi yn gweled Duw yn llanw yr holl wagle, yn clywed wylofain eich plant, ac yn edrych yn brydlon ar eu holl anghenion. Ac y mae eu hymddiried i ofal yr Arglwydd yn fwy happus iddi heddyw na phe cawsai fod a'i llygaid arnynt ei hun.

Anwyl frawd, bydded yn gysur i chwi gofio mai llaw yr Arglwydd a wnaeth hyn. Y llaw sydd wedi eich amddiffyn bob amser, ac wedi estyn i chwi bob daioni; y llaw nas gallwch ammeu ei daioni; y llaw na wnaeth erioed ond y peth goreu. A chan i'r llaw hon gymmeryd ymaith eich anwyl gydmares, rheswm Duw am hyn ydyw mai hyny oedd oreu.

Anwyl frawd, trowch bellach at eich plant. Rhaid iddynt gael eich gofal, eich addysg, a'ch gweddïau. Yn ofer yr edrychwn at y meirw. Nid oes yno ddim cymdeithas i'w chael, na chydymdeimlad. Ordeiniodd Duw i'r bedd fod yn dir annghof, i'n gwaredu oddiwrth ofidiau a fyddent yn ormod o faich i'w dwyn dros ystod bywyd; er na chafodd eto yr effaith hyny arnoch chwi. Nid ydyw archollion dyfnion eich calon eto wedi cael amser i gyfanu. Ond wedi i angeu wneuthur ysgariaeth, rhaid i'r serchiadau yn raddol ollwng eu gafael, er nad yn hollol. Na hiraethwch yn ormodol, fy mrawd, o herwydd dichon na bydd yr ysgariaeth ond o fyr barhad. Deuwch eto i gyd-gyfanneddu

mewn undeb a natur ysbrydol a fydd o dragywyddol barhad, ac mewn gwell cyfleusdra i fwynhau eich gilydd yn yr Arglwydd nag y buoch erioed yn y byd hwn. Yr Aglwydd a'ch cynnorthwyo ac a'ch diddano, yn eich holl ofidiau; a bydded yn Dduw i ni, ac i'n plant byth!

Nis gallaf yn awr benderfynu ar Sabbath i chwi, oblegyd yr ydwyf heb gael y Daflen. Caf eich gweled yn brydlawn at hyny. Eich cyfaill annheilwng, sydd yn ceisio am yr un wlad, J. JONES.

Wele ni yn terfynu yr hanes am yr adeg a alwyd genym,—"BLYNYDDOEDD CYFLAWNDER EI NERTH." Gallasem eu galw hefyd,—"BLYNYDDOEDD CYFLAWNDER EI LAFUR." Oblegyd, mewn gwirionedd, yr oedd hwnw, y pryd hyn, yn aruthrol, a braidd yn anhygoel. Yr oedd yn fynych, fel y gwelsom, ar deithiau meithion, ac am wythnosau bwy gilydd yn pregethu dair gwaith bob dydd; heblaw y gorchwylion mewn cysylltiad â'r Ordinhadau ereill a ddisgynent yn aml arno, gan awydd y bobl, i ba le bynnag yr elai, i dynu cymmaint ag a allent o hono. A phan y byddai gartref, heb fod ar daith felly, yr oedd yn arfer pregethu, yn ddieithriad, ar nos Sadwrn, a thrachefn dair gwaith ar y Sabbath, heblaw Bedydd a Swpper yr Arglwydd; ac felly bob Sabbath trwy y flwyddyn. Ac nid yn unig hyny, ond pan y byddai gartref felly, nid oedd cymmaint ag un wythnos yn myned heibio na byddai mewn rhyw leoedd yn ei gyrhaedd yn y Sir, am ddwy, ac, yn fynych, am dair noswaith, gydâ'r gorchwyl yr oedd ei galon yn gymmaint arno, ac yr oedd wedi ei gysegru ei hunan mor lwyr iddo. Ac, erbyn i ni gofio y byddai fel hyn yn pregethu mor fynych, yn pregethu mor faith, yn pregethu mor egnïol, yn pregethu bob amser i gynnulleidfäoedd mor fawrion ag i wneyd yr addoldai gan eu tyndra yn annghyffredin o annghysurus, ac, yn fynych, yn gorfod pregethu yn ffenestr y capel, neu yn rhywle o dan yr awyr agored,—pan y cofir hyn oll, y mae mewn gwirionedd yn syndod pa fodd yr oedd yn gallu ymgynnal dan y fath lafur, a'i natur heb ei llethu yn gwbl ganddo. Ond yr oedd rhagluniaeth wedi ei fendithio â chyfansoddiad o'r fath gadarnaf; a gras wedi cymmeryd meddiant llwyr o hono i wasanaeth yr efengyl; a rhagluniaeth a gras wedi gwneuthur ANRHEG o hono i'r Cymry, fel "gweinidog cymmwys y Testament Newydd."

## PENNOD XIII.

### BLYNYDDOEDD EI AROLYGIAETH AR GLODDFA DOROTHEA: 1850—1852.

EI DREULIADAU TEULUAIDD YN CYNNYDDU—YN YMUNO AG ERAILL I BRYNU CLODDFA—PRYDER YN NGHYLCH LLWYDDIANT YR ANTURIAETH YN PERI IDDO YMGYMMERYD A'I HAROLYGIAETH—Y GWEITHWYR YN CWYNO—EGLURHAD Y PARCH. ROBERT JONES, LLANLLYFNI, AR YR AMGYLCHIADAU—EI BRYDER YN NGHYLCH Y GLODDFA YN EFFEITHIO I RADDAU AR EI WEINIDOGAETH—MWY WEDI EI WNEYD O HYNY NAG Y MAE FFEITHIAU EI HANES YN GANIATAU—ENGHRAIFFT O UN O'I BREGETHAU YN Y TYMHOR HWN—YN CYFARFOD A DAMWAIN DOST, AC YN CAEL GWAREDIGAETH RYFEDD—YN RHODDI HEIBIO AROLYGIAETH Y GLODDFA, AC YN YMRODDI GYDAG EGNI NEWYDD I WASANAETH YR EFENGYL.

PAN oedd Mr. John Jones yn myned rhagddo, fel y dysgrifiwyd, gyda'r fath egni a llwyddiant yn ei weinidogaeth, yr oedd ei dreuliadau teuluaidd yn cynnyddu, ac yr oedd yntau, y naill wythnos ar ol y llall, yn cael ei ddwyn i deimlo yn fwy fwy, nad oedd y gydnabyddiaeth a delid iddo am ei lafur ond hollol annigonol i ateb y gofynion arianol arno, y rhai oeddent, erbyn hyn, yn lliosog ac yn trymhau. Ac, wedi rhoddi heibio y meddwl am America, yr oedd yn edrych allan am ryw gyfleusdra, yn y wlad hon, i ychwanegu at ei ennillion, yn y fath fodd ag a fyddai yn gydweddol â'r hyn a gymmerasid ganddo fel gorchwyl mawr ei fywyd. Tua'r pryd hwn, yr oedd cloddfa lechau yn ei gymmydogaeth yn myned ar werth; a thybiodd, ar unwaith, pe gallasai rywfodd sicrhau meddiant o hòno, neu o ryw gyfran o honi, y buasai yr hyn a ddymunasid ganddo wedi ei gyrhaedd. Er mwyn dwyn hyny oddiamgylch, fe benderfynodd geisio ffurfio cwm'ni i'w phrynu, neu, yn hytrach, yr hawl a'r gallu i'w gweithio. Ac felly fu. Cymmerodd amryw gyfranau ei hunan, a llwyddodd i gael gan ei berthynasau a'i gyfeillion, yma a thraw, gymmeryd y gweddill, ac felly fe ddygwyd y peth i ben. Yr oedd ei feddwl ef y fath, fel, pan yr ymgymmerai ag unrhyw beth, y taflai ei hunan iddo â'i holl egni. Ac felly yn awr.

Yn ei bryder yn nghylch llwyddiant yr anturiaeth hon, a chan deimlo fod y cyfrifoldeb am hyny yn dibynu i fesur mawr arno ef, fel un oedd wedi bod â'r llaw benaf yn ffurfiad y cwmpeini, ac yn gwybod ei fod yn gydnabyddus trwy hir ymarferiad â llechau ac â gwaith cloddfa, fe ymgymmerodd ei hunan â'i Harolygiaeth. Yr oedd lliaws mawr o'i gyfeillion anwylaf yn teimlo yn nodedig o ofidus pan y clywsant am hyny; gan ofni nas gallai y cysylltiad lai na thueddu i niweidio ei feddwl, i ryw fesur, gyda'r gwaith pwysicach, yr oedd ei galon mor lwyr arno, a'r gwaith yr oedd blynyddoedd lawer o brofiad, erbyn hyn, yn sicrhau fod ynddo y fath gymhwysderau tuag ato, ac yr oedd holl Gymru yn gwybod ei fod mor ddefnyddiol ynddo. I ba raddau bynnag yr effeithiodd y sefyllfa newydd, yr oedd erbyn hyn ynddi, yn niweidiol ar ei weinidogaeth, y mae yn sicr iddi fod yn achlysur cryn lawer o drafferth a blinder i'w feddwl ef, ac nad oedd yr esboniad a roddid gan bawb, ar yr hyn a olygai efe yn gydwybodol yn ffyddlondeb i'r ymddiried yr oedd tano, mewn un modd y mwyaf dymunol i'w deimladau. Nid ydym ni yn gwybod i ddim manylder pa fodd yr oedd pethau yn bod: ond y mae yn sicr fod cryn deimlad, ar y pryd, wedi ei gynnyrchu yn meddyliau y gweithwyr yn ei erbyn, oddiar y dybiaeth o'u bod yn cael eu gwasgu yn rhy galed ganddo. Yr oedd rhai o honynt yn bwrw yr holl fai arno ef; tra yr oedd ereill yn fwy ystyriol yn meddwl nad oedd efe yn gwneyd dim ond yr hyn a ddylasai pob goruchwyliwr uniawn ei wneuthur, mewn amgylchiadau cyffelyb, sef, ceisio cyfartalu y treuliadau at yr ennillion, yn ol fel yr oedd llyfrau cyfrifon y gloddfa yn eu dangos, neu, yn hytrach, fel y dywedid wrtho ef eu bod. Fe barodd y cysylltiad, pa fodd bynnag, fwy o niwed iddo ef, ar y pryd, yn nheimladau y bobl, nag a wnaethai dim arall yn ei holl oes. Fel y dywedasom, nid ydym ni yn bersonol yn deall yr holl amgylchiadau; ond y mae y Parch. Robert Jones, Gweinidog y Bedyddwyr yn Llanllyfni, yr hwn oedd mewn mantais ragorol i'w deall, yn rhoddi i ni, mewn llythyr atom, yr eglurhâd canlynol arnynt:—

"Y peth a dynodd fwyaf o ofid i John Jones, a mwyaf o gwmwl ar ei enw, oedd ei gysylltiad ef â chwarel Dorothea. Pan aeth y chwarel hòno ar werth, darfu i John Jones ac ereill ffurfio Cwmpeini Cymreig i'w chymmeryd. Trwy ei ddylanwad a'i ymdrech ef yn benaf y ffurfiwyd y Cwmpeini. Cymmerodd amryw ranau ei hun, a pherswadiodd amryw ereill, yn mhell ac yn agos, i wneuthur yr un peth. Yr oedd

y *concern* o gylch tair mil o bunnau, y rhai a wnaed i fynu yn lled fuan. Gan fod John Jones yn deall chwarel yn dda, a bod llawer o'i arian ef ynddi, a bod amryw ereill wedi cymmeryd rhanau ar ei ddymuniad ef, ystyriodd yn ddyledswydd arno olygu y gwaith ei hun yn ofalus. Dygwyddodd i fasnach y llechi fyned yn isel iawn y pryd hyny, yr hyn oedd yn anfantais fawr i fyned yn mlaen. Wrth weled John Jones yn y chwarel, o'r boreu hyd yr hwyr, a'i weled, yn eu bryd hwy, yn gwasgu y gweithwyr yn o drwm, cwynid hefyd fod ei bregethau yn gwaelu, a'i fod yn ddyn bydol, &c. Yn y cyfnod hwn, fe drôdd y gweithwyr yn ei erbyn yn fawr. Pe buasai dynion yn ystyried ac yn gwybod pa fodd yr oedd pethau yn bod, y mae yn ddiau y cawsai lawer mwy o gydymdeimlad nag a gafodd yn yr amgylchiad hwn. Y mae yn bosibl na buasai neb yn gallu gwneyd fawr yn well nag y gwnaeth yntau, a gwneuthur cyfiawnder o bob tu. Nid wyf yn ammeu na bu ef braidd yn rhy galed at y gweithwyr; ond y prif achos o hyny oedd, ei fod ef yn *credu* fod masnach y llechi, ar y pryd hyny, yn fwy anobeithiol nag ydoedd. Yr oedd yn annichonadwy i un dyn, yn yr adeg hono, wybod yn sicr pa fodd y tröai pethau. Bum yn ymddiddan âg ef fy hun, ryw ddau fis cyn ei farwolaeth, ar y pen hwn. Dywedai ei fod yn teimlo yn ddwys dros weithwyr tlodion yn yr adeg hono, a'i fod wedi bod yn ofalus iawn i roddi gwaith i'r rhai mwyaf anghenus o honynt, a'i fod wedi troi llawer o'r gweithwyr goreu a feddai o'r gwaith er mwyn hyny, am fod y rhai hyny yn fwy cefnog o ran eu hamgylchiadau. Dywedodd ei gyfeillion mwyaf mynwesol wrthyf, ei fod ef yn dywedyd wrthynt hwy, yn yr adeg hono, ei fod mewn mwy o bryder rhag colledu y dynion a roisent eu harian yn y chwarel ar ei gais ef, na cholledu ei hunan o'r hyn oll a feddai. Er mai peth a ddywedwyd wrthyf yn gyfrinachol yw hyn, y mae cyfiawnder yn galw am ei hysbysu, er amddiffyn coffadwriaeth ein hen gyfaill parchus. Y mae yn hawdd collfarnu dynion yn ormodol os nad edrychir yn fanwl i ddau du y ddalen, i weled pa fodd y mae pethau yn bod. Nid wyf yn meddwl fod John Jones heb ei golliadau mwy na dyn arall: trueni, er hyny, yw ei gondemnio ar gam. Ond peth cyffredin ydyw hyny yn y byd truenus hwn. Y mae yn gysurus i lawer un feddwl, pan fyddo dynion yn eu condemnio, fod Duw yn gwybod pa fodd y mae pethau yn sefyll:—

'Yr hwn a breswyl yn y nef,
I'r ddaear hon darostwng ef,
Gwel ef ein cam, clyw ef ein cri.'"

Y mae yn ddywediad cyffredin fod ei weinidogaeth, yn y blynyddoedd hyn, wedi ei hanmharu yn ddirfawr oblegyd y cysylltiad yr oedd ynddo â'r gloddfa. Ni ddygwyddodd i ni ei glywed ond unwaith yn yr ystod hwnw, ac felly nis gallwn, oddiar ein gwybodaeth ein hunain, ddywedyd dim yn bendant iawn ar y pwnc. Ond yn sicr yr ydoedd yn pregethu y tro hwnw agos mor nerthol ag y clywsom ni ef erioed. Ac yr ydym ni yn tueddu yn gryf i dybied fod mwy o lawer wedi ei wneuthur o'r niwed a wnaed gan y gloddfa i'w weinidogaeth nag y mae ffeithiau ei hanes yn ganiatau. Ni a gyfarfuasom ag ef amrywiol weithiau, yn y tymhor hwnw, ac ni chawsom ni un lle i gasglu fod y gloddfa wedi myned â dim o'i galon; ac yr ydym yn sicr ei fod, yn ei ymddiddanion, yn ymddangos i ni mor llawn o ysbryd pregethu ag y gwelsem ef erioed. Heblaw hyny, yr oedd yn cadw at ei gyhoeddiadau Sabbothol fel arferol, heb golli gymmaint ag unwaith; yr oedd yn ofalus am yr holl foddion wythnosol yn ei gartref ef ei hunan, fel o'r blaen; yr oedd yn pregethu yn y tai oddiamgylch ei gartref, ac yn y capeli yma a thraw yn y wlad, ar nosweithiau yr wythnos, fel y gwnelai cyn hyny ac ar ol hyny; yr oedd yn rhoddi ei bresennoldeb yn y Cyfarfodydd Misol yn llawn mor gyson ag un amser; ac yr oedd yn myned, yn achlysurol, ar daith i un o Siroedd y Gogledd, neu i'r Deheudir, megis ar adegau ereill, ac yn pregethu mor rymus ac effeithiol ag y clybuwyd ef erioed. Fe anfonwyd i ni, gan frawd o'r enw Felix, o dref Aberteifi, "Loffion" o bregeth a deimlid yn nodedig felly, a draddodwyd ganddo yn Aberporth, gerllaw Aberteifi, Medi 27, 1851, ac y mae yn ymddangos i ni yn gyflawn o'r un ysbryd ag a nodweddai ei bregethau yn ei amser goreu. Ac er gwneuthur rhywbeth tuag at symud ymaith y cam sydd, trwy y dybiaeth y cyfeiriwyd ati, yn gorwedd ar ei goffadwriaeth, ac er cyfoethogi rhyw gymmaint ar y bennod annyddorol hon, ni a'i dodwn i mewn yma. Y mae yn gynllun têg o'r dull uniongyrchol oedd ganddo i gyfeirio y gwirionedd at gydwybodau a chalonau ei wrandawwyr.

Luc xiv. 18:—'A HWY OLL A DDECHREUASANT YN UNFRYD YMESGUSODI.'

"Y mae sefyllfa gwrandawwyr yr efengyl yn un dra phwysig a difrifol. Y mae pawb sydd yn ei gwrando dan angenrheidrwydd i'w derbyn neu ei gwrthod. Nid oes dim posibl i ti ochel y naill a'r llall. Rhaid i ti wneuthur un o honynt. Rhaid i ti naill ai croesawu Mab Duw i'th galon, neu ynte ei fathru dan dy draed. Y mae iachawdwriaeth pech-

adur yn cael ei gosod allan yn yr Efengyl yn y fath fodd, fel na bydd gan neb un esgus dros ei gwrthod. Os i uffern yr ewch chwi, fy mhobl i, ni bydd genych neb i'w feio ond chwychwi eich hunain. Nid all fod gan neb esgus dros wrthod yr iachawdwriaeth sydd yn cael ei chynyg yn yr efengyl. Y mae yma 'Swpper mawr'; a 'phob peth yn barod'; 'iachawdwriaeth gymmaint';—cymmaint a'th angen di, bydded hwnw gymmaint ag y byddo. Pe buasai rhyw ddiffyg yn y ddarpariaeth, fe fuasai hyny yn esgus dros ei gwrthod. Ti allasit godi yn wyneb y Barnwr a dyweyd, 'Yr oedd llawer o bethau yn eisiau arnaf fi, nad oeddent yn dy iachawdwriaeth di i'w cael; a dyna paham y gwrthodais i hi.' Fe fuasai hynyna yn rhyw esgus. Ond nid oes un esgus fel yna i'w gael, fy mhobl i. 'Rhyngodd bôdd i'r Tad drigo o bob cyflawnder ynddo ef.' Y mae digon ynddi ar gyfer eisiau pawb.

Eilwaith:—Y mae wedi anfon ei was i'ch hysbysu am y swpper, ac i'ch gwahodd iddo. A'i *was* a anfonodd efe. Nid rhyw grwydryn dieithrol a digymmeriad; ond ei *was*; un wedi profi blas y danteithion, ac wedi mwynhau ymgeledd y swpper ei hunan. Pa fath rai bynnag a gafodd ereill i'w gwahodd, rhai felly a gawsoch chwi, onide? Ac y mae hyn eto yn dy wneyd yn ddiesgus. Pe buasai heb wneuthur hyn, fe fuasai genyt ryw esgus. Ti allasit godi yn wyneb y Barnwr a dywedyd, 'Dyma fi heb iachawdwriaeth; ond ni chlywais i erioed fod un i'w chael, nes myned allan o'i chyrhaedd; pe clywswn am dani, mi a fuaswn yn ei gwerthfawrogi ac yn ei derbyn; ond, yn anffodus i mi, nid felly fu.' Na, ni elli di byth ddywedyd fel yna. Pa esgus a all fod genych chwi sydd wedi eich geni a'ch magu yn swn ei galwadau, ac eto yn anufuddhau iddi? Nid oes yr un i'w gael, a chwi a fyddwch heb yr un byth.

Etto:—*Nid oes un esgus i'w gael dros bechu yn erbyn Duw.* Y mae y naill ddyn yn pechu yn erbyn y llall, ac yn ei esgusodi ei hunan trwy feddwl na ddaw ei bechod byth i'r golwg. Y mae yn chwilio am fan dirgel i'w gyflawni; ac felly yn meddwl na osodir y bai hwnw byth yn ei erbyn. Felly y mae y lleidr yn gwneyd. Felly y mae y llofrudd yn gwneuthur. Pe buasit tithau yn cael lle i feddwl felly, wrth bechu yn erbyn Duw, fe fuasai hyny yn rhyw esgus i ti. Ond nid oes dim posibl cael y fath le. 'Y mae llygaid yr Arglwydd yn mhob lle,' yn canfod y drwg a'r da. 'Y mae pob peth yn noeth ac yn agored i'w lygaid,' a chuddfeydd dirgelaf y tywyllwch yn uniongyrchol dan ei amrantau.

Y mae dynion yn eu hesgusodi eu hunain, wrth bechu yn erbyn eu gilydd, trwy gyflawni pechodau yn absennoldeb eu gilydd. Felly yr oedd y gwas drwg hwnw yn gwneyd, pan oedd ei arglwydd yn oedi dyfod. Dacw fo yn dechreu curo ei gyd-weision, ac yn bwyta, ac yn yfed gydâ'r meddwon. Pe buasit tithau yn cael rhyw gyfle felly ar Dduw, fe fuasai yn rhyw esgus i ti. Ond nid oes dim posibl i ti byth gael y fath gyfle. Ynddo yr wyt ti yn byw, yn symmud, ac yn bod, *Fachgen*. Duw yw yr agosaf atat yn mhob man. O flaen ei wyneb ef yr wyt ti yn gwneuthur pob peth. Yn ei glust ef yr wyt ti yn siarad pob gair.

Y mae dynion yn ymesgusodi wrth bechu yn erbyn eu gilydd trwy ddywedyd nad ydynt yn cael dim ar ddwylaw eu gilydd. 'Mi a wnaethum fel a'r fel â'm cymmydog, y mae'n wir,' meddai y dyn, 'ond nid wyf fi yn cael dim oddiar ei law ef, ac nid oes arnaf fi ddim rhwymau iddo.' Pe gallasit tithau ddywedyd felly am Dduw buasai yn rhyw esgus i ti dros fod yn ddiystyr o hono. Ond ni fedri di ddim dywedyd hyny: oblegyd 'efe sydd yn rhoddi pob peth i bawb'; ïe, 'Trugareddau yr Arglwydd yw na ddarfu am danom.'

Y mae hyny yn rhyw esgus yn aml yn mhlith dynion, fod yr hwn y troseddir yn ei erbyn yn analluog i amddiffyn ei gamwri. Ond nid oes un esgus felly i'w gael dros bechu yn erbyn Duw. Y mae efe 'yn alluog o nerth.' Byddai yn haws iddo dy ddamnio nag i ti dynu dy amrant dros dy lygad. Llai peth fyddai iddo ef droi y gynnulleidfa yma i ddinystr nag i ti dynu dy anadl. 'Ag anadl ei wefusau y lladd efe yr anwir.' Y mae cyfeiriad yn y gair yna at ryw flodeuyn bychan, gwanaidd ac eiddil, yr hwn y byddai anadl dyn yn ddigon i'w wywo. Dyna y fath rai ydym ni. Y mae anadl Duw yn ddigon i'n lladd ni. Ni wnaeth efe ddim ond edrych ar Pharaoh, yr oedd hyny yn ormod iddo; a dacw fo yn boddi yn y dyfnder. Ni wnaeth efe ddim ond edrych ar frenhiniaethau Canaan i'w gwasgar. 'Edrychodd a gwasgarodd hwynt.' Nid rhaid iddo ddanfon mellten i'n gwneyd ni yn dommen o ludw wrth basio. Nid rhaid iddo godi un o'r mynyddoedd yna i'w daflu arnom i'n lladd ni. O! na, dim ond edrych mewn soriant a dyna ddigon.

Y mae dynion yn ymesgusodi pan yn pechu y naill yn erbyn y llall, trwy ddyweyd y gallant fyw heb eu gilydd. 'Mi allaf fi fyw hebddo,' meddai y dyn, 'ac nid oes rhaid i mi byth fyned ar ei ofyn.' Pe

buasai rhyw esgus felly i'w gael dros bechu yn erbyn Duw, fe fuasai yn rhywbeth. Ond, pwy a all ddywedyd y gall efe fyw heb Dduw? Arno ef yr ydym ni yn gwbl yn dibynu, ïe, nis gallwn fyw yr un munud hebddo. Ped attaliai ei drugareddau y munud hwn, dechreu tân tragywyddol fyddai y munud nesaf. Y mae yn gorfod trefnu a llywodraethu rhyw lawer iawn o bethau i gadw dy fywyd am foment. Y mae yn dy waredu o beryglon heb rif. Ni wyddost ti ar y ddaear pa nifer o gythreuliaid fu yn amgylchu dy orweddfa di neithiwr, y naill yn cynniwair ar ol y llall, a phob un, wrth fyned heibio, yn ysgyrnygu ei ddannedd uffernol arnat. Hwyrach na bu dim tair modfedd rhwng y 'llew rhuadwy' a chael gafael arnat ti, ond fe safodd Duw rhyngot a'r cwbl, fel na ddigwyddodd i ti ddim niwed. Wel, a oes dim gwell gwaith genyt tithau i'w wneyd na phechu yn erbyn Duw mor dda?

Y mae dynion yn esgusodi pechodau yn erbyn eu gilydd, ac yn erbyn cyfreithiau gwladol, trwy ddyweyd fod annghyfiawnder yn y deddfau hyny. Ac, yn wir, esgus da yw hwn hefyd. Dyma oedd esgus Daniel a'i gyfeillion, a'r Diwygwyr a'r Merthyron trwy yr oesoedd. Wel, os gelli di dd'od yn mlaen a phrofi fod annghyfiawnder yn nghyfraith yr Arglwydd, fe fydd hyny yn esgus. Ac mi fentraf fi ddyweyd wrthyt, Fe gymmer Duw yr Esgus hwnw genyt. Ond gormod gorchwyl i ti fydd gwneyd hyny. Nid yw Duw yn gofyn dim genyt ond sydd gyfiawn iddo ei gael. Ac nid hyny yn unig, ond y mae y ddeddf a roddodd i ti yn anfeidrol dda. Nid oes dim ond daioni ynddi. Pa beth a all fod yn well i'r creadur nag iddo garu Duw â'i holl galon? A oes bosibl fod deddf well a mwy manteisiol i'r byd, na,—'A châr dy gymmydog fel ti dy hun?' Beth pe buasai yn gorchymyn i bob dyn gasau ei gymmydog? Pa fath olwg fuasai ar y byd!

Nid oes genyt un esgus dros dy bechod, oblegyd dy fod dan angenrheidrwydd gorfodaeth i bechu. Nid oes dim o'r fath beth yn bod; y mae y diafol yn temtio ac yn hudo; ond nid yw yn gorfodogi neb. Y mae pob dyn, pa mor gref bynnag fyddo y demtasiwn, yn gweithredu yn hollol rydd pan yn pechu. Ni chlywais i ddim sôn erioed fod un cythraul yn dal dyn ar wastad ei gefn ar lawr, un arall yn agor ei safn, ac un arall drachefn yn gollwng y pethau meddwol i'w enau. O na! meddwi o'u bodd y mae dynion, heb neb yn eu gorfodi. A'r un modd gydâ golwg ar bob pechod arall.

Etto: Nid oes dim anallu naturiol ynot i fod yn esgus dros dy

bechod.* Y mae Mr. Charles yn y '*Geiriadur Ysgrythyrol*,' dan y gair '*Moesol*,' yn sylwi, 'nad oes dim anallu naturiol mewn dyn i gyflawni y cwbl y mae Duw yn ofyn.' Y mae genyf fi gystal corph ac enaid ag sydd eisiau ar ddyn. Pe buasai rhyw anallu naturiol yn perthyn i ti, fe fuasai hyny yn rhyw esgus drosot. Nid *bai* yn y *dall* yw ei fod yn methu gweled; nid oes ganddo ef lygaid i hyny. Nid ydyw yn *bechod* ar y *byddar* beidio gwrando; y mae anallu naturiol ar ei ffordd i wneyd hyny. Nid *bai* ar y *mud* yw ei fod yn peidio canu; nid yw yn meddiannu peiriannau cerdd. Anallu moesol, hyny yw, anallu yn cyfodi oddiar ansawdd lygredig y galon, yw ein hanallu ni. 'Dwg allan y bobl ddall, sydd a llygaid iddynt'; dyna ein dallineb ni; 'a'r byddariaid sydd â chlustiau iddynt'; dyna fyddardod gwrandawwyr yr Efengyl. Y maent felly am eu bod yn dewis bod felly. Nid oes yr un esgus ganddynt dros eu pechod.

Ond er nad oes gan neb un esgus gwirioneddol dros fyw mewn pechod a gwrthod iachawdwriaeth, y mae gan ddynion lawer iawn o esgusodion; ïe, esgusodion sydd yn damnio y byd. Yr oedd yr Arglwydd Iesu yn ystyried hyn, ac yn milwrio ei oreu yn eu herbyn. 'Oni bai fy nyfod,' meddai, 'a llefaru wrthynt, ni buasai arnynt bechod: ond yr awrhon nid oes ganddynt esgus am eu pechod.'

Nid oes gan neb esgus dros wrthod Iachawdwriaeth.

1. Nis gelli gael un esgus dros hyn oddiwrth arfaeth Duw ac Etholigaeth gras. Nid oes dim yn arfaeth Duw yn rhwystr i ti i ddyfod at Grist. Na: y mae mwy o gymhorth nag o rwystr i ti i'w gael yma. Y mae ambell un yn dyweyd, y mae yn wir, 'Os yw Duw wedi arfaethu fy nghadw, y mae yn sicr o'm cadw; ac mi a eisteddaf, nes y delo Duw i'm cadw.' Ond ai fel yna yr ydych yn ymddwyn at bethau ereill, a gydnabyddir genych sydd yn arfaeth Duw? Yr oedd y cnwd mawr, a gawsom ni o'r ddaear eleni, erioed yn Arfaeth Duw. Ni thyfodd yr un gwelltyn, ac ni lanwyd yr un dywysen, ond oedd yn ei arfaeth ef. Ond pa fodd y cafwyd y cnwd? Ai trwy eistedd, a bod yn llonydd, a dywedyd, 'Fe dyf gwenith, a haidd, a cheirch, os ydyw Duw wedi arfaethu hyny?' Ai ynte trwy fedrusrwydd a gofal y dyn, a'r naill ffarmwr yn ymgynghori â'r llall, 'Pa beth a hauwn ni yn y cae hwn? A pha fodd y trinwn ni y maes arall?' Neu, Beth pe byddai y morwyr am gael gwybod dyfnder y mor yn mhob man cyn cychwyn drosto? Nid âi neb byth i *New York* felly. O na: gwthio i'r dwfn y

mae y Cadben heb wybod dim am ddyfnder y môr; a digon o ddyfn a gafodd pawb, heb ei fesur a'i blymio. Gwthia dithau dy lestr i'r mor. Ti a gei ddigon o ddwfr. Digon a gafodd pawb; a thi gei dithau ddigon. Paid a disgwyl cael gwybod a etholwyd di cyn cychwyn gydâ chrefydd. Ni chafodd neb erioed hyny. Ni chawsom ni mo hyny. Yr ydym ni yn ammeu hyny yn aml eto. Ac y mae ein bod yn cael rhyw le i feddwl hyny weithiau yn awr, yn ddigon o dâl am ein holl lafur gydâ chrefydd. Yn mhen blynyddoedd ar ol dechreu crefydda y dywedodd Job y geiriau hyny, 'Mi a wn fod fy Mhrynwr yn fyw.' Ac os yn mhen ugain mlynedd gydâ chrefydd, y cyrhaeddi di dir felly, ti a fyddi wedi gwneyd yn well gydâ hi na chyda dim arall.

2. Nid oes dim esgus i ti i'w gael yn ngwaith y Prynedigaeth. Y darn o'r ffordd sydd ar fryn Calfaria, yw y darn hyfrydaf o honi hi i gyd. Hwyrach fod ambell un yn dyweyd, 'Os bu Crist farw drosof, fe'm cedwir; ac os na bu farw drosof, fe'm collir, beth bynnag a wnelwyf.' Nid awn ni ddim i ddadleu yn nghylch peth felly. Ond y mae genym hyn i'w ddyweyd, Pa beth bynnag a allai fod ystyr y gosodiad neillduol ar Iesu Grist dros ei bobl, nid ydyw mewn un modd yn anghydweddol â'r digonolrwydd anfeidrol sydd ynddo ar gyfer byd o bechaduriaid, ac felly ar dy gyfer dithau. 'Rhyngodd bodd i'r Tad drigo o bob cyflawnder ynddo ef.' Ac er fod miloedd o bechaduriaid wedi derbyn o'i gyflawnder ef, eto nid yw heddyw ronyn llai. Dywedai John Jones, Edern, fod Cyflawnder Crist fel cyflawnder yr Haul. Y mae yr haul yn goleuo ac yn gwresogi y byd, er ys yn agos i chwe' mil o flynyddoedd, eto nid yw ei oleu na'i wres yn ddim llai. Nid oes yma yr un esgus i ti dros wrthod iachawdwriaeth.

3. Nis gelli gael un esgus oddiwrth natur gwaith yr Ysbryd Glan. Y mae yn wir fod yr Ysbryd Glan yn gweithredu tuag at y rhai a achubir, a bod angenrheidrwydd anhebgorol am ei weithrediadau. Ond pa fodd y mae yr Ysbryd yn gweithredu yw y pwnc? Onid yn yr ymarferiad â'r moddion? Y mae rhai yn dysgwyl rhyw bethau mawr i'w llusgo yn orthrechol at grefydd. Ond camgymeriad ofnadwy ydyw hyny. Y ffordd i ti ydyw, ufuddhau i'r pethau sydd. Os byddi yn teimlo y cymhelliad lleiaf i fyned at grefydd, cofia mai oddiwrth Dduw y mae, ac ufuddha dithau iddo. Dos at y Bibl; dos ar dy liniau; gweithia dy ffordd yn gyson at orseddfainc y gras, i erfyn am dy fywyd.

4. Nis gelli gael un esgus oddiwrth alwad yr Efengyl. Y mae yr

alwad ar dy ôl di. Os wyt ti yn bechadur y mae llais yr efengyl atat ti. Mi a glywais, yn wir, am rai hen bregethwyr yn dyweyd, 'eu bod hwy yn galw ar bawb, am na wyddent hwy pwy oedd wedi eu hethol.' Ond prin yr oedd yr hen frodyr da hyny yn deall eu *commissiwn*. Ac, heblaw hyny, nid nyni sydd yn galw, ond Duw ei hunan: 'Yr ydym ni yn genhadau dros Grist, megis pe byddai Duw yn deisyf arnoch trwom ni; yr ydym yn erfyn dros Grist, Cymmoder chwi â Duw.' 'Deuwch ataf fi bawb ar y sydd yn flinderog a llwythog, a mi a esmwythaf arnoch.' 'Trowch eich wynebau ataf fi, holl gyrau'r ddaear, fel y'ch achuber: canys myfi wyf Dduw ac nid neb arall.'

'Ie,' meddi, 'ond y mae arnaf fi ofn rhagrithio.' Wel, yn wir, y mae arnaf finnau ofn hyny. Ond yn mha le y mae bai y rhagrithiwr? Nid mewn proffesu crefydd, ond mewn gorphwys ar broffes yn unig. Ar ba le y mae gwyneb y rhagrithiwr? Onid ar ddistryw? Wel dyna'r lle y mae dy wyneb dithau arno.

'Ie,' meddi eilwaith, 'ond y mae arnaf ofn mai gwrthgiliwr fyddaf.' Wel, fe ddylai pawb ofni hyny. Yr wyf fi, beth bynnag, yn ofni hyny am danaf fy hunan yn aml. Ond pa beth yw bai y gwrthgiliwr? Ai cychwyn gydâ chrefydd, ynte troi yn ol? Pa beth y mae y gwrthgiliwr yn ei wneuthur? 'Tynu yn ôl i golledigaeth,' onidê? Wel, tynu i golledigaeth yr wyt tithau. Ofnwch fod yn ôl ddynion anwyl.

Yr ydwyf fi yn fy ngweled fy hun yn eich trechu bob cam, fel nad wyf yn meddwl fod eisiau dywedyd dim yn ychwaneg. Ond y mae genyf un gair i'w ddyweyd eto, sydd yn ddigon i drechu pawb; a dyma fo: '*Y mae hwn yn derbyn pechaduriaid.*' Cynnyg dy hunan iddo, bechadur. Pa beth bynnag ydwyt, y mae yn barod i'th dderbyn. A roddwch chwi 'Amen' i gyd gydâ rhyw ddymuniad fel hyn: 'O Iesu Bendigedig, yr hwn wyt yn Geidwad wrth dy swydd, ac o ddwyfol osodiad, cymer y gynnulleidfa hon i'w chadw i fywyd tragywyddol.' Pa fodd y mae rhyngoch â'r Ceidwad ddynion? Ceidwad heb ei fath ydyw. Fe lŷn pan fyddo pawb yn cilio. Pan y bydd gwraig, a phlant, a pherthynasau agosaf, a chyfeillion anwylaf, yn sefyll yn ol, fe fydd ef yn sefyll gyda chwi. Rhoddwch eich hunain iddo, fel y byddoch byth ar gael; a pheidiwch ymesgusodi un munud yn hwy."

Er nad ydyw yr adroddiad uchod o'r bregeth, a draddodwyd y pryd hyn, ond tra anmherffaith, eto y mae yn ddigon, ni a dybiem, i roddi y darllenydd mewn mantais i weled nad oedd y pregethwr mewn un

modd yn ymddangos wedi colli dim yn ysbryd y weinidogaeth, na llesgau o gwbl yn ei ymroad iddi. Yr un pryd, yn gymmaint, fel y sylwasom eisoes, ag mai nid dyn oedd efe i daflu hanner ei enaid i unrhyw beth yr ymgymmerai âg ef, y mae yn bosibl fod peth gwirionedd yn y cwyn a wneid gan lawer y pryd hyny, a'r argyhoeddiad sydd yn meddyliau lliaws o'i hen wrandawyr eto, fod ei weinidogaeth, tra yr ydoedd yn y cysylltiad y soniasom am dano â'r gloddfa, yn llawer llai miniog a thanllyd ac effeithiol, nag yr arferai fod, ac, yn enwedig, nag yr ydoedd wedi bod yn y blynyddoedd blaenorol. Ond ni fynai ei Arglwydd i'w was fod dan y fath anfantais i'r hyn a ordeiniasid ganddo ef iddo fel gorchwyl mawr ei fywyd; ac yn ganlynol fe ddaeth, trwy foddion dieithrol ond eto hollol effeithiol, i'w ryddhau oddiwrtho. Mewn gwirionedd, fe gyfarfu, yn y gloddfa, â damwain dost, ac oni buasai gwaredigaeth ryfedd, fe fuasai wedi ei ladd yn y fan. Rywbryd yn yr Hydref, os ydym yn cofio yn iawn, y flwyddyn 1852, ni chawsom yr amseriad yn fanwl, fe aethai i fynu i'r gloddfa yn foreu, am eu bod y diwrnod hwnw yn myned i wneuthur prawf ar godi wageni llwythog o waelod y gloddfa i fynu, ar hyd *Incline*. Yr oedd efe wedi cymmeryd dyddordeb neillduol yn y cynllun oedd ganddynt, ac felly yn dra phryderus yn nghylch ei lwyddiant. Yr oedd y prawf wedi dechreu; a'r wagen lawn gyntaf wedi cychwyn, ac wedi myned rhag i fynu yn llwyddiannus, hyd yn agos i'r pen uchaf. Yr oedd Mr. John Jones yn sefyll tua chanol yr *Incline*, yr hwn sydd tua chant a thriugain o latheni o hyd, o'i waelod i'w ben uchaf, ac yn meddwl fod pob peth yn ddiogel, ac yn llawenychu yn llwyddiant y cynllun. Ond, pan yn edrych arni wedi cyrhaedd yn agos i'r pen uchaf, fe groesodd yr *Incline*, yr hwn sydd tua phum llath o led. Ar hyny, fe dorodd y gadwyn yn y pen uchaf, ac yn y fan fe ruthrai y wagen lwythog yn ei hôl, i lawr yr *Incline*, gydâ chyflymdra aruthrol ac ofnadwy. Yr oedd dau o'r gweithwyr gydâg ef, ond nid yn y perygl, yn uniongyrchol, fel yr oedd efe. Ond hwy a anturiasant eu bywydau i'w gipio ef o ffordd y wagen; a llwyddodd un o honynt i'w gael oll, oddieithr un troed, o'i chyfeiriad. Aeth y wagen dros y troed hwnw, ac anafwyd ef yn dost. Cafodd un o'r dynion dori ei goes. Tra y bu Mr. John Jones byw yr oedd yn teimlo yn garedig iawn at a diolchgar iawn i'r dynion hyn, a fuant yn offerynol i achub ei fywyd. Byddai, hyd ddiwedd ei oes, yn ymddiddan â hwynt yn fynych am y ddamwain. Mae y ddau wr, o ran a wyddom,

yn byw eto yn y gymmydogaeth. Cludwyd ef gan ddynion o'r gloddfa tua 'i gartref. Er fod ei wynebpryd yn gwelwi gan boen, anfonodd yn ddioed gydâ rhyw un at ei wraig i'w hysbysu hi am y ddamwain, ac i ddywedyd wrthi am beidio a chynhyrfu, nad oedd ond ychydig friw ar ei droed. Ac yn ei ofal am ei theimladau, pan y cyrhaeddodd y dynion gydâg ef at y tŷ, mynodd gael myned i mewn ei hunan, heb neb i'w ganlyn; a cheisiai edrych yn siriol, gan gymmeryd arno nad ydoedd yn teimlo rhyw lawer oddiwrth y dolur. Yn ffodus, yr oedd y Meddyg yn dygwydd bod yn y tŷ ar y pryd; ac felly, heb golli ond ychydig iawn o amser, dodwyd yr asgwrn yn ei le, a chymhwyswyd at yr archoll yr hyn a fernid yn angenrheidiol er ei iachad, fel ag y daeth yn lled fuan i deimlo mewn cymhariaeth yn esmwyth. Dywedai, pan y canfu ei hunan wedi ei waredu mor ryfedd, fod y pennill hwnw o'r Salmau cân, wedi saethu i'w feddwl:—

"Angel ein Duw a dry yn gylch
O amgylch pawb a'i hofnant;
Ceidw ef hwynt, a llawer gwell
Na chastell yw eu gwarant."

Caethiwwyd ef i'w gartref, yn ganlynol i'r ddamwain hon, am yn agos i ddau fis; a dysgwyd iddo rai gwersi y pryd hwn, a lynasant yn ddwfn iawn yn ei feddwl am weddill ei oes. Daeth yn fwy argyhoeddedig nag erioed o'r gwirionedd mawr ag yr oedd ei ffydd ef ynddo bob amser yn arbenig,—Manyldra Rhagluniaeth Ddwyfol. Ac, yn enwedig, fe benderfynodd ymryddhau oddiwrth arolygiaeth y gloddfa. Clywai lais amlwg ei Feistr Mawr tuag ato, yn ei alw i ymgysegru yn hollol o hyny allan i'r weinidogaeth a ymddiriedasid iddo, a phenderfynodd yn ddifrifol ymgyflwyno gydâg egni newydd, tra y byddai byw, i wasanaeth yr efengyl. Daeth i deimlo yn ddwysach nag y gwnaethai erioed o'r blaen oddiwrth ansicrwydd pethau darfodedig, a'r pwys mawr o gael hawl eglur a diogel mewn pethau tragywyddol. Ac nid oes un ammheuaeth genym na adawodd y ddamwain hon argraff ddofn ar ei grefydd bersonol, ac ar dôn a gwedd neillduol ei weinidogaeth am flynyddoedd olaf ei fywyd.

## PENNOD XIV.

### BLYNYDDOEDD DIWEDDAF EI EINIOES: 1853—1857.

YMRODDI GYDAG EGNI ADNEWYDDOL I'R WEINIDOGAETH—CYMDEITHASFA LIVERPOOL, Y SULGWYN, 1853—CYFARFOD PREGETHU YN AMLWCH—LLYTHYR AT Y PARCH. SAMUEL ROBERTS, BANGOR, AR FARWOLAETH EI WRAIG—YMRODDI I GANU, AC YN CYFANSODDI LLIAWS O DONAU CYNNULLEIDFAOL—SYLWADAU MR. MORRIS DAVIES ARNO FEL CERDDOR—YMWELIAD A LIVERPOOL A MANCHESTER, CHWEFROR, 1854—CYMDEITHASFA LLANERCHYMEDD, YN MIS MAWRTH—TAITH TRWY RANAU O SIROEDD MEIRIONYDD, DINBYCH, A FFLINT, YN MIS MAI—TAITH I'R DEHEUDIR YN HYDREF A TACHWEDD, 1855—TAITH I SIR FEIRIONYDD YN RHAGFYR—YMDEIMLO YN DDWYS A PHERYGLON CYMRU ODDIWRTH BABYDDIAETH AC ANFFYDDIAETH—CYHOEDDIAD "*Addysg Chambers i'r Bobl*" YN Y GYMRAEG—EI SYLWADAU ARNO—YMOSODIADAU ARNO TRWY Y WASG—EI YMWELIAD DIWEDDAF A LIVERPOOL, IONAWR, 1856—EI YMWELIAD DIWEDDAF A LLUNDAIN AT Y PASG—CYFARFODYDD PREGETHU YN Y DYFFRYN AC YN NOLGELLEU YN MIS MEHEFIN—TAITH I SIR DREFALDWYN YN HYDREF A THACHWEDD—Y GYMDEITHASFA DDIWEDDAF IDDO, YN Y WYDDGRUG, YN MIS RHAGFYR—EI IECHYD YN ANMHARU—PARHAU I LAFURIO—EI BREGETH DDIWEDDAF.

WEDI ymryddhau oddiwrth arolygiaeth y gloddfa, a'i ddwyn o ran ei feddwl, trwy y perygl y buasai ynddo a'r waredigaeth fawr a gawsai, i gyfarfyddiad newydd â sylweddau pwysig ac ofnadwy y byd tragywyddol, fe ddechreuodd, gydâ'i adferiad i'w iechyd a'i nerth arferol, ymroddi gydâg egni adnewyddol i waith mawr ei oes. Yr oedd y fath ddifrifoldeb a dwysder a thynerwch yn awr yn hynodi ei weinidogaeth, fel yr oedd ei wrandawwyr, i ba le bynnag yr elai, yn teimlo ei fod megis gwr wedi cael ail anfoniad oddiwrth ei Arglwydd, a'i fod, mewn gwirionedd, yn genad y Duw byw atynt. Yr oedd y ddamwain y cyfarfuasai â hi wedi effeithio yn arbenig arno er ei ddwyn i deimlo agosrwydd y byd tragywyddol, ac, o hyny allan, yr oedd ei fyfyrdodau i raddau mwy nag erioed wedi eu llyngcu ganddo. Yr oedd argraff

hyny yn amlwg ar ei bregethau am y gweddill o'i oes. Yr oedd lliaws o honynt, a'r nifer mwyaf o lawer o'r rhai a gyfansoddwyd ganddo ar ol hyn, yn uniongyrchol yn y cyfeiriad hwnw; a pha bwnc bynnag fyddai ganddo dan sylw, yr oedd yn cymmeryd gofal neillduol am edrych arno yn ei berthynas â'r byd tragywyddol. A rhwng yr argyhoeddiad dwfn a'i meddiannai ef ei hunan o wirionedd a phwysfawrawgrwydd y pethau a fyddent ganddo dan sylw, cyfoeth anhysbyddadwy ei feddwl mewn cymhariaethau cyfaddas ac ardderchog er eu darlunio yn fywiog ac effeithiol, godidawgrwydd digyffelyb ei iaith, a'r tynerwch swynol a allai daflu i'w lais, yr oedd yn gallu llwyddo, braidd bob amser, i raddau tra annghyffredin, i ddwyn ei wrandaẅwyr i weled y pethau yn yr un goleuni ag y canfyddid hwynt ganddo ef ei hunan, ac felly i gyfranogi, i raddau helaeth, o'r dwysder a'r difrifoldeb ofnadwy a hynodent ei deimladau ef. Yr oedd yn cael ei deimlo yn nodedig felly, meddir i ni, yn *Liverpool*, yn Nghymdeithasfa y Sulgwyn, yn y flwyddyn 1853. Yr oedd yn pregethu y boreu, y Sul hwnw, yn nghapel *Pall Mall*, oddiar Rhuf. viii. 26; yn y prydnawn, yn *Rose Place*, oddiar Job xxv. 4; a'r hwyr, yn *Bedford Street*, oddiar Heb. vi. 18. Am ddau ar y gloch, ddydd Llun, yr oedd yn nghapel *Burlington Street*, oddiar Ioan xx. 29; ac yn yr hwyr, yn *Mulberry Street*, oddiar Deut. xxxii. 29. Fe sicrhäwyd i ni gan amryw, fod pregethau y nos Sul a'r nos Lun, y pryd hwn, yn enwedig, a rhyw ddylanwadau gydâ hwynt a barant iddynt gael eu cofio ganddynt byth. Yr oedd y tyrfäoedd wedi eu llorio yn gwbl; nerthoedd y byd a ddaw yn treiddio trwy bob teimlad, ac yn meddiannu pob calon, fel nad oedd neb yn gallu meddwl am ddim arall. Y mae crynodeb o'r bregeth oedd ganddo yn *Bedford Street*, megis ag y traddodwyd hi y pryd hyny, wedi ei chyhoeddi yn y gyfrol o'i "*Bregethau,*" *tu dal.* 119—126. Mae *copi* hefyd o'r bregeth yn *Mulberry Street*, megis ag yr ysgrifenwyd hi wrth ei gwrandaw, yn awr ger ein bron; ac y mae yn hawdd gweled ynddi, fod y pregethwr yn y fath deimlad yn nghylch achos tragywyddol ei wrandaẅwyr, fel na foddlonid ef gan ddim llai na'u hiachawdwriaeth.

Ni a gawsom ein hunain gyfleusdra i sylwi ar yr un nodwedd, mewn modd arbenig, ar ei weinidogaeth y pryd hyn, mewn Cyfarfod Pregethu yn Amlwch, Medi 12, 13, 1853. Yr oedd efe yn pregethu yno yn y boreu, y 13eg, am ddeg, o flaen Mr. Rees; ac yn y prydnawn, am ddau, ar ol Mr. Owen Jones, yn awr o Landudno. Ei destyn, yn

y boreu, ydoedd Eph. v. 16:—"Gan brynu yr amser." Yr oedd yn pregethu, y tro hwn, gydâ difrifoldeb a dwysder a nerth mawr. Yr oedd fel un yn teimlo fod amser yn diflanu odditano, ac y byddai tragywyddoldeb yn fuan wedi ei lyngcu yn gwbl iddo ei hun; ac yr oedd yr holl gynnulleidfa, ar y pryd, i raddau mawr, yn ymddangos fel yn teimlo yr un modd. Ond y bregeth y prydnawn oedd yn rhyfedd ofnadwy. Y testyn ydoedd, 1 Petr iii. 19, 20:—"Trwy yr hwn yr aeth efe hefyd ac a bregethodd i'r ysbrydion yn ngharchar; y rhai a fu gynt anufudd, pan unwaith yr oedd hir-amynedd Duw yn aros yn nyddiau Noë, tra y darperid yr arch, yn yr hon ychydig, sef wyth enaid, a achubwyd trwy ddwfr." Wedi bod am gryn ysbaid yn olrhain y gwahanol olygiadau a roddir ar ystyr y geiriau, a'u hesbonio fel yn arwyddo fod Iesu Grist, trwy yr un Ysbryd ag a'i cyfododd ef ei hunan oddiwrth y meirw, wedi bod, yn nyddiau Noë, a thrwy ei weinidogaeth ef, yn pregethu i'r rhai oeddent, oblegyd eu hanufudd-dod i'r pregethu hwnw, erbyn y pryd yr oedd Petr yn ysgrifenu, ac oesoedd cyn hyny, yn "ysbrydion yn ngharchar," fe ddisgynodd ar fater ei bregeth—"Diwedd anufudd-dod i alwadau Duw yn yr efengyl: 'carchar.'" A phan yn sôn am uffern fel 'carchar,' 'carchar ysbrydion'—"carchar a'i furiau mor drwchus fel nas gall ysbrydion fyned trwyddynt, ac mor uchel fel nas gall ysbrydion fyned drostynt, gafael ofnadwy Duw Hollalluog mor gadarn ynddynt, fel y mae yn anmhosibl iddynt byth ddianc oddiarno," yr oedd y darluniad mor ddysgrifiadol ac arswydlawn, fel yr oedd yr holl gynnulleidfa agos a llewygu gan ofn. Yr oedd yno le rhyfedd. Er fod hen Gapel Mawr Amlwch yn orlawn, a thyndra y dorf agos yn annioddefol, eto yr oedd y distawrwydd y fath fel y gallesid tybied nad oedd yno braidd neb yn cymmeryd ei anadl, hyd nes y delai y pregethwr i ddiwedd pob mater, pan y gollyngai allan ryw bwt o weddi,—"O Arglwydd Dduw, pa beth bynnag arall a roddi i ni, dyro y grefydd i ni a'n cadwo rhag myned byth i'r carchar ofnadwy hwn;"—ac yna byddai teimladau y gynnulleidfa yn cael rhyddid i ymarllwys, a channoedd o "*Amenau*" yn llenwi y lle. Ac oh! yr ymwared mawr a rhyfedd a gafwyd i deimladau pawb, pan, yn niwedd y bregeth, y daeth at y drefn ogoneddus, trwy y gwr a aeth ei hunan i'r ddalfa yn eu lle, i gadw trueiniaid rhag myned i'r carchar byth. Yr oedd pawb, erbyn hyn, yn wylo yn hidl; a lliaws wedi tori allan mewn hwyl orfoleddus i foliannu yr Anfeidrol am y fath obaith.

Yn nechreu mis Rhagfyr, y flwyddyn hon, fe fu farw gwraig y Parch. Samuel Roberts, Bangor, ac, yn ei alar, fe'i cyfarchwyd gan Mr. John Jones â'r llythyr canlynol:—

"ANWYL GYFAILL,

Derbyniais lythyr yn fy hysbysu am farwolaeth eich duwiol wraig, ac aethum i Gaernarfon ddoe, yn foreu, ar y bwriad o ddyfod atoch i'r claddedigaeth: ond deallais, yn Nghaernarfon, y byddai y *Train* yn rhy ddiweddar; oherwydd clywais yno y byddech yn cychwyn am un ar y gloch; felly mi a ddigalonais, a dychwelais adref yn ol o'r dref, wedi deall nas gallwn gyrhaedd yn brydlawn.

Yr ydwyf yn teimlo drosoch. Ond pa help yw hyny i chwi? Gwn nas gellir gwneyd y golled i fynu yn eich teimlad chwi. Ond er hyny yr hwn a'i cymmerodd ymaith, ni wna i chwi ddrwg a cholled. Y mae yn cymmeryd ymaith, er mwyn cael lle cymmwys i roddi yr hyn a fydd yn fwy gwerthfawr, yn y diwedd. Fe allai y bydd genych fwy i'w ddywedyd wrth eich Tâd nefol yn y tywydd hwn. Nid ydyw byth yn haws ei gael yn gymhorth nag i'r rhai sydd mewn cyfyngder. Nid oedd gan neb lywodraeth dros yr afiechyd, a fu yn genad angau iddi hi, ond Duw yn unig. Pa beth bynnag yw mawredd eich colled chwi, nid ydyw mor fawr a'r ennill a gafodd eich anwyl wraig. Cofiwch mai nid ar y ddaear yr oedd holl gyfeillion a pherthynasau Mrs. Roberts. Pa faint oedd yn llawenhau yn y nef pan y daeth hi i'w mysg! Oni ddylech lawenhau mewn gobaith, mewn gobaith mor fawr, ac ar sail mor gadarn? Bydded i'r gobaith sicr, ac anfeidrol ei wrthddrych, sydd yn aros o angenrheidrwydd yn eich mynwes ar ran eich diweddar wraig, bydded iddo, meddaf, leddfu eich gofid; bydded iddo gymmedroli eich galar. Nid canwyll dan lestr oedd un Mrs. Roberts, ond canwyll ar y bwrdd, yn goleuo i bawb yn nhref Bangor. Nid wrth lygaid y gynnulleidfa, pan wrth fwrdd y Cymun, yr oedd Mrs. Roberts yn tystio ei Christionogaeth, ond wrth 'bob cydwybod dynion yn ngolwg Duw,'—ar yr heol, yn y tŷ, yn mysg ei phlant gartref, yn y ffair a'r farchnad, yn mhob cwmni.

Mor fawr ydyw y fantais o garu Duw! Mor ddrud y rhaid i ni dalu am y dedwyddwch sydd yn tarddu o garu gwraig rinweddol, trwy ddioddef ei cholli! Rhaid i ni dalu yn ddrud am ddedwyddwch ei chymdeithas yn ei bywyd, mewn ychydig ddyddiau, trwy ddioddef y

golled ar ol ei marwolaeth. Nid ydym yn ennill ond ychydig ar y goreu o'r creaduriaid; ac nis gallwn ddysgwyl yn ddigon cynnil wrth y creadur. Ond yn Nuw ni a gawn ddedwyddwch cymdeithas â Rhagoriaethau Anfeidrol, ac heb berygl byth colli'r gwrthddrych. Mae ei holl briodoliaethau yn gyfaddasrwydd ynddo i roddi hyfrydwch i'w holl gyfeillion, ac yn parhau yn dragywydd. 'Ymddiriedwch yn yr Arglwydd byth; o herwydd yn yr Arglwydd Dduw y mae cadernid tragywyddol.' Ond ni chaff y rhagoriaethau moesol a roddodd hyfrydwch i chwi yn eich gwraig fod yn ddifudd i chwi eto. Nid ydych eto wedi medi *holl* 'ffrwythau yr Ysbryd,' yn yr enaid hwnw a fu am flynyddau yn eich cysuro. Y mae eto ffrwythau addfed i darddu, yn y byd arall, oddiar yr egwyddor sanctaidd a welsoch yn ffrwytho defnyddiau dedwyddwch yn eich teulu. Bydd yn y byd arall yn llawn ffrwyth, ac mewn gwell hinsawdd i'w ddwyn; a byddwch chwithau *yno* yn meddu archwaeth burach i fwynhau yr hyn a wna eich cymdeithas yn ddedwydd.

Ni bydd arnoch eisiau mam i'ch plant, tra byddo Duw yn 'Dad' iddynt; ac ni bydd arnoch eisiau neb i gydymdeimlo a chydofalu a chydymgynghori, tra byddo yr Hollalluog yn 'Farnwr' i chwi. Anwyl frawd, nac ymollyngwch: ni wna hyny leshad. 'Ymnerthwch yn yr Arglwydd, ac yn nghadernid ei allu ef.' Fe allai y caiff y brofedigaeth fwyaf hon effaith fendithiol ar eich Gweinidogaeth. Dichon eich bod wedi eich dwyn trwy y tân hwn, fel y byddo i chwi ddwyn 'i'r Arglwydd offrwm mewn cyfiawnder.' Trugaredd fawr, mewn dyfroedd mor ddyfnion a therfysglyd, ydyw cael meddiannu eich enaid mewn amynedd, ac ymddiried yn yr Arglwydd: ond, wedi i'r terfysg mawr fyned drosodd, ac i'r tònau ostegu ychydig, dichon y gàd yr oruchwyliaeth chwerw ryw ddwysder yn eich ysbryd, a gymer afael ar gydwybod yr anystyriol. Nid oes genyf, anwyl gyfaill, ond ceisio gweddïo drosoch.

J. JONES, TALYSARN.

*Rhag.* 15, 1853.

Yr oedd Mr. John Jones, fel y gwelsom eisoes (*tu dal.* 41—45; 57—59), er yn ieuanc, yn hoff iawn o gerddoriaeth, a'i lais canu y pryd hyny, fel y clywsom laweroedd o weithiau gan rai oeddent yn ei gofio yn dda, yn un braidd digyffelyb. Yn y blynyddoedd yr ydym yn awr wedi dyfod atynt, yr oedd rhyw ysbrydiaeth newydd at ganu wedi

disgyn arno, fel ag yr oedd yn myned â llawer iawn o'i feddwl a'i amser, os nad â pheth o'i nerth hefyd. Ar ol bod yn pregethu yn egnïol ac yn faith, am dair gwaith ar y Sabbath, ac yn gweinyddu, fe allai, yr ordinhadau o Fedydd a Swpper yr Arglwydd fwy nag unwaith, pan y tarawai ar gyfeillion â'u tuedd at ganu, fel ag y gwnai braidd yn mhob cymmydogaeth, arosai ar ei draed am oriau gydâ hwynt i ganu, a'i feddwl mor fywiog, a'i lais mor gryf ac ystwyth, ac yntau yn ymddangos mor ddiflin, a phe na buasai wedi bod mewn dim llafur yn ystod y dydd. Ac er nad oedd cymmaint cylch na nerth na phereidd-dra yn awr yn ei lais, ag oedd ynddo pan ydoedd ieuanc, eto yr oedd ynddo rywbeth a bâr i'r rhai a'i clywsant yn ei hwyliau goreu, fethu byth a'i annghofio. Ond yr oedd yn ymroddi cymmaint i hyn, y pryd hwn, fel yr oedd cryn nifer o'i gyfeillion yn tueddu i dybied ei fod yn cael mwy nag a ddylasai o'i sylw, ac, yn enwedig, yn ofni y gallasai, rhwng y canu a'r pregethu, er cryfed ydoedd, ei niweidio ei hun. Ni a glywsom, unwaith, ei frawd, Mr. David Jones, yn chwareus ac eto gydag amcan difrifol, yn ymliw âg ef ar hyn. Yr oeddem ein tri yn ymddyddan ar ryw fater: ond yr oedd gan Mr. John Jones dôn newydd, ac yr oedd arno eisiau i ni ei chlywed. Yr oedd Mr. David Jones yn gantor da ei hunan, ac, o fewn rhyw derfynau, yn hoff iawn o ganu; ac yr oedd, yn enwedig, yn edmygwr annghyffredin ar ei frawd fel cantor. Ond, pan oedd Mr. John Jones yn dyfod â'i dôn yn mlaen y pryd hwn, ac yntau yn awyddus i gadw yr ymddyddan rhagddo ar rywbeth arall, meddai wrtho,—"Yn wirionedd i, John, yr wyt ti yn gwirioni efo'r canu yna. Yr ydwy' i'n synu atat ti. Yr oeddwn i yn meddwl dy fod di yn-ddyn mawr. Ond nid ydyw canu yn un arwydd o fawredd. Rhyw greaduriaid bychain bob amser sydd yn canu. Nid yw y llew na'r *elephant* byth yn canu. A'r rhai lleiaf o'r adar sydd yn canu. Nid yw yr eryr, eu brenhin hwy, byth yn canu. Dim ond yr eos, yr ehedydd, yr aderyn cywarch, y Jack y Nico, a'r *canary*, a rhyw greaduriaid bychain fel yna sydd yn canu. Nid yw eu hymenydd nhw i gyd ddim cymmaint a gwnïadur. A'r un fath, rhyw ddynion bychain sydd bob amser yn gwirioni gyda'r canu. Nid ydyw dynion mawr byth yn canu. Nid ydyw * * * * * * * * yn gwybod dim am ganu. Ni chlywaist ti erioed sôn fod Syr Isaac Newton byth yn canu." Yr oedd Mr. John Jones newydd fod yn sôn am y ddau yma,—un o honynt yn Gymro ac yn fyw eto—gan eu rhestru yn mhlith y dynion mwyaf.

Ond cyn i Mr. David Jones gael gorphen yn gwbl, a braidd ei hunan yn methu ymattal rhag chwerthin, dyna Mr. John Jones ar ei draws:— "Beth wyt ti yn ddyweyd, Dafydd? Tydi sydd yn gwirioni. Nid ydwy' i ddim yn gwybod y munud yma am Newton, ond mi gymmerwn i fy llw agos ei fod o yn hoff o ganu. Yr oedd Bacon yn gantor rhagorol ac yn deall y gelfyddyd yn berffaith. Yr oedd Plato ac Aristotle yn feistriaid hollol arni, ac yn hoff iawn o honi, Plato yn enwedig. Yr oedd Luther yn gantor er yn blentyn, pan yr oedd o yn arfer canu i gardota ei fwyd ar hyd ystrydoedd Magdeburg; a phereidd-dra ei lais yn canu a ddylanwadodd ar y wraig fonheddig hono, i beri iddi ei gymmeryd i'w thŷ, a'i gynnal yn yr ysgol. Ac nis gallasai byth, trwy ei bregethau a'i ysgrifeniadau, roddi y fath ddyrnod i Babyddiaeth yn Europe a dwyn yn mlaen y Diwygiad Protestanaidd, yn y modd y gwnaeth, oni buasai ei fod yn gwybod sut i fyn'd at galonau y bobl trwy ganu. Yr oedd Calvin hefyd, os nad oedd o yn gantor da ei hunan, yn rhoddi pob cefnogaeth i ganu. Yr oedd Milton yn gantor digyffelyb. Ac onid oeddech chwi," gan gyfeirio atom ni, "yn dywedyd wrthyf fi, ryw bryd, fod Shakespeare yn dyweyd, 'fod canu da yn gwneyd dyn yn ddifrifol; a bod y dyn sydd heb archwaeth at ganu, neu nad oes gan ganu ddylanwad arno, yn un parod at bob dryg-waith, ac yn un na ddylid rhoi dim ymddiried ynddo?' Beth wyt ti yn siarad, Dafydd? Tydi sydd yn gwirioni. Y mae pob dyn mawr yn hoff o ganu. Nid oes un dyn mawr heb fod yn hoff o ganu." Ar hyny chwarddodd Mr. David Jones yn galonog, ac meddai wrtho, "Wyt ti wedi bod yn gwneyd pregeth ar ganu, John?" Ac yna, meddai, "Yn wir y mae yr araeth yna yn haeddu i ni wrando ar ei dôn o. Gad i ni ei chael hi, John." Ac felly fu. Ond pa beth bynnag am "bob dyn mawr," yr oedd efe yn hoff iawn o ganu. Yn nesaf at bregethu hyny oedd ei hyfrydwch penaf. Fe gyfansoddodd, o bryd i bryd, liaws mawr o dônau ei hunan. O'r rhai hyny, y mae deugain wedi eu hargraffu, yn y "*Casgliad o Dônau Salmau a Hymnau,*" dan yr enw "JEDUTHUN," a gyhoeddwyd, rai blynyddoedd yn ol, gan Mr. Morris Davies, Bangor. Y mae Mr. Davies, yn garedig iawn, wedi anfon i ni y sylwadau canlynol ar Mr. John Jones fel Cerddor, sylwadau a gyhoeddwyd mewn rhan ganddo eisoes, yn y "Rhagymadrodd" i'r "Casgliad," y cyfeiriasom yn awr ato:—"Mae yn hysbys i'w gyfeillion, fod 'Pregethwr y Bobl' bob amser yn dra hoff o ganiadaeth

grefyddol, a'i fod yn nodedig felly yn ei flynyddoedd olaf. Yr oedd ei lais yn dra pheraidd, ac yn meddu cwmpas da, hyd yn nod pan oedd yn dechreu heneiddio. Dywed rhai sydd yn ei gofio yn ieuanc, ei fod ar yr adeg hono o'i oes yn nodedig o lafar a soniarus, ac yn rymus annghyffredin. Y pryd hyny yr oedd John Ellis, gynt o Lanrwst, yn llafurio gydâ chaniadaeth grefyddol; ac yr oedd Mr. Jones yn un o'i ddysgyblion mwyaf ymroddgar, ac yn un o etholedigion ei athraw. Ymhlith ei gyfoedion yr oedd y Parch. E. Evans, *Ieuan Glan Geirionydd*, yr hwn ydoedd mor hoff o ganiadaeth ag o farddoniaeth, a bu ei gyfeillach yn dra buddiol iddo, ac yn foddion i roddi symbyliad i'w feddwl i ymestyn am wybodaeth, ac i'w gyfaddasu at fwy o ddefnyddioldeb. Yr oedd Mr. Jones, y pryd hyny, yn ymroddgar dros ben i ganu, ac am ryw yspaid, dyna oedd pob peth ganddo. Ond wedi iddo ymgymeryd â gweinidogaeth y gair, llyncwyd ei feddwl yn gymaint gan bwys y gwaith hwnw, fel na thalodd nemawr o sylw i gerddoriaeth am lawer o flynyddoedd, er y gellid tybied y byddai yn fynych yn cael ysgafnhâd oddiwrth fyfyriaeth lafurus, mewn canu Hymnau, yn enwedig ar yr hen dônau, o ba rai yr oedd yn dra hoff. Yr oedd tynerwch a symledd y tônau hyny yn dra chydnaws â'i dueddfryd ef; ac yr oedd wedi ysgrifenu yn mron y cwbl o honynt, oddi ar awydd i'w hadferu i fwy o fri, gan y barnai eu bod yn meddu cyfaddasrwydd i feithrin teimlad crefyddol, ac i osod allan syniadau a phrofiadau y saint.

Oddiar yr un ystyriaeth, anturiodd hefyd i gyfansoddi tônau newyddion, yn y rhai yr amcanai gysylltu naws ac ysbryd yr hen dônau a gradd o ddillynder tônau diweddar. Mae rhai o'r cyfansoddiadau hyn yn efelychiadau o'r hen dônau Cymreig, yn gymmaint felly fel y tybiai un ei fod yn gydnabyddus â'u hadsain er's blynyddoedd, ond wrth sylwi yn fanylach, canfydda nad yr un peth ydynt, a bod yna ryw newydd-der yn cyd-daraw yn hyfryd â'r hyn oedd yn ymddangos yn hen. Mae ereill yn meddu cryn radd o ddelw hen dônau y Diwygiad Protestanaidd, ac o wneuthuriad mor dda, na fuasai raid i un cerddor proffesedig fyth gywilyddio bod yn awdwr o honynt.

Mae lle i feddwl fod Mr. Jones wedi dechreu ymddifyru yn y modd hwn er's llawer o flynyddoedd, ond tua diwedd ei oes, yr oedd yn cymeryd dyddordeb mawr mewn cyfansoddi tônau. Mi a dderbyniais gryn nifer o honynt ganddo ef ei hun o fewn y tair blynedd olaf o'i oes, ac ar ol ei farwolaeth, mi a dderbyniais sypyn o'i lyfrau tônau a

phapyrau oddiwrth ei deulu, yn y rhai y mae nifer mawr wedi eu nodi ganddo â phwyntel, mewn llyfrau tônau, neu ar bapurau rhyddion, a ar ymyl y dail mewn llyfrau Hymnau. Ysgrifenai hwynt mewn nodau o'r un hyd, ran amlaf, ond nid yn fanwl, ac heb arwyddion cyweiriau, na dynodi yr haner tônau, &c., ond y maent yn lled hawdd i'w gwneyd allan i un a fuasai yn arfer cyd-ganu âg ef. Ysgrifenwyd rhai o honynt wrth ei glywed ef yn eu canu. Cynghaneddwyd chwech o'i dônau, yn y casgliad "*Jeduthun,*" gan amryw o'i gyfeillion; a minau sydd gyfrifol am drefniad a chynghaneddiad y gweddill o honynt. Mae "*Jeduthun*" yn cynwys deugain o dônau mwyaf dewisol Mr. Jones.

Fel hyn, ceid y pregethwr clodfawr a'r gweinidog llafurus yn diniwed ymddifyru ar adegau o seibiant, drwy chwilio am seiniau mèlysion a llafar, a'u cysylltu yn nghyd yn geinciau mwyn-bêr, er dyddanwch iddo ei hun, a siriol foddhâd i'w gyfeillion. Pan gaffai gynghanedd arnynt, canai y gwahanol leisiau ei hun, i weled a fyddent yn rhwydd a naturiol, a byddai yn sirioli wrth eu cael felly, ac megys plentyn mewn diniweidrwydd syml wrth eu trin, a'i lais peraidd, dwfn-soniarus, yn peri effeithioldeb neillduol iddynt. Hoffai yn fawr glywed eu canu mewn llawn gynghanedd, gan sylwi ar y banau mwyaf tarawiadol, a'r dull mwyaf priodol o'u canu. Pe cawsai efe estyniad oes, gellid barnu yn ddigon rhesymol y buasai ei waith yn berffeithiach, ac yn cynwys mwy o amrywiaeth mesurau; ond y mae efe heddyw wedi ymuno âg ysbrydoedd y cyfiawnion, y rhai a berffeithiwyd, yn y gân a bery byth.

Os na ellir cystadlu y tônau o'i eiddo â'i bregethau, dylid cofio mai pregethu oedd gorchwyl mawr ei oes, ac nad oedd caniadaeth, er ei bod mor naturiol iddo ag i'r aderyn, ond difyrwch ac adloniad; eto y mae nodau yr un meddwl grymus a gwreiddiol i'w canfod ar y tônau fel yn y pregethau, a gellir eu hystyried fel adsain o'i deimladau, ac yn ffrwyth ei fyfyrdod. Nid oes, mi debygaf, ddim yn ysgafn a gorwael yn yr alawon hyn, na dim yn ddyrys ac anhawdd. 'Eu prif ragoriaeth,' medd un sydd wedi cael cyfleusdra da i farnu (Mr. William Owen, Porth Madog), 'yw *gwreiddiolder a llithrigrwydd;* a diameu eu bod wedi eu creu gan wir deimlad, y cyfryw ag a gynyrcha yn y cynulleidfaoedd a'u canant deimladau cyffelyb.' Dywed yr un gohebydd am un o'r tônau ar y geiriau, 'Os rhaid i gystudd garw'r groes,' &c. (M. 118. rhif 41, yn '*Jeduthun*'), fel hyn:—'Mae y dôn *Padarn* yn un o'r rhai goreu a welais erioed,—buaswn yn wir falch pe myfi fuasai

ei hawdwr; dylai pob cynulleidfa yn Nghymru ei dysgu. Mae ei harddull yn deilwng o'r prif gyfansoddwyr.' Mae y Parch. E. Stephen, Tan y Marian, hefyd, yn dwyn tystiolaeth bendant i'w ragoriaeth. Mewn Olysgrifen i'r *Requiem* o'i gyfansoddiad ef, ar farwolaeth y Parch. John Jones, efe a ysgrifena fel hyn:—'Dichon nad yw yn hysbys i bawb fod ein Harwr yn un hynod mewn cerddoriaeth, fel yr oedd mewn pethau ereill. Ni ddigwyddodd i mi, erioed, gyfarfod â chymaint o naws ysbrydol yr hen gyfansoddiadau cysegredig, yn gystal a destlusrwydd ein cyfansoddiadau diweddaraf, ag a gyfarfyddais yn nhônau Mr. Jones; ac onid yw hyna yn ddigon o reswm dros ollwng ein dagrau cerddorol ar ei fedd, a pherarogli ei goffadwriaeth â'r gelfyddyd ag yr oedd ei ysbryd mor lawn o honi?'"

Hyd yma yr ysgrifena Mr. Morris Davies: ac yr ydym yn sicr y bydd ein darllenwyr, megis yr ydym ni ein hunain, yn ddiolchgar iawn iddo am ei sylwadau. Cyn gadael y cyfeiriad hwn at Mr. John Jones fel cerddor, yr ydym yn cael ein tueddu i ddodi i mewn yma ran o'r hyn a ysgrifenwyd ganddo ef ei hunan, mewn Cofiant byr am ei dad, y cyfeiriasom ato eisoes (*tu dal.* 80), ond na ddaeth i'n llaw yn ddigon prydlawn i ni allu gwneuthur un defnydd o hono, yn y crybwylliadau a wnaed genym am ei rieni. Yn hwnw ni a gawn yr adroddiad canlynol:—"Yn fuan wedi iddo ymuno â'r gymdeithas eglwysig yn Nolyddelen, gosodwyd ef yn y swydd o ddechreu ac arwain y canu, oherwydd yr oedd ganddo lais rhagorol, a graddau o wybodaeth am gerddoriaeth; a bu yn y swydd hono tra y bu byw. Byddai yn canu gydâ theimlad, ac â bywiogrwydd mawr, ac yn ymddangos, bob amser, yn dra difrifol, megis un mewn ysbryd addoli. Byddai ei lais yn fynych yn treiddio trwy deimlad y dorf; ac yn aml, wedi pregeth effeithiol, pan y byddai efe yn codi i daro y dôn, fe glywid Ann Rolant yn llefain,—'Gogoniant iddo yn dragywyddol byth!' a modryb Catrin Gruffydd yn gweiddi, 'Amen; Amen byth; Amen byth, byth.' Yna gwaeddai Ann drachefn;—'Ië, diolch iddo byth, byth.' Ond tarawai John Jones y mesur ar draws y cwbl; a thrwy nerth ei lais clir a pheraidd, fe dynai y dorf yn gyfan ar ei ôl. Gwaeddai John Jones, y Llan [taid y Parch. Samuel Roberts, Bangor], tra byddai ychydig osteg i gymmeryd anadl,—'Amen; Amen; Amen.' Yna ni a gaem weled Jane Owen [mam y Parch. Cadwaladr Owen] yn codi ei llaw, gan edrych yn llon; a thoc dechreuai droi at ei chwaer [nid ydym yn gwybod pa chwaer

oedd hon; pa un ai Gwen, gwraig John Jones, y Llan; ai Margaret, gwraig yr hen bregethwr, y Parch. John Williams; ai Elinor, mam Mr. John Jones ei hunan; ai ynte, a oedd y Catrin Gruffydd y cyfeirir ati, ac a elwir ganddo yn "fodryb," yn chwaer iddi]; ac ond odid na chaem weled un neu ddwy yn fuan yn dechreu neidio. Ond byddai Ann Rolant, erbyn hyn, ar ymyl y llofft yn chwerthin, a'i dagrau yn treiglo, gan roddi ambell floedd,—'Gogoniant iddo! Gogoniant iddo yn dragywyddol byth! Dô, dô, dô, dô!! Cyn fy mod! ïe, cyn fy mod! cyn fy mod! cyn fy mod! Dô, dô, dô; cyn fy mod! fe'm carodd cyn fy mod! os gorfydd dyweyd y gwir! O, Iesu anwyl!' mewn hwyl orfoleddus, ac â llawer o ddagrau, ond 'dagrau melus iawn.' Ond byddai John Jones yr holl amser yma, â'i law ar ei gern, ac â'i lygaid yn gauad, yn canu feallai ugain waith drosodd yr un darn o bennill, ond yn hollol yn ei bwyll, a'r dagrau yn treiglo yn ddafnau gloywon dros ei ruddiau. O'r fath nefoedd ar y ddaear oedd yn y canu hwnw! O'r fath wres angerddol a sanctaidd oedd yn nheimladau yr addolwyr! O'r fath sobrwydd a difrifwch oedd ar bob wyneb! Y mae agwedd hyf, iach, a dideimlad, ar y dechreuwr canu, yn sychu ac yn serio teimlad y gynnulleidfa i gyd."

Ond nid oedd unrhyw ymröad o'i eiddo ef at ganu yn peri iddo leihau dim ar ei lafur gyda phregethu. Yr oedd yn awr, yn hytrach, wedi ei ddwyn i deimlo, braidd yn fwy nag erioed, mai hyny oedd gorchwyl mawr ei oes. Ac yr oedd y galwadau arno y fath fel nad oedd yn cael ond y nesaf peth i ddim o seibiant gartref. Yr oedd y flwyddyn 1854 yn un nodedig o lafurus iddo. Ar nos Wener, Chwefror 3, yr oedd yn pregethu yn nghapel y Graig, gerllaw Bangor, oddiar Esaiah xlii. 4, gydâ nerth ac effeithiolrwydd mawr. Drannoeth, cyfeiriodd tua *Liverpool*, a chyrhaeddodd yno y noswaith hono. Y Sul canlynol, pregethodd yn *Mulberry Street*, yn y boreu, oddiar Psalm cxliv. 15; yn y prydnawn, yn *Birkenhead*, oddiar Psalm li. 8; ac yn yr hwyr, yn *Bedford Street*, oddiar Esaiah xlii. 4. Yn ystod yr wythnos, yr oedd yn pregethu ar nos Lun, yn *Rose Place*, oddiar Ephes. iii. 15; nos Fercher, yn *Pall Mall*, oddiar Ephes. iii. 10; nos Iau, yn *Seacombe*, oddiar Diar. xxvii. 1; a nos Wener yn *Bedford Street*, oddiar 2 Cor. i. 12. Y Sul canlynol, Chwefror 12, pregethodd, y boreu, yn *Burlington Street*, oddiar Matt. vii. 13, 14; yn y prydnawn, yn *Rose Place*, oddiar Ephes. v. 16; a'r hwyr, yn *Pall Mall*, oddiar 1 Petr iii. 19, 20. Y nos Fawrth can-

lynol, pregethodd drachefn yn *Burlington*, oddiar Psalm xlviii. 1, 2; a nos Fercher, yn *Bedford*, oddiar Matt. xxv. 10. Wedi gorphen yn *Liverpool*, aeth i *Runcorn* at nos Iau; ac i *Grosvenor Square, Manchester*, at nos Wener. Arosodd yn Manchester dros y ddau Sul canlynol, Chwefror 19 a 26, gan bregethu dair gwaith ar y Suliau, a phregethu hefyd bob nos yn yr wythnos rhyngddynt, ond nos Sadwrn. Wedi pregethu yno am dair noswaith drachefn, a chael cyfarfod eglwysig un noswaith, daeth i *Crewe* at nos Wener; ac oddiyno i Gaerlleon at y Sul, Mawrth 5. Aeth i Dreffynnon at nos Lun, ac oddiyno tuag adref drannoeth. Yr oedd ei weinidogaeth y tro hwn, yn y trefi, âg arddeliad amlwg ac arbenig y nefoedd arni. Yr oedd y tyrfäoedd a gyrchent ar ei ol, yn enwedig yn Liverpool, yn llanw y capelau, a hyny ar nosweithiau yr wythnos fel ar y Sabbathau. Nid oedd, ychwaith, erioed o'r blaen, wedi cael cymmaint mantais i ddyfod i gyfarfyddiad â Mr. Rees, ag a gafodd y pryd hyn, yn Liverpool. Yr oedd rhyw amgylchiadau wedi peri eu bod yn llawer dieithrach i'w gilydd, oddieithr pan y cyfarfyddent mewn cyfarfodydd cyhoeddus, nag y buasai yn ddymunol. Ond yn awr, yr oedd y diweddar Mr. Hughes, a hwythau eu dau, yn cael cyfarfod â'u gilydd yn fynych iawn; ac yr oedd y rhyddid meddwl, ac yn enwedig yr eangder teimlad, a ddangosid gan Mr. Rees, yn rhywbeth newydd iawn i Mr. John Jones, ac yn rhoddi boddhad annhraethol iddo.

Yn lled fuan wedi ei ddychweliad adref y pryd hwn, sef dydd Sadwrn, Mawrth 18, fe gychwynodd ar daith trwy ranau o Sir Fôn, mewn cysylltiad â'r Gymdeithasfa a gynnelid yn Llanerchymedd, yr Iau a'r Gwener, Mawrth 30 a'r 31. Yr oedd yn pregethu yn Llanerchymedd, y trò hwnw, y prydnawn cyntaf, o flaen Mr. Hughes, oddiar Esaiah xlii. 4, un o'i destynau ac o'i bregethau mwyaf hoff y blynyddoedd hyn, ac un na fyddai braidd byth yn troi allan yn fethiant. Nid oeddem ni yn dygwydd bod yn Llanerchymedd: ond ni a glywsom, gan amryw, fod y tro hwn yn un hynod iawn iddo. Yr oedd y pregethwr yn nodedig o ddifrifol ac egniol, teimladau y dorf yn gwbl yn ei law, a'i hyawdledd yn gorchfygu pobpeth. Syniad llawer o'r rhai a'i clywsant y pryd hyn yw, fod y tro hwn yn un o rai mwyaf happus ei holl fywyd. Yr oedd wedi ei drefnu i bregethu drachefn, drannoeth; ond gydâ glasiad y dydd, ac yn hollol ddiarwybod i'r cyfeillion yn y lle, efe a aeth ymaith tua chartref; ac ni welwyd mo hono mwyach yn y

Gymdeithasfa hòno. Ond yr oedd ganddo reswm go dda am hyny; oblegyd yr ydoedd i bregethu yn Mhwllheli, y Sul canlynol, ac nid oedd un *Railway* y pryd hyny yn y cyfeiriad hwnw, fel sydd yn awr, i'w gludo yno mewn ychydig amser. Y gwirionedd yw nad oedd un tuedd ynddo ef i arbed dim arno ei hunan; eithr wedi gorphen un daith, byddai yn llawn bryd iddo barotoi ar gyfer taith arall.

Ar ddydd Mercher, Mai 3, y flwyddyn hon, dechreuodd, yn Llansantffraid, ar daith trwy ranau o Siroedd Dinbych a Fflint a Meirionydd, yn benaf i gynnal cyfres o Gyfarfodydd Pregethu, mewn amrywiol fanau, am tua phythefnos olynol. Yr oedd y pryd hwn fel dyn yn teimlo nad oedd iddo lawer o amser cyn y gelwid arno i roddi cyfrif o'i oruchwyliaeth, ac yn pregethu yn egnïol dair gwaith, gan amlaf, bob dydd, a dylanwadau nerthol yn cael eu teimlo drwyddo braidd yn mhob man. Yr oedd yn parhau, trwy y flwyddyn, i bregethu dair gwaith bob Sabbath, ac nid oedd yn cael braidd un wythnos rydd iddo ei hunan: ond, pan na byddai ar daith oddicartref, yr oedd mewn rhyw fanau neu gilydd yn ei Sir ei hunan am ddwy, tair, neu bedair noswaith, agos o bob wythnos.

A'r un modd, drachefn, yr ydoedd yn y flwyddyn ganlynol, 1855, yn myned i'w deithiau Sabbothol yn ddiball, ac heb un arwydd gwanhâd ar ei nerth; er ei fod yn fynych yn awr yn dechreu teimlo oddiwrth radd o anmhariaeth ar y cylla, a chryn anhwyledd, weithiau, ar y coluddion. Bu am y rhan fwyaf o'r flwyddyn hon yn fwy cartrefol nag y buasai er ys cryn amser, heb fyned i gynnifer o deithiau, ond yn unig yn ei Sir ei hunan, ac i rai Cyfarfodydd pregethu, yn awr ac eilwaith, mewn Siroedd ereill; ac yr oedd y rhai a'i hadwaenent oreu yn gobeithio, y byddai i ychydig leihad felly ar ei lafur effeithio yn ddaionus ar ei gyfansoddiad. Erbyn diwedd yr haf, yr oedd yn teimlo yn llawer gwell; ac fe'i perswadiwyd i fyned ar daith i'r Deheudir, ond nid taith yn hollol yn yr un dull ag a arferasai gymmeryd o'r blaen. Y tro hwn, fe roddes ddau Sul, Hydref 14 a'r 21, yn Nghaerdydd, gan fyned rhwng y Suliau i'r prif leoedd yn Sir Forganwg, a chymmeryd rhan mewn amryw Gyfarfodydd Pregethu. Yr oedd y ddau Sul canlynol, Hydref 28 a Thachwedd 4, yn Nghaerfyrddin, gan fyned rhwng y Suliau i Lechryd, Blaenannerch, Aberteifi, Twrgwyn, Castellnewydd, a lleoedd ereill; ac, ar ol yr ail Sul, mewn amryw fanau yn Sir Gaerfyrddin a Sir Forganwg. Yr oedd y Sul canlynol,

Tachwedd 11, yn Abertawe. Yr oedd yn yr Amwythig, yn dychwelyd yn ei ol, nos Fercher, Tachwedd 14, megis ag y buasai yno ar ei fynediad, nos Lun, Hydref 8. Cyn cyrhaedd y cartref, yr oedd ganddo gyhoeddiad am y Sul, Tachwedd 18, yn Llangollen; a'r Sul canlynol, yn Ngwrexham; gan bregethu yn yr wythnos, rhwng y ddau Sul, mewn amrywiol fanau yn y cymmydogaethau. Yr oedd Cyfarfod Misol yn Ngwrexham y Llun a'r Mawrth, Tachwedd 26, 27, ac fe bregethodd yno y noswaith gyntaf, a boreu drannoeth; ac a ddibenodd ei daith yn y Rhyl, y noswaith hono. Dyma ei ymweliad diweddaf â Deheudir Cymru: ac yr oedd ei fynediad yno, y pryd hwn, yn gyfleusdra i filoedd i'w glywed a'i adnabod a'i gofio na buasent heb hyny yn gwybod dim am dano ond trwy hanes. Ni chawsom ni odid ddim manylion am y daith hon. Yr oedd yn hynod o ddigalon cyn cychwyn, ac yn dra anfoddlawn i adael ei gartref; yn gymmaint felly, fel yr oedd braidd ar roddi i fynu y meddwl am fyned o gwbl. Ond trwy ei gymhell gan ei wraig a'i deulu, efe a ymwrolodd, ac a ddechreuodd ymbarotoi. Ar hyny, fe ofynodd ei wraig iddo,—"A ydych chwi yn myned?" "Ydwyf," meddai yntau: "ac mi rhof fi hi o dan asenau y cythraul, yn y daith hon, os medraf." Ac fe gafodd, y tro hwn, rai cyfarfodydd nodedig o nerthol, ag yr oedd ei holl wrandawwyr yn teimlo rhyw ddylanwadau rhyfedd ynddynt, ac y mae eu heffeithiau daionus yn aros hyd heddyw. Sicrhawyd ni o hyny yr wythnos hon. Ond y mae yn ymddangos iddo hefyd gael cryn nifer, llawer mwy nag fyddai arferol iddo ef, o nodwedd wahanol, y rhai a deimlid yn dra dieffaith, a *rhai* a adawent braidd argraff anfoddhäol ar feddyliau lliaws o'i wrandawwyr. Yr oedd, mewn rhai manau, fel pe buasai yn amcanu distrywio ei boblogrwydd gydâ rhyw ddosbarth. Ymosodai yn fynych iawn, gydâ gerwindeb mawr, ar ryw syniadau Uchel-Galvinaidd a hanner Antinomaidd a goleddid gan ryw rai; a hyny mewn dull ag oedd braidd yn tueddu i beri i lawer o hen frodyr, lled gaeth eu golygiadau, ammeu iachusrwydd ei ffydd ef ei hunan, yn hytrach nag i'w hennill hwynt i'w olygiadau ef. Dichon, pa fodd bynnag, fod a wnelai ansawdd ei iechyd ar y pryd, gryn lawer â'r fath ansawdd tymher; a'i fod, oblegyd hyny, yn llai goddefol o, neu, os mynir, yn fwy chwerw yn erbyn, syniadau a gredid ganddo ef bob amser, y rhai mwyaf dinystriol i grefydd yn Nghymru, ac a wnelent fwy na dim arall i attal llwyddiant y weinidogaeth. Yr ydym yn gwybod ei fod,

tra ar y daith hon, am lawer o amser, yn mhell o fod yn yr iechyd goreu; a'i fod yn dioddef, yn fynych, yn y fath fodd ag a wnelai fod oddi cartref yn radd o brofedigaeth iddo. Ond ni chlywid mo hono un amser yn cwyno. Yn wir yr ydoedd yn rhy ddiofal am dano ei hunan. Pe buasai yn talu mwy o sylw i'r awgrymiadau amlwg a roddid iddo yn ei gyfansoddiad ei hunan tua y pryd hwn, ac yn ymattal yn hollol am ryw hŷd oddiwrth bob math o lafur, hwyrach, a llefaru yn ddynol, y gallesid llwyddo i ddarostwng, yr hyn a aeth, yn raddol, yn rhy gryf i un gallu meddygol ei wrthsefyll, ac a roddes derfyn yn rhy fuan ar ei fywyd gwerthfawr. Pa fodd bynnag fel arall y bu. Nid oedd efe yn dychymygu, gan nad oedd yn ymwybodol ei fod yn effeithio dim ar ei nerth, yn enwedig nerth ei beiriannau llafar, fod unrhyw berygl yn yr hyn y teimlai yn achlysurol oddiwrtho, ac felly nid aeth i ymgynghori â neb o berthynas iddo, ac ni chwtogodd, yn y mesur lleiaf, ar ei lafur.

Wedi ysgrifenu ac argraffu y sylwadau uchod, ni a dderbyniasom y llythyr canlynol oddiwrth ein hanwyl gyfaill, y Parch. Thomas Levi. Yr oeddem yn lled-dybied y gallai efe roddi rhai adgofion i ni am y daith ddiweddaf hon i Mr. John Jones, yn y Deheudir: ond y mae yn ymddangos ei fod yn analluog i hyny. Y mae, pa fodd bynnag, wedi rhoddi i ni yr hyn y mae yn sicr genym y bydd ein holl ddarllenwyr yn llawen iawn o'i gael, ac y teimlant, fel yr ydym yn teimlo ein hunain, yn dra diolchgar iddo am dano.

"FY ANWYL GYFAILL,

Mae eich taerineb yn dyfal-geisio genyf ysgrifenu rhywbeth o'm hadgofion am JONES, TALSARN, wedi fy ngŷru o'r diwedd i gydio yn yr ysgrifell, ond yr wyf yn ofni nad oes genyf nemawr ddim gwerth ei gofnodi. Ni chefais y fraint o'i wrando ond prin haner dwsin o weithiau. Ac y mae llawer o flynyddau, bellach, wedi myned heibio er pan glywais ef ddiweddaf. Y mae genyf adgof tarawiadol o ddau dro y daethum i gyfarfyddiad âg ef: un tro yn Nhalsarn, a thro arall yn Abertawy.

Yr wyf yn cofio yn dda iddo fod agos a'm mygu i yn nghapel Talsarn, pan oeddwn ar ymweliad â'r lle yn laslanc, fel cyfaill i bregethwr poblogaidd. Nid oeddwn yn adnabod yr un person yn yr ardal ond ei hunan. Yr oedd pob wyneb yn y capel yn ddyeithr, a John

Jones oedd Talsarn i gyd i mi. Cadwn fy llygaid wrth ddechreu yr oedfa i wylio y drysau, i weled a ddelai i mewn. Yr oedd arnaf ei ofn yn fy nghalon, a gweddiwn na ddelai yno o gwbl. Darllenwyd testyn; a chan nad oedd wedi gwneyd ei ymddangosiad eto, dechreuwn fagu calon. Ond ar ddamwain, edrychais i lawr i'r sedd yn ymyl y pwlpud ar fy aswy, ac yno, o fewn dwy droedfodd i mi, yr oedd holl Dalsarn, yn pwyso ei ben yn ddirgelaidd yn erbyn y pwlpud. Diffygiodd enaid y pregethwr eiddil yn y fan; a da oedd ganddo fod gwr o *nerve* yn eistedd y tu cefn, i godi i wyneb y gynulleidfa, iddo ef gael tynu ei gorn ato. Yr oedd John Jones, hefyd, fel pob dyn mawr a da, yn nodedig am ei gydymdeimlad â gweiniaid. Yr oeddwn yn wan a ffol, ond felly y bu, ac y mae yr adgof byth yn boenus.

Y tro hwn, yr wyf yn cofio cyfarfod ag ef ar y stryd yn nhref Caernarfon, ar un o nosweithiau y Gymanfa, yn myned yn erbyn y lluoedd pobl oddiwrth gapel Moriah tua chapel Engedi. Yr oedd Dr. Duff, y Cenadwr, i draddodi araeth yn Moriah, a Chyfarfod Dirwestol i fod yn Engedi. Canlynai Mrs. Jones ar ei ol, gan geisio yn ofer ei berswadio i fyned i wrando Dr. Duff. Ataliwyd ef, a throdd Mr. Roberts, fy nghydymaith, i ddadleu gydâ Mrs. Jones. 'Waeth gen i heb wrando yr hen Saesneg yna,' meddai; 'well gen i gael tipyn o ddirwest yn Gymraeg.' Ond wedi cryn drafferth, cafwyd tro arno i ddyfod i'r araeth Saesneg.

Tua'r flwyddyn 1846, mi dybiwn, yr oedd ef ar daith yn Morganwg, a'r Parch. R. Hughes, Uwchlaw 'r Ffynon, gydag ef. Yr oedd yn tynu cynulleidfaoedd mawrion ar ei ol, ac yn cael rhai odfeuon nerthol. Un bore Sabboth, aethum ddeng milltir o ffordd i Gastellnedd i'w wrando. Pregethai yno ar y gair hwnw, yn Job,—'A chan newidio ei wyneb ef, yr wyt yn ei ddanfon ef i ffordd.' Yr oedd yn pregethu yn dda, ac yn rhoddi ambell ergyd Talsarnaidd, ond dim dylanwad neillduol. Dilynais i, a llawer eraill ef, i Dreforis erbyn dau o'r gloch. Yr oedd y capel hwnw yn orlawn, a'r dydd yn boeth; ond dim hwyl ar y pregethu. Penderfynais fyned ar ei ol i Abertawy erbyn yr hwyr, er y byddai genyf 15 milltir i fyned adref ar ol yr oedfa. Yr oedd capel mawr y *Trinity* hyd ag y daliai. Darllenwyd y testyn,—'Chwi yw fy nghyfeillion &c.' (Ioan xv. 14.) Teimlwn wrth swn darlleniad y testyn fod rhywbeth i fod yr oedfa hono; a chyn pen pum' mynyd yr oeddem oll wedi cael ernes o hyny.

Yr oedd y pregethwr yn edrych yn fawreddog, a boddus. Ei lygad mawr, meddylgar, siriol, yn nofio uwchben y foch oleugoch landeg; y peiriant siarad fel wedi ei iro yn dda âg olew, ac yn gweithio mor esmwyth; a'r geiriau dewisol, a'r brawddegau taclus, nerthol, yn dylifo allan o lais cryf, dwfn, a melodaidd. Yr oedd y bobl mor fud a llonydd a delwau, o'r cychwyn, a llygaid pawb yn craffu arno. Pe buasai yn angel o'r nef, nis gallesid talu mwy o sylw, na dangos mwy o astudrwydd. 'O'r hen Dalsarn!' meddwn inau, yn ddystaw bach, yn y sedd ar y *gallery*, ar law aswy y pregethwr, yn nghanol dyeithriaid,—'ti sydd yna heno!Ië, ïe, Talsarn ydyw, wedi ei wisgo â nerth o'r uchelder. Dyna ddigon o dâl i mi er ys meityn am deithio dros ddeng milldir ar ugain i dy ganlyn.'

Nid wyf yn cofio rhaniad ei destyn, os rhanodd ef, er fy mod yn cofio yn dda lawer o'i sylwadau, a chofiaf hwynt yn y nefoedd, os cofir yno rywbeth fu ar y ddaear. Mae gwedd foddus, dywysogaidd, ac awdurdodol y pregethwr, ac astudrwydd mynwentaidd y deuddeg cant pobl oeddent o'i flaen, yn ddarlun byw o'm blaen yn awr. Dyma'r unig dro y clywais John Jones yn ei hwyliau. A thybiaswn i ei fod yn werth byw oes i gael oedfa fel hono. Yr oedd y dyrfa mor hollol yn ei law ag y gallai ei chwyrlio wrth ben ei fŷs. Yr oedd yn ymdaith yn amlder ei rym, ac yn ymlawenychu fel cawr i redeg gyrfa.

Dangos yr ydoedd ragoriaeth Crist fel CYFAILL. Un mor FAWR yn Gyfaill. Y Gwr sydd yn eistedd ar yr orseddfainc wèn fawr, goruwch yr holl nefoedd, a'r holl angelion, cerubiaid, a seraphiaid yn plygu iddo; a'r holl dywysogaethau a'r awdurdodau yn ei addoli. Hwnw yn edrych i lawr dros ganllawiau 'r nefoedd, ac yn gwaeddi ar dlodion colledig y ddaear, 'Chwychwi yw fy nghyfeillion!'

Y *Llywodraethwr* yn Gyfaill. Taflodd gipdrem ddoniol dros wahanol deyrnasoedd, llywodraethau, ac amgylchiadau dyrus y ddaear, ac yn arbenig gwaith gras yn yr Efengyl, trwy 'r holl fyd, a bod y cwbl dan lywodraeth Iesu Grist; ac heblaw hyn, holl drafodaeth y nefoedd, ac uffern, a bydoedd dirifedi yn holl ymerodraeth fawr Jehofah. Yr oedd y cwbl oll dan ei ofal a'i lywodraeth ef. Ond o ganol yr oll, yr oedd yn troi i lawr at yr hen wragedd yn y bythynod rhwng mynyddoedd a bryniau Cymru, gan ddywedyd yn siriol, 'Chwychwi yw fy nghyfeillion.'

Y *Barnwr* yn Gyfaill. Ar y mater hwn dywedodd bethau rhyfedd ac anhygoel. Desgrifiai farnwr yn eistedd yn y frawdle ar ddydd yr

*Assizes*, ac achos bywyd rhyw druan, oedd yn y *dock* o'i flaen, ganddo yn y glorian. Pwy fuasai yn meddwl troi at hwnw, i geisio cyfeillach ag ef. A phe buasai yn gwneyd, ni fuasai gan y barnwr yr un glust i wrando arno. Dywedai fod holl achosion dyryslyd llywodraeth fawr Duw yn dyfod o flaen Iesu Grist i'w barnu. Fe roddwyd 'pob barn i'r Mab.' A chyda'r holl bethau hyn, fod pob tic cloc yn taflu enaid anfarwol o'r ddaear ger ei fron i'w farnu; a'i fod yn barnu pob un mor drylwyr fanwl, fel, er fod holl gythreuliaid uffern yn syllu yn feirniadol ar bob dedfryd, na chaent gysgod o gam yn ei farn yn dragywyddol. Ac eto, y mae y Crist hwn, oddiar ganol gorsedd ei farn, yn plygu ei ben at y tlodion sydd yma ar y plwyf, neu yn y *Workhouse*, yn cadw ei orchymynion, ac yn dyweyd, 'Chwychwi yw fy nghyfeillion.'

Aeth yn mlaen ar y linell hon nes oedd y dyrfa fud ar ymrwygo; ac yr oedd ocheneidiau ataliedig yn codi yn dew o'r pentwr pobl, a'r dagrau melus brwd wedi gwlychu cannoedd o ruddiau. Ond y mae yr ymdoriad eto heb dd'od. Y peth a barodd yr ymrwygiad ydoedd, yr hanesyn cyffrous a adroddodd i ddangos y bydd dyfodiad pob Cristion adref yn ddyogel i'r nefoedd, i'w briodoli yn gwbl i allu a ffyddlondeb Iesu Grist fel Cyfaill. Yr oedd rhyw fachgen oddicartref yn yr ysgol, a mynydd mawr anhygyrch yn gorwedd rhyngddo âg aelwyd ei dad a'i fam. Un prydnawn, yr oedd ei feddwl yn llawn hiraeth am gartref, a phenderfynodd y plentyn gychwyn adref heb ddyweyd gair wrth neb. Dacw ef, wrtho ei hun, yn dringo llechweddau serth y mynydd, gydâ'i goes fer, a'i feddwl i gyd ar ei gartref, heb ystyried fawr am y peryglon a'r trallod oedd o'i flaen. Yn y man, dyna y nos dywell yn ei ddal, ac yntau heb gymaint a throedffordd i'w gyfarwyddo. Dacw y cymylau duon yn toi y nefoedd, y mellt yn fflachio, y taranau yn rhuo, a'r gwlaw mawr yn tywallt, a'r bychan ofnus eiddil yn llefain, ond heb glust i'w glywed. Nid oedd ganddo gymaint a thamaid yn ei boced i'w nerthu. Mae ei gam byr yn arafu, a'i nerth yn darfod. O'r diwedd, gorweddodd i lawr i farw ar y mynydd, dan y tywyllwch a'r ystorm. Ond cyn iddo drengu, clywai drwst troed yn dynesu. Gwaeddodd, ac atebwyd ef. Teithiwr oedd yno, yn myned dros y mynydd, ac yr oedd yn ŵr cadarn nerthol. Cydiodd y gwr yn y plentyn, a rhoddodd iddo bob ymgeledd a allai. Arweiniodd ef yn ei law, ac weithiau codai ef ar ei ysgwydd, ac estynai yn fynych damaid o'i boced iddo i'w fwyta. Ar ol taith faith a thrallodus, cyr-

haeddasant dŷ tad y plentyn. 'Dyna, curwch chwi,' meddai 'r bach, 'mi alwaf finau.' Adnabyddwyd llais y plentyn; a dyna'r holl dŷ yn derfysg drwyddo; ac wedi agor y drws, dyna gawod o gwestiynau ato: 'O ba le daethost, yr un bach? Pa fodd y daethost, y gwan?' Ateb y plentyn oedd, 'Gofynwch i hwn, 'nhad: cael hwn yn gyfaill wnaethum, onide buaswn wedi trengu yn y mynyddoedd tywyll.' Mae o fy mlaen lawer o blant ar eu ffordd adref tua thŷ eu Tad, ar y mynyddoedd, a than yr ystormydd. Ond yr ydych wedi taro wrth Gyfaill ffyddlon. Yr wyf finau ar y ffordd fel chwithau, ac yn dysgwyl cyrhaedd yno er gwaethaf y peryglon i gyd. Synwn i ddim, wedi i mi gyrhaedd yno, weled archangel yn agor y drws i mi, ac yn gofyn mewn syndod, 'Ai ti sydd yna, dywed? O ba le y daethost, yr un bach? pa fodd y daethost, yr un gwan?' Bydd fy ateb yn barod. 'Cael y Gwr acw sydd ar yr Orsedd—Iesu Grist—yn Gyfaill a wnaethum—Gofyn iddo Ef.'"

Ni chynygiaf ddesgrifio golwg y Pregethwr, na theimladau y gwrandawyr erbyn hyn, oblegyd yr oedd yn annesgrifiadwy. Mae yn syn genyf os nad yw wedi clywed droion cyn hyn, yn y nefoedd, am yr oedfa hono yn Abertawy.

*Abertawy, Hyd.* 14, 1872. T. LEVI."

Yn mhen ychydig ddyddiau wedi ei ddychweliad adref y tro diweddaf hwn o'r Deheudir, sef dydd Mawrth, Rhagfyr 4, yr oedd yn pregethu yn y Garn, ac oddi yno, drannoeth, yn cychwyn ar daith trwy ben dwyreiniol Sir Feirionydd: gan fyned trwy Ffestiniog rhyngddo a'r Ysbytty, lle yr oedd Cyfarfod agoriad y Capel, ddydd Iau; ac i'r Bala at y Sul, Rhagfyr 9; i Gorwen y Sul canlynol; a chan gylchynu trwy Langwm, Cerig y Drudion, Llanrwst, Trefriw, Penmachno, tua Phenrhyn-Deudraeth at Nos Sadwrn, ac i Borthmadog at y Sul, Rhagfyr 23; ac yn ol drachefn, drannoeth, tua Than-y-grisiau, lle y pregethodd y nos Lun; a'r dydd canlynol, dydd Nadolig, ddwywaith. Terfynodd y flwyddyn 1855, trwy bregethu ar ei Sabbath olaf yn nghapel Moriah, Caernarfon; a'r nos Lun canlynol, y dydd diweddaf o'r flwyddyn, yr oedd yn Mryn yr Odyn, yn pregethu ac yn gweinyddu Swpper yr Arglwydd.

Yr oedd Mr. John Jones, y pryd hyn, fel yr oedd yn wir er ys blynyddoedd, yn teimlo yn ddwys oddiwrth y peryglon yr ofnai efe yn fawr fod Cymru yn agored iddynt, oddiwrth Babyddiaeth ar y naill law, ac oddiwrth Anffyddiaeth ar y llaw arall. Nid oedd yn ofni cymmaint ar Babyddiaeth noeth; credai fod y teimlad Cymreig, yn y cyffredin,

yn rhy gryf yn ei herbyn felly iddi allu llwyddo nemawr yn ein gwlad. Ond yr oedd yn ofni iddi ddyfod i mewn trwy yr Eglwys Wladol: ac i'r bobl, trwy ystrywiau anonest bradychwyr y gwirionedd o fewn eglwys a dybid ganddynt hwy yn Brotestanaidd, gael eu dwyn, o radd i radd, i gymmodi â defodau, ac i gredu athrawiaethau Rhufain, nes eu gwneyd megis yn ddiarwybod iddynt eu hunain yn Babyddion yn mhob peth ond mewn enw. Yr ydym yn cofio yn dda ei fod, ar ei ymweliad olaf â Llundain, y deuwn ato yn fuan, ar y Sabbath, Mawrth 30, 1856, y Sul cyntaf ar ol y Pasg y flwyddyn hono, ar agoriad Capel Nassau Street, yn pregethu am ddau ar y gloch yn y prydnawn, oddiar Psalm xciii. 5:—"Sicr iawn yw dy dystiolaethau: sancteiddrwydd a weddai i'th dŷ, O Arglwydd byth." Yr oedd y darluniad a roddwyd ganddo yn y bregeth hono o ddrygioni a thwyll Pabyddiaeth, ac o'r perygl yr oedd ein gwlad yn agored iddo oddiwrthi, mor fywiog ac effeithiol, fel yr oedd megis ias o arswyd y bwystfil yn treiddio trwy deimlad yr holl gynnulleidfa. Yr oedd Mr. Rees yno yn gwrando; ac ar y diwedd, fe ddywedodd wrthym,—"Fe fyddai yn dda i John Jones fyned trwy Gymru i gyd i ddyweyd y pethau a ddywedodd o wrthym ni yma heddyw. Hwyrach y credan' nhw fo. Y mae nhw yn meddwl fy mod i yn edrych ar bethau trwy fy nheimladau fy hunan, ac yn dychymygu drwg pan nad oes dim yn bod. Ond, yn sicr, nid ydym ni yn hanner digon byw i'n peryglon. Chwi gewch chwi weled." Un wedd a gymmerid yn y bregeth ar niwed Pabyddiaeth ydoedd, fel y mae yn tueddu i ladd cymundeb uniongyrchol rhwng meddyliau dynion â Duw, nes eu gwneuthur yn annghofus o'i sylw arnynt, ac o'u cyfrifoldeb iddo, trwy y lliaws cyfryngwyr a wthir ganddi rhyngddynt âg ef.—"Y mae crefydd bur, fy mhobl i, yn dechreu yn y galon mewn cyfarfyddiad â Duw. Nid oes dim ond cymundeb âg ef a all ei chynnyrchu yn ein meddyliau ni. A rhagoriaeth y Bibl yma ydyw, ei fod yn eich arwain yn uniongyrchol i'w wyddfod ef. Ei 'dystiolaethau' ef yw y 'tystiolaethau.' Nid 'tystiolaethau' Moses, na Dafydd, nac Esaiah, nac Ioan, na Phaul, na Phedr. Pwy bynnag oedd yn ysgrifenu, Duw yw yr awdwr. Efe sydd yma yn llefaru. Ei 'dŷ' ef, hefyd, yw y tŷ. Nid tŷ yr offeiriad; nid tŷ y pregethwr; nid tŷ y gynnulleidfa; ond ei dŷ ef ei hunan. I'w dŷ ef y daethoch chwi yma heddyw. 'Tŷ' iddo ef ydyw hwn a godwyd genych. Efe a'i pïau. Efe, mi a obeithiaf, fydd yma yn byw. Efe fydd yma yn gweithio. Ei gysegr

ef ydyw. Nid oes genyf fi un gwrthwynebiad i chwi osod pob harddwch ag a fynoch chwi arno, am y cadwoch chwi allan bob peth a fyddo yn tueddu i dynu eich meddyliau oddiwrtho ef, neu i beri iddo ef ymbellhau oddi wrthych chwi. Hyny y mae Pabyddiaeth yn wneyd. Ond, 'Sancteiddrwydd a weddai i'th dŷ, O Arglwydd, byth.' Eithr nid 'sancteiddrwydd' goleuo canwyllau ar ganol dydd, i wawdio haul Duw; nid llosgi arogl-darth, i geisio gwrth-weithio drewdod bywyd halogedig; nid gwisgoedd afreidiol ac ynfyd a rhodresgar, i geisio gwneyd i fynu am ddiffyg yn 'nghuddiedig ddyn y galon'; nid ystumiau a munudiau coeg a disynwyr, yn lle 'ysbryd gostyngedig';—na, nid dyna y 'sancteiddrwydd' y mae efe yn ofyn. Nid ydyw rhyw sothach fel yna yn ddim amgen na gwawd ar addoliad y Jehovah. Am a wn i nad allasai pethau fel yna wneyd y tro o'r goreu i Baal, na buasent yn ddifai i Rimmon; ond y maent yn anfeidrol ry isel i'r hwn nad ydyw y nefoedd yn lan yn ei olwg, ac y mae seraphiaid pur y gogoniant yn eu cuddio eu hunain mewn cywilydd sanctaidd yn ei bresenoldeb. Y 'sancteiddrwydd' sydd yn gweddu i'w 'dŷ' ef, ydyw 'sancteiddrwydd' enaid yn 'nesau at Dduw,'—y 'gwylder a'r parchedig ofn' a deimlir ger bron y 'tân ysol; sancteiddrwydd calon yn tanio mewn cariad a genau wedi ei lanw â mawl, mewn cymundeb uniongyrchol â thegwch cariad anfeidrol; 'sancteiddrwydd' ymddiried adyn annheilwng yn nwylaw ymgeleddgar a breichiau trugarog, 'Duw pob gras.' Ond prif ddyfais y diafol i rwystro y cymundeb hwn ydyw Pabyddiaeth. Y mae yn gwthio rhyw luoedd o gyfryngwyr rhwng y trueniaid sydd yn ei chofleidio a'r anfeidrol. Y mae Mair, a Phedr, a seintiau heb rif, rhyngddynt âg ef; ac mewn llawer o wledydd, y mae Mair yn enwedig, â lle llawer uwch iddi yn meddyliau y bobl, nag sydd i'r Duw mawr ei hunan. Ac yn y fan yma," meddai, "y mae Pabyddiaeth yn cydredeg âg ysbryd anffyddol yr oes. Ni fyddai arnaf fi ddim cymmaint o ofn Anffyddiaeth, ychwaith, pe deuai atom yn ei henw ei hunan, gan wadu yn uniongyrchol fodolaeth yr Anfeidrol, a haeru yn noeth lymmun nad oes ganddo un lywodraeth yn ein byd ni. Ond nid fel yna y mae yn dyfod. O na: y mae agos yn siarad iaith crefydd; yn sôn, chwi a allech dybied yn barchus, am y llywodraeth ddwyfol, am ddeddfau natur, a bod y cwbl yn cadw yn anffaeledig at yr ordeiniadau a sefydlwyd gan y Creawdwr iddynt. Ond, erbyn myned ychydig o dan eu geiriau, fe geir nad ydynt ond cochl ragrithiol

i guddio meddyliau Atheistaidd; a bod llywodraeth bresennol ac uniongyrchol, ac felly llywodraeth wirioneddol, y Goruchaf yn cael ei gwadu yn hollol; a bod y deddfau y trystir cymmaint yn eu cylch fel rhai sefydlog a digyfnewid, yn ddigyfnewid nid yn unig i'r creadur ond i'r Creawdwr ei hunan; fel mai tynghedfen mewn gwirionedd sydd yn teyrnasu: ac nad oes gan y Duw mawr un law bresennol mewn gwlybaniaeth na sychder, mewn prinder na llawnder, mewn cystudd nac iechyd, mewn angeu nac einioes; ac mai cwbl ofer, gan hyny, ydyw troi ato mewn cyfyngder am ymwared, ac anmhriodol hollol ydyw rhoddi unrhyw ddiolch iddo pan y daw; ac nas gall gweddi effeithio dim oddieithr rhywbeth ar feddwl y dyn ei hunan. Felly chwi a welwch, fy mhobl i, fod Pabyddiaeth ac Anffyddiaeth yn berthynasau agos i'w gilydd; ac fel y mae y seintiau yn myned rhwng y Pabydd a Duw, felly y mae rhyw bethau y mae yn ei alw yn ddeddfau yn cael eu cymmeryd gan yr Anffyddiwr i droi yr Anfeidrol allan o'i greadigaeth ei hunan, ac i beri nad oes ganddo un lywodraeth wirioneddol ar y byd ac ar amgylchiadau plant dynion ynddo."

Yr oedd syniadau o'r nodwedd yma yn cael eu traethu yn fynych ganddo y blynyddoedd hyn, a'r ddau ddrwg y credai efe fod ei genedl mewn perygl neillduol oddiwrthynt, yn cael dyrnodiau diarbed ganddo. Yr oedd Annuwiaeth, yn enwedig, dan gawodau o ddifriaeth oddiwrtho. Yn wir nid oedd odid bregeth yn myned heibio na byddai rhyw dafliad ynddi, yn y naill wedd neu y llall, at "y crebachod sydd yn ymffrostio eu bod wedi disgyn oddiwrth yr epa a'r *orang-outang*, ac wedi gwneuthur can leied cynnydd ar eu henafiaid mewn galluoedd meddyliol, ag i beri iddynt fod braidd yn ymwybodol o'u hannghymhwysder i anfarwoldeb, ac felly yn gwadu eu bod i fyw mewn byd ar ol hwn; ac eto yn eu tybied eu hunain mor fawr ag i feiddio, yn eu rhyfyg a'u hannuwioldeb, ceisio ymlid yr Anfeidrol allan o'i greadigaeth ei hun." Ryw flwyddyn neu ddwy cyn yr amser yr ydym yn awr wedi dyfod ato yn ei hanes, fe ddygwyddodd iddo yn un o'i bregethau yn y cyfeiriad hwn, wneuthur rhyw sylw a dybid oedd gondemniol ar "*Addysg Chambers i'r Bobl*," llyfr a gyhoeddid ar y pryd yn ein hiaith; ac fe achlysurodd y sylw hwnw amrywiol ymosodiadau arno trwy y Wasg, y rhai a barasant iddo ef, am hir amser, gryn flinder meddwl. Nid ydym wedi llwyddo i gael gafael ar y Papurau a gynnwysent yr Ymosodiadau arno na'r Amddiffyniadau iddo, fel nas gallwn fod yn fanwl gyda'r

Amseriadau, na chydâ'r dadleuon a'r gwrthddadleuon ar y naill du na'r llall, ac felly nis gallwn broffesu rhoddi ond bras-olwg frysiog ar yr ymryson. Pa fodd bynnag, can belled ag y mae yn myned, yr ydym yn hyderus y gellir dibynu arno, gan i ni gael y defnyddiau oddiwrth un a gymmerodd ran arbenig ynddo. Daethai y gyfrol gyntaf o "*Addysg Chambers i'r Bobl*" allan, yn y Gymraeg, yn y flwyddyn 1851. Os ydym yn cofio yn iawn, yr oedd gan Eben Fardd law, os nad y llaw benaf, yn y cyfieithiad; a'r Cyhoeddwr oedd Mr. Robert Edwards, Pwllheli. Yr oedd Mr. John Jones yn dderbynydd cyson o'r gyfrol hono, fel yr oedd yn dyfod allan yn rhifynau, ac yr oedd yn ei darllen yn fanwl, ac yn cymmeradwyo yn fawr y gwersi cyffredin a geir ynddi. Mewn canlyniad i radd o ddyryswch ar amgylchiadau y Cyhoeddwr, fel y methodd fyned rhagddo gyda'r gwaith, fe ymgymmerodd Mr. Hugh Humphreys, Caernarfon, â chyhoeddi yr ail gyfrol, a rhoddes allan hysbysiadau am hyny. Ar nos Sabbath, Ebrill 1, 1854, yr oedd Mr. John Jones yn pregethu yn nghapel Moriah, Caernarfon, oddiar Esaiah li. 6. Yr oedd y bregeth hono y pryd hyny yn newydd iawn,—ychydig weithiau y traddodasai hi o'r blaen; ac y mae yn eithaf posibl nad oedd eto wedi cyrhaedd yr addfedrwydd y daeth iddi ar ol hyny. Pa fodd bynnag, wrth sylwi ar gyfnewidioldeb ac ansefydlogrwydd pethau gweledig, fe ddaeth ar draws y syniadau am sefydlogrwydd ac annghyfnewidioldeb deddfau natur, yn annibynol ar neu ar wahan oddiwrth ewyllys y llywodraethwr mawr ei hunan; ac, yn mhlith pethau ereill, fe ddywedodd,—"Ac y mae yn ddrwg genyf fi, fy mhobl i, fod llyfr yn awr yn dyfod allan yn ein hiaith ni ein hunain, â llawer o bethau da a buddiol ynddo, ond sydd yn dangos gormod o awydd i droi yr Hollalluog allan o'r byd a grëwyd ganddo â'i fysedd ei hunan." Aeth rhyw rai, wedi diwedd yr oedfa, i ymofyn âg ef yn nghylch y llyfr y cyfeiriai ato, ac yr ydym yn tybied iddo ddywedyd mai "*Addysg Chambers i'r Bobl*" ydoedd. Nid oedd y Cyhoeddwr newydd yno yn gwrandaw: ond daeth y peth i'w glustiau, ac mewn gwedd mwy collfarnol ar y llyfr, y mae yn ddigon posibl, nag y traddodasid ef o'r pulpud. Y mae yn debygol iddo ef dybied, naill ai y byddai i waith y llyfr yn dyfod i gysylltiad âg un mor boblogaidd a Mr. John Jones, yn gymhorth i'w ledaeniad, neu, ynte, y byddai i gyhoeddiad collfarn arno, gan un oedd yn meddu y fath ddylanwad yn mhlith y werin, leihau ei gylch-rediad, ac felly peryglu yr anturiaeth o'i ddwyn allan, fel

y dywedir iddo alw sylw y diweddar *Ddoctor* Owen Owen Roberts o Fangor at y peth. Ffromodd hwnw yn fawr at yr hyn a olygai efe yn ymosodiad o eiddo y pulpud ar y Wasg, ac ysgrifenodd erthygl lem ar y mater i Bapur Newydd Seisonig Caernarfon. Darfu i ysgrifenydd arall, sydd eto yn fyw, yr wythnos ganlynol, drosglwyddo ei syniadau i'r "*Herald Cymraeg,*" dan yr enw "*Carwr Gwybodaeth*"; ac ymddangosodd dau lythyr arall yr un wythnos ar yr un pwnc. Mewn atebiad i'r rhai hyn, ac yn amddiffynol i Mr. John Jones, ymddangosodd pedwar o lythyrau yr wythnos ganlynol yn yr un Papur, sef, yr eiddo "*Brittwn,*" "*Fidelius,*" "*Medicus,*" ac un arall nad ydym yn cofio yr enw. Y diweddar Mr. Richard Davies, Adeiladydd, Caernarfon, oedd "*Brittwn*"; ac y mae y ddau ereill, os nad ydym yn camgymmeryd, eto yn fyw. Yr oedd y llythyrau hyn yn cymmeryd tir uchel iawn yn amddiffynol i Mr. John Jones ac yn erbyn "*Addysg Chambers,*" yn enwedig yr eiddo "*Fidelius.*" Defnyddiai efe enw Dr. Candlish fel un oedd yn annghymmeradwyo Cyhoeddiadau Chambers, megis rhai o duedd anffyddol; a chrybwyllwyd ganddo ef, neu gan un o'r lleill, fod y Parch. John Angell James o Birmingham yr un modd yn eu condemnio. Parodd hyny ohebiaeth rhwng y Cyhoeddwr, neu ryw rai drosto, â'r gwyr uchod; a derbyniwyd llythyr oddiwrth Dr. Candlish, yr hwn a gyhoeddwyd, yn gwadu ei fod ef wedi dywedyd dim yn anffafriol am Weithiau Chambers. Dywedid fod Mr. James hefyd wedi anfon llythyr i'r un perwyl, ond na fynai efe iddo gael ei gyhoeddi. Daeth "*Carwr Gwybodaeth*" allan eilwaith yn amddiffynol i'r llyfr, ac felly y terfynodd y ddadl yn Mhapurau Caernarfon. Ond ymddangosodd llythyr drachefn yn yr "*Amserau,*" gan un a'i galwai ei hunan "*Llenor,*" yn yr hwn yr ymosodid yn erbyn Anffyddiaeth, yn enwedig yn y wedd yr ymddangosasai yn y llyfr a elwir "*Vestiges of the Natural History of the Creation,*" llyfr a dybid gan lawer oedd wedi ei ysgrifenu gan un o'r ddau Chambers, a'r degfed argraffiad o'r hwn oedd ychydig cyn hyny, gydâ llawer o Ychwanegiadau, wedi ei ddwyn allan o'r Wasg. Yr oedd hyn yn codi y ddadl i dir newydd, ac yn dwyn cyhuddiadau yn erbyn Chambers nad oedd Mr. John Jones erioed wedi eu dwyn yn erbyn "*Addysg Chambers i'r Bobl.*" Er fod hyn yn hollol deg gydâ golwg ar syniadau Chambers, ar y dybiaeth mai efe oedd awdwr y "*Vestiges,*" eto, mewn amddiffyniad i Mr. John Jones, yr oedd yn tueddu braidd i beri i'r darllenydd cyffredin dybied ei fod ef wedi dwyn cyhudd-

iadau yn erbyn "*Addysg Chambers i'r Bobl*" nad oedd efe erioed wedi eu dwyn. Can belled a hyny fe roddes "*Llenor*" fantais i un a'i galwai ei hunan "*Llenor Arall*" ymosod arno, yr hwn a ddaeth allan yr wythnos ganlynol yn ei erbyn. Yr un gwr drachefn oedd y "*Llenor Arall*" yma ag a ysgrifenasai o'r blaen dan yr enw "*Carwr Gwybodaeth.*" Daeth "*Llenor*" allan drachefn, yn rymusach fyth, yn yr un cyfeiriad. Atebwyd ef gan un a'i galwai ei hunan "*Gogleddwr,*" sef, y diweddar Barch. David Hughes, Tredegar. Parhäodd y ddadl rhyngddynt yn yr "*Amserau,*" am amryw wythnosau; ac er ei bod, erbyn hyn, wedi cyfnewid i rywbeth tra gwahanol i'r hyn a amcenid yn uniongyrchol gan Mr. John Jones, yn y sylwadau a wnelsid ganddo o'r pulpud ar y llyfr y cyfeiriai ato, eto cysylltid ei enw ef yn barhaus â hi; a gallesid clywed rhyw wr dall, ar hyd heolydd Caernarfon, y naill wythnos ar ol y llall, er mwyn tynu sylw at y papur a werthid ganddo, yn gwaeddi,—"John Jones, Talsarn, yn erbyn '*Addysg Chambers i'r Bobl.*'" Nis gallwn fyned i fwy o fanylion am y ddadl hon pe byddai yn haeddu hyny. Ond, oblegyd y gwrthwynebiad dirfawr a deimlid bob amser gan Mr. John Jones i unrhyw sylw cyhoeddus arno trwy y Wasg, fe barodd lawer iawn o flinder i'w feddwl ef. Y mae Dr. O. O. Roberts, yr hwn a ddechreuodd, a Mr. Richard Davies a Mr. David Hughes, y rhai a gymmerasant y rhan benaf yn yr ymryson hwn, erbyn hyn, wedi eu cymmeryd ymaith, ac yn awr yn yr un byd mawr a Mr. John Jones ei hunan. Yr oedd Mr. Richard Davies yn eiddigus dros anrhydedd a chysur y pregethwr poblogaidd; ac yr ydym yn sicr nad oedd Mr. David Hughes, ac nid ydym yn meddwl fod neb arall o'r rhai a ysgrifenent yn ei erbyn, yn coleddu unrhyw deimlad annymunol neu anhawddgar tuag ato; ond, yn ddïau, y mae yn ymddangos i ni, pa beth bynnag a ddywedir am ryddid y Wasg, fod llawn cymmaint i'w ddywedyd dros ryddid y Pulpud; a darostyngiad dirfawr, dybygem ni, ar y Wasg ei hunan ydyw ei defnyddio, er mwyn amcanion arianol unrhyw Gyhoeddwr, i geisio caethiwo y Pulpud, ac i gondemnio y Pregethwr oblegyd rhybuddio ei wrandawwyr, yn y cyflawniad o'i swydd megis Gweinidog Cristionogol, yn erbyn yr hyn a olygo efe yn wenwyn marwol i'w heneidiau, mewn unrhyw lyfr a ddyger allan ganddo.

Ond er pob ymosodiad arno oddiallan, ac er cael aml awgrym, erbyn hyn, er cryfed ydoedd, fod terfyn i'w nerth yntau, parhau yr oedd

Mr. John Jones i fyned rhagddo yn ei lafur gweinidogaethol, gyda llawn cymmaint ymröad ag a ddangoswyd ganddo erioed. Yr ydym yn ei gael felly, yn neillduol, ar hyd y flwyddyn 1856. Yn nechreu y flwyddyn fe ymwelodd â *Liverpool*, lle y bu am ddau Sabbath, Ionawr 20 a'r 27. Pregethodd y Sul cyntaf, yn *Mulberry Street* yn y boreu, oddiar Gal. ii. 19, 20; *Pall Mall* yn y prydnawn, oddiar Ioan ix. 4; a *Rose Place* yn yr hwyr, oddiar Ioan iii. 18. Pregethodd yn yr wythnos, yn *Pall Mall* nos Fawrth, oddiar Micah i. 12; yn *Birkenhead* nos Iau, oddiar Gal. vi. 7; ac yn *Bedford Street* nos Wener, oddiar Heb. vii. 24. Yr ail Sul, pregethodd yn *Burlington Street* yn y boreu, oddiar Rhuf. i. 18; yn *Seacombe* yn y prydnawn, oddiar Job xxviii. 13; ac yn *Bedford Street* yn yr hwyr, oddiar Esaiah li. 6. Gadawodd Liverpool ddydd Llun, am y Wyddgrug, i Gyfarfod Misol a gynnhelid yno, lle y pregethodd ddwy waith ddydd Mawrth. Dyma ei ymweliad diweddaf â Liverpool; ac y mae y bregeth ddiweddaf iddo yno, megis y traddodwyd hi y pryd hyny, wedi ei hargraffu yn y Gyfrol o'i Bregethau a gyhoeddwyd gan Mr. Gee, fel ag yr ysgrifenwyd hi wrth ei gwrandaw gan Mr. John Griffiths, Egremont. Yr oedd ei weinidogaeth y tro hwn, fel arferol, yn Liverpool, yn nerthol iawn; ond yr oedd yr oedfa yn *Bedford Street*, nos Sul, yn coroni y cwbl, ac yn ddiwedd gogoneddus i'w lafur gwerthfawr yn mhlith ei gyd-genedl yn y dref hono.

Yr ydym yn synu at ei ymdrechiadau y misoedd hyn. Taflwn olwg frysiog ar rai wythnosau. Y nos Sadwrn ar ol gadael Liverpool, yr ydym yn ei gael yn y Gwynfryn, a'r Sul cyntaf yn Chwefror, yn y Dyffryn, Sir Feirionydd, ac yn pregethu dair gwaith. Y Llun canlynol, yr oedd yn Nhalsarnau, mewn Cyfarfod Pregethu, ac yn llefaru dair gwaith. Y nos Fercher, yr oedd yn y Fron; nos Wener yn Llanllyfni; nos Sadwrn a'r Sul canlynol, yr oedd yn Mangor. Y Llun a'r Mawrth, ar ol hyny, yr oedd mewn Cyfarfod Misol yn Ninorwig, ac yn pregethu yno am ddeg yr ail ddydd. Nos Fercher yr oedd yn Rhostryfan; nos Wener yn Mhen-y-groes; nos Sadwrn yn mynydd Llandegai; a'r Sul canlynol, Chwef. 17, yno, ac yn y Carneddi, a Bethesda. Y nos Wener canlynol, yr oedd yn y Fron; a'r Sul, Chwef. 24 yn *Upper Bangor.* Nos Fawrth yn Mwlan, a nos Fercher yn Rhŷd-ddu. Y Sul, Mawrth 2, yr oedd yn Engedi, Caernarfon; nos Fercher yn y Brynaerau, Clynnog; nos Sadwrn yn Mryn yr Efail; a'r Sul, Mawrth 9, yn yr Ysgoldŷ. Y

dyddiau canlynol, yr oedd mewn Cyfarfod Misol yn y Graig, ac yn pregethu yno am ddeg ddydd Mawrth. Nos Fercher, yr oedd yn pregethu yn ei gartref ei hunan, yn Nhalysarn; a nos Wener yn Mhenygroes, Llanllyfni; a'r Sul, Mawrth 16, yn Llanllechyd a Phen-ygroes, Llandegai. Nos Lun yr oedd yn Rhyl; a nos Fawrth yn Nghaerlleon, ar ei ffordd i Lundain, lle yr oedd i fod yn y Gymmanfa y Pasg. Yr oedd dysgwyliadau annghyffredin am dano yn Llundain, y pryd hwn, gan nad ydoedd wedi bod yno er ys rhai blynyddoedd, ac nad ydoedd, rywfodd, y tro diweddaf y buásai yno, wedi bod yn gwbl mór lwyddiannus ag yr arferasai fod. Cyrhaeddodd Lundain yn brydlawn: ac yr oedd yn hawdd canfod arno, yn y Cyfarfod cyntaf, ei fod yn y dymher oreu, ac na chai neb un siomedigaeth ynddo y tro hwn. Yn ystod y Gymmanfa, pregethodd am ddau ar y gloch ddydd Gwener, Mawrth 21, yn *Jewin Crescent*, oddiar Eph. iii. 15; a'r hwyr, yn *Wilton Square*, oddiar Ioan ix. 4. Sul y Pasg, Mawrth 23, pregethodd yn *Grafton Street* yn y boreu, oddiar Heb. vii. 24; yn y prydnawn yn *Wilton Square*, oddiar Micah i. 12; a'r hwyr yn *Jewin Crescent*, oddiar Esaiah li. 6. Pregethodd drachefn ddydd Llun yn *Jewin Crescent* yn y prydnawn, oddiar Gal. ii. 19, 20; a'r hwyr yn *Wilton Square*, oddiar Dan. xi. 32. Arosodd y pryd hyn yn Llundain am bump o Sabbathau. Bwriadai, ac addawsai, aros yno hyd y Sulgwyn; ond parodd rhyw amgylchiadau teuluaidd iddo ddychwelyd adref yn lled ddisymwth. Yr oedd ei weinidogaeth, ar ei ymweliad diweddaf hwn â Llundain, yn nerthol dros ben; yn wir, yr oedd dwy o'i bregethau, yn y Gymmanfa, yn mhlith rhai hynotaf ei oes, ac un o honynt yr *hynotaf* a glywsom ni o'i eiddo erioed. Y gyntaf y cyfeiriwn ati oedd ei bregeth yn *Jewin Crescent*, am ddau ar y gloch ddydd Gwener y Groglith, ar y testyn a nodwyd uchod:—"O'r hwn yr enwir yr holl deulu yn y nefoedd ac ar y ddaear." Yr oedd priodoldeb ac ardderchawgrwydd ei feddyliau, destlusrwydd a choethder ei iaith, tlysni a naturioldeb ei gymhariaethau, ac, yn enwedig, y tynerwch sanctaidd oedd yn ei deimlad, ac a drosglwyddid ganddo yn gyfrodedd perffaith i'w lais, yn meistroli y gynnulleidfa mor lwyr fel yr oedd y lle yn un "*Bochim*" drwyddo. Nid yn unig nid oedd yno yr un llygad sych, ond yr oedd pawb, ar rai rhanau o'r bregeth, yn wylo yn hidl. Gall y darllenydd gael rhyw amgyffred am deimladau y gynnulleidfa, oddiwrth sylw a wnaed, ar ol yr oedfa, gan y wraig oedd y pryd hyny, ac

sydd eto, yn arfer glanhau capel *Jewin Crescent*;—"Wel," meddai, "ni bydd dim eisiau *watero* y capel, ar ol y bregeth yna, beth bynnag." Pan y daeth at y nodiad diweddaf yn ei bregeth am deulu Duw, mai "teulu a fydd gyda'u gilydd yn dragywyddol ydyw," yr oedd yno le rhyfedd; yr oedd teimladau pawb wedi chwyddo hyd yr ymylon, ac yn rhedeg drosodd yn ddiattaliad "yn ddagrau melus iawn." "Dyna," meddai, "sydd yn diflasu y mwyniant teuluaidd uchaf yn y byd hwn, y meddwl am y rhwygiadau a wneir gan angeu arno. Y mae hwnw yn dyfod i mewn, ac yn dattod y perthynasau agosaf ac anwylaf; yn ysgar y gwr oddiwrth ei wraig, ac yn gwahanu rhwng rhieni a phlant, a phlant a rhieni. Yr oeddwn i, nid ryw lawer o amser yn ol, yn ymweled â theulu oedd wedi ei rwygo felly. Y tro diweddaf y buaswn yno, yr oedd yno olygfa happus. Yr oedd y tâd yn eistedd ar ben y bwrdd, a'r fam yn y pen arall, a saith neu wyth o blant iachus yn eistedd yn siriol o ddeutu y bwrdd, a'r tad yn tafellu eu hymborth iddynt; a'r cwbl yn cyfranogi yn awchus o hono, ac yn ymddangos yn hollol wrth eu bodd. Dyna i chwi olygfa. Nid oes yr un yn natur brydferthach na hòna. Nid oes genych chwi ddim yn Llundain yma a all ymgystadlu am funud â hòna. Ond fel yr oeddwn yn tynu at y tŷ y tro hwn, yr oeddwn yn teimlo fel pe buasai rhyw brudd-der yn ei gylchynu; a chydâ fy mod i yn y drws, yr oedd un o'r genethod bychain yn ymaflyd ynof, ac yn gwaeddi yn fy wyneb,—'O! mor dda a fuasai gan fy nhad eich gweled.' Ac, erbyn myned i mewn i'r tŷ, yr oedd pob peth wedi newid;—yr oedd y gadair fawr yn wâg: y wraig wedi ei gwneyd yn weddw; y plant wedi eu gadael yn amddifaid; tristwch yn llanw pob mynwes, a galar yn toi pob wyneb;—y tad wedi marw. Ond, beth a feddyliech chwi, 'mhobl i, am fod yn perthyn i deulu na fydd y gadair fawr ddim yn wâg byth?—teulu y mae y Tad yn un sydd ag anfarwoldeb yn briodoledd hanfodol iddo; sydd yn byw uwchlaw marw; sydd ganddo fywyd ynddo ei hun; ac yn tyngu y bydd efe byw yn oes oesoedd; y mae ei orseddfainc yn 'orseddfainc dragywyddol.'

"Brydiau ereill, yn ein byd ni, y mae angeu yn cipio y plant ymaith, ac yn rhwygo teuluoedd felly. Ah! y mae calonau rhai o honoch chwi yma, fel fy nghalon innau, er ys blynyddoedd yn gwaedu gan archollion a wnaed arnynt felly. Yr ydwyf yn cofio unwaith am deulu cysurus, tad, a mam, ac amryw blant, a'r rhai hyny oll yn ymddangos

yn iach a chryf; ac yr oedd y lleiaf yn y teulu yn cael sylw pawb, a'i gampau bychain yn ddifyrwch i'r teulu i gyd; ac yn ei gadair fach, wrth y bwrdd, yr oedd yn ymddangos fel pe buasai yn arglwydd ar yr holl dŷ. Yn mhen ychydig fisoedd, mi a aethum heibio yno drachefn: ond oh! fel yr oedd yr olygfa wedi newid. Yr oedd angeu wedi bod yno, ac yr oedd wedi gwneuthur rhwygiad mawr. Yr oedd y bychan anwyl, ag yr oedd pawb yn *dotio* arno, wedi ei gymmeryd ymaith, a'i roddi i orwedd yn y ddaear oer; ac yr oedd y gadair fach, cadair Benjamin, yn wâg, a hiraeth a chwithdod yn mhob mynwes ar ei ol. Ond, beth a feddyliech chwi, 'mhobl i, am fod yn perthyn i deulu na welir mo hono yn dragywydd wedi ei fylchio, na fydd y gadair fach ddim yn wâg byth; y gall y pen-teulu sefyll i fynu, yn mhen miliynau o oesoedd wedi i'r ddaear fyned ar dân, ac i ddydd y farn basio, a gwaeddi, 'Wele fi a'r plant—ni chollais i yr un o honynt?' "

Y mae y bregeth hon, megis ag yr ysgrifenwyd hi gan un o'i feibion, allan o'i enau ef ei hunan pan oedd yn ei gystudd diweddaf, wedi ei hargraffu yn y gyfrol gyntaf o "*Lampau y Deml*" (*tu dal.* 65—78); a thrachefn, yn y Gyfrol o'i Bregethau (*tu dal.* 103—114); ond y mae y darnau uchod wedi eu rhoddi genym ni oddiar ein cof, fel y traddodwyd hi y pryd hyn yn Llundain.

Ond ei bregeth nos Sul y Pasg, yn *Jewin Crescent*, oedd pregeth *hynod* y Gymmanfa, ac yn sicr un o bregethau hynotaf ei holl oes yntau. Ni ddygwyddodd i ni, pa fodd bynnag, erioed ei glywed, yn mhob ystyr, mor ogoneddus. Yr oedd yno gyfuniad o braidd bob peth angenrheidiol i wneuthur y cyfarfod yn un i'w gofio byth gan y rhai oeddent bresennol. Yr oedd Mr. William Prytherch, o Sir Gaerfyrddin, wedi pregethu o'i flaen, oddiar Heb. xii. 16, 17, gyda rhyw nerth annghyffredin; ac wedi parotoi y gynnulleidfa i'r dymher oreu i wrando, a chyffroi meddwl Mr. John Jones ei hunan, nid ydym yn ammeu dim, i egni mwy nag arferol. Yr oedd y capel, yn mhob man, yn orlawn, a dysgwyliadau y dyrfa wrtho, yn enwedig ar ol y bregeth effeithiol ar brydnawn Gwener, y fath ag i sicrhau yr astudrwydd mwyaf; yn wir, y fath ddysgwyliadau ag a allasent droi allan yn siomedigaeth ddirfawr. Ond fe ganfyddwyd yn bur fuan nad oedd un perygl o hyny. Y testyn, fel y nodwyd uchod, oedd Esaiah li. 6:—"Dyrchefwch eich llygaid tu a'r nefoedd, ac edrychwch ar y ddaear isod; canys y nefoedd a ddarfyddant fel mŵg, a'r ddaear a heneiddia

fel dilledyn, a'i phreswylwŷr yr un modd a fyddant meirw; ond fy iachawdwriaeth i a fydd byth, a'm cyfiawnder ni dderfydd." Y mae y bregeth, fel y crybwyllasom eisoes (*tu dal.* 724), megis ag y traddodwyd hi yn nghapel *Bedford Street*, Liverpool, wedi ei hargraffu yn y gyfrol o'i Bregethau (*tu dal.* 652—666), ac y mae yn darllen yn ardderchog yno. Ond yr oedd yr hwyl yr oedd y pregethwr ynddi y pryd hwn, yn gosod y fath newydd-deb arni, nid yn unig o ran teimlad, ond fel cyfansoddiad, ag i'w gwneuthur yn dra gwahanol i'w ffurf gyffredin. Ni a gawsom gyfleusdra i'w gwrandaw unwaith ar ol hyn, mewn Cyfarfod Pregethu yn Nolgelleu, Mehefin 6, 1856; ac er ei bod yn rhagorol y pryd hyny, eto nid oedd un gymhariaeth rhyngddi a'r tro hwn yn Llundain. Yr oedd y fath deimlad yn y bobl, fel yr oeddent yn cyfodi ar eu traed, y naill ar ol y llall, nes, erbyn yr hanner awr olaf, nad oedd yno odid neb yn y gynnulleidfa yn eistedd. Nid oedd yno ddim gwaeddi,—ond distawrwydd perffaith, oddieithr ambell "*Amen*," yn cyfodi yn uniongyrchol o'r galon, ac yn gwneyd ei ran, gydâ hyawdledd y pregethwr, a'r eneiniad dwyfol oedd ar y gwirionedd, i greu teimlad dwys yn y gynnulleidfa. Yr ydym yn cofio ein bod ni yn eistedd yn nghongl y sedd fawr; a bod Mr. Dew, Llangefni, yr hwn oedd y pryd hyny yn cartrefu yn Llundain, ar ddiwedd y bregeth yn dyfod atom, ac yn dywedyd,—"Wel, wyddoch chwi beth, fydd dim posibl i ni fyw, os deil hi fel hyn tra y bydd o yma." Ar hyny, dyna yr hen gyfaill, Mr. Davies, *Rose Mary Lane*, un o'r blaenoriaid twymgalon oedd yno, yn rhoddi pwniad i Mr. Dew, ac yn dywedyd,—"Paham na buasech chwi yn gwaeddi allan? Mi fuaswn i yn gwaeddi, mewn munud, pe buasech chwi neu ryw un yn dechreu." Yr oedd yr effeithiau arnom ni ein hunain y fath,—yr ymenydd, ryw fodd, mewn cymmaint cyffröad,—fel yr oedd yn agos i bedwar ar y gloch yn y boreu cyn y gallasom gysgu yr un hunell. Yr oedd y pregethwr yn cymmeryd y geiriau, yn eu cyfeiriad at y nefoedd a'r ddaear, yn llythyrenol, er gosod allan ragoriaeth yr iachawdwriaeth yn ei diysgogrwydd a'i pharhad, ar yr holl greadigaeth elfenol.

"'Y nefoedd a ddarfyddant fel mwg': yn ddisymwth, hwyrach, fel mwg. Edrychwch ryw foreu clir yn y gwanwyn yma, ryw bump neu chwe milltir oddiwrth y dref yma ar fwg Llundain yn dyrchafu i'r nefoedd; y mae yn ymddangos megis colofn uchel, gadarn, drwchus, â'i gwaelod yn toi yr holl ddinas fawr yma, a'i phen uchaf yn cyrhaedd

hyd entrych awyr; chwi a allech dybied ei bod wedi ei chyd-osod â'r mynyddoedd tragywyddol eu hunain, ac mai yna y byddai hi hyd ddydd y farn. Ond y mae yna rywbeth yn tynu eich sylw;—yr oen yn brefu ar ochr y bryn, a'r fam yn ei ateb o waelod y ddôl; yr ehedydd yn ymgodi ar ei edyn, ac yn pyncio emyn o fawl i Dduw am y tipyn *brecwast* a gafodd o'r boreu, heb wybod yn y byd pa le y caiff o damaid o giniaw; y briallu yn tori allan, a'r blodau yn ymagor, natur yn ymwisgo oreu y gall, i ddangos gogoniant ei Chreawdwr;—y mae rhywbeth yn tynu eich sylw am ychydig funudau. Ac yna yr edrych yn ôl, tua Llundain, i weled y golofn fŵg. Ond y mae yna ryw awel o wynt wedi myned heibio; y mae y golofn wedi ei chwalu; nid oes dim o honi i'w chanfod; prin ddim o honi yn aros. Am a wn i, nad fel yna y bydd hi tua diwedd y byd yma. Pan y daw bloedd yr archangel i'th ddihuno o lwch y ddaear a thithau yn edrych i fynu i weled o ba le y daeth y floedd, y mae yn bur debyg y gweli di yr hen nefoedd yna yn ymddangos fel yr oedd hi filoedd o flynyddoedd yn ol; yr haul yna yn tywynu mor danbaid a'r boreu y tarawodd o ar ben Jonah, a'r diwrnod yr aeth Noah allan o'r arch. Ond synwn i ddim na bydd y cyffroadau ofnadwy tua'r ddaear yma yn tynu tipyn o dy sylw di; y beddau yn ymagor, y creigiau yn ymrwygo, natur yn ymddattod,—rhywbeth yn tynu dy sylw di am ychydig. Ac erbyn edrych i fynu eilwaith tua'r nefoedd, bydd wedi darfod 'fel mŵg,'—heb ddim yn y golwg, ond presennoldeb anfeidrol, digyfrwng, tragywyddol, y Duwdod ei hun. Ond gadewch i hyny fod, y mae genym ni hanes rhywbeth a fydd yn aros. Wedi i haul natur ddiffodd, fe fydd 'Haul y Cyfiawnder' yn tywynu mor ddysglaer, a'i belydrau mor gryfion, ag y buant erioed; wedi i greigiau y ddaear yma doddi yn llymaid, gan angerdd tân y farn ddiweddaf, fe fydd 'Craig yr Oesoedd' mewn cadernid ansigledig, a diogelwch tragywyddol tani; wedi i'r derw ardderchog a'r cedrwydd cryfion, ddiflanu yn ngwres y dydd ofnadwy hwnw, fe fydd 'Pren y Bywyd' a'i ddail mor wyrddlas, a'i ffrwyth mor felus, a'i gysgod mor ddiddos ag y bu erioed:—'Fy iachawdwriaeth i a fydd byth,' a'm cyfiawnder ni dderfydd.'" Yr oedd rhyw ogoniant annysgrifiadwy yn ei wedd, a'i lais, a'i deimladau, pan yn gwneuthur y sylwadau hyn.

Yr oedd yn nodedig drachefn, pan y daeth at y geiriau,—"a'i phreswylwŷr yr un modd a fyddant meirw." "Rhoddwch chwi ddyn," meddai, "yn y lle a fynoch, marw a wnaiff o. Gadewch iddo fod yn

Ymerawdwr mawr, galluog, a phedwar ugain miliwn o ddynolryw yn ddeiliaid iddo, a channoedd o filoedd o wyr arfog at ei alwad, yn barod i gyflawni ei holl ewyllys; gwelwch o yn chwennychu gwlad ei gymmydog, i'w hychwanegu at ei diriogaethau ei hunan, y rhai ydynt eisoes yn rhy ëang; yn gwneuthur darpariadau am flynyddoedd er dwyn ei fwriadau trachwantus i ben; ac yn peri arswyd trwy wledydd y ddaear oblegyd y galanas a achosir ganddo;—ond marw wnaiff yr hen *ffwl*, ar y canol, a dacw ei holl amcanion yn darfod: 'A'i phreswylwŷr yr un modd a fyddant meirw.' [Yr oedd Nicolas o Russia, yr hwn a achosodd ryfel y Crimea, newydd farw y pryd hyn.] A'r un modd am oreuon y ddaear yma. 'Eich tadau, pa le y maent hwy? a'r prophwydi, ydynt hwy yn fyw byth?' Mi fyddaf fi, weithiau, yn ceisio gwneyd i fynu, yn fy nychymyg, hen *Sassiwn* y Bala, pan y byddwn i yn myned yno yn hogyn o Ddolyddelen. Mi fyddaf yn *paentio* y *Green;* a'r hen wagen fawr, a'r pulpud arni; a'r wageni ereill o amgylch. Mi fyddaf yn gweled yr hen bregethwyr yn dyfod i'r golwg y naill ar ol y llall; mi fyddaf yn eu clywed yn darllen eu testynau, yn codi eu penau, yn gwneyd eu sylwadau; mi fyddaf yn eu gweled yn yr hwyl fawr; fe fydd eu '*Gogoniant*' cynhes, a'u '*Bendigedig*' anwyl, ac '*Amenau*' tanllyd y gynnulleidfa fawr, yn swnio yn fy nghlustiau; ac mi fyddaf yn cael bendith i fy enaid, byddaf yn wir, wrth gofio am danynt. Ond, erbyn yr af fi i chwilio am danynt, nid oes dim un o honynt i'w gael; y maent wedi myned ymaith bob un,—bob un; ac am a wn i nad oes genym ni rai llawn cystal â hwynt yn eu lle, o leiaf rhaid i ni wneyd goreu y gallwn â'r deml hon! Ond, os ydyw yr hen bregethwyr wedi eu cymmeryd ymaith, y mae y testyn oedd ganddynt yn parhau; y mae yr iachawdwriaeth yn aros gydâ ni; ac fe fydd, ni a hyderwn, gydâ'n plant, a chydâ'u plant hwythau, ddyddiau'r ddaear: 'fy iachawdwriaeth i a fydd byth, a'm cyfiawnder ni dderfydd.' Ac y mae pregethwyr eto i ddyfod;—treiddgar, sanctaidd, tanllyd,"—yn y fan yma, fe roddes ddysgrifiad o bregethwyr y mil blynyddoedd; y peth mwyaf hyawdl, yr oeddem ni ar y pryd yn tybied, a glywsem neu a darllenasem erioed; ond, yn anffodus, nis gallwn gofio un frawddeg gyflawn o hono. Yr ydym yn meddwl mai rhywbeth a gynnyrchwyd ganddo ar ysbrydoliaeth y foment ydoedd, ac nad oedd yn rhan o'r bregeth, yn ei ffurf gyffredin; oblegyd nid oedd un gair o hono ynddi, pan y clywsom ni hi ar ol hyn, yn Nolgellau:—

"Y maent yn dyfod," meddai, "y maent yn ymyl; ydych chwi ddim yn clywed twrw eu traed hwynt? Ond fe fyddwn ni wedi myned ymaith ryw ddiwrnod neu ddau cyn iddynt ddyfod: 'a'i phreswylwyr yr un modd a fyddant meirw.'" Ac yna yr oedd yn troi drachefn at y *chorus*, ac â'i lef soniarus yn gwaeddi,—"fy iachawdwriaeth i a fydd byth, a'm cyfiawnder ni dderfydd." Ond y mae yn rhaid i ni ymattal.

Wedi dychwelyd adref o Lundain, ymroddai i lafurio gydà'r un egni ag oedd yn wastadol yn ei hynodi; heb golli cymmaint ag un Sabbath, ac, oddieithr am y mis cyntaf, ar nosweithiau yr wythnos yn ddiorphwys. Ar y dyddiau Mawrth a Mercher, Mehefin 3, 4, yr oedd mewn Cyfarfod Pregethu yn y Dyffryn, Sir Feirionydd; a thrachefn yn Nolgelleu, mewn cyfarfod cyffelyb ar yr Iau a'r Gwener. Yr oedd y diweddar Mr. Hughes o Liverpool, a Mr. Hughes, Liverpool yn awr, y Borth y pryd hwnw, a ninau, gydâg ef yn y Cyfarfodydd hyny. Yr oedd Mr. Cadwaladr Owen wedi ei gladdu yr wythnos flaenorol, a Mr. David Elias, Pentraeth, yn cael ei gladdu un o'r dyddiau hyny; ac yr oedd hyny yn troi yr ymddyddan, yn naturiol, at yr hen bregethwyr; ac yr ydym yn cofio yn dda y boddhad dirfawr oedd Mr. John Jones yn gael yn yr ymddyddan, yn y Faeldref, yn enwedig pan oedd Mr. Hughes (ieuangaf) yn adrodd, yn ei ddull dihafal ei hunan, rai o bregethau Mr. Roberts, Amlwch. Yr oedd Mr. Humphreys a Mr. Morgan yn eu cartref; ac i ni ein dau, sydd o'r cwmni happus hwnw yn unig wedi ein gadael, y mae y nosweithiau hyny yn rhai y mae eu coffa yn felus genym. Yr oeddem yn teithio ddydd Iau, o'r Dyffryn i Ddolgelleu, mewn rhyw fath o gerbyd agored. Yr oedd rhyw un yn marchogaeth ar geffyl Mr. John Jones, ac yntau yn gweini fel gyrwr i'r cerbyd. A difyr, mewn gwirionedd, oedd y gyfeillach yr holl ffordd. Yr oedd marwolaeth ei gefnder, Mr. Cadwaladr Owen, wedi effeithio cymmaint ar feddwl Mr. John Jones, fel y penderfynodd nad arbedai ddim arno ei hunan, tra y gallai, yn y gwaith mawr yr oedd wedi ei alw iddo. Yr oedd un o'i bregethau yn Nghyfarfod y Dyffryn, oddiar Diar. x. 7, a chyfeiriad neillduol ynddi at y golled oedd Cymru, ac yn neillduol Sir Feirionydd, i Gyfarfod Misol yr hon y perthynai, wedi gael trwy hyny: ac yr oedd hefyd yn cynnwys rhyw sylw, i'r ystyr a nodwyd, gydà golwg arno ei hunan. O fis Gorphenaf, yn mlaen, trwy y flwyddyn hon, yr oedd mewn llafur diball. Yn mis Medi, fe fu trwy ranau o Sir Fôn, am tua deuddeng niwrnod. Ar ddydd Iau, Hydref 23,

fe gychwynodd, trwy Drawsfynydd a Dolgelleu, ar daith fanwl trwy Sir Drefaldwyn. Y Sul, Hydref 26, yr oedd yn Nghoris yn y boreu, ac yn Machynlleth y prydnawn a'r hwyr. Tachwedd 2, yr oedd yn Llanidloes. Tachwedd 9, yr oedd yn Nghroesyswallt. A chan ddychwelyd trwy Lanfyllin, Llangynog, a'r Bala, lle yr oedd nos Wener, Tachwedd 14, ac y pregethodd, am y tro olaf yno, oddiar Job viii. 7, cyrhaeddodd yr Ysbytty erbyn y Sabbath, Tach. 16, a chartref y Llun canlynol. Yr oedd yn pregethu ddwy waith, ac yn fynych dair gwaith yn y dydd, trwy yr holl daith hon: ac mewn lliaws o fanau, yr oedd cyfeillion y cymmydogaethau wedi trefnu Cyfarfodydd Pregethu, ar gyfer y dyddiau y byddai efe gydâ hwynt; yr hyn oedd yn peri i'r capeli fod yn llawnach, ac felly i'w lafur yntau fod yn fwy, na phe buasai ond cyhoeddiad cyffredin hyd yn nod iddo ef ei hunan. Yr oedd, er hyny, yn teimlo yn hynod o gysurus yn ystod yr holl daith, ac yr ydym yn deall fod ei ymweliad wedi bod yn dra bendithiol i liaws o gymmydogaethau. Ar y Sul, Rhagfyr 7, yr oedd yn Mangor. Oddi yno aeth ddydd Llun i Fostyn, a dydd Mawrth i Gaerwys, rhyngddo a'r Wyddgrug, lle yr oedd Cymdeithasfa Chwarterol i'w chynnal, Rhag. 9, 10, 11. Pregethodd yn y Wyddgrug, boreu Iau am ddeg, yn nghapel yr Annibynwyr, oddiar Job xxviii. 18; ac am ddau yn y prydnawn, yn nghapel y Methodistiaid, oddiar 2 Petr iii. 11. Dyma y bregeth *ddiweddaf* a glywsom ni ganddo, a dyma y Gymdeithasfa *ddiweddaf* y bu yntau ynddi. Yr oedd yn pregethu, y prydnawn hwn, gyda difrifwch, a nerth, a hyawdledd annghyffredin. Ychydig a feddyliem, ar y pryd, na chaem ei glywed byth ond hyny. Yr ydym yn cofio fod un sylw yn y bregeth, wedi taro y diweddar Glan Alun, i'r fath raddau, nes y neidiodd ar ei draed, ac y dywedodd, yn ddigon uchel i'r rhai oeddent o'i gwmpas, ac i Mr. John Jones ei hunan, ei glywed,—"*Bobl anwyl!*" Wrth sôn am wybodaeth y Goruchaf, fe ddywedai,—" Y mae ei wybodaeth yn anfeidrol berffaith, a hyny yn mhob ystyr. Y mae yn cyrhaedd hyd at bob peth, ac at y cwbl a berthyn i bob peth. Nid oes dim mor dywyll nad yw yn canfod trwyddo; dim mor fychan ag i osgoi ei sylw. Y mae yn adnabod nid yn unig y cyrph mwyaf, ond y gronynau lleiaf ynddynt, a'r holl ronynau lleiaf yn y cyrph mwyaf. Pe dygwyddai iddo gau ei lygad am funudyn, ac i ryw angel, yn y cyfamser, gipio ymaith y gronyn lleiaf o'r hen ddaear yma; erbyn iddo agor ei lygad, fe welai, ar amrantiad, ei golli. Holl-

wybodaeth, nid mewn gair yn unig, ond mewn gwirionedd ydyw gwybodaeth ein Duw ni." Yr oedd yn aros yn y Wyddgrug dros y Sabbath canlynol; ac yn y capeli cymmydogaethol hyd hyny, a rhai dyddiau ar ol hyny.

Rywbryd, yn lled fuan ar ol Cymdeithasfa y Wyddgrug, fe gafodd anwyd trwm, a effeithiai er peri ychydig beswch arno, ond mwy o ryw boen yn y cylla a'r ymysgaroedd. Ond yr oedd efe bob amser wedi arfer bod mor iach a chryf, fel nad oedd yn meddwl nemawr ddim o hono, ac nid oedd yn lleihau dim ar ei lafur. Pa fodd bynnag, gyda dechreu y flwyddyn 1857, yr oedd yr anhwylder yn cynnyddu cymmaint nes peri cryn bryder iddo ef ei hunan a'i deulu; yn enwedig gan nad oedd yr hyn a fwyteid ganddo, yn awr yn aros ond ychydig ar ei gylla. Yr ydoedd, er hyny, yn ymroddi i lafurio, fel o'r blaen, gydag egni a chysondeb; a theimlad y cynnulleidfaoedd, i ba le bynnag yr elai, ydoedd, ei fod yn myned yn fwyfwy anwyl ganddynt. Y Sabbath, Mawrth 22, yr oedd ei gyhoeddiad yn Moriah, Caernarfon. Pregethodd yno y boreu a'r hwyr, ac yn y lle cysylltiedig, yn y prydnawn. Yr oedd yn sylw cyffredin gan y gynnulleidfa ei fod yn ymddangos yn wael iawn, er nad oedd dim pall ar nerth nac ar bereidddra ei lais; a bod pawb yn teimlo ei fod mewn hwyl ragorol. Ei destyn, y nos Sabbath, ydoedd, 1 Ioan iii. 2:—"Anwylyd, yr awrhon meibion i Dduw ydym, ac nid amlygwyd etto beth a fyddwn: eithr ni a wyddom, pan ymddangoso efe, y byddwn gyffelyb iddo; oblegyd ni a gawn ei weled ef megis ag y mae." Dyma y tro *diweddaf* iddo bregethu, a'r tro *diweddaf* y bu byth mewn pulpud,—yr un pulpud, gan gofio, ag y pregethasai JOHN ELIAS ei bregeth ddiweddaf ynddo. Buasai yn dda iawn genym pe gallasem lwyddo i gael rhyw adgofion o'r bregeth ddiweddaf hon o'i eiddo, ond yr ydym wedi methu yn llwyr yn hyny. Y cwbl a glywsom, yw, ei fod mewn hwyl ragorol; a'i fod, yn nhŷ y Capel yn niwedd yr oedfa, yn hynod o garuaidd a chyfeillgar â'r holl frawdoliaeth, yn fwy felly, yr oedd rhai yn meddwl ar y pryd, nag oedd gyffredin, hyd yn nod iddo ef ei hunan. Yr oedd y testyn, y tro olaf hwn, yn nghanol y cwestiynau ag oeddent wedi cael lle mawr yn ei feddwl ef er ys llawer o flynyddoedd bellach; a dyddorol yn wir a fuasai cael rhyw grybwyllion am y wedd a gymmerid ganddo, pan mor agos i'w ddiwedd, ar ddyfodol meibion Duw. Cafodd ê yn fuan, pa fodd bynnag, esgyn i ddirnadaeth annhraethol uwch am dano nag oedd bosibl iddo ef, nac i neb arall, yn y fuchedd hon.

# PENNOD XV.

## EI GYSTUDD DIWEDDAF A'I FARWOLAETH: MAWRTH—AWST, 1857.

EI AFIECHYD YN CYMMERYD GWEDD MWY PERYGLUS NAG A DYBID—YMATTAL ODDIWRTH BOB LLAFUR—BWRIADU MYNED I MANCHESTER AT Y PASG—YN METHU AC YN AROS YN RHYL—GWAELU YNO—DYCHWELYD GARTREF I DALYSARN—YMRODDI I'R GWELY—CYFANSODDI TONAU YN EI GYSTUDD—EDRYCH DROS EI BREGETHAU A'U TREFNU YN SYPYNAU—EI FAB YN YSGRIFENU AMRYW BREGETHAU O'I ENAU—EI FEDDWL YN ISEL AC OFN ANGEU YN PWYSO ARNO—LLYTHYR ATO ODDIWRTH MR. EVANS, LLANSANTFFRAID—LLYTHYR CYDYMDEIMLADOL ATO DROS GYFARFOD MISOL ARFON—UN ARALL DROS Y GYMDEITHASFA YN LLANGEFNI—YMWELIAD YR AWDWR AG EF—LLYTHYR ATO DROS GYFARFOD MISOL LLEYN AC EIFIONYDD—LLYTHYRAU ATO ODDIWRTH MR. ROBERTS, AMLWCH, A MR. REES—YMWELIAD EI FRAWD, MR. DAVID JONES, AG EF, AC YMDDYDDAN HYNOD RHYNGDDYNT—EI GYSTUDD YN TRYMHAU—GWAWR YN TORI AR EI FEDDWL—CENADWRI ODDIWRTHO AT EI FRODYR YN Y CYFARFOD MISOL—EI BRYDER YN NGHYLCH EI BLANT—Y DIWEDD—Y CLADDEDIGAETH—PRUDD-DER Y GENEDL WEDI EI GOLLI—LLYTHYR MR. MORGAN O'R DYFFRYN AT EI WEDDW—CYMDEITHASFA CAERNARFON—CYFARFOD MISOL, SIR FEIRIONYDD—CYMDEITHASFA CRUGHYWEL—MARWNADAU IDDO.

WELE ni, yn awr, gyda llawer mwy o fanylder nag a dybiem unwaith oedd bosibl i ni, wedi dilyn ein hen gyfaill anwyl trwy amrywiol gyfnewidiadau bywyd,—bywyd hynod mewn llafur ac arbenig mewn defnyddioldeb,—a chydâ theimladau tra dieithrol yr ydym yn ein cael ein hunain dan yr angenrheidrwydd o nesau at y cyfnewidiad mawr diweddaf, a'i cymmerodd ymaith yn gwbl ac am byth o'n cyrhaedd ni! Nid oedd Mr. John Jones ei hunan yn nechreu ei gystudd, a llawer llai yr oedd neb arall, wedi meddwl fod y gradd o anmhariaeth a deimlid ganddo ar ei iechyd yn debyg o derfynu mor ddifrifol. Yr oedd ei nerth naturiol mor fawr, fel yr oedd ei gyfeillion yn gwbl hyderus y byddai yn ddigonol i'w ddwyn yn llwyddiannus dros yr

ymosodiad a wneid arno, ac yr oedd yr un nerth yn ei gadw ef ei hunan, am beth amser, yn hollol ddibryder. Dychwelodd adref o Gaernarfon, ar ol y Sul, Mawrth 22, yn waelaidd iawn, yn gymmaint felly, fel y penderfynodd ymattal yn gwbl oddiwrth bob llafur am yr wythnos hono a'r wythnos ganlynol, gan obeithio y byddai wedi ei adfer i'r fath raddau ag y gallai fyned i *Fanchester* at y Pasg, Ebrill 12, lle yr oedd wedi addaw bod yn eu Cyfarfod Blynyddol. Erbyn i'r wythnos cyn y Pasg ddyfod, nid oedd yn teimlo ei hunan yn ddim gwaeth, ond yn hytrach yn well: a chan fod cyfeillion *Manchester* yn ei gymhell yn daer, od oedd fodd yn y byd, i beidio eu siomi ar adeg eu Cymmanfa, fe benderfynodd ymdrechu myned yno; ac a gychwynodd oddicartref tua Rhyl, lle yr oedd ei ferch henaf ar y pryd yn trigiannu, gan obeithio, wedi gorphwys noswaith yno, y byddai yn gymhwysach i fyned rhagddo tua *Manchester.* Ond, yn wrthwyneb i'w ddysgwyliadau a'i ddymuniadau, yr oedd wedi gwaethygu cryn lawer erbyn iddo gyrhaedd Rhyl, ac yn hollol analluog i fyned i *Fanchester.* Galwyd am Dr. Roberts o Lanelwy i'w weled; ac efe a arhosodd rhwng chwech a saith wythnos yn Rhyl o dan ei ofal. Weithiau, ar yr adeg hon, ymddangosai fel pe buasai ar wellhau; yr oedd y cylla yn fwy tymherus, a'i feddwl yn fwy siriol; ond, ar y cwbl, yr oedd yn gwaelu, ac yr oedd efe ei hunan yn myned yn fwy fwy argyhoeddedig o hyny; a chydâ'r argyhoeddiad hwnw yn myned yn fwy fwy awyddus am ddychwelyd i'w gartref a'i dŷ ei hunan. Ryw ddeng niwrnod cyn y Sulgwyn, fe ddychwelodd i Dalsarn: ac fe ganfyddid ar unwaith gan bawb ei fod wedi gwaelu yn ddirfawr er pan yr ymadawsai oddiyno. Am rai dyddiau, ar ol cyrhaedd ei gartref, ymddangosai fel be buasai yn ymgryfhau, ond syrthiodd yn ol drachefn yn fuan. Ymgynghorwyd â'r Meddygon goreu yn mhell ac yn agos, ond nid oedd dim yn tycio. O'r diwedd, bu raid iddo ymroddi i orwedd yn gwbl. Ofnid ar y cyntaf mai y *cancer* oedd yn y cylla; ond cafwyd allan mai rhyw anhwyledd ar yr iau oedd y prif glefyd; a hyny, dybygid, wedi ei achlysuro gan y ddyrnod a gawsai yn ei ochr, gan y wagen, yn y ddamwain y cyfeiriasom ati eisoes (*tu dal.* 697), y cyfarfu â hi yn y gloddfa yn y flwyddyn 1852. Tra yr ydoedd yn Rhyl, yr oedd yn treulio cryn lawer o'i amser mewn cyfansoddi tônau, yr hyn fel y gwelsom eisoes oedd yn hoff waith ganddo yn ei flynyddoedd diweddaf; ac yr oedd yr Emynau a ddewisai i gyfansoddi tônau arnynt, oll yn gyfryw ag a

brofent fod ei feddwl yn aros llawer gydâ'r byd tragywyddol: megis, "*Tragwyddoldeb mawr yw d' enw*," &c.; "*Yn y dyfroedd mawr a'r tonau*," &c.; "*Mae 'nghyfeillion wedi myned*," &c.; "*Mi af yn mlaen er pelled yw*," &c.; "*Rwyf yn terfynu 'nghred*," &c.; "*Daeth trwy fy Iesu glan a'i farwol glwy'*," &c.; "'*Dai mofyn haeddiant fyth na nerth*," &c. Wedi dyfod adref i Dalsarn, dechreuodd edrych dros y Nodiadau oedd ganddo wedi eu hysgrifenu o'i Bregethau, er ys blynyddoedd lawer yn ol, gan eu darllen yn fanwl a gofalus, a'u trefnu yn sypynau, yn ol y blynyddoedd yr oeddent wedi eu cyfansoddi. Pan ddarllenai ryw ranau ag yr oedd wedi cael hyfrydwch neillduol wrth eu traddodi, neu y credai eu bod wedi bod yn foddion i wneyd rhyw lesâd neillduol i eneidiau dynion, ymddangosai yn dra siriol; ac yr oedd myned fel hyn dros ei hen bregethau, yn creu awydd angerddol ynddo am gael ei adfer eilwaith i fyned trwy Gymru, i "efengylu" i'w gydwladwyr "anchwiliadwy olud Crist." Yr oedd yn enwedig yn dymuno cael rhoddi un daith drachefn trwy Ddeheudir Cymru, ac ymweled â'i hen gyfeillion yno, a cheisio gwneyd rhyw ddaioni yn eu mysg i'r achos mawr.

Nid oedd ganddo yr un gair wedi ei ysgrifenu o bregethau blynyddoedd diweddaf ei oes, ac yr oedd ei gyfeillion yn gyffredin yn teimlo yn resyn mawr iddynt fyned yn gyfan-gwbl ar ddifancoll, yn enwedig gan eu bod yn gynnyrchion addfetaf ei athrylith, ac felly y dangosiad cywiraf o hono fel pregethwr. Yr oedd yntau ei hunan yn teimlo wrth feddwl iddynt golli yn hollol; ac felly fe ymdrechodd, yn ei wendid, i adrodd amryw o honynt wrth un o'i feibion, yr hwn a'u hysgrifenodd air am air o'i enau. Fe gafwyd, trwy hyny, chwech neu saith o honynt; y rhai a argraffwyd, megis yr ysgrifenwyd hwynt felly, yn y gyfrol o'i Bregethau. Mae yn resyn dirfawr fod nifer o'r rhai mwyaf ardderchog wedi eu colli yn hollol, fel nad oes obaith eu cael byth mwy.

Yr oedd ei feddwl, yn wythnosau cyntaf ei afiechyd, yn isel iawn, ac "ofn marwolaeth" yn gwasgu yn drwm arno. Yr oedd hyny yn cyfodi mewn rhan oddiwrth natur yr afiechyd y dioddefai tano: ac mewn rhan hefyd oddiwrth y ddirnadaeth gref oedd ganddo am y byd ysbrydol a thragywyddol, a phwysfawrawgrwydd annhraethol yr achos sydd rhwng dyn a Duw ynddo. Yr oedd ei feddwl wedi cymdeithasu cymmaint â'r byd anweledig, nes yr oedd ei amgyffrediad am ei fawredd a'i ofnadwyaeth y fath, fel yr oedd eisiau graddau annghyffredin iawn o oleuni ysbrydol ar ddarpariaeth gras i gadw y meddwl "mewn tang-

nefedd heddychol." Yr oedd, o'r tu arall, mor ymwybodol o ystrywiau a thwyll y galon ddynol, fel yr oedd yn hynod o amheus o hono ei hunan, ac yn rhy barod i gyfrif ei bethau goreu ei hunan gydâ chrefydd, i unrhyw achos yn hytrach nag i egwyddor sanctaidd. Rhwng y naill beth a'r llall, bu yn dioddef yn ddirfawr gan amheuaeth am wirionedd ei grefydd, ac felly dan ofn mawr cyfarfod â Duw. Pan oedd yn cael ei flino fel hyn, yr oedd yn awyddus i wybod meddwl gwirioneddol pawb am dano, ac yn enwedig ei wraig a'i blant, y rhai oeddent wedi cael y fantais oreu i'w adnabod yn ei gymeriad crefyddol. Gan deimlo felly, efe a anfonodd un o'i feibion un diwrnod at ei brïod, yr hon oedd yn wael ei hunan ar y pryd, ac yn gorwedd mewn ystafell arall, i ofyn iddi ei barn am dano, a oedd hi yn tybied ei fod yn dduwiol. "Y mae dy fam," meddai, "yn gwybod yn well am danaf na neb arall ar y ddaear hon; dos, a gofyn iddi." Aeth y bachgen at ei fam, a dywedodd wrthi ei neges. Yr oedd y fam, ar y cyntaf, yn ammeu a oedd y tâd wedi ei anfon i ofyn y fath beth. Ond wedi ei sicrhau o hyny, synai fod y gelyn yn ymhyfhau cymmaint, ag i feiddio dywedyd wrtho mai annuwiol ydoedd. "Dos," meddai, "a dywed wrtho,—Duwiol ydyw: yr oedd yn dduwiol cyn i mi ei adnabod erioed; ac ni chefais i erioed funud o le i ammeu gwirionedd ei grefydd." Yr oedd y tâd yn bryderus yn disgwyl am ddychweliad y bachgen; a phan y daeth ato yn ol, fe ofynodd iddo, —"Wel, beth a ddywedodd dy fam?" Wedi cael atebiad y fam, gofynai i'r mab,—"Beth wyt ti yn feddwl am danaf? A wyt ti yn meddwl fy mod i yn dduwiol?" Wedi iddo yntau ateb yn gadarnhäol hollol, gorchfygwyd ef gan ei deimladau; tröai draw, a wylai ddagrau megis gan lawenydd. Ceisiai siarad; ond yr oedd yn methu am beth amser. O'r diwedd, fe ddywedodd,—"Yr ydwyf finau yn rhyw gredu na ddemnir byth mo honof. Y mae wedi dyfod yn fywiog i'm côf, ryw hen gyfammod a wnaethum i â'r Arglwydd, er ys llawer blwyddyn, yn Nolyddelen, pryd y rhoddais fy hunan i wasanaeth yr Arglwydd am byth, ac y cymmerais yntau yn Dduw i minnau." Ac yna, fe goffäi yr adnod hono,— "Cyfammod tragywyddol a wnaeth efe â mi, wedi ei luniaethu yn hollol ac yn sicr; canys fy holl iachawdwriaeth, a'm holl ddymuniad yw."

Derbyniodd amryw lythyrau oddiwrth gyfeillion anwyl, yn cydymdeimlo âg ef yn ei gystudd, ac yn datgan eu dymuniadau am ei adferiad, y rhai a'i llonent yn fawr. Cafodd y llythyr canlynol oddiwrth y Parch. John Evans, Llansantffraid:—

"LLANSANTFFRAID GLAN CONWY, *Mai* 19, 1857.

"ANWYL GYFAILL,

Yr wyf yn teimlo mor lon wrth glywed eich bod yn gwella, fel nas gallaf beidio ysgrifenu gair atoch. Y mae y ddaear yn dal ei gafael yn dŷn iawn ynoch. Gwn fod miloedd yn bryderus iawn rhag i chwi adael ein gwlad ni eto. Ac os yw y nefoedd yn tynu ati, yr ydym bron a dweyd er hyny,—Ddaear, ddaear, dal dy afael, os medri. A llawenydd ein calon yw cael lle i hyderu fod gweision angau yn gwanychu, ac y gorfydd iddo yntau droi ei gefn heb ennill brwydr y tro hwn. Bydded foddlawn gan Dduw i chwi gael eich adferu. Gobeithiaf fod Mrs. Jones, a'r oll o'r teulu yn iach. Mae fy ngwraig yn cofio atoch.

Gyda serch diffuant, yr eiddoch yn gywir.

JOHN EVANS."

Derbyniodd hefyd y llythyr canlynol dros y Cyfarfod Misol yr oedd yn aelod o hono, yr hwn a werthfawrogid yn arbenig ganddo:—

"VAYNOL, *Mai* 13, 1857.

"BARCHEDIG AC ANWYL FRAWD,

Yn ein Cyfarfod Misol a gynhaliwyd yn Salem ddydd Llun diweddaf, rhoddwyd arnaf ysgrifenu cyfarchiad atoch, yn eich gwaeledd, dros y frawdoliaeth. Ond, oh, pwy sydd ddigonol i wneyd hyny yn deilwng? Pan grybwyllwyd gyntaf am eich enw, ac am y gwaeledd yr ydych ynddo, yr oedd yno lon'd y capel o ocheneidiau uchel yn esgyn i fynu ar foment. Mae cannoedd o weddiau *taer* wedi eu hoffrymu drosoch ar allor Duw, yn y dyddiau diweddaf hyn. Nid oes dim a rydd atebiad llawn iddynt ond pymtheng mlynedd o iechyd i chwi, i allu myned i mewn ac allan yn ein mysg, i gyhoeddi 'efengyl y tangnefedd,' fel yn 'y dyddiau gynt,' pan wnelai Duw i'w 'oleuni lewyrchu' ar eich pabell. Nid oes neb o honom yn foddlawn i chwi gael marw yr adeg yma. 'Ni ddaeth yr amser eto.' Y mae y brodyr yn cael gormod o ysbryd i weddïo drosoch, i chwi gael marw yn bresennol. Ac hefyd, yn ol pob golwg i ni, nid ydych eto wedi gorphen eich gwaith. Ni 'losgodd y fegin,' ac ni 'thoddodd y plwm' eto. Ein dymuniad taer ydyw i chwi gael eich cynnal o ran eich meddwl yn dawel, a gwellâd buan i ddyfod atom. Mae genym

gant a mil o bethau a allasem ddweyd, ond 'waeth tewi—ni ddeuaf byth i ben. Yr Arglwydd a fyddo gydâ chwi a'ch teulu oll. . . . . Yr wyf yn arwyddo hwn dros bob enaid sydd yn y Cyfarfod Misol, a thros filoedd gydâ hyny.

Yr eiddoch yn gywir,

ELLIS JAMES."

Yn mhen ychydig amser wedi iddo dderbyn y llythyr uchod oddiwrth y Cyfarfod Misol yr oedd yn aelod o hono, fe dderbyniodd y llythyr canlynol, oddiwrth Ysgrifenydd y Gymdeithasfa, yn cyflwyno cydymdeimlad mwyaf diffuant y brodyr, oeddent gynnulledig yn Llangefni, âg ef yn ei gystudd:—

"YR WYDDGRUG, *Mehefin* 6, 1857.

"BARCHEDIG AC ANWYL FRAWD,

Yn Nghymdeithasfa Chwarterol Llangefni, yn Nghyfarfod y Pregethwyr a'r Diaconiaid, prydnawn dydd Iau (echdoe), cyfeiriwyd gydâ theimlad dwys at eich anhwyldeb corfforol; pryd yr amlygodd yr holl frawdoliaeth oedd yn wyddfodol eu bod yn coleddu y serch gwresocaf atoch, yn meddwl ac yn cofio am danoch yn eich cystudd trwm, ac yn dra phryderus am eich adferiad i ddyfod oddiamgylch i wasanaethu yr achos goreu, megis cynt. Ac felly, cynnygiodd y Parch. Henry Rees, ac eiliodd y Parch. Cadwaladr Williams, —yr hyn a gymmeradwywyd yn unfryd a pharod iawn gan yr holl Gymdeithasfa,—ar fod cyfarchiad caredig yn cael ei anfon atoch i ddatgan y teimladau crybwylledig. Ac yr oedd yn hawdd gweled fod hyny yn cael ei wneuthur, nid oddiar ffurf neu ddefod, ond oddiar yr anwyldeb mwyaf diffuant, a'r cydymdeimlad mwyaf cynhes â chwi, yn eich afiechyd presennol. Y mae eich holl frodyr yn hiraethu yn fawr am eich gweled a'ch clywed eto yn efengylu yn eu plith; a chredir fod miloedd o weddïau wedi ac yn myned i'r nefoedd ar eich rhan. Ar yr un pryd, dymunem gymhorth i fod yn ymostyngar i ewyllys yr Arglwydd, a'ch cyflwyno yn gwbl i'w law ef, eich Meistr mawr a'ch Tad tyner, yr hwn a gâr lwyddiant ei was, ac na âd ei blentyn yn nydd trallod, heb ras yn gymhorth cyfamserol. Ydwyf, anwyl frawd, dros y Gymdeithasfa,

Eich cyfaill annheilwng a diffuant,

ROGER EDWARDS."

Parodd y llythyr diweddaf hwn sirioldeb annghyffredin i feddwl Mr. John Jones. Teimlai ei galon yn cynhesu braidd yn fwy nag erioed tuag at ei hen gyfeillion yn y Gymdeithasfa; ac yr oedd, wedi ei gael, braidd yn fwy awyddus nag o'r blaen am gael gwellau, er mwyn cael yr hyfrydwch o'u cyfarfod drachefn yn eu Cyfarfodydd, a myned trwy y wlad, fel y buasai gynt, i "efengylu" i'w gydwladwyr "anchwiliadwy olud Crist." Yr oeddem ni yn y Gymdeithasfa yn Llangefni, ac yn aros yno dros y Sul canlynol; a'r dydd Mercher, Mehefin 10, ni a aethom i Dalsarn, i ymweled â'n hen gyfaill anwyl yn ei gystudd. Ni a'i cawsom ef yn wael iawn, yn llawer iawn gwaelach nag y meddyliem ei fod. Yr oedd yn ei wely, yn edrych dros ei hen bregethau; gan ddidol, a dodi wrthynt eu hunain, y rhai y tybiai efe fod rhyw werth ynddynt, a chan adael y lleill o'r neilldu, megis rhai wedi eu hysgrifenu yn rhy anmherffaith i neb, ond efe ei hunan, allu gwneyd dim o honynt. Dywedai ei fod wedi bod gydâ'r gorchwyl hwnw, am ryw gymmaint o amser braidd o bob dydd er pan ydoedd yn y gwely, a'i fod "yn cael rhyw gymmaint o hyfrydwch, ond hyfrydwch pruddaidd," wrth ei wneyd. Yr oedd ei feddwl yn hynod o isel yn nghylch ei achos tragywyddol pan y gwelsom ni ef.

J. J.—"Peth ofnadwy," meddai, "ydyw edrych ar dragywyddoldeb oddiar ei ymyl, a gwybod y byddwch chwi ynddo yn fuan iawn."

O. T.—"Ie," meddem ninau, "heb fod mewn heddwch â'r Duw sydd mawr yn ei lanw, ac y mae yr oll o hono dan ei lywodraeth; ond os mewn heddwch ag ef, yn Nghrist Iesu, nis gall fod dim ynddo, pa mor ddieithrol bynnag, a all wneyd un niwed i chwi. Ac nid rhaid i chwi ofni dim: yr ydych chwi er ys blynyddoedd lawer mewn cymmod â Duw, ac wedi dysgu tynu eich dedwyddwch o hono."

J. J.—"Yn wir, ni wn i ddim."

O. T.—"Wyddoch chwi ddim? Mi wn i o'r goreu. Allech chwi byth feddwl byw, pe caech chwi fyw ar y ddaear am fil o flynyddoedd, ond gan geisio ei garu ef ac ufuddhau iddo?"

J. J.—"Na, nid wyf yn meddwl y gallwn."

O. T.—"Wel, dyna ddigon o brawf fod yr elyniaeth at Dduw wedi ei ladd ynoch chwi: ac nid ydyw hyny yn ddim ond ffrwyth heddwch cyfreithiol rhwng Duw a chwithau. Nid ydych yn meddwl y gall efe fod yn elyn i chwi, a chwithau yn ei garu yntau."

J. J.—"Methu gwybod yr wyf fi a wyf yn ei garu ef."

O. T.—"Yn wir, y mae yn rhyfedd iawn i mi, yn y fan yma, fyned i bregethu i chwi; ond ceisiwch wneyd eich hunan yr hyn a fuoch chwi yn ei gymhell gannoedd o weithiau ar ereill, ac a fuoch chwi yn wneyd eich hunan filoedd o weithiau cyn hyn,—edrychwch allan o honoch eich hunan, ar Grist Iesu, yn yr hyn ydyw i bechadur fel y cyfryw; a chymmerwch dystiolaeth y Duw mawr am dano yn yr efengyl, yn wirionedd hollol yn ei pherthynas â chwi eich hunan. Peidiwch â cheisio tynu cysur o'r hyn ydych chwi, ond o'r hyn ydyw Iesu Grist ar eich cyfer. Cofiwch bennill yr hen Williams:—

> 'O fy enaid gwan, nac ofna, nid gorchfygu unrhyw fai,—
> Na gorchfygu cant o feiau, rwystra i'th ysbryd lwfrhau';—

Wel, pa beth a wnaf? rhaid i mi gael rhywbeth; yr ydwyf fi ar suddo i'r dyfnderau:—

> 'Gwel'd y gras sydd yn yr Iesu, mor ddigonol yw i'r gwan,
> Yn nyfnderoedd angeu creulawn, ddeil fy ysbryd llesg i'r lan.'"

J. J.—"Ie," meddai, "ie, dyna hi; pe bawn i yn medru gwneyd fel yna. Nid oes dim arall i'w wneyd. Rhaid i mi orphwys ar Iesu Grist wedi ei wneyd gan Dduw i bechadur. Ond fe fyddai yn dda genyf pe byddai yn fwy goleu arnaf fi."

O. T.—"O, fe ddaw y goleu, ond i chwi roddi digon o ymddiried ynddo ef, ac mi a obeithiaf y tŷr y wawr yn fuan arnoch."

Cawsom lawer o ymddyddan âg ef o'r nodwedd yma: eithr mewn cryn gyfyngder yr ydoedd pan y gadawsom ni ef, a'i feddwl megis yn ymsefydlu ar bwysigrwydd annhraethol yr achos rhyngddo â Duw, ond heb allu ymlonyddu yn hollol yn nhrefn yr efengyl ar ei gyfer; neu, yn hytrach, yn ofnus am wirionedd ei gysylltiad ei hunan â hi. Yr oedd, yr un pryd, yn llawn awydd am gael gwellau, er mwyn myned trwy y gwledydd, gydâ mwy o ddifrifoldeb nag erioed, i rybuddio dynion o'u perygl, ac i'w hannog i wneyd y brys mwyaf i ymbarotoi erbyn tragywyddoldeb.

Yn mhen tuag wythnos wedi i ni ymweled âg ef, fe dderbyniodd y llythyr canlynol oddiwrth y Parch. Moses Jones, wedi ei ysgrifenu ganddo dros Gyfarfod Misol Lleyn ac Eifionydd:—

"DINAS, *Mehefin* 17, 1857.

"ANWYL, ANWYL FRAWD,

Yr wythnos ddiweddaf, cynaliasom ein Cyfarfod Misol tlawd ac unig, yn Uwch y Mynydd wledig. Coffäwyd yno am

eich enw anwyl chwi, gan fynegi am eich cystudd blin; yr hwn hysbysiad a driniai linynau ein calonau, canys yr oeddem oll 'yn athrist iawn oblegyd i ni glywed eich bod chwi yn glaf.' Rhoddasant arnaf fi orchwyl anhawdd, sef anfon atoch eu teimladau gofidus yn achos eich afiechyd, a'ch gofid chwi a'ch teulu, sydd yn awr yn yfed y gwpanaid chwerw hon. Anmhosibl *lapio* yn y papurun hwn, y teimladau gofidus a ddangosai y frawdoliaeth egwan yno, wrth ddeall eich baich. Cynghorem ein gilydd i fyned at Dduw mewn gweddi daer drosoch, am gymhorth i chwi a'ch anwyl briod yn y ffwrn danllyd hon; ac i daer erfyn a gaem chwi allan o'r ffwrn, i'r ochr agosaf i Lëyn, fel aur wedi ei buro. Os na chawn hyny, cawn 'dristwch ar dristwch.' Credwn mai 'gyda Duw pob peth sydd bosibl.' Ie, ni fydd dim yn anhawdd iddo. Deallwch, fy mrawd, mai llais y Cyfarfod Misol yn cofio atoch, yn teimlo drosoch, yn gweddïo yn eich achos, ac yn gobeithio eich gweled a'ch clywed flynyddoedd lawer eto, ydyw swydd y papurun hwn. Buont annoeth, dichon, yn newisiad lluniwr ei neges; ond y mae yn eithaf cywir, mi a wn. Dibenaf yn awr rhag eich blino. Cymhorth lawer a gaffo eich anwyl deulu oll, i 'ymostwng dan alluog law Duw'; i gusanu y wialen; ac i ddywedyd,—'Ewyllys yr Arglwydd a wneler.' Gall, a gwna yr Anfeidrol, rwymo briwiau y galon. O! fendigaid *ffiledau!* wedi eu trochi yn ngwaed calon ein priod, i rwymo briwiau calonau ei frodyr. Bendigedig byth fyddo ei enw anwyl ef! 'Yr addewidion mawr iawn a gwerthfawr,' yr wyf yn cyfeirio atynt.

Ydwyf, anwyl frawd,

Dros Gyfarfod Misol Lleyn ac Eifionydd,

Eich brawd gwael,

MOSES JONES."

Yr oedd Mr. John Jones yn gosod gwerth mawr ar y datganiad hwn o deimladau ei hen gyfeillion yn Lleyn ac Eifionydd. Ond heblaw y llythyrau swyddogol a dderbyniwyd ganddo, fe'i cyfarchwyd gan liaws o'i gyfeillion â llythyrau caredig, y rhai a barasant sirioldeb mawr iddo. Bydd yn dda gan ein darllenwyr gael dau o honynt, yr un oddiwrth Mr. Roberts, Amlwch, a'r un oddiwrth Mr. Rees. Y mae yr olaf, yn enwedig, yn ddernyn gwerthfawr annghyffredin. Dyma lythyr Mr. Roberts:—

"AMLWCH, *Mehefin* 16, 1857.

"ANWYL GYFAILL,

Clywswn er ys amser yn ol fod eich iechyd yn wywedig, ond ni ddychymygais, hyd yn ddiweddar, i chwi fod mewn un ystyr mewn perygl. Hefyd, trwy ymddyddan â'ch brawd, yr wyf yn awr yn deall eich bod, erbyn hyn, lawer yn well. O hyn yr wyf yn cyd-lawenhau â miloedd ereill, a dymunwn gyd-ddiolch i Dduw am estyniad ar eich einioes werthfawr, ac hefyd estyniad cysuron eich prïod, a'ch plant, &c. Gobeithiaf hefyd y pery canlyniadau eich gwaredigaeth lawer yn hwy na phymtheng mlynedd.

Cynnyrchodd coffadwríaeth o'ch enw yn mhlith y brodyr yn gynnulledig yn Llangefni, deimladau pryderus a serchog iawn; a hwyrach na fuasai yr Arglwydd yn peri cynnyrchiad y fath deimladau, oni b'ai fod ganddo fwriad i estyn eich dyddiau, ac i wneyd gweddill eich oes yn ddefnyddiol ac yn happus iawn.

Gobeithiaf y caf glywed yn fuan am eich adferiad perffaith, ar ol eich cystuddd dwys; ac y gellwch ddywedyd yn ddibetrus,—'*Ni'm colledwyd mewn dim.*' Pe gallech ddyfod i aros dros ychydig yn arogl mwg brwmstanaidd Mynydd Parys, byddai yn llawen genym eich gweled, a cheisio gweini arnoch; ac hwyrach y byddai yn gryfder i chwithau. Pa fodd bynag, dymunaf i chwi dderbyn hyn o nodyn trwsgl fel arwydd o'm serch diragrith tuag atoch, a'm bod o'm calon yn dymuno eich dedwyddwch, a hir ddyddiau da i chwi. Mae fy nheulu yn uno â mi mewn côf serchog atoch chwi, ac at Mrs. Jones, a'r eiddoch oll. Bydded y 'cyfaill a lŷn yn well na brawd,' yn '*Frawd*' hefyd i chwi yn eich 'caledi.'

Ydwyf, anwyl frawd,

Eich cyfaill anwiw ond cywir,

WILLIAM ROBERTS."

"PARCH. J. JONES."

Parhau yn wael, ac yn amlwg yn gwaelu fwyfwy, yr oedd Mr. John Jones yr wythnosau hyn, a'i feddwl hefyd yn parhau yn hynod o isel. Yn mhen tua phythefnos, fel y gwelir wrth y dyddiad, ar ol derbyn y llythyr uchod oddiwrth Mr. Roberts, fe'i cyfarchwyd gan Mr. Rees, trwy y llythyr canlynol:—

"PORTHAETHWY, *Mehefin* 30, 1857.

"ANWYL GYFAILL,

Mae yn ofidus i mi glywed, o bryd i bryd, mai parhau yn wael yr ydych. Meddylais unwaith am ddyfod hyd Dalysarn i ymweled â chwi; ond meddyliais wedi hyny y gallaswn fod o flinder a niwed i chwi yn eich gwendid presennol; a bod yn bosibl y byddai gair o ymddyddan â chwi, trwy gyfrwng hyn o lythyr, yn fwy diogel i'ch iechyd, ac, hwyrach, yn llawn mor fuddiol a chysurol i'ch meddyliau. Ychydig sydd genyf i'w ddywedyd: ac y mae arnaf ofn, yn yr ychydig hyny, rhag i mi fod yn debyg i un 'yn canu caniadau i galon drist.' Clywais eich bod yn awyddus am estyniad einioes, ac am 'un awr' yn rhagor i weithio yn Ngwinllan Iesu Grist. Gobeithiaf fod hyny yn arwydd mai dyna yw ewyllys yr Arglwydd; ac y cewch chwi eto, fel Hezeciah, 'fyned i fynu i dŷ yr Arglwydd,' a 'gweled yr Arglwydd Iôr,' un waith yn rhagor, 'yn nhir y rhai byw.' Ond peidiwch a thwyllo eich hunan. Os cewch chwi fyw yn hwy, a gweithio ychwaneg, rhaid i chwi farw yn y diwedd yn 'was anfuddiol,' heb weled eich hunan wedi gwneuthur dim. *Ei waith ef fydd ymffrost pechadur byth.* Mae yn amheus genyf, weithiau, nad yw yr awydd a deimlwn am fyw yn hwy, mewn trefn i wneyd ychwaneg dros Iesu Grist, yn ddim yn y byd, wedi y cwbl, ond natur yn methu cymmodi â marw; ïe, hwyrach, yn ddim ond yr hen Adda ddeddfol ynom, yn methu marw iddo ei hun, a gollwng ein hysbryd o'i grafangau, i ymlonyddu dros byth yn iachawdwriaeth gras,—cyfiawnder a haeddiant yr Ail Adda.

A oes arnoch chwi ofn ymddangos ger bron Duw yn y byd tragywyddol? Wel, fy anwyl frawd, mi a allaf gydymdeimlo â chwi; yr wyf finnau hefyd yn ofni ac yn crynu wrth feddwl am hyny. Ond gadewch i mi ofyn i chwi un gair:—Oni buoch chwi lawer gwaith, cyn hyn, o ran eich meddwl a'ch cydwybod, yn mhresennoldeb y Duw mawr? Wel, a oedd efe yn ddychryn i chwi yr amserau hyny? Ai cythryblu y byddai eich ysbryd yn ei ŵydd ef? O, nage; nage. Onid y Duwdod mawr yn Nghrist oedd y tegwch mwyaf a welodd eich enaid erioed? Ni byddai pelydrau ei ogoniant yn angeu i ddim yn eich mynwes ond ei llygredigaeth. Chwi brofech mai 'digonolrwydd llawenydd sydd ger ei fron,' a bod 'digrifwch,' ïe, i bechadur, 'ar ei ddeheulaw yn dragywydd.' Os felly, anwyl gyfaill, Paham yr arswydwch

chwi ymddangos ger ei fron yn y byd tragywyddol? Yr un un a fydd efe yno; a'r un effeithiau a gynnyrcha ei bresennoldeb ef yn eich ysbryd chwithau. Yr holl wahaniaeth a brofwch chwi ydyw, y bydd gogoniant ei ddaioni yn ymnoethi yn fwy o flaen eich dirnadaeth y pryd hyny, a'ch ysbryd, yntau, wedi colli ei holl wendid, ei dywyllwch, a'i wamalrwydd, ac yn ymsefydlu mewn cadarn a dwfn amgyffred ar y gogoniant hwnw. Yr oedd yr Arglwydd Iesu yn bwriadu ein cysuro ni, wrth ddweyd y caem ni '*weled Duw*.' Y mae arnom ninnau ofn 'gweled Duw.' Oh! John bach, peidiwch a gadael i gydwybod euog, a'r diafol, ro'i camddarluniadau o'r Duw mawr o flaen eich meddyliau chwi. Byddwch *siwr*, pan na byddo cofio am dano yn peri dim ond cythrybledd yn eich ysbryd, na bydd ei holl *garacter* ef ddim o flaen eich meddwl chwi yr amser hwnw. Nid ar Dduw *yn Nghrist* y byddwch chwi yn syllu. Nid y Tad fyddwch chwi yn ei weled. Mae hwnw wedi eich caru chwi; a'ch caru '*felly*,' 'fel yr anfonodd efe ei uniganedig Fab i'r byd, i fod yn iawn dros eich pechodau,' fel y gallai, yn anrhydeddus iddo ei hun, foddhau ei gariad, a 'chyflawni boddlonrwydd ei ddaioni,' yn eich trag'wyddol ddedwyddwch.

Mae ofni un fel hyn yn *slafaidd* yn anmhrïodol iawn. Un i ymhyfrydu ynddo ydyw, ac i hiraethu am ei weled. 'Efe,' medd y gair, 'a edwyn ddyddiau y rhai perffaith.' Mae yn adnabod y 'dyddiau' hyn o gystudd a thrallod arnoch chwithau: ac yn alluog i roddi 'nerth' i chwi yn ol y 'dydd,' a pherffeithio eich amynedd trwy eich dyddanu. Na fyddwch yn rhy awyddus am fyw nac am farw; am gael 'aros yn y corph,' nac am ymadael i 'fod gydâ'r Arglwydd.' Ond yn unig dymunwch farw i'ch ewyllys eich hunan. 'Bydded eich lwynau wedi eu hymwregysu,' a'ch 'lampau yn oleu,' yn disgwyl yr alwad, ac yn barod i ufuddhau iddi:—'Wele fi yn ei law; gwnaed â mi fel y byddo da yn ei olwg.'

Bydded i 'dangnefedd Duw, yr hwn sydd goruwch pob deall,' 'gadw eich calon a'ch meddwl' chwi, a'ch gwraig, a'ch teulu, yn eich dydd hwn o gystudd a thrallod. Amen.

Yr eiddoch yn serchog a chydymdeimladol,

HENRY REES."

**Parodd derbyniad y llythyrau hyn sirioldeb mawr i'w feddwl. Yr oedd, yn enwedig, yn gwerthfawrogi y llythyr hwn oddiwrth Mr. Rees.**

Darllenodd ef drosodd, a throsodd drachefn, amrywiol weithiau; a cheisiai, gydà dwysder a difrifwch mawr, weithio allan ei gynnwysiad i ymarferiad yn ei gysylltiad âg ef ei hunan. Ar adegau byddai yn teimlo ei hunan yn cael ei alluogi i hyny: ond, gan amlaf, yr oedd yn methu; a'r prydiau hyny byddai yn eiddigeddu yn ddirfawr nas gallasai ymdawelu yn gwbl yn nhrefn yr efengyl, fel yr oedd efe yn credu fod Mr. Rees yn wastadol yn gallu gwneyd.

Yr oedd yn gwaelu yn brysur, yr wythnosau hyn: y cylla yn gwrthod braidd bob ymborth, a'r hyn a gymmerid ganddo yn pallu aros ond ychydig arno. Yr oedd, erbyn hyn, yn amlwg iddo ei hunan, ac i'w deulû, nad oedd un gobaith am ei wellhâd. Yr un pryd, yr oedd yn cael, yn mis Gorphenaf, ambell ddiwrnod ag y teimlai yn llawer esmwythach, ïe braidd yn obeithiol. Weithiau, fe gâi ddau neu dri o'r cyfryw ddyddiau yn olynol; ac, ar amserau felly, yr oedd ei feddwl yn sirioli, a gobaith adferiad yn dyfod yn o gryf. Eithr nid oedd y cwbl ond siomedig. Yr oedd y drwg yn aros; ac hyd yn nod ar y dyddiau esmwythaf, yn ymgryfhau; ac yn mhen ychydig amser, fe dorai allan drachefn mewn ymosodiad newydd, a'i gadawai ef yn llawer gwanach nag oedd o'r blaen. Yna fe deimlai, gydà dwysder, fod marw yn nesau; a byddai ei bryder yn nghylch ei achos mawr yn ymadnewyddu. Yr oedd yr arswydau, a deimlasai unwaith, yn awr wedi ei adael: ond yr oedd yn methu cael ei hunan i'r tawelwch a ganiatâi orfoledd i'w feddwl; a byddai yn syrthio yn fynych i ddigalondid mawr.

Ar ddydd Gwener, Awst 7, fe aeth ei frawd, Mr. David Jones, i ymweled âg ef, pryd y cymmerodd yr ymddyddan canlynol le rhyngddynt; yr hwn a ysgrifenwyd gan ei frawd yn ddioed, wedi iddo gyrhaedd ei gartref yn Nghaernarfon, tra yr oedd y cwbl yn hollol fyw yn ei gôf. Yr ydym yn teimlo wrth ei gyflwyno ger bron y darllenydd ein bod yn ei arwain i le cysegredig—at wely angeu, ac i mewn i deimladau calon, un o'r gweision galluocaf a ffyddlonaf i Iesu Grist, a fu yn ei wasanaeth erioed, ac un a alwyd, yn mhen ychydig ddyddiau ar ol hyn, i "mewn i lawenydd ei Arglwydd." Ond ni a wnaem gam mawr â'r "*Cofiant*" wrth beidio ei gyhoeddi. Rhaid i'r darllenydd gofio, mai yn y dull gwledig, rhydd, a charuaidd,—ti a thithau,—a arferid ganddynt pan yn blant yn Nolyddelen, y byddai y ddau frawd yn cyfarch eu gilydd bob amser, ac hyd ddiwedd eu hoes, ac felly yn yr ymddyddan hwn. Wedi ymofyn am ansawdd ei iechyd, a thipyn o siarad am hyn a'r

llall, dyna Mr. John Jones yn dechreu,—"Wel, Dafydd bach, yr wyf fi yn meddwl y rhaid i mi farw yn bur-fuan. Rhyw deimlad sobr ofnadwy yw bod yn ymyl y byd tragywyddol. Mae meddwl am fyned i'r byd mawr tragywyddol bron a fy llethu. Y mae yn beth ofnadwy iawn."

D.—"Ydyw, fy mrawd, y mae yn beth ofnadwy iawn myned i'r byd tragywyddol; ofnadwy o druenus i'r annuwiol, mae'n wir; ond y mae yn ofnadwy o ddedwydd i'r duwiol. Nid oes genym ni yr un amgyffred am y 'tragywyddol bwys gogoniant' sydd ger bron yr Arglwydd Iesu."

J.—"Yr wyf fi yn ofni nad wyf yn dduwiol. Y mae rhywbeth mawr iawn mewn bod yn barod. Wyt ti yn meddwl, Dafydd bach, fy mod i yn dduwiol?"

D.—"Ydwyf, fy anwyl frawd; yr wyf fi yn meddwl dy fod di yn dduwiol. Yr wyf yn credu hyny yn ddiysgog am danat. A mwy, mi a wn dy fod di yn dduwiol. Nid ydyw dy fod di yn dy ofni dy hun, yn newid dim ar fy meddwl i am ddiogelwch dy gyflwr."

J.—"Mae fy ngwraig, a fy mhlant, yn meddwl felly am danaf; ac yn bur benderfynol hefyd fy mod i yn dduwiol. Ac y mae o gryn bwys cael tystiolaeth dda gan y rhai sydd yn adwaen dyn oreu. A fy ngwraig a fy mhlant sydd wedi cael y fantais oreu i fy adnabod innau. Ac yr wyt tithau o'r un meddwl â hwynt, fy mrawd bach, ac yn lled sicr hefyd?"

D.—"Ydwyf; yr ydwyf yn hollol sicr yn fy meddwl. A phe buasai hyny yn ateb i ryw ddiben, mi a fuaswn yn barod i gymmeryd fy llw dy fod di yn heddwch Duw: gan fy mod yn dy adnabod yn dda er ys llawer blwyddyn; ac wedi cael ynot *bob amser* yr hyn y mae gair Duw yn eu dangos yn nodau dyn duwiol. A thi a wyddost yn dda dy hunan am y cymundeb a fu rhwng dy enaid a Duw, laweroedd o weithiau."

J.—"A wyt ti yn meddwl, Dafydd bach, y caf fi fyned i'r nefoedd at yr Arglwydd Iesu?"

D.—"I ba le arall yr âi di, fy anwyl frawd, gan fod dy bethau di yno er ys llawer dydd? Os nad âi di i'r nefoedd, John, mae'n rhaid mai pur ychydig o blant Adda sydd yno eto. Ni a welsom rai crefyddwyr, a fuant byw yn lled anochelgar, yn rhoddi rhyw arwyddion ar eu gwely angeu eu bod yn debyg o fyned i'r nefoedd. Ac y mae hyny yn gysur i ni wrth feddwl am danynt, ac yn gymhorth i ni obeithio nad aiff ein 'llafur yn ofer yn yr Arglwydd.'"

J.—"Mae yn wir nad yw yn un ymffrost i ni ddywedyd ein bod yn byw yn nes i'r gwirionedd na llawer o grefyddwyr. Mae cydwybod dyn yn dywedyd hyny. Ond yr wyf fi yn isel iawn fy meddwl, ac yn bur ddigalon."

D.—"Bum i yn cael fy nerthu o wendid lawer gwaith, fy mrawd, wrth feddwl am barodrwydd yr Arglwydd i achub pechadur, mor barod, fel ag i anfon ei Fab i farw 'dros yr annuwiol.' Rhaid y gwna y Duw hwnw ofalu am duedd wan o gariad at ei Fab, neu awydd gwan am fyw yn dduwiol. Rhaid y gwna ei feithrin a'i ddwyn i addfedrwydd."

J.—"Fe wnaeth Mr. Henry Rees, yn ei lythyr ataf, ddywedyd yr un peth. Y mae yn cyfeirio ynddo, yn felus iawn, at gariad a graslonrwydd yr Anfeidrol. Ac mi a gefais lawer o gynhaliaeth a chysur oddiwrth ei lythyr. Ond byddaf yn gweled fy hun yn mhell iawn yn ol wrth ddal fy hun yn ymyl rhai duwiol iawn. Y mae Mr. Rees, yn ei lythyr ataf, yn rhoddi ar ddeall i mi ei fod ef wedi rhoddi ei hunan i ewyllys yr Arglwydd, i alw am dano pan y gwelo yn dda. Yr wyf finnau yn teimlo gafael gref iawn genyf mewn byw, a chryn wrthwynebiad i farw."

D.—"Ie, fy anwyl frawd; ond y mae duwiolion yn teimlo yn dra gwahanol wedi dyfod i'r amgylchiad o farw, rhagor wrth edrych arno oddi draw. Mae yn ddiammeu genyf y buost dithau lawer gwaith yn teimlo dy hun yn ymollwng yn dawel i ewyllys yr Arglwydd, ac yn foddlawn iddo wneuthur fel y mynai â thi. Ond wedi dyfod at angeu, y mae bywyd yn ymwingo am ryddid. Rhyfel yw marw i bawb, y duwiol fel annuwiol. Fel y dywedodd yr Apostol Paul,—'Yn yr hyn nid ydym yn chwennych ein diosg.'"

J.—"Ie, onide? Peth arall ydyw dyfod at angeu; y mae yn brofiad gwahanol iawn. Y mae profiad o farw yn beth newydd ryfeddol. Do, mi fum innau lawer gwaith yn teimlo fy hun yn hollol dawel i ewyllys yr Arglwydd, ac yn meddwl y buaswn yn foddlawn iddo alw am danaf pan y gwelai yn dda wneuthur hyny. Mae yn debyg fod llawer o bobl dduwiol, ar ol dyfod i'r amgylchiad, wedi bod yn awyddus am gael byw yn debyg i minnau."

D.—"Fy anwyl frawd, y mae yn naturiol i ddyn ddal gafael yn ei fywyd, a theimlo gwrthwynebiad i farw ynddo ei hun. Ac nid yw hyny yn un prawf fod dyn yn anfoddlon i ewyllys Duw, ei fod yn teimlo yn

erbyn yr amgylchiad o farw. Dichon fod dy galon yn ymdawelu i ewyllys Duw, ac yn foddlawn iddo wneuthur â thi fel y gwelo yn dda, er teimlo gwrthwynebiad i'r amgylchiad o farw. Mae rhywbeth felly i'w weled yn ngweddi yr Arglwydd Iesu :—'Os yw bosibl, äed y cwppan hwn ymaith oddiwrthyf'; ac eto,—'Dy ewyllys di a wneler.'"

J.—"Mae hyny yn bod yn sicr. Yr wyf finnau yn meddwl nad wyf yn grwgnach yn erbyn yr Arglwydd, ond fy mod yn ymdawelu iddo wneuthur â mi fel y myno. Yr wyf yn teimlo yn rhyfedd iawn, Dafydd bach. Nid oes genyf fi ddim. Nid yw fy mhregethau yn ddim, yn ddim yn y byd. Yr wyf yn gweled y cwbl oedd genyf wedi myned o'r golwg."

D.—"Da iawn: fel yna y mae hi i fod, fy anwyl frawd. Fel y gwyddost yn eithaf da, nad oes dim i fod am fywyd ond 'Iesu Grist, a hwnw wedi ei groeshoelio.' Nid oes dim i fod rhwng pechadur a Iesu Grist. Ni thal fod cymmaint a thew pregeth rhyngot ti a'r Maen a sylfaenwyd yn Seion. Felly y dywedodd yr Apostol Paul,—'Ac y'm cair ynddo ef, heb fy nghyfiawnder fy hun,'—heb ddim. Mae yn burion dy fod di yn edrych ar dy bregethu yn ddim, ond nid felly y mae yr Arglwydd Iesu yn edrych arno. Gâd di y cyfan i'w ofal ef, yr hwn a ofala am ddwyn i ddiogelwch ffrwyth dy lafur yn ngwaith y weinidogaeth. Mae rhyw air yn dweyd,—'Canys nid yw Duw annghyfiawn, fel yr annghofio eich gwaith, a'r llafurus gariad a ddangosoch tuag at ei enw ef."

J.—"Ie, ïe; felly y mae hi i fod; felly y mae hi yn ogoneddus," meddai, dan wenu ac ymloni. "Yr wyf fi wedi meddwl y gallai fod fy nghlefyd o natur sydd yn tueddu i fy ngweithio yn isel fy ysbryd, gan ei fod ar fy iau. Beth wyt ti yn feddwl am hyny, fy mrawd?"

D.—"Ydyw y mae felly, yn ddiammeu. Mae gan y corff ddylanwad mawr ar y meddwl. Yr ydwyf fi yn gwybod i ti gael llawer o gymdeithas â'r Arglwydd; ond gwyddost ti dy hun am lawer mwy. Ac nid wyt, fy anwyl frawd, yn meddwl felly am yr Arglwydd, y gwnai roddi ei gymdeithas i ti tra yr oeddit yn iach ac yn gallu gweithio drosto ar faes yr efengyl, ac yna dy adael wedi i ti fyned yn wael, ac i fethu gweithio. Fe fyddai yn beth newydd iawn iddo wneuthur felly; ac fe ymddygai yn annhebyg iawn iddo ei hun."

J.—"Na wna yr Arglwydd mo hyny; na wna;"—meddai, dan wenu ac ymfywiocau. "Yr wyf fi yn gwybod i mi gael llawer iawn o gym-

deithas â Duw lawer gwaith. Yr wyf yn eithaf sicr o hyny. Ond y mae arnaf ofn myned i'r byd tragywyddol."

D.—"Fy anwyl frawd, nid wyt yn ammeu gwirionedd dy grefydd. Meddwl am yr hyn a fu rhyngot â'r Arglwydd am flynyddau."

J.—"Nac ydwyf; yr wyf yn meddwl nad ydwyf yn ammeu gwirionedd fy nghrefydd. Yr wyf fi yn meddwl yn lled sicr fod genyf heddwch tuag at Dduw. Ond y mae y byd tragywyddol yn ymddangos i mi mor ddieithrol ac mor ofnadwy i fyned iddo."

D.—"Fe fum i yn meddwl lawer gwaith, fy mrawd, fod dyn duwiol lled dywyll, a byr ei amgyffred, yn marw yn llawer mwy esmwyth na dyn duwiol goleuedig, o alluoedd meddwl cryfion. Nid yw y byr ei amgyffred yn meddwl dim ond am Iesu Grist, ac yn mlaen ag ef i'r byd mawr, heb ofalu dim yn ei gylch. Ond y mae y meddwl galluog yn ceisio ymsynied am y byd mawr, ac yn ymdeimlo â'i ddieithrwch, ac â mawredd ei ryfeddodau."

J.—"Yn wir, mi fum innau yn meddwl peth felly, a rhaid mai felly y mae hi hefyd, Dafydd. Yr wyf fi yn edrych ar angeu yn rhywbeth ofnadwy iawn. Nis gwn pa fodd i oddef ei boenau, nac i feddwl am fyned drwyddo. Nis gwn pa beth a wnaf yn wir."

D.—"Fy anwyl frawd, paid a meddwl am angeu; paid a gofalu dim yn ei gylch; na siarad gair am dano. Ni waeth i ti beth a fyddo angeu; nis gall wneuthur i ti ddim niwed; na all yn wir, i'r radd leiaf. Gâd rhwng yr Arglwydd Iesu âg angeu, gan fod yr amgylchiad yn gwbl yn ei law ef. Pa niwed a all angeu wneyd i ddyn duwiol? Ac y mae yn sicr i ti dy fod di yn dduwiol."

J.—"A ydyw y bobl yn gyffredin, fy mrawd, yn meddwl felly am danaf, fy mod yn dduwiol?"

D.—"Meddwl? Ydynt: y mae pawb sydd yn dy adwaen yn credu hyny yn hollol am danat. A'r rhai sydd yn dy adwaen oreu sydd sicraf eu meddyliau am danat, dy fod yn dduwiol."

J.—"Wel, y mae hyny yn rhywbeth: nid ydynt hwy ddim yn barnu felly am bawb, nac am bob un sydd yn proffesu crefydd. Yr wyf fi yn ofni yn fawr y caf fy nghadw yn hir fel hyn yn fy mhoenau. Os gwel yr Arglwydd yn dda beidio a fy ngadael yn faith i ddihoeni ymaith. A wyt ti yn meddwl y caf fi ngadael yn hir fel hyn?"

D.—"Nid oes genyt ti ddim i'w wneuthur, fy anwyl frawd, ond gadael dy hun yn dawel i ewyllys yr Arglwydd; gadael iddo ef gael ei

ffordd a'i amser. Efe a wyr oreu pa beth i'w wneuthur. Y mae efe yn cymmeryd yr holl amgylchiad yma yn ei law ei hun. Nid oes genyt ti ddim i'w wneuthur ond ymollwng yn dawel i ewyllys Duw. Y mae efe am weithio y cyfan yn awr. Y cwbl sydd genyt ti i'w wneuthur yn bresennol, yw,—'sefyll ac edrych ar iachawdwriaeth yr Arglwydd.'"

J.—"Ie, onide, Dafydd bach? peidio a phoeni fy hun felly yw y goreu i mi; gadael y cwbl yn dawel ar yr Arglwydd, i wneuthur â mi fel y myno; onide, fy anwyl frawd?"

D.—"Ie, fy mrawd anwyl, ymollwng yn dawel i ewyllys yr Arglwydd, heb ofalu am ddim."

Fe fu yr ymddyddan hwn â'i frawd yn hynod o fendithiol i Mr. John Jones. Yn mhen ychydig ar ol hyn, fe ddaeth yn gwbl dawel ei feddwl gydâ golwg ar ei achos mawr; a pharhäodd felly hyd y diwedd, gan fwynhau ar adegau raddau helaeth o "orfoledd yr iachawdwriaeth." Ar y Llun a'r Mawrth canlynol i'r ymweliad hwn o eiddo ei frawd ag ef, yr oedd Cyfarfod Misol Arfon yn cael ei gynnal yn y Bontnewydd, gerllaw Caernarfon; a chyn cychwyn yno, fe alwodd ei gyfaill a'i gymmydog, y Parch. William Hughes, Talsarn, gydâ Mr. John Jones, er mwyn gwybod pa fodd yr ydoedd, ac i edrych a oedd ganddo ryw genadwri at y Cyfarfod Misol. Ac y mae yn dda genym y gallwn gyflwyno ger bron ein darllenwyr, y nodyn, a ysgrifenwyd gan Mr. William Hughes y diwrnod hwnw, yn cynnwys sylwedd yr hyn a adroddwyd ganddo i'r frawdoliaeth yn y Cyfarfod Misol. Dyma yr adroddiad:—

"Bum y boreu heddyw am ychydig funudau gydâ'r brawd, Mr. John Jones. Dyma ei eiriau wrthyf:—'Cofiwch fi yn garedig at y Cyfarfod Misol unwaith eto. Yr ydwyf yn hollol dawel, yrŵan, i ewyllys Duw. Bum yn wahanol: yn methu yn lân ag ymdawelu. Cefais fy nghuro yn fawr gan ofnau ac amheuon o bob math, yn yr afiechyd maith yr wyf wedi bod tano. Bydd yn dda ganddynt ddeall yn y Cyfarfod Misol ei bod yn bur oleu ar fy meddwl yn bresennol. Yr wyf yn gallu cydio yn y gair hwnw,—"Er nad yw fy nhŷ i felly gyd â Duw; eto cyfammod tragywyddol a wnaeth efe â mi, wedi ei luniaethu yn hollol ac yn sicr." Ni ddemnir byth mo honof: na wneir.'"

W. HUGHES."

*Awst* 10, 1857.

Fe dderbyniwyd yr adroddiad hwn gydâ llawenydd mawr yn y

Cyfarfod Misol. Yr oedd pob gobaith am ei adferiad, erbyn hyn, wedi ei golli o feddyliau ei gyfeillion; ac, yn hollol hyderus y byddai marwolaeth yn elw iddo ef, yr oedd eu dymuniadau braidd yn gwbl, gydâ golwg arno, wedi eu cyfyngu i'r hyn oedd yn awr, dybygid, wedi ei gael,—ar i'r wawr dywynu ar ei feddwl, ac ar iddo ei chael yn oleu yn y glyn. Fe anfonwyd cofion mwyaf serchog yr holl frodyr yn y Cyfarfod Misol ato, trwy Mr. William Hughes; gydâ datganiad o'u llawenydd fod ei ofnau a'i amheuon wedi cilio, a'i fod yntau, yn awr, yn gallu mwynhau tangnefedd yr efengyl; a'u dymuniad ar iddi fyned yn oleuach oleuach ar ei feddwl, o hyny hyd y diwedd. Un o'r dyddiau canlynol, fe alwodd Mr. William Hughes gydâg ef, i gyflwyno iddo y genadwri dros y Cyfarfod Misol: ac fe ddengys y llythyr canlynol, a anfonwyd gan Mr. William Hughes at Mr. Ellis James o'r Vaynol, pa fodd y derbyniwyd y genadwri ganddo:—

"COED MADOG, *Awst* 26, 1857.

"GAREDIG FRAWD,

Yr wyf, gydâ'r parodrwydd mwyaf, yn cydsynio â'ch cais, i'ch hysbysu am 'eiriau diweddaf' y Parch. J. Jones wrthyf. Wedi i mi fynegi teimlad cynhes y Cyfarfod Misol tuag ato, bu am ychydig yn ddistaw, fel yr oeddwn braidd yn meddwl ei fod heb fy neall. Yna, dywedodd,—'Ydynt: y mae fy mrodyr yn teimlo yn serchog iawn tuag ataf. Byddaf yn meddwl mai enwad ydyw y Methodistiaid a wna ddaioni mawr yn y byd. Y mae yn grymuso ac yn ymwellhau yn barhaus. Y mae y cyfansoddiad yn diogelu y meddiannau i'r amcanion y casglwyd hwynt, ac y mae hyny yn beth o bwys mawr. Y mae rhywbeth, hefyd, yn y cynnulliadau mynych sydd yn ein plith, yn tueddu i feithrin undeb a brawdgarwch. Gormod o ryw annibyniaeth, a diffyg llywodraeth, sydd yn difetha enwadau ereill yn y wlad yma. Yr wyf fi yn teimlo yn gynhes iawn at y Methodistiaid, ac yr wyf yn credu y defnyddia yr Arglwydd hwy i wneuthur llawer iawn drosto yn y byd. Eto nid ydyw Methodistiaeth heb ei diffygion; ond y mae y rhai hyny yn lleihau. Y mae y pregethu yn dda, ac yn gwella hefyd. Mae yn naturiol i ddyn ieuanc, a fydd wedi bod am flynyddoedd yn myned trwy gylch o astudiaeth athronyddol ac ymresymiadol, gyfansoddi ei bregethau mewn rhyw ffurf bynciol a thraethodol. Byddai yn dda pe byddai pregethu ein pobl ieuainc yn fwy

cyfeiriadol a chymhwysiadol. Fel yr ydym yn heneiddio, yr ydym yn gweled mwy o bwys mewn cymhwyso'r gwirionedd at y gydwybod.' Dyna sylwedd yr hyn a ddywedodd efe wrthyf. Yr wyf yn ystyried yr ychydig hyn yn wir werthfawr; fel y mae yn ddiammeu genyf y gwnewch chwithau hefyd. Yr oedd mor wan fel y mae yn dra rhyfedd iddo allu dywedyd cymmaint.

Yr oeddwn yn Ffestiniog y Sabbath diweddaf. Y mae y cyfeillion yno, fel chwithau yn y Graig, yn teimlo yn ddwys ar ei ol. Yn wir, nid oedd dim i'w glywed yn nhŷ y Capel, ond sôn am dano, ac adrodd ei bregethau. 'Y mae efe, wedi marw, yn llefaru eto.'

Yr eiddoch yn serchog,

WILLIAM HUGHES."

"MR. ELLIS JAMES."

Wedi iddi dywynu ar ei feddwl am ei achos ei hunan, daeth ei brïod at ei wely. Yr oedd hi, oblegyd ei gwaeledd ei hunan, heb ei weled er ys amryw ddyddiau. Eisteddodd hi ar ochr y gwely, â'i chalon ar ymdori wrth weled yr olwg wywedig oedd arno. Cymmerodd yntau afael yn ei llaw, a thynodd hi at ei fynwes; a gofynodd iddi, pa fodd yr oedd yn ymdeimlo; a chynghorai hi i ymdawelu, ac i ymostwng i'r llywodraeth fawr. Yna adroddodd iddi ansawdd ei brofiad ei hun, er pan y gwelsai hi o'r blaen, a'r hyn a wnelsai yr Arglwydd i'w enaid. Cyfeiriai at ei waith yn anfon ati hi i gael ei barn ar ei gyflwr; a'i fod yn credu mai effaith ei afiechyd oedd llawer o'r digalondid y buasai ynddo. Pa fodd bynnag, fod cofio yr hen gyfammod a wnelsai â'r Arglwydd, er ys llawer blwyddyn, yn Nolyddelen, wedi chwalu y niwl oddiar ei feddwl, a'i fod yn awr yn hollol hyderus na ddemnid mo hono byth. Annogai hi i roddi ei hymddiried yn yr Arglwydd, a bwrw ei holl ofal arno ef. Coffâi am ei dad ei hunan yn marw, gan adael naw o blant amddifaid i ofal yr Arglwydd; a'i fod ef wedi gofalu am danynt. "Yr un'un," meddai, "yw Duw eto." Sicrhâi i'w brïod y cai ei gyfarfod yn y nefoedd. Dyma y gymdeithas ddiweddaf iddynt â'u gilydd yn y byd hwn; ac y mae cofio yr amgylchiad yn dra effeithiol i deimladau y plant, sydd eto yn fyw, hyd y dydd heddyw. Yr oedd yn dra phryderus yn eu hachos hwy, ac yn defnyddio pob cyfleusdra, yn ol y nerth oedd ganddo, i'w hannog, uwchlaw pob peth, i ymroddi i grefydd. "Beth bynnag a wnei," meddai wrth Thomas,

"gweithia dy oreu yn ngwinllan Iesu Grist. Meddwl fwy am 'ymgyfoethi mewn gweithredoedd da,' nag yn mhethau y byd yma, ac am gynhyddu mewn crefydd yn fwy na dim arall. Dyna y cynnydd goreu o bob cynnydd." Tri diwrnod cyn ei farwolaeth, fe gynghorai ei fab hynaf yn ddifrifol:—"Cofia lynu gydâ chrefydd. Hwyrach dy fod di yn meddwl na wneis i ddim llawer gydâ'r byd yma; ond y mae crefydd o werth annhraethol, ac yn talu yn dda i mi heddyw, am yr holl lafur a'r drafferth a gymmerais gydâ hi; ac fe dal i tithau ond i ti ymroddi iddi o ddifrif. Cofia fod yn ofalus gydâ dyledswyddau crefydd yn dy dŷ dy hunan; a gosod dy ysgwydd yn dêg o dan arch Duw yn dy gymmydogaeth. Yr wyt ti," meddai, "wrth ymwneyd cymmaint âg amgylchiadau y byd hwn, yn nghanol llawer o demtasiynau, ac mewn perygl i annghofio y peth mwyaf: ond gofala am roddi y flaenoriaeth i grefydd, a chymmeryd rhan arbenig yn ei hachos hi, pa beth bynnag fyddo ar ol. Darllen lawer ar y Bibl; a darllen lawer ar waith GURNAL; fe fydd yn lles mawr i ti. Yr ydwyf fi yn awr yn sipian o hono yn fy ngwendid."

Yr oedd wyres fechan iddo,—merch henaf, a chyntafanedig ei fab hynaf,—wedi ei geni ryw ddeng niwrnod cyn hyn; a chan iddo awgrymu y dymunasai gael ei gweled, daethant â'r baban, ryw filltir o ffordd, ato; ac yr oedd ei fab,—tâd y plentyn,—yn awyddus iawn am iddo, os gallai, ei bedyddio. Ond dywedai ei fod yn rhy wan, ac yn rhy agos i farw i hyny, ac y gwnai rhyw un arall y gorchwyl hwnw; ond y dymunai ei chael, am unwaith, yn ei freichiau. Cyfodwyd ef, yn y gwrthbanau, i eistedd ar erchwyn y gwely; a rhoddwyd y baban iddo. Wedi iddo ei chael i'w freichiau, edrychai yn ddifrifol arni, a dechreuai weddïo drosti. Ystyr yr hyn a ddymunai ar ei rhan ydoedd, ar iddi gael bod yn aelod o gorph dirgeledig yr Arglwydd Iesu, a'i phlanu gan yr Arglwydd ei hunan yn ei dŷ. Yr oedd ei weled â'i law ddeheu ar ei phen, pan felly yn ei chyflwyno i'r Goruchaf, yn peri i'r teulu gofio am Jacob, wrth farw, yn rhoddi ei ddwylaw ar feibion Joseph, ac yn eu bendithio.

Nid ydym yn sicr pa un ai cyn ai wedi hyn, ond rywbryd yn yr wythnos ddiweddaf hon, fe alwodd am ei fab ieuengaf, David, at ei wely. Wedi iddo ddyfod, fe gydiodd yn ei law, gan ei dynu at y gwely, ac a'i cusanodd; ac a ddywedodd wrtho,—"Wel, fy machgen bach i, a wyt ti yn meddwl am danaf fy mod i yn dduwiol?" "Ydwyf,

fy nhad, yr ydwy' i yn gwybod," meddai yntau. "Beth wyt *ti* yn feddwl wneyd? A wyt ti yn bwriadu glynu gydâ chrefydd?" "Ydwyf, am byth," meddai yntau. "A fyddi di yn gweddïo, 'machgen i?" "Byddaf yn treio, fy nhad." "Beth fyddi di yn geisio gan yr Arglwydd, fy machgen bach i?" "Gofyn am ras ganddo; a gras, yrŵan, i beidio grwgnach, a bod yn foddlawn, a chydnabod ei law fawr ef yn hyn oll." "Ië; da machgen i. Y mae arnom ni eisiau gras mawr. A chofia lynu gydâ chrefydd hyd byth."

Un o'r dyddiau diweddaf hyn, cyfeiriai at ei oes weinidogaethol. "Yr wyf," meddai, "yn gweled llawer o waeleddau ynof fy hun. Ond yr wyf yn bur sicr fod fy amcan yn gywir, a hyny oedd, bob amser, cael pechaduriaid i ddiogelwch—eu tynu o'u gau lochesau at Iesu Grist. Mi a geisiais sefyll uwch ben y Beibl yn rhydd a diduedd heb gaethiwo fy meddwl o fewn unrhyw gylch sectaidd, ac yr wyf yn gallu adolygu yr egwyddorion a bregethais gydâ meddwl tawel, ac nid oes arnaf eisiau galw yn ol ddim a ddywedwyd genyf. Ac y mae yn dda iawn genyf am fy holl frodyr."

Daeth brawd crefyddol i edrych am dano. Yr oedd, erbyn hyn, yn wanaidd iawn, a'i gorph yn hynod o wywedig. Torchai lewys ei grys i fynu, ac edrychai ar ei fraich, a dywedai,—"Wel, wel, y mae hi yn wael iawn! Y mae y cnawd wedi curio! Ond, o ran hyny, y mae yna ddigon eto i'r pryfaid! Oes; oes. Ond y mae genyf amdo i'w roi am dano na phydra y bedd byth mo hono."

Ar y dydd Sadwrn, Awst 15, yr oedd yr arwyddion yn bur amlwg fod yr ymddattodiad yn nesau. Yr oedd ei boenau yn fawrion ac yn llymion iawn. Ond yr oedd mewn meddiant perffaith o'i synwyrau, ac yr oedd ei feddwl yn dra thangnefeddus. Sylwid gan y rhai oeddent o amgylch ei wely, ei fod braidd yn barhaus mewn gweddi, ac yn canmol ei Waredwr, wrtho ei hun. Gellid ei glywed yn fynych yn sibrwd,—"O! Iesu anwyl! O! Iesu anwyl! O! Waredwr bendigedig!" Y nos Sadwrn, y nos ddiweddaf y bu fyw, yr oedd brawd crefyddol o'r gymmydogaeth, o'r enw William Owen, yn ei wylied. Dymunai Mr. John Jones, ryw bryd yn y nos, arno orwedd ar y *sofa* oedd yn yr ystafell, a chysgu ychydig. Aeth yntau, a gorweddodd yno am beth amser. Ond yn fuan efe a gyfododd, ac a eisteddodd ar erchwyn y gwely, lle y gorweddai y claf. Ar hyny, cyfododd Mr. John Jones ar ei eistedd yn ei wely; ond, gan ei fod yn methu ymgynnal, dododd ei

ben i orphwys ar fynwes William Owen, ac a ddywedodd,—"'Eto cyfammod tragywyddol a wnaeth efe â mi'; dyma," meddai, "wisg iawn am gorph yn malurio, William Owen." Wedi gorwedd o hono, yr oedd y gwr yn ei glywed yn sibrwd wrtho ei hun,—"O Iesu anwyl! anwyl!"

Yr oedd yn fyw y boreu drannoeth, ond yn amlwg yn tynu yn brysur at y terfyniad. Yr oedd ei feddwl yn hollol hamddenol. Tua naw ar y gloch yn y boreu, clywai y rhai oeddent o amgylch ei wely ef yn dywedyd, ond megis mewn myfyrdod wrtho ei hunan,—"O Iesu anwyl! Bendigedig! Gogoniant! Gogoniant!" ac yna gwaeddai, "Brysiwch; Brysiwch;" gan edrych tuag i fynu, heb sylwi dim ar y rhai oeddent o'i amgylch. Tuag ugain munud i ddeg, efe a adroddai y pennill hwnw, drwyddo:—

"O na allwn roddi 'mhwys,
Ar dy ardderchog law;
A gado i gystudd dd'od,
Oddiyma ac oddi draw;
A byw dan nawdd y dwyfol waed,
Yn ngolwg hyfryd dŷ fy Nhad."

Yn mhen ychydig ar ol hyny, gofynai,—"Beth ydyw hi ar y gloch?" Atebwyd ef, mai deg ar y gloch boreu Sabbath ydoedd. "Felly," meddai yntau. Yna fe ddywedodd fod arno "eisiau gweled" David, ei fab ieuengaf, "unwaith yn ychwaneg." Galwyd am y bachgen ato. Ond pan ddaeth at y gwely, nis gallai ddywedyd yr un gair wrtho. Edrychai, pa fodd bynnag, yn ei wyneb yn siriol, â'i olwg yn hynod o dreiddgar. Yna trôdd ar ei ochr a'i wyneb at y pared. Trodd drachefn ar ei gefn, a'i wyneb tuag i fynu. Estynai ei law allan, a sychai ei lygaid â hi. Rhoddes ei law ar ei fynwes, a thynodd ei anadl am y tro diweddaf; *ac ehedodd ei ysbryd, ychydig funudau wedi deg ar y gloch, boreu Sabbath*, Awst 16, 1857, *i ddechreu ar ei Sabbath tragywyddol!* Yr oedd yn fynych wedi arwyddo dymuniad am gael marw ar y Sabbath; ac fe ganiatäwyd hyny iddo. Yr oedd ei ymadawiad mor dawel, fel nad oedd y rhai oeddent o gylch y gwely, ar y cyntaf yn credu ei fod wedi cymmeryd lle. Yr oedd ei farwolaeth yn ymddangos, yn llythyrenol, yn "huno yn yr Iesu."

Ymdaenodd y newydd am ei farwolaeth gydâ chyflymdra mawr trwy yr holl wlad; ac yr oedd yn peri, i ba le bynnag yr elai, y prudd-der dyfnaf a mwyaf diledrith. Teimlad pawb, o bob enwad crefyddol, yn

ddieithriad, ydoedd, fod "tywysog, a gwr mawr, wedi syrthio" yn Israel Duw, yn Nghymru. Ar ddydd Gwener, Awst 21, fe gladdwyd ei weddillion marwol yn mynwent eglwys blwyfol Llanllyfni. Yr oedd amgylchiadau anorfod yn ein hattal ni rhag bod yn bresennol yn y Claddedigaeth; ac felly nid ydym yn teimlo y gallwn wneyd yn well na thrwy ddyfynu, gydâ rhyw gymmaint o amrywiad a thalfyriad, ychydig o'r hanes am dano, fel ag yr ymddangosodd yn "*Maner Cymru*," Awst 26, 1857. Cymerer yr hyn a ganlyn:—

"Ymgynnullodd lliaws mawr yn nghyd i dalu gwarogaeth deilwng i dalentau, duwioldeb, a defnyddioldeb y gweinidog ymadawedig. Ar ein mynediad tua Thalsarn, gwelem liaws yn cyfeirio tuag yno—rhai ar feirch, rhai mewn cerbydau, ereill gydâ'r *omnibuses*, a llawer gyda'r ffordd haiarn. Yr oedd yn hyfryd genym weled yn eu mysg nifer mawr o weinidogion Sir Fôn, Sir Gaernarfon, Sir Ddinbych, a Liverpool, yn nghyd â llawer o wŷr parchus Caernarfon, Bangor, a'r cymmydogaethau. Ac nid Trefnyddion Calvinaidd yn unig a welid yn ymgynnull i'r cynhebrwng; ond canfyddem frodyr a gweinidogion perthynol i'r Wesleyaid, i'r Bedyddwyr, ac i'r Annibynwyr, ac ambell Eglwyswr calon-gynhes hefyd. Yr oedd rhai o fasnachdai Caernarfon, a'r holl wlad o gwmpas Talsarn, yn nghauad yn gwbl oll, neu mewn rhan, ac yr oedd y chwareli yn sefyll y diwrnod hwnw. Ar ein dyfodiad i'r gymmydogaeth, yr oedd holl natur yn gwenu, ac fel pe buasai ar ei hegni i'n croesawu i fro y creigiau cedyrn a'r mynyddoedd. Tywynai yr haul ar fro brydferth, llawn o feusydd toreithiog; gwelem chwareli cyfoethog, a gwarchodid ni gan fryniau uchel: ond yr oedd meddwl fod John Jones wedi ymadael o Dalysarn, wedi gadael y fro am byth—y lamp oleu wedi diffodd, y seren ddysglaer wedi machludo, y meddwl mawr wedi ehedeg ymaith, enaid 'Llanllyfni' wedi ymgodi i drigfanau anfarwoldeb—yr oedd meddwl am hyn yn peri i ni edrych ar y wlad brydferth a mawreddog fel rhyw anialwch anrheithiedig. Yn ofer yr ymgyfodai y mynyddoedd eu penau, ac yn ofer yr ymddyrchafai y Wyddfa ger ein bron; yr oeddem dan ryw argraff fod pob man yn y gymmydogaeth yn dlawd, pob man yn wâg, a phob peth yn fychan, wedi colli John Jones o honi. Pe buasid yn claddu yr Eifl a'r Wyddfa, a gadael John Jones ar dir y byw, tybiem y buasai y wlad yn debycach o lawer iddi ei hun. Ni chauodd y bedd erioed ar ddyn anwylach, gweinidog cymhwysach, a gwron anrhydeddusach. . . .

"Y nos Iau, pregethodd y Parch. Rees Jones, Felinheli, ar Phil. i. 23. Sylwodd ar gyfyngder y duwiol yn y rhagolwg ar angau—bod ymadael â'r ddaear yn beth cyfyng i bob dyn duwiol.—1. O herwydd cysylltiadau teuluaidd. Bod dattod rhwymyn y berthynas rhwng priod a phlant, cyfeillion a pherthynasau, yn beth chwerw—a phan y byddo y duwiol yn cael ei ddwyn i'r cyfwng yma, ei fod yn cyfaddef, 'y mae yn gyfyng arnaf.' 2. Ei bod yn gyfyng i weinidog duwiol, o herwydd ei gysylltiad â gweinidogaeth yr efengyl. Gwel Phil. i. 8—26. Bod pob gweinidog duwiol am wasanaethu ei genhedlaeth—bod ganddo afael yn y bobl, a'r bobl afael ynddo yntau. Ei bod yn gyfyng arno pan y bydd y rhwymyn yma yn cael ei ddattod—ei bod felly i'r ymadawedig. Ei fod ef yn ddyn iddo ei hun, i ddynion, ac i Dduw;—ei fod yn llawn o ysbryd gweithio;—ei gyffes oedd ei fod yn teimlo mwy o awydd i weithio yn a thros yr efengyl yn awr nag erioed o'r blaen. Bod arno awydd byw i'r dyben i weithio, ond efe a fu farw yn nghanol ei waith;—noswyliodd megis ar hanner dydd. Bod ymadawiad enwogion o faes y weinidogaeth, heb hanes neb i lanw eu lle, i'w dyb ef (R. Jones), yn ymweliad barnol. A bod yr ymadawedig yn ddyn hynod yn yr oes hon,—yn ddyn ar ei ben ei hun:—nad oedd yn efelychwr—ei fod yn cerdded ar hyd llwybrau ansathredig. 3. Bod marw yn elw i'r duwiol —'bod gydâ Christ.' Ei bod yn golled i'r eglwysi ar ol Paul; ei bod felly i holl eglwysi y Trefnyddion Calvinaidd, yn y Dê a'r Gogledd, ar ol y Parch. J. Jones; ond bod ei ymadawiad â'r eglwysi yn elw iddo ef, er mwyn cael bod gydâ Christ, a chael mwynhau ei gymdeithas a'i bresennoldeb ef am byth.

"Ddydd Gwener, am ddeg, anerchwyd y gynnulleidfa gan y Parch. W. Roberts, Amlwch, oddiar *Matt.* xiv. 12. Sylwodd nad ydyw yr Arglwydd yn gwneuthur dim mewn creadigaeth, rhagluniaeth, na gras, yn anamserol. Mai lle Ioan Fedyddiwr, wedi iddo farw, oedd y bedd;—ei fod wedi darfod â'i waith. Eu bod hwy wedi dyfod, fel dysgyblion Ioan, i gladdu Ioan arall, y diwrnod hwnw;—ei fod wedi bod yn brophwyd mawr yn ei ddydd;—mai y pulpud oedd y lle cymhwysaf iddo yr amser a aethai heibio, ond mai y bedd oedd y lle goreu iddo heddyw. Ein bod wedi cael ei fenthyg gan Dduw, ac mai yr Arglwydd a welsai yn dda ei gymmeryd ymaith. Dangosodd mai peth priodol eto oedd mynegi pob peth i'r Iesu—ac felly y golled hon.

"Pregethodd y Parch. J. Phillips, hefyd, oddiar *Dad.* xiv. 13. Yn

yr olwg ar yr arch, yn cynnwys o'i mewn weddillion brawd mor hynod, ac mor anwyl ganddo ef a lliaws y gynnulleidfa, fe orchfygwyd Mr. Phillips gan ei deimladau, a hyny i'r fath raddau, nes methu dwyn allan ei ymadroddion—ac ymollwng i wylo a wnaeth, a channoedd o bobl gydâg ef. Wedi gorchfygu y teimlad hwn, efe a bregethodd ar fywyd y Cristion megis bywyd o lafur, ac ar y nefoedd fel gorphwysfa; gan gymhwyso y sylwadau at y gwrthddrych a'r amgylchiad a achlysurasai eu cynnulliad yno. Yn mhlith pethau ereill, dywedodd,—'Eglwysi Sir Gaernarfon a Môn—ïe, yr Eglwys Fethodistaidd trwy Gymru a threfydd Lloegr! canys pwy yn perthyn i'r cyfundeb hwn, na chawsant ar ryw adeg neu gilydd, eu swyno gan ei lais peraidd, ei ddrychfeddyliau hedegog, a'i hyawdledd trydanol, nes yr oedd ei enw yn fath o air teuluaidd yn ein mysg. Cymmerwn ein rhyddid, gan hyny, i alaru; ond yn nghanol ein tristwch, gadewch i ni ddiddanu ein gilydd â'r ymadroddion hyn, sef ymadroddion yr Ysgrythyr sydd wedi bod dan sylw; canys y maent oll yn gyfryw ag y gellir eu cymhwyso at ein brawd anwyl a hoff—gweddillion marwol yr hwn sydd yn awr o'n blaen. Bywyd llafurus a fu yr eiddo ef. Dyddiau blynyddoedd ei einioes ef oedd yn driugain mlynedd; ac o honynt efe a dreuliodd un ar bymtheg ar ugain yn ngwaith y weinidogaeth. Ac nid enw o lafurwr oedd efe, ond gweithiwr difefl—un yn ymboeni yn y gair a'r athrawiaeth, ac ymroddgar i draethu y gwirionedd yn hŷf, heb arbed [attal] dim o'r holl gynghor. Ac o hyn y mae holl Gymru yn dyst. Nid hawdd a fyddai cyfrif yr holl deithiau a gymmerodd—yr holl gymmanfaoedd a gyfarchodd—a'r holl gynnulleidfaoedd a borthwyd ganddo â bara y bywyd! A phwy, yn y parthau hyn, sydd heb fod yn gydnabyddus â'i awydd aiddgar ef am gael bod yn foddion i achub pechaduriaid? Ond erbyn hyn, y mae distawrwydd angeu wedi ymaflyd ynddo, a'r bedd yn barod i'w dderbyn; a dyma ninau yn dyrfa fawr, o agos ac o bell, wedi ymgasglu yn nghyd i alaru ar ei ol, ac i dalu i'w weddillion ef barchedigaeth. Ond na alarwn fel rhai heb obaith, canys 'yn yr Arglwydd' y bu efe farw; a chyn ei symmud efe a gafodd dystiolaeth fod pob peth yn dda. Unwaith, pan oedd grym ei gystudd yn effeithio ar ei ysbrydoedd, nes ei ddarostwng i deimladau pruddglwyfus a phryderus, efe a gofiodd yr ymgyfammodiad oedd wedi cymmeryd lle rhyngddo âg Arglwydd y lluoedd, yn y dyddiau gynt, rhwng creigiau Dolyddelen, ac a adnewyddwyd gan-

waith â mwy ar ol hyny; yna, efe a ymwrolodd, fel un yn teimlo ei hunan ar sylfaen safadwy, gan ddywedyd, "Pob peth yn dda; 'cyfammod tragywyddol a wnaeth efe â mi':—*fe ddeil hwnw.*" Wedi croesi drosodd i orphwys y mae efe, ac ni ddaw i'w ran ef ofid mwy.'

"Tra y büwyd yn symmud y corph o'r tŷ, ac yn porotoi i gychwyn, cyfarchwyd y gynnulleidfa yn fyr gan y Parch. H. Rees, yr hwn a ddywedai ei fod wedi ei alw yn bur annysgwyliadwy, a'i fod felly yn teimlo yn bur anmharod i'w cyfarch ar yr achlysur. Ac yn wir, nid oedd yn meddwl mai gweddus ydoedd dyweyd llawer. 'Dystawrwydd,' meddai, 'sydd yn llefaru uchaf yma heddyw. Os carech chwi gael pregeth yn mhellach, edrychwch ar yr arch, yr elor-gerbyd, a'r bedd; a meddyliwch am eich hen weinidog parabl-bêr wedi tewi am byth. Yr oedd ei enw bellach yn adnabyddus trwy y Dywysogaeth er ys deg neu bymtheg ar hugain o flynyddoedd, a'i hyawdledd yn cyffroi ac yn difyru meddyliau ei gyd-genedl. Ond erbyn heddyw, wele Gymru heb un John Jones, Talsarn, ynddi. Pell ydym, er hyny, o fod yn galaru ar ei ol fel rhai heb obaith:—'canys os ydym yn credu farw Iesu a'i adgyfodi, felly y rhai a hunasant yn yr Iesu, a ddwg Duw hefyd gydag ef.' Y mae yn wir y gallasai, o ran nerth ac oedran, barhau i lafurio am ychydig flynyddoedd yn hwy; ond, ar yr ochr arall, cafodd oes dda, a threuliodd hi yn wasanaethgar a llafurus. Cofiwn mai benthyg ydoedd i ni; a rhoddwn y benthyg adref heddyw yn ddirwgnach a ddiolchgar. Byddai efe yn arfer achwyn yn chwareugar weithiau ar y nefoedd, gan ddywedyd, pan gyfodai rhywrai mwy rhagorol na'r cyffredin mewn sancteiddrwydd a defnyddioldeb yn ein byd ni, fod y nefoedd yn eu sugno oddiyma yn lled fuan. Yn awr y mae hyny wedi ei wirio ynddo ef ei hun. Ond pawb o honoch chwi ag sydd yn teimlo oddiwrth ei farwolaeth, arllwyswch y teimladau hyny mewn diolchgarwch drosto ef ag sydd wedi ei ddwyn yn ddiogel i'r bedd, ac mewn cydymdeimlad â, a gweddïau dros ei weddw a'i amddifaid, sydd mewn galar ar ei ol.

"Yr oedd golwg dywysogaidd arno, gydâ'i gorph cryf, a'i lais peraidd, pan yn pregethu Iesu Grist i'w gydwladwyr; ond pa fath olwg sydd arno yn awr, a pha beth sydd yn rhedeg trwy ei feddwl y funud hon, pan y mae yn gweled Iesu Grist yn ei natur, ac yn cael bod gydag ef—yr hwn oedd gydâ'r Tad er tragywyddoldeb, ac yn hyfrydwch iddo beunydd—cyflawnder mawr yr arfaethau tragywyddol, a chynnwys yr

holl addewidion—am yr hyn bethau yr oedd yn dysgwyl ac yn gobeithio yn yr amser yr oedd yma gydâ chwi.' Terfynodd Mr. Rees trwy ddymuno ar fod gweddeidd-dra sanctaidd ar yr holl dorf wrth hebrwng ei weddillion marwol i'w hir gartref, ac ar fod i'r Arglwydd da wneuthur yr amgylchiad yn fendithiol i bawb, a selio addysg i'w meddyliau trwyddo.

"Ar ol y cyfarchiad hwn, cychwynwyd tua'r gladdfa yn Llanllyfni, o ddeutu dwy filltir o Dalsarn, yn y drefn ganlynol:—

Y Meddygon—8 o nifer:

65 o Weinidogion a Phregethwyr—bob yn dri:

70 o Flaenoriaid—bob yn bedwar:

200 o Gantorion a Chantoresau—bob yn chwech:

Oddeutu 4,000 o feibion ac o ferched—bob yn chwech:

Chwanegwyd efallai ddwy fil at y nifer hwn yn Mhen y Groes, ar y ffordd i Lanllyfni.

YNA YR ELORGERBYD:

Yna y perthynasau mewn 40 o gerbydau, ac ar 15 o feirch.

Canwyd y pennillion canlynol ar hyd y ffordd o Dalsarn i Lanllyfni:—

'Mae nghyfeillion wedi myned, &c.
'O ddydd i ddydd, o awr i awr, &c.
'Mae 'n brawd wedi gorphen ei daith, &c.
'Yn y dyfroedd mawr a'r tonau, &c.
'Ymado wnaf â'r babell, &c.

"Cyflawnwyd y gwasanaeth yn yr eglwys, gan y Parch. J. Jones, A.C., person y plwyf. Canwyd yn yr eglwys Anthem Angladdol, gan Mr. J. A. Lloyd,—'Ac mi a glywais lais o'r nef,' &c.; ac ar lan y bedd, —'Yn awr i'th fynwes, dawel fedd,' &c.; a dodwyd gwr Duw yno i orphwys! Do: dodwyd ef yno bron yn anewyllysgar gan y miloedd oeddent yno yn bresennol. Gwnaethai waith mawr—'gorphenodd ei yrfa, cadwodd y ffydd' a choron gogoniant oedd ei ran!

"Yr oedd tair arch am y corph:—1. Arch dderw gref. 2. Arch *mahogany*, yn rhodd gan gyfaill iddo o Gaernarfon. 3. Arch o gerrig nadd o'r chwarel. Pe buasai mewn llyn o ddwfr, nid aethai diferyn ato. Ac yr oedd ei enw, ynnghyd â'i oed, yn gerfiedig ar y gareg yn

ngwaelod y bedd." Hyd yma y mae y crynöad a'r talfyriad o'r Adroddiad am y Claddedigaeth, allan o "*Faner Cymru.*"

Yr oedd marwolaeth Mr. John Jones yn cael ei deimlo yn gyffredinol yn ein gwlad fel colled genedlaethol. Nid oedd Gogledd Cymru, beth bynnag, wedi arddangos y fath brudd-der er y pryd y collasid JOHN ELIAS. Ac yn wir, yr oedd Mr. John Jones, ryw fodd, wedi myned yn ddyfnach i serchiadau ei gydwladwyr na'r pregethwr poblogaidd hwnw. Yr oedd yn gwneuthur ei hunan mor rydd, a chyfeillgar, ac agored gydâ'i wrandawyr, fel yr oedd y bobl gyffredin, a rhai hollol ddieithr iddo ef o ran siarad yn bersonol âg ef, yn dyfod i edrych arno fel eu cydnabod a'u cyfaill,—un, nid yn unig yr hoffent ei wrando, ond y teimlent ryw serchawgrwydd neillduol tuag at ei berson. "PREGETHWR Y BOBL," fel y dynodwyd ef yn dra phriodol gan Glan Alun, ydoedd mewn gwirionedd. Yr oedd hefyd mor rydd yn ei weinidogaeth, ac mor barchus o, diabsen am, a didramgwydd i enwadau ereill, fel yr oedd yn cael ei deimlo braidd megis meddiant cyffredinol, ac yn eiddo, nid i blaid, ond i'r genedl yn gyfan. Dangoswyd hyny yn amlwg yn y warogaeth a dalwyd iddo, wedi ei farwolaeth, gan feirdd, ac ysgrifenwyr, a cherddorion galluocaf enwadau ereill, yn gystal a'r eiddo y Cyfundeb y perthynai yn uniongyrchol iddo. Ac yr oedd y warogaeth yma iddo yn rhedeg i lawr, i'r dosbarthiadau isaf yn y wlad, ac i blith y rhai nad oedd ganddynt ond ychydig wybodaeth am grefydd, ac na byddent un amser yn gofalu nemawr, os dim, am ei hordinhadau hi. Clywsom ein hanwyl gyfaill, y diweddar Mr. Morgan o'r Dyffryn, yn adrodd un hanesyn, a wasanaetha fel engraifft amlwg o'r hyn y cyfeiriwn ato. Yr oedd Mr. Morgan, yn bur fuan wedi marwolaeth Mr. John Jones, yn croesi drosodd, yn y cwch, o Sir Feirionydd i Borthmadog, neu ynte yn ol. Yr oedd y cychwr yn un hollol ddigrefydd, ac heb ond ychydig iawn o wybodaeth am dani. Ryw bryd, fel yr oeddent yn croesi, ebai y cychwr wrtho,—"Mae yr hen Dalsarn, onid ydy' o, wedi marw?" "Ydyw," meddai Mr. Morgan, "ydyw; y mae wedi marw." "'Sgwn i yn y byd," meddai yntau, "pwy oedd ganddyn' nhw yn *Chairman* yn y nefoedd yna yrwan. Ond yr ydwy' i'n *siwr*, pwy bynnag oedd o, y bu raid iddo fo *ildio* y gadair ar unwaith, pan gwelodd o yr hen Dalsarn yn dwad i mewn." Mewn gwirionedd, yr oedd parch y bobl gyffredin iddo agos yn ddiderfyn. Yr oedd wedi ymwthio mor ddwfn i, ac wedi ymblethu mor dyn am serchiadau ei

genedl, fel mai archoll ingol iddi oedd ei golli. Dangoswyd hyny yn amlwg yn y lliaws llythyrau cydymdeimladol a ysgrifenwyd at ei deulu, ar yr achlysur. Dichon mai boddhäol gan ein darllenwyr fydd cael rhai o honynt. Ac yn gyntaf ni a ddodwn i mewn lythyr, ag y teimlir, y mae yn ddiammeu genym, dyddordeb neillduol ynddo, gan fod Cymru, erbyn hyn, wedi ei hamddifadu hefyd o'i ysgrifenydd doniol, ac mewn hiraeth parhaus ar ei ol:—

"DYFFRYN, *Awst* 21, 1857.

"ANWYL MRS. JONES,

Derbyniais lythyr oddiwrth eich mab, yn cynnwys y newydd galarus am farwolaeth eich anwyl brïod. Nid oeddwn, er ys rhai wythnosau, yn meiddio gobeithio am glywed dim arall; eto, pan ddaeth y newydd trwm yma, yr oedd y peth, wedi yr oll, bron yn anhygoel i mi; ac yr wyf etò heb allu perswadio fy hun, *fod y byd heb* JOHN JONES, TALSARN. Ond, ow! felly y mae hi. O golled anadferadwy!! Y mae degau o filoedd yn Nghymru â'u calonau yn gwaedu wrth feddwl am dani, ac nid heb achos. Yr oedd Cymru, i'n golwg ni, yn llawer rhy dlawd i allu fforddio y fath golled. Y mae un o brif golofnau Methodistiaeth wedi ei thori; un a wnaeth fwy, y mae yn ddiammheuol, na neb sydd yn awr yn fyw, i dynu sylw yr holl Dywysogaeth at y pethau mawrion a 'berthynant i'w heddwch'; un a fu yn offeryn i roddi ysgogiad yn meddwl miloedd, a ddiweddodd mewn bywyd tragywyddol. 'Efe a drodd lawer i gyfiawnder.' Ond y mae ei yrfa drosodd; y gamp wedi ei hennill; y goron wedi ei gwisgo; dim i'w ofni i dragywyddoldeb mwy: y gelyn diweddaf wedi ei orchfygu; y palmwydd yn ei law; a thôn mwy peraidd na'r un a gyfansoddodd, er fod gan y rhai hyny swyn mawr i mi, yn ei enau. Braidd na ddychymygwn ei glywed ef yn dywedyd wrth y rhai a adawodd ar ol,—'Nac wylwch'; 'Darfu galar, daeth llawenydd yn ei le.'

Ond i *chwi* y mae y golled fawr. Colli pregethwr digyffelyb a wnaeth Cymru. Mi gollais innau gyfaill anwyl; ond chwi a gollasoch bob peth a gollodd pawb arall, a llawer mwy. Nis gwn beth i'w ddywedyd wrthych. Byddai yn haws i mi gydwylo â chwi, na dywedyd dim wrthych. Nid braint fechan oedd cael byw gydà'r fath ddyn seraphaidd; ond y mae hyny yn gwneyd chwerwder y golled yn fwy i chwi. Bellach nid all y byd lai nag ymddangos yn anialwch i chwi; ond nid

ydych heb wybod fod UN a all 'ddyweyd wrth fodd calon' drallodedig 'yn yr anialwch.' Nid ydych heb wybod na raid i chwi farw o syched yn y tir cras yr ydych ynddo, oblegyd y mae yna ffynnon o ddwfr bywiol gerllaw. Ond y mae yn rhaid cael rhyw UN i'ch arwain ati. Nid oes genyf ond dymuno hyn i chwi. Nid all neb ond y 'Meddyg da' roddi gwin ac olew yn yr archollion. Ond y mae Efe yr un mor fedrus i hyny heddyw, a'r un mor barod i wneyd, a phan y gwnaeth hyny i Mair a Martha. Y mae diddanwch nid ychydig yn yr adnod fechan, a ddysgasoch i'r plant cyn i'w tafodau lefaru yn groew,—'Yr Iesu a wylodd."

Y mae Mrs. Morgan yn cyduno â mi mewn cydymdeimlo â chwi o'r galon, ac mewn cofio atoch, a'r holl deulu, yn y modd caredicaf. Bydded i 'Dad yr amddifaid a Barnwr y gweddwon' eich cadw chwi rhag ymollwng a thristau, 'fel rhai heb obaith.' Fe'm lluddiwyd gan anffawd a gafodd fy anifail rhag dyfod i'r claddedigaeth. Buasai yn dda iawn genyf allu bod yna. Er na buasai hyny yn ddim, yr oedd yr oll a allaswn i ei wneyd, bellach, i un o'r dynion rhagoraf a fu erioed ar y ddaear, ac un o'r rhai yr oedd genyf fwyaf o barch iddo o neb a adnabyddais erioed.

Ydwyf, anwyl Mrs. Jones,
Yr eiddoch yn ddiffuant,
EDWARD MORGAN."

Ar yr wythfed, y nawfed, a'r degfed o fis Medi, fe gynnaliwyd y Gymdeithasfa Chwarterol yn Nghaernarfon. Hon oedd y Gymdeithasfa gyntaf wedi marwolaeth Mr. John Jones; ac yr oedd hyny yn gosod gwedd neillduol arni. Yr oedd teimlad o alar ar ei ol, yn treiddio trwy ei holl Gyfarfodydd. Gallasid yn hawdd darllen ar wynebau pawb fod y Cyfundeb a'r wlad wedi cael un o'r colledion mwyaf. Fe dreuliwyd cyfarfod y Pregethwyr, am ddeg ar y gloch ddydd Mercher, yn hollol mewn crybwylliadau am dano, ac mewn sylwadau ar ei gymeriad, yn enwedig fel gweinidog Cristionogol. Daeth yr un peth dan sylw drachefn, yn helaeth iawn, yn nghyfarfod y Pregethwyr a'r Blaenoriaid yn y prydnawn. Yn wir, yr oedd y golled yn cael ei theimlo mor bwysig fel yr oedd y mater ryw fodd yn llyncu yr holl Gymdeithasfa. Yn y Cyfarfod am ddau ar y gloch, wedi llawer o sylwadau arno, fe gytunwyd ar yr hyn a ganlyn, yr hyn a anfonwyd gan Ysgrifenydd y Gymdeithasfa i'r weddw alarus yn Nhalsarn:—

"Yn Nghymdeithasfa Caernarfon, Medi 9, 1857, yn Nghyfarfod y Pregethwyr a'r Diaconiaid, Cynnygiwyd gan y *Parch.* JOHN HUGHES, *Liverpool,* Cefnogwyd gan y *Parch.* WILLIAM ROBERTS, *Amlwch,* a chymmeradwywyd yn unfrydol gan yr holl frodyr,—

Fod y Cymdeithasfa hon yn dymuno datgan ein cydymdeimlad dwysaf â theulu y diweddar *Barch.* JOHN JONES, *Talsarn,* ac yn arbenig â'i weddw alarus, dan yr oruchwyliaeth chwerw a'i cyfarfu, yn ymadawiad ei phrïod. Ond tra yr ewyllysiem gydalaru â hi, nid ydym mewn un modd yn gwneuthur hyny 'fel rhai heb obaith,' gan y sicrwydd sydd genym iddo 'huno yn yr Iesu,' ac y dygir ef drachefn 'gydag ef.'

"Mae y Gymdeithasfa hefyd yn dymuno cydnabod, gydâ diolchgarwch diffuant, fod defnyddioldeb tra mawr ein hanwyl frawd ymadawedig, yn ddyledus mewn graddau helaeth i'r cynorthwy a dderbyniodd oddiwrth ofal a ffyddlondeb teuluol ei anwyl wraig; ac yn erchi ar i 'Dad yr amddifaid, a Barnwr y gweddwon,' ei noddi, a thalu iddi yn ei mynwes; gan roddi iddi hi, ac i'w theulu oll, y 'can cymmaint yn y byd hwn, ac yn y byd a ddaw fywyd tragywyddol.'"

(Arwyddwyd)
ROGER EDWARDS, WYDDGRUG.'

Yn y Gymdeithasfa hon, fe ddodwyd arnom ni, gan gyfeillion Caernarfon, bregethu pregeth angladdol i'n hen gyfaill; yr hyn a wnaed, ar y maes, am ddau ar y gloch, ddydd Iau. Mae yn ddrwg genym nad oes genym ddim yn ysgrifenedig o'r bregèth hono. Yr oeddem wedi ei thraddodi yn Llundain, y nos Sabbath blaenorol; ac yr ydym yn cael y crybwylliad canlynol am dani, fel y traddodwyd hi yno, yn llythyr y "Gohebydd," yn y "*Faner,*" am Medi 9, 1857:—

"LLUNDAIN, *Dydd Llun*

* * * * * * * * * * *

"Neithiwr, yn *Jewin Crescent,* pregethodd y Parch. OWEN THOMAS ar farwolaeth y diweddar JOHN JONES, *Tal y sarn.* Trwy fod hysbysiad blaenorol wedi ei roddi am y bregeth, yr oedd capel eang y *Crescent* yn orlawn. Testyn MR. THOMAS oedd, *Gal.* i. 24: 'A hwy a ogoneddasant Dduw ynof fi.' Pwnc y bregeth oedd,—Rhwymedigaeth Cristionogion i ogoneddu Duw yn eu gweinidogion. *Idea* y bregeth, wedi sylwi

ar ddyfodiad y geiriau i mewn, oedd, edrych ar y Parch. J. Jones, trwy yr Apostol Paul. 1. Gogoneddu *buddugoliaeth gras Duw arno*, yn ei droedigaeth. 2. Gogoneddu *doniau gras* Duw ynddo, yn ei gymhwysderau i'w swydd. 3. Gogoneddu *effeithiolrwydd gras Duw trwyddo*, yn llwyddiant ei weinidogaeth. 4. Gogoneddu *amddiffyn gras Duw drosto*, yn ei gadw yn ddigwymp hyd y diwedd. 5. Gogoneddu *gofal gras Duw am dano*, yn nghysur a dyddanwch ei enaid ei hun yn ei oriau olaf. Terfynodd y bregeth gydâg apeliad dwys at y rhai yn y gynulleidfa, a allent fod heb roddi y gogoniant cyntaf i'r efengyl, trwy ei chredu.

Ar ddiwedd yr oedfa, canwyd y *Bur Wreichionen* yn hynod o effeithiol. Yn ystod y bregeth, adroddodd Mr. Thomas amryw ranau o *Farwnad* Eben Fardd i John Jones, &c. . . . . . . ."

Derbyniodd ei weddw y llythyr canlynol oddiwrth y Parch. William Davies, Llanegryn, wedi ei ysgrifenu dros Gyfarfod Misol Sir Feirionydd :—

"Bryndu, *Medi* 5, 1857.

"Anwyl Chwaer,

Penderfynwyd yn Nghyfarfod Misol Sir Feirionydd, a gynhaliwyd yn Nhrawsfynydd, y 1af a'r 2fed o'r mis hwn, fod i mi ysgrifenu atoch, i amlygu cydymdeimlad y cyfarfod â chwi a'ch teulu, yn eich trallod mawr, ar ol marwolaeth eich anwyl brïod. Cafodd Cymru golled yn ei farwolaeth ef: ac yr ydym oll, yn mhob man, i fesur helaeth yn teimlo hyny. Yr oedd yn amlwg, yn ein Cyfarfod Misol, fod yr eglwysi yn gyffredinol, trwy y Sir hon, yn galaru ar ei ôl. Wrth wneyd coffa am dano yn y Cyfarfod cyffredinol, am wyth ar y gloch, gorfuwyd rhai brodyr, gan eu teimlad galarus, i eistedd i lawr i wylo, pan ar ganol siarad. Ond er cymmaint yw ein gofid ni yn gyffredinol ar ei ol, adgofiai y brodyr, nid yn anfynych, nad oedd gofid neb o honom fel eich gofid chwi. Yr ydym ni yn cofio am dano fel yr hwn a draethodd i ni Air Duw, yr hwn a barodd i'n calonau ni lawer o lawenydd, lawer gwaith, gan yr olwg ogoneddus a gaem, tan ei weinidogaeth, ar bethau mawrion yr efengyl; ac yr ydym yn wylo wrth feddwl *na chawn ei glywed ef mwy*. Ond yr oedd hefyd i'w brïod, —i chwi,—yn dad eich anwyl blant; yn gydymaith eich bywyd; ac mor ragorol, fel y cyfryw, ag ydoedd fel Pregethwr, yn ol fel y sylwai rhai o'r brodyr. Dywedai rhai o honynt, gan hyny, eu bod yn meddwl llawer am danoch, ac yn cydymdeimlo yn ddwys â'ch colled; ac yr

oedd yn eglur fod y Cyfarfod, yn gyffredinol, yn cyfranogi o'r un teimlad.

Yn nghanol eich holl drallod, y mae amryw bethau, ond i chwi eu hystyried, a allant fod yn gynhaliaeth nid bychan i chwi. Y mae genych bob sicrwydd, a allasech ddymuno gael, fod eich anwyl brïod wedi ei symmud i le gwell. Y mae tystiolaeth wedi cael ei rhoddi, yn meddyliau miloedd o honom, 'ddarfod iddo ryngu bodd Duw.' Bu farw, hefyd, wedi gwneuthur gwasanaeth mawr yn ngwinllan yr Arglwydd. Llawer o gannoedd, yn Nghymru, a ddychwelodd efe at yr Arglwydd ein Duw; y rhai a fyddant yn goron, ac yn orfoledd iddo, yn y dydd hwnw. Bu farw, hefyd, heb i un cwmmwl ymddangos i dywyllu dim ar ddysgleirdeb ei gymeriad. Gwelir llawer cwmmwl yn codi yn fynych tua'r hwyr, sydd yn peri i haul rhai, a fuant yn enwog gynt, fachlud i raddau tan len. Ond yr oedd efe, wrth fachludo, mor ddysglaer ag y bu erioed. Ac er iddo fod ger bron Cymru am gynnifer o flynyddau, fe gafodd ei gynnal gan yr Arglwydd, nid yn unig heb ddwyn gwarth arno ei hun a chrefydd, ond yn anrhydedd i Gymru; yn anrhydedd i Fethodistiaeth; yn anrhydedd i grefydd. Fe fydd ei 'goffadwriaeth' ef 'yn fendigedig.' Coffeir am dano, o genhedlaeth i genhedlaeth, fel yr enwog JOHN JONES, TALSARN. Nid oes un o fil, nac o fyrddiwn, yn meddu ar y fath ystyriaethau i ymgysuro ynddynt. A mwy na'r cwbl,—y mae wedi cyflwyno eich gofal i'r Duw a'i cynhaliodd yntau. Gwyddom iddo gael ei wrando lawer gwaith o'r blaen; ac yr ydym yn hyderus nas gomeddir ef yn hyn, ei ddymuniad olaf. Ein gweddi, gan hyny, yw, ar fod i chwi gael eich nerthu yn eich trallod i ymgysuro yn Arglwydd Dduw eich prïod. Gan gofio atoch yn y modd caredicaf,

Ydwyf, yr eiddoch yn gywir,
Dros y Cyfarfod Misol,
WILLIAM DAVIES, YSGRIFENYDD."

"MRS. JONES, *Ta'sarn.*"

Ar y dyddiau Mawrth a Mercher, Medi 29, 30, fe gynhelid Cymdeithasfa Chwarterol y Methodistiaid mewn cysylltiad â Deheubarth Cymru, yn Nghrughowel, Sir Frecheiniog. Fe dreuliwyd rhan fawr o un o'r cynnulliadau yn y Gymdeithasfa hono, mewn sylwadau ar gymeriad Mr. John Jones, ac ar y golled yr oedd y Cyfundeb, yn y

Deheu yn gystal ag yn y Gogledd, wedi gael trwy ei farwolaeth. Dygid tystiolaethau cryfion i effeithiolrwydd ei weinidogaeth yn yr amrywiol Siroedd, trwy y Deheudir, ac i'r chwithdod a'r hiraeth a deimlid, yn mhob man, wrth feddwl "na chaent weled ei wyneb ef mwy." Yr oeddem ni yn bresennol yn y Gymdeithasfa hono; ac nis gallwn yn hir annghofio y Sylwadau a wnaed gan ein hen Barchedig dad-yn-nghyfraith, Mr. Roberts, Amlwch, yn yr ymddyddan ar hyn. Yn mhlith pethau ereill, fe ddywedodd,—"Y mae yr amgylchiad hwn wedi ein taflu i deimladau chwithig iawn. Mae yn rhywbeth syn a dieithrol i ni feddwl, fod Cymru heb John Jones, Talsarn, o'i mewn. Yr oedd yn ymddangos mor gryf ac iachus, fel y mae yn debyg na ddychymygodd neb o honom, braidd, am y possiblrwydd o'i golli. Nid yw yn rhyfedd, gan hyny, fod ein calonau megis wedi eu rhwygo gan ei farwolaeth. Y mae ein teimladau ni, yn y Gogledd acw, y fath, fel y tynodd y golled hon *Sassiwn* Caernarfon i gyd iddi ei hunan, na cheid yno na hamdden na meddwl i fyned at ddim arall. Ond rhaid i ni beidio digaloni. Nid ydyw parhad na llwyddiant crefydd yn y byd, yn dibynu ar fywyd neb, ond bywyd y Gwaredwr Mawr ei hunan. Yn wir, fe oddefodd achos Mab Duw, iddo ef ei hunan adael y byd yma, heb gael dim colled. Ac y mae yr un gwr ag sydd wedi cymmeryd ei ofal arno ei hunan, yn fyw eto i edrych ar ei ol; ac fe ofala am dano, wedi ein claddu ni i gyd. Gwyliwn rhag i ni, yn ein galar, bechu, trwy ddangos dim diffyg ymddiried ynddo ef. Diolchwn i'r Arglwydd am gael John Jones cyhyd, a'i gael mor lwyddiannus; ac awn at y gwr a'i cododd, ac a'i cynhaliodd ef, am liaws eto o'r unrhyw ysbryd."

Nid y prawf lleiaf o'r teimlad dwfn a dwys oedd yn y genedl ar ol ei golli, oedd y warogaeth a dalwyd iddo gan y Wasg, ac yn enwedig gan feibion yr awen, ie gan rai o'n prif feirdd Cymreig, yn eu "*Marwnadau*" iddo. Y cyntaf a ddaeth allan felly oedd y Prif-fardd o Glynog. Daeth ei Farwnad ef iddo allan yn fuan iawn,—yn mhen tua phythefnos neu lai,—wedi ei farwolaeth; fel ag yr ydoedd yn ddiddadl, fel y tystia yr awdwr yn ei gyfarchiad "At y Darllenydd,"—"yn gynyrch teimlad gwirioneddol, o barch serchog i'w GWRTHRYCH, ac o golled am ei ddoniau a'i ddefnyddioldeb annghyffredin." Ni a gymmerwn ein cenad i ddyfynu rhai penillion o honi:—

"Cymru! gâd i mi dy anerch, un o'th waelaf feibion wyf;
Tuag atat byddaf dyner, gwn dy fod di dan dy glwyf;
Nid yw 'r hyn ddygwyddodd ynot, anffawd Teulu, Plwyf, neu Sir,
Ond effeithia 'n gyffredinol trwy holl hyd a lled dy dir!

"Pe dych'mygwn dy gorphori, a dy droi ar ddynol lun,
Dy gyfanu o'r holl genedl, nes y byddit megis un;
Nid edrychit heddyw 'n gyflawn, mae rhyw aelod mawr ar ol,—
Mae rhyw anaf cenedlaethol braidd yn gymwys wrth dy gôl.

"Nid bŷs bach o'th gorph a dorwyd, nage, braich! a hono 'n gre';—
Rhaid mai llymdost yw dy deimlad, wedi tori braich o'i lle;
Byddi 'n gwaedu am hir ysbaid, llwyd a gwelw fydd dy liw,
Ti aleri ddyddiau lawer, wrth ymdeimlo â dy friw!

"Gâd im' eto dy ddych'mygu ar gyff'lybiaeth serchog Fam;
Ti edrychi 'n brudd gan hiraeth,—afraid i mi ofyn pa'm?
Gall fod genyt tua miliwn o ryw blantos eiddil, mân,
Ond nid llawer o rai gwrol, ddeil eu llon'd o'r Dwyfol dân.

"Un o'r rhei'ny gollaist weithian, mab dy natur di dy hun;
Nid rhyw ordderch haner-anian, ond mab cyflawn ar dy lun:
O dy gedyrn di y deilliodd, yfodd o'th athrylith bur,
Daeth yn Arwr mwyaf grymus erioed safodd ar dy fur.

"Dyn golygus oedd, a lluniaidd, tàl a gwisgi, caled, cryf;
O osodiad hardd, urddasol, penderfynol, beiddiol, hyf;
Eto, agos a chyfeillgar, llednais yn ei ddull a'i foes,
Têg a siriol ei wynebpryd, llawn o wrid dillyna 'r oes.

"Nac ymdrown yn yr ystafell,—awn i'r Capel, mae 'n llawn bryd;
Dyna lle 'r ymdrwsia 'i ddoniau yn eu gemau goreu 'i gyd;
Dyma 'r gynulleidfa 'n eistedd, wedi 'r Weddi daer, a'r Mawl,
Dyma yntau yn y pwlpud, i weinyddu yn ei hawl.

"Enwa 'i destyn, a darllena gyfran o'r Ysgrythyr wir,
Nid oes eto ddim nodedig, ond ei lais soniarus, clir;
A phelydrau 'i lygaid treiddgar, llygaid awdurdodol dwys,
A difrifwch dylanwadol a'i hamlyga 'n ddyn o bwys.

"Mae 'n rhaid aros tipyn wrtho, nid yn fuan daw y nerth;
Ond dyfera 'n achlysurol aml i sylw mawr ei werth;
Lled anniben y mae 'n codi i'r pwys-wasgiad uchel ryw,—
Ambell sych-besychiad rhwystrus, dery 'n ddiflas ar ein clyw.

"Ond o'r diwedd, daw i'r poethder, a'r tanbeidrwydd bywiog, llym,
Pob ymgarthiad yn diflannu, a'r hyawdledd yn ei rym;—
Gwyliwch atoch! chwi gythreuliaid, dyna 'r peiriant mawr yn troi,
Bellach sigla holl byrth uffern, a bydd daear yn cyffroi!

"Tyr ffynhonau 'r drychfeddyliau yn rhyw lynau gloywon mawr,
Nes y b'ont yn llathru 'r llygad, dan ogoniant dwyfol wawr;
Ymarllwysant yn llifeiriant trwy holl ëang wythi 'r iaith,
Gan wefreiddio y teimladau, yn eu chwyrn, angerddol daith.

"Byddai nerth ei areithyddiaeth, yn y dymher uchel hon,
Fel ysgytiad gwyllt y corwynt, neu orllanw cryf y dòn;
Hyrddiau, ar ol hyrddiau, ddeuent o hyawdledd am ein pen,
Nes, mewn syndod, y dymunem na ddywedai byth 'Amen!'"

Ond y mae yn rhaid i ni ymattal. Y mae yn y "*Farwnad*" liaws o bennillion cyffelyb; a rhai, yn hytrach, o nodwedd uwch. Ond fe genfydd y darllenydd ag sydd yn cofio ei gwrthddrych, tra y mae yma ambell air ag y dymunasai ryw un arall yn ei le, eto fod yma liaws o linellau mor ddysgrifiadol o hono, fel y mae yn anmhosibl peidio ei adnabod ynddynt, a hiraethu yn ddwys am dano, wrth eu darllen.

Yn mhen ychydig amser ar ol cyhoeddiad y "*Farwnad*," uchod, fe ddygwyd llyfryn allan o'r Wasg, dan yr enw,—"*Cofiant John Jones, Talsarn*, gan Hugh Hughes, *Tegai*. *Pris chwech cheiniog*. Pwllheli: Argraffwyd gan Hughes a'i Gyf., Swyddfa yr Arweinydd."—"Ymdrechwyd," meddai yr Awdwr, "yn y llyfryn hwn, yn gyntaf, roddi crynodeb o hanes y gwrthddrych; yn ail, tynu darlun gonest o hono; ac yn drydydd, rhoddi ychydig o ffordd i deimlad, mewn Awdl alarnadol ar ei ol." Nid ydyw yr hanes ond byr ac anmherffaith iawn; ond y mae llawer o Sylwadau cywir a gwerthfawr yn y darluniad a dynir o hono fel pregethwr; ac y mae yr "*Awdl Alarnadol*" iddo yn dda ragorol. Yr ydym yn cael ein tueddu i'w dodi i mewn yma yn gyfangwbl, er mwyn lliaws o'n darllenwyr:—

"JONES Talsarn gadarn gododd—i fyny:—
O fan isel deuodd.—
O'ch! fath gwmwl du-ddwl dôdd
Ei anwyl wlad pan hunodd!

O Frawd! mor dawel ei fron!—Ei noddi
Mae mynyddoedd mawrion;
A gadael eu cysgodion—i bruddhau
Ei fedd, yn llénau o döau düon.

*Llyfnwy*, gaiff mwy goffa mawr,
Un ydyw fydd hynod-fawr;
Ar ei glan Gŵr mawr ei glod
Ddistawodd îs y tywod!
Hithau, fel trist ymdeithydd,
Prudd wylo heb beidio bydd!

Hwnt gyrir plant ac wyrion—i anedd
Wael, unig, y meirwon;
Fe rewa 'u dagrau digron
Hwy, ryw bryd—Fe oera 'u bron—
Ond hon, yn Afon ufydd,
Süa ei dŵr nos a dydd,
Wrth deithio heibio i hybarch
Wr, a roed yn yr oer arch!

Claddfa fechan hen Lan lwyd
Yn ddilys, dragywyddolwyd,
Yn enw JOHN JONES hynod,
Sydd yna i'r gladdfa 'n glod.
Fe ddaw o bridd ei fedd bren
Harddach na'r fyth-werdd ywen,
Ac fe leda o'i dêg flodion,
Rywiau siriol fel Rhos Saron,
Yn wych, hoyw, ar edyn chwäon,
Bur oreuglod, beraroglion.

Awenydd, tyr'd i weiní ;—darluniad
Ar len o brif deithi,
Y gwron fu 'n rhagori,
Yn fyw 'n awr, cerfia i ni.

Un dydd yn Nolydd Elen—y gwelwyd
Y gwylaidd hardd fachgen :—
O dan aeliau du niwlen
Ei fwth bach, fe wthia 'i ben.
Un isel fel Mab Jesse
Fugeilydd ufydd oedd ef.

Ha ! wele y Bugeilydd—yn rhoddi
Arwyddion mawr gynydd ;
Dyfod y mae fel Dafydd,
Yn fwy, fwy :—a mawr iawn fydd.

Oedd unwaith yn dyddynwr,—ac wedy'n
Fe'i caed yn chwarelwr ;
Yna aeth i Dduw 'n weithiwr,
Brofai ei hun yn brif ŵr.

Mewn Ysgol Sabbathol bu
(A'i frodyr) yn efrydu ;
Hi oedd y fam ddinam fu
A'i haddysg yn gweinyddu
Iddo ef.—Rhoddai hufen
Ei llaeth yn faeth o'r nef wèn ;
A lledai ddidwyll aden
Gweddi bur i guddio 'i ben.
Yr addysg a gyrhaeddai,
Trwy iaith bêr Gomer a gai.
Iaith ei fam ddinam oedd hi—
Iaith oedd yn iaith ei weddi.

Ac iaith drwy 'r hon pregetha—y Bachgen
Boch-goch, hawddgar, yna :—
Gyda nerth Nêr ysgwyd wna
Drigolion daiar Gwalia.

Trwyddi ei feddwl treiddiol—ef a â
I fewn i'r Gair dwyfol;
Yma 'i fawredd myfyriol
Addawai nerth oedd yn ôl.

Natur oedd paent ei ruddiau,—ei osgedd,
Ei wisg, a'i ddysgleidiau;
Hoff hên win ei ffynonau
Yfai 'n noeth—gan ei fwynhau.

Dawn natur daniai eto—enaid
Y gorenwog Gymro,
A dawn Iôn yn cyduno
A gaid yn ei enaid o.

Yn ail i Iöan, wele,
Odidog eneiniog ne.

Tanllyd rybyddiwr, a denwr doniol,
Yn ei areithiau, fu 'r Cymro nerthol;
Dodai ef arwydd i'r diedifeiriol,
O Dduw 'n dynesu, iddo 'n dân ysol;
A denai y crediniol,—yn ddiwyd
Iawn i ddiengyd i'r fan ddiangol.

I fyny daliai 'r faner
Wen yn hyf, yn enw ei Ner;
A heddwch a gyhoeddai,
Yn y groes, i euog rai
A fföant, a dröant drwy
Y nerth sy'n rhoi cynhorthwy,
I druan ŵr droi yn ol
At Dduw, sy'n Dduw maddeuol.

Dyn oedd ef, yn anad neb,
I weini 'r 'pedwar wyneb.' Ezeciel i. 10.
Ha! 'gwyneb dyn' sy'n nesau
Yn wyneb dan ei wênau;
Gwyneb o wiwdeb ydyw;
A gwyneb o burdeb byw.

Y gwyneb hwn, yn gwênu
Yn fwyn, gan JOHN JONES a fu.

Duw Iôr o lys y daran—yrai sŵn
Barai i Sinai ruddfan,
A'r entyrch yn dyrch o dân
Rhyw hellwaedd dorai allan.

'O! Dduw mawr! gawr dy gorn
Rhuadgawr dy hir udgorn :—
Ni, O! Dduw, nid allwn ddal
Dy lais di, o lys dial!

Os dy grêf, groch, lef a lŷn—yn enaid
Anian, nes ei dychryn ;—
O'r fath fraw! Beth ddaw o ddyn,
Ag ef ond megis gwyfyn?'

Deued yn nes Moses mwy,
A rheded ef i'r adwy;
Llafared â llef eirian,
Yn lle Duw o'r fflamllyd dân.

Rhy uchel yw angylion—adeiniog
Eu doniau i ddynion;
Beth ŵyr uchel angel Iôn
Yw ein llidiog drallodion?

Beth ŵyr ef am y gref groes,
A dialedd mewn du-loes?
Ef nid ŵyr am ofnau dyn,
Yn wylo 'n mhalfau 'i elyn.

Llawer sydd ar dywydd du
A'u henaid yn cwynfanu;
Mewn trallod, chwerwdod, a chur,
Yn delwi dan eu dolur.

Wele draw un gwelw a drig,
Yn wan bererin a unig;
Y nos ddu ddarfu ei ddal,
Ar rynu yn yr anial.

Wele acw weddw wael,
Gwedi i bawb ei gadael ;—
Ië gwan, hen, ac unig,
Dan döau o donau dig.

A'i naws hynaws, ein JOHN JONES union,
Yn ysbryd cywir ei IESU tirion,
Yma ddywedai am addewidion,
A da oludoedd Duw i dylodion ;
Yn ngwyneb pob anghenion—all eu dal,
Gras Iôr â gynal, dan groesau 'r gweinion.

Gwyddai ef am agweddion—y gelyn,
Ac am gael o'r ffynon,
Oedd o hael drugaredd Iôn,
I gynal y rhai gweinion.

Ai hwn yw 'r unig wyneb ?
A ofna ? Na ofna neb.
'Gwyneb llew' er gwânu
Pob gelyn, â dychryn du,
A'i rüad gerth a raid gael,
Hefyd ei balfau i afael :
Ni wrthyd y llew nerthol
Wyneb neb, ac ni thry 'n ôl.
Gelynion fel briwsion brau
Wnai 'i ysgethrawg ysgythrau.
Dylys yw, o Dalysarn
Y cododd rhyw lew cadarn.

Ynfydedd, a phob anfadwaith,—a gurai
O'n goror ar unwaith ;—
Pob ffol gân—pob ysgafn iaith—
Gorwâg, a phob drwg araith.

Trywanai 'r Pab a'r Babaeth—archollai
Erchylledd Puseyaeth ;
Dyrnu 'n hy', darnio a wnaeth—
Yn ëon gaer annuwiaeth.

I boeni 'r uchel benaeth,
Rhyw goegion ddynion a ddaeth.
Cwynai 'n dlawd un brawd, farn brin,
Ei fod yn ormod Armin;
Ei ball gan frawd arall oedd,
Nad aeth i enaid ieithoedd.
Wele erfawr lew hir-fwng,—
Codai ef—yscydwai 'i fwng—
Nid oeddynt yn haid iddaw
Fwy na gwlith, neu ddafnau gwlaw
Ar ei fwng, rhai yrai fo,
Yn rhengoedd, i dir ango.'
Eu rhan i'r 'Cymro uniaith,
Isel un, a sâl ei iaith,'
A wnaeth bustlaidd, egraidd wyr,
Oganus gynfigenwyr.
Ow! Ow! rhai heb unrhyw iaith,
Grygant, wrth frolio 'u Groegiaith;
Corachod, silod siolwâg,
Godau gwynt, neu gydau gwâg,
Gwawdiant, synant, gan sôn,
'Bod oes anwybodusion,
(Fel gwrthddrych gorwych y gan)
Wedi hollol fyn'd allan.'
Eiddon bach fu iddo 'n boen,
Rhyw losg-wraint ar ei las-groen,
Pigiadau nodwyddau dur,
Na ddalient fawr yn ddolur,
I'r enwog JOHN JONES ranwyd.
Gwae i'r rhai fu 'n gwau y rhwyd.
Ysgydwai JOHN JONES gadarn,
Y gweiniaid hyn yn gan' darn;
A chwalai hwynt fel chwilod,
Di barch, na wyddid eu bod.
Corsenau—crinbrenau—brwyn—
Yn y gweunydd y gwanwyn,

O flaen dur, neu filain dân,
Y cafodd ef y cyfan.
Ei wyneb oedd 'wyneb ych,'
Ië, wyneb ëonwych.
Nid gwylltio, a neidio 'n ol
Neu wrthod, wna 'r ych nerthol.
Awchwedd hyll y Tachwedd oer,
A chorwynt Ionawr chwerw oer,
I'r wedd yn Chwefror yr â,
A hirddydd Mawrth yr ardda:
Haf a chynhauaf hefyd,
Ych yw dieiriach o hyd.
Gwastad ei rodiad yw 'r ŷch—
Ych bôn fu'n gwron gorwych,
Efe, er yr holl fawrhâd,
Arddelwai ei urdd-alwad,
Nes esgyn bryn ucha 'n bro,
A'n dynion mwyaf dano,
Ddaliodd heb roi addoliad
Iddo 'i hun, mewn balch foddhâd.
Trwy dân a dŵr troedio 'n dêg
Yr ydoedd bob rhyw adeg.
Nerthoedd drychinoedd ac iâ,
A chorwynt, a lluwch eira,
A fflam-fellt—gwib-fellt yn gwau,
Ar unwaith y taranau
Yn rhüo, nes rhwygo 'n rhydd
O'u gwregys yr holl greigydd;
Rhagddo heb un cyffröad
Ai John, fel gwron y gâd;
Rhodiodd, fel ei Waredwr,
Yn ffyddlon—yn ëon ŵr—
Nes i ingol nos angau,
Yn ei gur, am dano gau.

Y wyneb mwyaf hynod—
Yn y nen—yr ucha' i nôd—

Yw yr Eryr arwrol,—eheda
  Ar ei aden nerthol.
Tyrau y byd daiarol—adawa,
Yna hoyw nofia yn y nwy nefol;
Dyrch, dyrch, dyrch,—i'r entyrch â
A diorchest y dyrcha.

Ar y dryll fe deifl oer drem,
Ac edrych gydâ gwawd-drem,
Oddidraw, at y saeth drydd
Yn ol at yr anelydd.

Ai 'n henwog Eryr ninau,
Er ei glod, drwy 'r nwyfol glau;
Rhyw bybyr Eryr mawr oedd
Hedai 'n hyf hyd y nefoedd.

Tano y môr mawr tonawg,
Oll i gyd, oedd fel llaw-gawg.
Ai 'r môr a'r ddaiar yn ddim ;—
Hwy a doddent fel diddim.

O'i ôl gadawai heuliau,—a ser
  Siriol a phlanedau :—
Ysbrydion gwylltion yn gwau
Welodd, mewn llwyd gymylau.
I fro bell y nwyfre bur,—
Cylch siriol, oesol, asur—
Nen ar nen—nen eto 'n uwch—
Un arall eto 'n oruwch
Arall—arall—hyd oror
Lle y saif Brenin llys Iôr
Ar aden ffydd yr hedai,
A mawr ei rym—yma yr âi.
Tynu ei nerth a nerthoedd
Ei Dduw a'i wir weddi 'r oedd.

Pa syndod ei fod mor fawr—
Yn hedfan mor hynodfawr

Yn y nen, uwch ben y byd,
Yn nullwedd Cerub tanllyd?
Ar allu 'i Dduw drwy 'i holl ddydd
Ei einioes bu 'n ddybynydd.

Ei weddi, O! daerni dwys!
Bur hedai i Baradwys,
I dynu, fel gwefr drydanol,
Iddo y nerth oedd yn ol.

Yn y diwedd, yn dawel,—ehedodd
Megis hoyw-deg angel,
O dir ochion i dra uchel-balas,
O dan ei urddas, a Duw 'n ei arddel."

Yn mis Mawrth, 1858, fe gyhoeddwyd "*Marwnad*" iddo hefyd gan y Parch. William Ambrose, Porth Madog. Yr oedd yr awdwr wedi dechreu ei chyfansoddi yn fuan ar ol marwolaeth Mr. John Jones; ond "pan deallodd," meddai, "fod cynifer o feibion yr awen, ac yn eu plith ei gyfaill talentog ó *Glynnog*, yn cyhoeddi eu cynyrchion ar yr un testyn, rhoddodd ei ysgrifell heibio ar y pryd." Pa fodd bynnag, fe berswadiwyd yr awdwr i'w gorphen, ac i'w chyhoeddi. A da iawn oedd hyny. Trueni dirfawr fuasai i ni fod hebddi. Y mae yn gyfansoddiad ardderchog,—dillyn, a choeth, a thyner, a nerthol; ac yn fyw o'r farddoniaeth fwyaf diledryw. Y mae, yn ddiddadl, yn un o'r "*Marwnadau*" rhagoraf yn ein hiaith. Y mae yr awdwr, yn garedig iawn, wedi rhoddi caniatâd i ni i wneuthur y defnydd a fynwn o honi yn y "Cofiant" hwn. Buasai yn ddymunol genym ei dodi yn gyflawn ger bron ein darllenwyr; ond y mae yn rhy faith i hyny: ac felly nis gallwn ond dethol rhai pennillion, yma a thraw, gan obeithio y cawn cyn hir argraffiad o holl weithiau barddonol yr Awdwr, a'r "*Farwnad*" hon yn eu mysg. Cymmerer yr hyn a ganlyn:—

"Gymru, Gymru, dyma ddyrnod, colli 'r gwron o DAL'SARN—
Colli un fydd mewn anrhydedd, pan agorir llyfrau 'r farn;
Gwaded pawb yr enw *Cymro*, nad yw 'n teimlo 'r ergyd hon;
Er fod genym lawer *Ioan*, nid oedd genym ond un JOHN.

"Weithiau, cuddir prinder teimlad, â blodeuog eiriau gwych;
Fel angladdol addurniadau yn cysgodi 'r llygad sych:
Ond mae *Cymru* heddyw 'n wylo—colled myrdd yw 'r golled hon;
Os gŵyr uffern am lawenydd, mae cythreuliaid heddyw 'n llon.

"Ymaith! eiriau ystrydebol—pethau galarebwyr mân,
Na halogwch goffadwriaeth gwrthddrych hoff ein galar gân.
Rhoddwch le i galon lwythog, fwrw 'i baich o hiraeth dwys,
Nes b'o iaith, a threfn, a mesur, yn och'neidio dan ei bwys!

"Un o gedyrn *Tan-y-castell*—ïe 'r blaenaf yn y rhês,
Roddodd destyn i'm galareb, wna i'm calon deimlo 'i wres;
Un fu 'n addurn i'r areithfa—un ro'es fri ar ddawn y wlad—
Un a gerid, megis cyfaill—un a berchid, megis tad.

"Gwelwyd natur ar ei goreu yn ei berson, hawddgar, hardd;
Talder, cryfder, a phrydferthwch; llais caniedydd, llygad bardd:

* * * * * * *

"Ynddo ef y cyfarfyddodd y brawd serchog, a'r gwr mawr;
Ar yr aelwyd byddai 'n blentyn—yn y pwlpud byddai 'n gawr;
Byddai weithiau yn y bregeth fel rhyw uwchddaearol fod,
Ond yn nghongl y gyfeillach, yn ddyn syml, heb deimlo 'i glod.

"Clywch, wehilion, fu 'n ei wawdio, fel gwr *uniaith*, a di ddysg:
Casglodd fwy o wybodaethau, na'r rhai mwyaf yn eich mysg;
A phe gallech chwi feistroli pob tafodiaith dan y nef,
Ni chyrhaeddech y filfedran o'i wybodaeth ëang ef.

"Yr oedd celloedd hanesyddiaeth, oll yn hysbys iddo ef;
Medrai draethu ar Ddaeareg—blodau 'r bardd, a ser y nef;
Daearyddiaeth a Pheiriannaeth, a Cherddoriaeth o bob rhyw,
Oeddynt fel ar flaen ei fysedd; 'roedd yn Wyddoniadur byw.

"Ymddyheuai 'r wlad am dano, fel y sychdir am y gwlaw;
Codid myrdd o ddisgwyliadau, pan y byddai ef gerllaw:
Un drychfeddwl mawr ei fywyd oedd cyhoeddi 'r Dwyfol Ddawn,
A chael Duw a dyn i gymmod, drwy 'r anfesuradwy Iawn.

"Awn mewn adgof i'r Gymmanfa, dyna 'r dyrfa ger ein bron;
Y mae miloedd o wynebau yn cyffroi pan gyfyd JOHN;
Dyna 'r pennill wedi 'i ganu, dyna 'r testyn i ni yn awr;
Dysgwyl mae y dorf awyddus fel y gwyliwr am y wawr.

"Crogi 'n awr mae 'r llu aneirif rhwng dysgwyliad a mwynhad;
Nid yw eto 'n nheml y bregeth, ond yn mhorth yr eglurhad;
Mae pob un yn llaw 'r pregethwr, fel y saeth yn llaw y cawr;
Hoelia 'n dyn bob clust a llygad, yn y gynulleidfa fawr.

"Y mae 'r llaw yn anesmwytho, tôn y llais yn dechreu troi;
Dyna 'r llygad mawr yn gloewi, drychfeddyliau 'n ymgrynhoi;
Treiddia rhywbeth trwy'r gyn'lleidfa: pwy a ddywed pa beth yw?
Y mae 'r dorf ar drothwy 'r fendith, gweled *dyn*, a theimlo *Duw!*

"Mae astudrwydd yn teyrnasu drwy y gorddystawrwydd trwm;
Tebyg yw i drymder anian, ar gyffiniau'r llosgfryn llwm:
Pan f'o hyrddiau tanddaearol—rhagfynegol ddirgrynfâu,
Yn cyhoeddi 'r 'storm losgfalus, ar bob eiliad yn nesâu.

"Dyna 'r ergyd awgrymiadol,—yn cyffroi y dorf i gyd!
Eto, eto, amlach, cryfach! ond mae teimlad eto 'n fud;
Ysgwyd ei gadwynau trymion y mae 'r trydan yn ei gell;
Y mae 'r llosgfal ar ymdori, nid yw 'r rhwygiad mawr yn mhell.

"Dyna 'r gwefrdân yn ymrwygo—saetha fflamau gwyllt i'r nen;
Dyma 'r llosgwy fel afonydd yn ymdywallt am ein pen!
Chwyddo, chwyddo, mae'r llifeiriant, poethach, poethach ydyw 'r tân;
Mae caledrwydd a ffurfioldeb ger ei fron yn ulw mân!

"Dyna fil yn gelaneddau, bloedd ar floedd yn llenwi 'n clyw;
Ni wyr neb ond Duw ei hunan, p'un ai canu ai wylo yw!
O olygfa Bentecostaidd, yn dyrysu gwawdwyr ffôl!
Oni theimlwn, yn y nefoedd, fath o hiraeth ar ei hôl?

"Hoff bregethwr annghydmarol, dan eneiniad pur y nef;
Yn mysg cawri 'r weinidogaeth, nid oedd neb yn uwch nag ef:
Yr oedd rhyw wreiddioldeb ynddo, heriai ddynwaredwyr ffôl;
Rhywbeth wna i feddwl Cymru am flynyddau deimlo 'i ôl.

"*Dwey'd*, fod galar mawr am dano, sydd yn rhywfath o sarhad,
Pan *nas gellir peidio canfod* olion gofid ar y wlad;
Mi wadaswn Gymru 'n hollol, oeri ati wnaethai 'm bron,
Pe nas gwel'swn ynddi dristwch dan y brofedigaeth hon.

"Os yw 'r cedyrn wedi cwympo, y mae 'r CADARN eto 'n fyw;
Ni thry 'n tristwch yn anobaith, nes b'om wedi colli 'n Duw:
Pan fydd eisiau agor moroedd, bydd rhyw *Foses* yn gyfleus;
Ni cha 'r nefoedd un *Elias*, heb i'r byd gael *Eliseus*.

"Rhywbeth mawr mewn deufyd ydoedd ei esgyniad ef i'r nen:
Rhwng eithafion poen a llonder y disgynai 'r farwol len!
Croesaw 'r nef, a'n dagrau ninau gadwai angau ar wahân;
Achos ocheneidiau 'r ddaear, oedd i'r nef yn destyn cân."

Ond y mae yn rhaid i ni eto ymattal. Wedi ysgrifenu ein Nodiadau uchod, a chopïo y darnau blaenorol o'r Farwnad, ni a ddisgynasom ar adolygiad arni, yn "*Maner Cymru*," am Ebrill 28, 1858. Yno, fe ddywed yr Adolygydd, fel y canlyn :—"Am y farwnad, gan y Parch. W. Ambrose, ni raid dywedyd dim, ond mai W. Ambrose ydyw yr awdwr. Y mae enw y cyfansoddydd hwnw yn ddigon o warant am deilyngdod y cyfansoddiad. Nid pob bardd mawr ac enwog sydd yn gallu myned i mewn i ysbryd marwnadaeth; nid llawer o'r beirdd Cymreig, o ddyddiau Williams o Bant y Celyn hyd yma, a ragorasant yn fawr yn y gangen hon o ganiadaeth. Y diweddar Barch. J. Blackwell oedd y tywysog ar y maes hwn, yn mysg beirdd boreuaf yr oes hon; ac Emrys, yn bendifaddeu, ydyw y penaf yn awr. Y mae y farwnad hon yn dda—yn dda odiaeth; yn un o oreuon yr awdwr, os nad yr oreu oll;—ac yn un o oreuon cyfansoddiadau marwnadol ein hiaith, hen a diweddar. Rhaid i'r prif-fardd dihafal o Glynnog ei hun, gymmeryd yr ail le; ac yr ydym yn sicr na bydd neb yn fwy parod i addef hyn, na'r gwr mwyaf dihunangais a llariaidd hwnw o feirdd a llenorion ei oes. Y mae agos i bob llinell yn y ganiad hon, megis bys yn chwareu ar dannau tyneraf a dyfnaf y galon; y mae yn sugno ein holl deimladau i'w chanlyn, 'dan gerdded ac wylo,' o'r dechreu i'r diwedd." Ac, wedi dyfynu rhai pennillion o'r "Farwnad," fe ychwanega yr ysgrifenydd :—"Ond dyna ddigon, ac nid digon chwaith;

canys ni cheir digon byth ar ganu o'r fath yna;—'melus moes mwy' ydyw hi o hyd. Ond dyna ddigon i beri i bob darllenydd frysio i feddu yr holl gyfansoddiad, er mwynhau y wledd o loew-win puredig awenyddiaeth yn gyflawn; a'r hwn na theimlo awydd i hyny, wedi darllen yr ychydig bennillion uchod, druan o ben a chalon hwnw!"

Yn mhen ychydig ar ol hyn, fe ddygwyd allan gyfansoddiad campus arall er coffadwriaeth o hono:—"*Pregethwr y Bobl, neu Fyfyrdodau a achlysurwyd gan Farwolaeth y Parch.* JOHN JONES, *Tal-y-sarn. Gan* GLAN ALUN—Awdwr '*Fy Chwaer,*' &c. 'Yr ydoedd gwr wedi ei anfon oddiwrth Dduw, a'i enw Ioan.' Wyddgrug: Argraffwyd gan Hugh Jones, 1858." Y mae y cyfarchiad "At y Gymry," yn nechreu y llyfr, wedi ei ddyddio "Mehefin 1, 1858." Yn hwnw fe ddywedir,—"Nid oes gan yr Awdwr un esgusawd tros gyhoeddi y myfyrdodau hyn, gan fod cynnifer o gyfansoddiadau wedi ymddangos eisoes, yn dwyn perthynas â'r un testyn, ond, 'Fel hyn y gwneir i'r hwn y mae y BOBL yn chwennych ei anrhydeddu.'" Yr oedd *Glan Alun*, yn ddiddadl, a chymmaint o wir farddoniaeth yn ei natur, o'r nodwedd neillduol a berthynai iddo, ag odid un o'r beirdd a gyd-oesent âg ef; ac y mae y gân hon yn dwyn tystiolaeth eglur o hyny. Y mae wedi ei chyfansoddi yn y mesur diodl (*blank verse*); ac er nad yw y mesur hwnw yn rhyw ddygymmod yn naturiol â'n hiaith ni, y mae yma liaws mawr o linellau, yn y ganiad hon, ag yr ydym yn gorfod teimlo ynddynt y nerth sydd mewn gwir athrylith i ddarostwng pob peth iddi ei hun. Rhoddir darluniad i'r byw yma o "*Bregethwr y Bobl,*" yn ei gychwyniad, ei gynnydd, ei boblogrwydd; yn y Gymmanfa fawr—mewn oedfa gyffredin—yn gwrando ar ei frodyr—yn Nghynnadledd y Gymmanfa, &c. Mae y cyfansoddiad hwn yn adnabyddus, y mae yn ddiammeu genym, i liaws mawr o'n darllenwyr, ond rhaid i ni gael dyfynu ychydig o hono:—

"Daw llawer Sais ac estron i roi tro
I'n Cymru hoff i brofi awyr iach
Ei bryniau a'i dyffrynoedd; edrych ar
Ei hên fynyddoedd; rhodio ar lanau têg
Ei llynoedd a'i hafonydd; gwrando rhu
Rhaiadrau 'n treiglo tros ei hen asenau.
A! pe gallesid rhoi o flaen y rhai 'n,
Addolwyr yr arddunawl, ddarlun têg
O enaid mawr y Cymro o Dalsarn,

A'i amryw ddoniau; y mynyddoedd o
Dlws feddylddrychau; y rhaiadrau mawr
O wir hyawdledd; y dychymyg oedd
Fel ffrwythlawn ddyffryn yn ddihysbydd ei
Gynnyrchion prydferth; yr afonydd dwfn
Chwyddedig o bur ras a nefol deimlad
A lifent ynddo; yr awyr peraidd iach
Oedd yn ei ysbryd!

O ran hyny yn wir,
Rhy brin y gwnaethai estroniaid fawr o hono.

* * * * * * *

Heblaw hyny,
O'r braidd y buasai ieithoedd llipa bâs
A blaen-dafodol amryw wledydd cred
Heb dori i lawr o dan y talpiau mawr,
Y creigiau ysgythrog o feddyliau ddoent
O enau ein cyfaill yn ei hwyliau mawr.
Ond Cymry a Chymraeg a weddent iddo.
Pe dygwyddasai iddo ei eni mewn
Rhyw hinsawdd arall, fe dorasai ei ddawn
Ryw lwybr arall, fe allai, iddo ei hun;
Ond gresyn fuasai i'r hen Organ fawr
Ei rhoi at ddim ond *miwsig* cysegredig.
Ni fynai 'r Nefoedd hyn, am hyn fe 'i rho'dd
I Gymru. Hapus gyfarfyddiad oedd,—
Cymhwysder dawn, cymhwysder testun, a
Iaith gymhwys, a gwrandawwyr cymhwys i
Fwynhau a iawn ddefnyddio. Dyma 'ddyn
Priodol yn ei le priodol,' a phob lle
Yr elai iddo fe a'i llanwai yn ddiball.
Awn i'r Gymanfa enyd, er mai lle
Anhawdd i sylwi arno 'n fanol, nac
I wel'd ei allu, canys mae y dorf
Mor fawr a gwasgaredig. Ond ni awn
I ben y 'domen,'* neu 'r hen furddyn hwn
Yn nghwr y gwersyll. Gwelir draw yn mhell

* Tomen y Bala.

Wr yn cyfodi, tuag ato try
O lon wynebau, fe allai ugain mil,
Mewn mawr ddysgwyliad. O'r fan hyn, yn wir,
Nis gallwn eto ei glywed. Pwyllog iawn
Ymddengys oddi yma, ac fel pe b'ai
O'r braidd yn ceisio rhwyfo yn y blaen
Yn groes i'r llanw ; ac nid rhyfedd yw,
Yr awr brydnawnol ydyw. Ond yn y man,
Fe glywn y llais yn graddol godi 'n uwch,
Yn debyg iawn i'r llanw 'n dod i mewn.
'Mae swn yn mrig y morwydd ;' gwelir fod
Y miloedd penau yn cyhwfan fel
Tàn rhyw gynhyrfiad. Ar yr awel bêr,
Ar brydiau, oddi draw i gyrau 'r dorf
Fe ddaw 'r 'Amen,' a'r sŵn nefolaidd cynhes,
Na cheir ond yn Nghymru hoff
Ar ddydd Cymmanfa. Trwy 'r spienddrych hwn,
Gwelir yn amlwg mai nid delw sydd
Ar yr areithle draw. Mae 'r fraich yn awr
Yn dechreu symud ; mae y llygaid craff
Yn amlwg wedi tanio ; ac y mae 'r
Gwefusau yn ymdrechu. Gydâ hyn,
Fe glywn yr hir floedd uchel flasus fawr,
'Cyfammod,' bloeddia gydâ melus dôn,
'Tragywyddo-ol wnaeth â mi,' ac yn y màn
'Cyfammod,' etyb holl adseiniau 'r fro.
Drachefn, ac eilwaith, fe dderchafa 'i lais,
Mae 'r llanw mawr i mewn, a thòn ar dòn
O bur hyawdledd yn ymdori dros
Y dyrfa fawr swynedig. Trwyddi mae
Rhyw gyffro mawr ; gwelir aml bâr
O ddwylaw i fynu 'n ysgwyd fel pe b'ai
Y bobl am ehedeg. Erbyn hyn,
Llais y pregethwr a lwyr foddir yn
Y 'Diolch byth,' a'r sŵn gorfoledd mawr."

Ond digoned hyna fel anghraifft o'r dysgrifiadau happus o hono a geir yn y Bryddest hon.

Yn y "TRAETHODYDD" am *Mawrth*, 1860 (*tu dal.* 96—120), fe ymddangosodd "*Marwnad*" arall, ragorol iawn iddo. Yr ydym yn gwybod fod hon wedi ei chyfansoddi yn fuan wedi marwolaeth Mr. John Jones, a phe buasai y "*Cofiant*" hwn wedi ei gyhoeddi, pryd y dylasai gael ei gyhoeddi, buasai yn ymddangos ynddo. Ei awdwr ydyw, Mr. Robert Hughes, Llangernyw, yr hwn a adnabyddir wrth yr enw barddonol "*Glan Collen.*" Mae gwir enaid y gân yn treiddio trwy y cyfansoddiad hwn, ac yn rhoddi bywyd, a nerth, a theimlad, a phrydferthwch, ar bob llinell braidd o'i fewn. Gan obeithio ei fod yn nghyrhaedd nifer mawr o'n darllenwyr, rhaid i ni foddloni ar ychydig ddyfyniadau o hono:—

"Nid mor hawdd yw cuddio teimlad—anhawdd iawn yw llochi tân;
Fflamio 'r oedd yn nhragwyddoldeb, yn serchiadau Iesu glân:
Felly byddai 'n rhwygo mynwes hen losg-fynydd Tal-y-sarn;
Ac yn llosgi gau-noddfäoedd, fel pe buasai ddydd y farn!

"Byddai ddoniau megis afon fawr, lifeiriol, ddofn ei rhu,
Yn ymchwyddo 'n falch ei threigliad, gan ymledu ar bob tu;
Uwch, ac uwch ei thwrf mawreddog, cryfach, cryfach rhed y'mlaen,
Nes y llynca iddi 'i hunan, amrywiaethau dôl a gwaen.

"Fel y môr ar flaen gorllanw, araf chwydda yn ei rym;
Er, fe allai, nad yw 'n marchog, ei ffroenuchel gesyg llym;
Eto medda nerth anfeidrol,—chwardd am ben y rhwystrau ynghyd,
A chrechwena mewn mawrfrydedd, wedi boddi 'r traeth i gyd.

"Fel y gwynt, pan huna 'r storom, yn difyru anian fwyn;
Chwery fel y fam â'r baban, gan ogleisio dail y llwyn:
Ond mae 'n deffro ac ystwyrian, fel rhyw gadarn ar ddihun;
Clywch! mae'r cedrwydd dano 'n gruddfan, a dadwreiddir llawer un.

* * * * * * *

"Y mae diwrnod yr uchelwyl wedi dyfod yn ei bryd;
Gwelir ugain mil o ddynion yn un dyrfa hardd ynghyd:
Holir am ein gwrthddrych yno, edrych mae y dyrfa draw;
A dysgwyliant oll am dano, fel y sychdir am y gwlaw.

"Dacw fe yn d'od i'r golwg—dacw 'i gam arafaidd, dwys;
Nid yw 'n edrych yma ac acw—ond fel ŷch yn tynu 'i gwys:
Y mae rhywbeth yn ei osgo sydd yn dangos dyn o fryd;
Fel nad all ei ostyngeiddrwydd lwyddo i'w guddio ar bob pryd.

"Wedi cyrhaedd yr areithfa, y mae 'n eistedd yno i lawr;
Prin, gan wylder, teifl ei lygad unwaith dros y dyrfa fawr:
Serchog yw yr olwg arno—syml, dirodres, difost iawn;
Eto 'r llygad dwfn, eryraidd, yn bradychu dyfnder dawn.

"Y mae 'n sefyll acw i fyny—ymffrost iddo sydd yn wyw;
Yn arafaidd dyry bennill, efengylaidd iawn ei ryw:
Tyner, pwyllog, diymhongar, y mae 'n taro tant y gân,
Er fod ambell i wreichionen yn amlygu 'r Dwyfol dân.

"A o gam i gam yn araf—casgla nerth i'w aden gref;
Nid oes unrhyw ymgais methiant byth i'w ganfod ynddo ef:
Weithiau teimlad sy 'n ymchwyddo, ac yn esgyn bob yn bwyth;
Fel y gwelir deddfau anian weithiau 'n tuchau dan eu llwyth.

"Fel y bydd y gref ystorom yn arafaidd ymgrynhoi,
A'r cre'duriaid, trwy reddf anian, i'r cysgodion fydd yn ffoi;
Felly teimla 'r dyn annuwiol yr ystorom fawr o draw,
Ac ymchwilia, ond yn ofer, am ymguddfa rhag ei braw.

"Y mae anian fel yn methu ag anadlu dan ei phwn;
Fel yn attal ei hanadliad, a chlustfeinio 'r eiliad hwn:
Dysgwyl mae i'r gwewyr ddyfod—teimla rym arwyddocâd;
Gŵyr y profir loesion angeu cyn y gellir cael rhyddhâd.

"Wele fellten heibio 'n fflachio—taran fawr ddadblyga 'i rhôl;
Ah! mae calon anian drwyddi yn dirgrynu yn ei bôl:
Pa le mae yr anystyriol? Ah! mae 'n gwelwi 'r fynyd hon;
Cenfydd ddorau 'r byd tragwyddol yn ymagor ger ei fron.

"Mellt ymwibiant yn wefrdanol—taran ar ol taran gref
Sy 'n aredig yr awyrgylch, ac yn siglo dae'r a nef:
Yna y cymmylau gwgus a ddechreuant fwrw i lawr;
Ymarllwysant eu cynnwysiad fel afonydd byd yn awr.

"Ah! gwel acw y gwastadedd, yn un foddfa fawr ddilàn;
A holl obaith y creadur wedi colli yn mhob man:
Boddodd pob rhyw loches ddynol—pob rhyw dwmpath is y nen
Sydd yn waeth nag hebddo weithian, yn dyferu am ei ben.

"Ond canfyddir acw 'r Bẅa, heibio 'r cwmmwl du gerllaw;
Cwyd dy ben—nac anobeithia, ti bechadur, er dy fraw!
Y mae Duw am gadw eto at ei hen addewid, clyw!
Crêd! mae breichiau ei drugaredd am dy dderbyn—ti gei fyw.

"Dacw 'r erch gymmylau tewion yn ymgilio un ac un;
Dacw heulwen yr addewid eto 'n gwenu ar y dyn:
Erbyn hyn mae 'r byd yn newydd—gwisgodd Cariad hawddgar ef;
Ac un floedd o bêr Hosanna fawr, sy'n esgyn tua 'r nef."

Ond rhaid i ni ymattal. Nid yw hyn ond ychydig bennillion o'r "Bennod I.;" ac y mae lliaws o linellau cyfoethocach o lawer, yn y "Pennodau" canlynol. Fe gyhoeddwyd rhai "*Marwnadau*" ereill iddo nad ydynt yn ein cyrhaedd ni yn awr. Yr ydym yn cofio un yn neillduol, gan un a'i galwai ei hunan, yn "*Fethodist Galarus*," wedi ei hargraffu yn Nghaernarfon. Yr argraff ar ein meddwl ni ydyw, fod hono hefyd, tra heb ryw lawer o Farddoniaeth uchel ynddi, yn llawn teimlad, ac yn ffrwyth hiraeth calon ar ol ei gwrthddrych. Fel y sylwasom eisoes, nid oes eisiau prawf cryfach o'r teimlad dwys a feddiannai ei genedl, wedi ei golli, na'r warogaeth yma a dalwyd gan gynnifer o feibion yr awen iddo.

Ond nid y Beirdd yn unig a ddaethant allan i'w anrhydeddu ef. Cyhoeddwyd Ysgrifau galluog arno yn y Newyddiaduron Cymreig, ac yn Nghyhoeddiadau Misol yr amrywiol bleidiau crefyddol yn ein gwlad; a thalwyd un gydnabyddiaeth o barch iddo, nad ydym ni yn cofio iddi gael ei thalu i un Cymro arall erioed, sef, yn nghyhoeddiad y "*Requiem*, neu Gerddoriaeth Goffadwriaethol am y Parch. John Jones, Tal y sarn, gan y Parch. E. Stephen, Tan y marian."—Ni ddygwyddodd i ni erioed weled y cyfansoddiad hwn; ac nid oes un cymhwysder ynom i fwrw barn ar y fath waith pe daethai dan ein sylw. Felly, nis gallwn wneyd yn well na dyfynu ychydig, allan o'r Adolygiad a gawn arno yn "*Maner Cymru*," am Mai 5, 1858. Yno, yn mhlith pethau ereill, fe ddywedir fel y canlyn:—

"Ystyr y gair '*Requiem*,' mewn cysylltiad â gwasanaeth y Pabyddion, ydyw hymn neu gân am orphwysdra enaid yr ymadawedig. Mae y geiriau mor ddychrynllyd i deimlad Protestant fel y maent bron yn annioddefol. Ond y mae ystyr arall i'r gair, sef cyfansoddiad cerddorol er anrhydedd i'r trancedig; a dyna yr ystyr a arfera yr un ag yr ydym yn ymwneyd âg ef yn awr; felly ni raid i neb arswydo wrth ganfod y gair '*Requiem*' yn cael ei gyssylltu âg enw un o brif Brotestaniaid yr oes hon. Yr oeddym yn dysgwyl gweled fod rhywun ar fedr dyfod yn mlaen i dalu teyrnged o barch i goffadwriaeth y Parch. John Jones, Tal-y-sarn, trwy gerddoriaeth; o herwydd nid oedd ei fywyd, o'i febyd i'w fedd, ond 'sain cân a moliant.' Daeth ein dysgwyliad i ben, a chymmerodd un o brif (os nad y prif) gerddorion Cymru, y gwaith mewn llaw. Mae cerddoriaeth o'r fath yma mor ddieithr i Gymru, fel yr oedd yn rhaid tòri llwybr newydd—ac hyd yr ydym yn gallu barnu, bu Mr. Stephen yn hynod hapus yn hyn. Mae y cynllun yn wir dda;—cynnwysa bedwar cydgân (*chorus*), a chyssylltir y rhai hyn â'u gilydd gan *duetts*; er mwyn buddioldeb, gellir canu pob un o'r cydganau yn annibynol y naill ar y llall, a gwasanaethant fel anthemau byrion. Dechreua y '*Requiem*' yn y cywair C lleddf, ar y geiriau,—'O ardderchawgrwydd Israel.' Mae hwn yn arweiniad i mewn i'r gwaith; y gerddoriaeth yn syml a phruddglwyfus; gellir yn hawdd deimlo oddiwrtho fod rhywbeth heb fod yn iawn. Dilynir hwn âg efelychiad yn y pummed (ar yr un geiriau), tlws a tharawiadol; y mae yn hawdd i'w ganu ac yn wir deimladwy. Yna cawn y geiriau, 'Pa fodd y cwympodd y cedyrn?' Wedi myned trwy y gwahanol frawddegau cerddorol, terfynir y cydgân hwn gydâ y geiriau, 'O ardderchawgrwydd Israel.'

Yr ydym, trwy ddylanwad y geiriau a'r gerddoriaeth, wedi ein dwyn i'r teimlad o rai wedi colli eu blaenor, ac yn gollwng allan ein hochenaid â llefain, 'O ardderchawgrwydd Israel.' Dilynir y cydgân a enwyd gan ddeuawd *tenor* a *bass*;—nid ydyw hwn ond dolen gyssylltiadol i'r ddau gydgân. Y geiriau ydynt,—'Sïon a ledodd ei dwylaw, heb neb yn ei dyddanu.' Dilynir hyn gan gydgân yn G leddf, ar y geiriau,—'Achub, Arglwydd, darfu y trugarog, a phallodd y ffyddloniaid o blith meibion dynion.' Cynnwysa y cydgân hwn dlysni anarferol; gafaela yn nheimladau dyfnaf dyn; dŵg ef i'r fath deimlad o gyfyngder, fel nad oes ganddo ond un man i droi am ymwared—sef at Dduw: nid ydym yn meddwl i ni ganfod cydgân mwy teimladwy

[llawn o deimlad] erioed; a chydâ ond ychydig drafferth, gall corau pur gyffredin ddwyn allan ei feddwl yn deilwng. Ar ol hwn, cawn ddeuawd *tenor* a *bass* (fel arweiniad i'r cydgân), ar y geiriau,—'Fel hyn y dywed yr Arglwydd, attal dy lef rhag wylo, a'th lygaid rhag dagrau; myfi yw yr adgyfodiad a'r bywyd; yr hwn sydd yn credu ynofi fi, er iddo farw a fydd byw.' Mae y ddeuawd yn undon gwreiddioldeb a theimlad; ac ond cael ei ganu yn dda, mae yn sicr o fod yn effeithiol; heb hyn nid yw ond oferedd ei dreio, o herwydd os na chenir deuawd, &c., yn *wir* dda y mae yn annioddefol i wrandaw ar ei ddadganiad. Dilynir y deuawd gan *semi chorus*, ar y geiriau,—'Yr hwn sydd yn credu ynof fi, er iddo farw a fydd byw.' Mae y cydgân hwn yn wahanol yn ei arddull i'r rhai blaenorol, fel yn wir y mae y geiriau yn gofyn iddo fod; cynnwysa newydd-deb trwyddo; o'i ganu yn gywir, y mae yn sicr o daraw yn dda ar glust a theimlad y gwrandawyr. Yr ydym, erbyn hyn, yn cael y cydgân diweddaf, ar y geiriau,—'Canys yr udgorn a gân, a'r meirw a gyfodir yn anllygredig.' Nid oes ammheuaeth nad hwn yw prif ran y gwaith o ran rhagoroldeb; y mae ynddo dlysion lawer; y mae rhediad y lleisiau, y materion, a'r cynghaneddiant yn gampus. Mewn gwirionedd, rhyfyg a fyddai cynnyg darlunio ei ragoriaethau trwy ysgrifenu arno. Fel gwaith *trwyddo*, yr ydym yn sicr gredu fod y '*Requiem*' yn anrhydedd i Gymru, ac yn ogoniant i'w awdwr."

Ond y mae yn rhaid i ni ddwyn y sylwadau hyn i derfyniad. Fe genfydd y darllenydd, nad yw ei hunan yn ddigon hên i gofio yr amgylchiadau, oddiwrth y crybwyllion hyn, fod pob dosbarth yn ein gwlad, ac mewn cysylltiad â'r amrywiol enwadau crefyddol, braidd yn ddiwahaniaeth, yn cyduno i arllwys allan, yn y naill wedd neu y llall, eu teimladau galarus a hiraethlawn am dano ar ol ei golli. Ac yr oedd hyny yn cael ei wneuthur, heb unrhyw gynghor nen gyd-fwriad, neu gydâ golwg ar unrhyw gystadleuaeth; ond yn gwbl rydd a digymhell, fel cynnyrch pur a naturiol y serch cryf a goleddid gan ei genedl tuag ato, a'r hiraeth dwfn a dwys a chyffredinol a deimlid ar ei ol.

Yr oedd Mr. John Jones yn arfer cymmeryd llawer iawn o hyfrydwch mewn ymchwiliadau hynafiaethol, ac, yn enwedig, mewn olrheiniadau i'w "*Achau*" teuluaidd ei hunan; a dichon mai nid annyddorol gan ein darllenwyr fydd y crybwyllion canlynol am danynt, o eiddo Eben Fardd:—

"Yr oedd y Parch. J. Jones yn hanu o Hedd Molwynog, sylfaenydd un o bymtheg llwyth Gwynedd, yn y flwyddyn 1079, yr hwn oedd Arglwydd Dyffryn Elwy a Nant Aled, yn ol rhai, ac Uwch Aled, yn ol ereill: yr oedd yn byw yn yr Henllys, yn Llangernyw. Ei Baisarfau oedd,—

'Carw gwyn yn cerdded ar y maes du.'

Yn mysg ei Ddisgynyddion, rhestrir Llwydiaid Hafodunnos a Llwyn-y-Maen, yn nghyd â'r personau canlynol, sef Rhys ap Ieuan ap Llewelyn Chwith o Chwibren, o ba un y mae y gweinidogion parchedig, William a Henry Rees o Liverpool, yn deillio eu gwaedoliaeth. Yr oedd efe yn yswain i Iorwerth IV., Brenin Lloegr: Iolo Gôch o Lechryd, a Thudur Aled, Beirdd enwog, a'r Dr. Morgan, cyfieithydd y Beibl Cymraeg, oeddynt hefyd o'r llwyth hwn, er y dadleua rhai fod yr olaf o lwyth Nefydd Hardd.—Capt. Meurig Llwyd o Lwyn y Maen, a hynododd ei hun yn Rhyfeloedd y Groes, dan Richard I., yn ngwarchae Acre. Capt. Edward Llwyd o Lwyn y Maen, oedd Gwnstabl Castell Whittington, yn amser Harri VIII.

Yr oedd y diweddar Barch. J. Jones yn olrhain ei garenydd i deulu Llwyn y Maen, a grybwyllir uchod, fel hyn:—John ap John ap John ap William ap Bleddyn Llwyd, o Lwyn y Maen. Y mae yr enw 'Bleddyn' i'w weled yn dygwydd yn aml yn achres y carenydd Llwydiaid o Hafodunos."

Rhaid i ni bellach ddwyn y bennod hon i derfyniad, a phrysuro i orphen yr holl waith. Ac nis gallwn feddwl am un terfyniad mwy naturiol, i'r rhan yma o'n "*Cofiant*," na'r Englyn campus a gyfansoddwyd i'w wrthddrych anrhydeddus, gan y pregethwr coeth a'r bardd rhagorol, y Parch. David Jones, Clynnog *(Dewi Arfon)*; yr hwn sydd yntau ei hunan, erbyn hyn, ac er ys rhai blynyddau, wedi esgyn i wlad y gân dragywyddol:—

"Clogwyni coleg anian—wnaeth ryfedd
  Athrofa i IOAN:
Ai yn null gwron allan—
Mawr ŵr Duw, rhoes Gymru ar dân."

# PENNOD XVI.

## EI GYSYLLTIAD A'R WEINIDOGAETH GYMREIG, A'I GYMERIAD FEL PREGETHWR.

### RHAN I.

### BYROLYGIAD AR Y PULPUD METHODISTAIDD HYD EI DDYDDIAU EF.

SAFLE UCHEL MR. JOHN JONES FEL PREGETHWR—EI RAGORIAETHAU YN DESTYN YMCHWILIAD DYDDOROL—EI BERTHYNAS A'R PULPUD CYMREIG—PREGETHWYR HYNOD CYN CYFODIAD METHODISTIAETH—REES PRICHARD—WALTER CRADOC—VAVASOR POWELL—MORGAN LLWYD—GRIFFITH JONES—Y DIWYGIAD METHODISTAIDD YN CYFODI PREGETHU I SAFLE UWCH A DYLANWAD MWY—HOWELL HARRIS—DANIEL ROWLAND—DAVID JONES, LLANGANA—DAFYDD MORRIS—ROBERT ROBERTS, CLYNOG—JOHN JONES, EDEYRN—EVAN RICHARDSON, CAERNARFON—EBENEZER MORRIS—JOHN ELIAS—JOHN EVANS, NEW INN—MICHAEL ROBERTS—DAVID CHARLES, CAERFYRDDIN—EBENEZER RICHARD—THOMAS RICHARD—WILLIAM MORRIS, TY DDEWI—WILLIAM ROBERTS, AMLWCH—JOHN HUGHES, LIVERPOOL—HENRY REES—PREGETHWYR ANNGHYFFREDIN MEWN CYSYLLTIAD AG ENWADAU EREILL—CHRISTMAS EVANS—WILLIAM WILLIAMS O'R WERN—THOMAS REES DAVIES—ELFENAU ARBENIG Y WEINIDOGAETH GYMREIG—Y RHAI A FUANT YN BENAF YN OFFERYNOL I OSOD ARNI EI HARBENIGRWYDD—Y WEDD NEILLDUOL OEDD ARNI AR YMDDANGOSIAD MR. JOHN JONES.

Y MAE y tu dalenau blaenorol, os nad ydym yn camgymmeryd yn fawr, wedi arwain ein darllenwyr i'r fath gydnabyddiaeth â Mr. John Jones, ag i'w galluogi, i gryn fesur, i ffurfio barn led gywir iddynt eu hunain am dano, fel nad oes llawer o angenrheidrwydd, er mwyn hyny, am i ni ychwanegu nemawr ddim atynt. Yr un pryd, yr oedd y fath arbenigrwydd ynddo ef fel Pregethwr, fel mai gyda'r amcan yn benaf o geisio egluro y nodweddion neillduol a berthynent iddo fel y cyfryw, a chyflwyno rhai enghreifftiau o honynt ger bron ein darllenwyr, er mwyn pregethwyr ieuainc Cymru, y darfu i ni, o'r dechreu, ymgymmeryd ag ysgrifenu "*Cofiant*" iddo; ac, yn wir, ar y pryd, nid oeddem yn meddwl am odid ddim arall. Ac er, oblegyd ein tynu at bethau

ereill, nad oeddem yn meddwl dim am danynt, fod y gwaith eisioes wedi ymestyn mor faith, fel y rhaid i'n sylwadau, yn y cyfeiriad hwn, fod yn fyrion ac yn anmherffaith iawn mewn cymhariaeth i'r hyn a amcenid genym ar y cyntaf, eto nis gallwn mewn un modd foddloni i'w gadael allan yn hollol; ac yr ydym yn tybied y byddai hyny yn gryn siomedigaeth i nifer mawr o'n darllenwyr, yn enwedig i'r rhai a olygir genym ni yn cyfansoddi y dosbarth pwysicaf o honynt.

PREGETHWR oedd Mr. John Jones. Ac yr *oedd* efe yn Bregethwr o'r iawn ryw. Yr oedd wedi ei gynnysgaeddu â'r cymhwysderau, naturiol a grasol, angenrheidiol i'r gwaith, i raddau mor fawr, ag i'w ddyrchafu, yn ein bryd ni, yn un o'r rhai cyntaf, yn nosbarth uchaf pregethwyr unrhyw oes neu wlad, er dyddiau yr Apostolion. Nis gall ymchwiliad, gan hyny, i elfenau y rhagoriaethau neillduol a berthynent iddo fel y cyfryw, ac o'r modd y cyrhaeddwyd hwynt ganddo, ond ei wneyd gydâ dim llwyddiant, lai na bod nid yn unig yn ddyddorol ond yn dra addysgiadol, yn enwedig i bawb sydd a wnelont â gweinidogaeth yr efengyl, ac a ddymunent ragori ynddi. Ond nis gellir cael golwg dêg arno yn y cymeriad hwn, heb edrych arno yn gysylltiedig â'r Pulpud Cymreig, ac â nodweddau neillduol Pregethu yn Nghymru, yn enwedig yn y Cyfundeb crefyddol y perthynai efe yn uniongyrchol iddo; ac felly, yn arweiniol ato ef, ni a gymmerwn fyr-olygiad ar rai o'r hen bregethwyr blaenorol iddo, yn enwedig ar y rhai a fuant yn benaf yn offerynol i ddyrchafu y weinidogaeth yn ein gwlad, ac i osod arni y wedd neillduol a berthyn iddi yn ein mysg.

Nid oes eisiau ond ychydig gydnabyddiaeth â hanes Cymru er cyfodiad y Diwygiad Methodistaidd, er mwyn canfod y lle uchel y mae y pulpud wedi gyrhaedd ynddi, a'r dylanwad mawr a daionus sydd iddo ar feddyliau ei thrigolion. "Er cyfodiad y Diwygiad Methodistaidd," meddwn: oblegyd, er nad oedd pregethu yn beth dïeithr yn y tir oesoedd cyn hyny, eto o ran dim sydd wybyddus, yr oedd gan mwyaf mor ddiyni a dieffaith, fel na thelid, mewn cymhariaeth, ond ychydig sylw iddo, ac nad oedd mewn un modd yn cael ei deimlo yn allu yn y wlad. Yr oedd rhai, y mae yn wir, wedi cyfodi, âg arwyddion diammheuol arnynt o'u bod wedi eu cyfaddasu, mewn modd neillduol, i gyfarfod angenrheidiau y genedl, yn yr anwybodaeth dirfawr yr oedd ar y pryd ynddo, ac yn y llygredigaethau anfad yr oedd yn ymroddi iddynt. Un felly, yn arbenig, oedd REES PRICHARD, *Ficer Llanymddyfri;* yr

hwn, trwy ei weinidogaeth nerthol, trwy ei fywyd sanctaidd, ac, yn enwedig, trwy ei Ganiadau syml, a wnaeth fwy na nemawr neb mewn unrhyw oes, er cadw gwybodaeth y gwirionedd rhag llwyr golli o feddwl y werin yn ein gwlad. Un felly, mewn modd nodedig, oedd WALTER CRADOC; yr hwn, wedi ei gyflenwi â doniau ac ysbryd y weinidogaeth i raddau annghyffredin, a deithiodd Gymru agos drwyddi i bregethu yr efengyl; ac a fu mor llwyddiannus yn ei lafur, fel, am fwy na chan' mlynedd, y gelwid pwy bynnag a arwyddai duedd neillduol at ddifrifwch gyda chrefydd, mewn gwawd, ar ei enw ef. Un felly, yn neillduol, oedd VAVASOR POWELL; yr hwn oedd wedi ei addurno i raddau helaeth â chymhwysderau y swydd fawr, ac, yn ngwyneb yr erledigaethau trymaf, a ymroddodd gydâg egni, a ffyddlondeb, a llawer o lwyddiant, i "efengylu" i'w gydwladwyr "anchwiliadwy olud Crist." Un nad oedd yn ol braidd i'r un o'r rhai a nodwyd, oedd MORGAN LLWYD; yr hwn, heb arbed dim arno ei hunan, ac yn wyneb erledigaethau mawrion, a ymroddodd gydâg ymdrech a llwyddiant mawr i rybuddio ei gydwladwyr o'u perygl, ac i'w cyfarwyddo at drefn yr efengyl am ymwared. Ac un felly, yn enwedig, mewn amseroedd diweddarach, oedd GRIFFITH JONES o Landdowror; yr hwn oedd yn meddiannu doniau y weinidogaeth, dybygid, yn gymmaint ag un o honynt; ac a deithiodd lawer trwy Ddeheudir Cymru, gan bregethu yn y Llanau Plwyfol; ac a wnaeth lawer iawn trwy y llyfrau a gyhoeddodd, ac yn enwedig trwy yr ysgolion a sefydlwyd ganddo, tuag at wasanaethu ei gydwladwyr yn "y pethau a berthynent i'w heddwch."

Yr oedd rhagoriaethau neillduol yn perthynu i'r gwyr hyn, a'u cyfodent yn mhell uwchlaw corph y gweinidogion a gydoesent â hwynt, pa un bynnag ai yn yr Eglwys wladol ai allan o honi. Yr oeddent yn ddynion â thân Duw yn llosgi yn eu hysbryd; yn llawn awydd am iachawdwriaeth, eu cyd-ddynion; ac yn meddiannu talentau rhagorol i dynu sylw eu cydwladwyr at eu cenadwri, ac i wasgu y gwirioneddau a draddodid ganddynt, yn y modd mwyaf effeithiol, at eu cydwybodau. Yn ganlynol, fe fu llwyddiant mawr ar eu llafur: buant offerynol i ddychwelyd lliaws o eneidiau at Grist, ac i wanhau grym arferion llygredig ac annuwiol mewn lliaws o gymmydogaethau yn ein gwlad. Ond yn anffodus, ac er colled ddirfawr i'n gwlad, pan y cymmerwyd hwynt ymaith, oddieithr yr olaf, nid oedd neb o gyffelyb ysbryd iddynt wedi ei adael i gymmeryd eu lle; a syrthiodd y wlad drachefn

i fesur mawr, a Gogledd Cymru agos yn hollol, i anwybodaeth a drwg-fuchedd. Yr oedd eto nifer mawr yn cymmeryd arnynt bregethu, o leiaf yn achlysurol; ac yr oedd rhai o honynt, y mae yn ddiau, yn ddynion Duw, ac yn teimlo dros eneidiau eu gwrandawwyr; ond yr oedd y corph o honynt, ysywaeth! mor amddifad o ysbryd a dawn y weinidogaeth, a'r nifer mwyaf o lawer o honynt, y mae lle i ofni, mor gwbl ddïeithr i awdurdod yr efengyl ar eu meddyliau eu hunain, fel nad oedd un lle i ddysgwyl unrhyw ddylanwad achubol yn gysylltiedig â'u pregethu.

Ond gydâ chyfodiad Methodistiaeth, fe ddechreuodd cyfnewidiad amlwg ar wedd y weinidogaeth. Yr oedd y dynion hynod a droisant allan y pryd hyny i deithio Cymru gydâ'r efengyl, wedi derbyn cymhwysderau annghyffredinol at y gwaith mawr, ac wedi eu llwyr feddiannu gan gysegredigaeth iddo; ac fe'u hanrhydeddwyd gan eu Harglwydd â llwyddiant arbenig ar eu llafur. Ac, er trugaredd annhraethol â'n gwlad, erbyn eu cymmeryd hwy ymaith oddiwrth eu gwaith at eu gwobr, yr oedd llïaws o ysbryd cyffelyb wedi eu galw i gydweithio â hwynt, ac yn barod i gymmeryd eu lle, a *rhai* o ddoniau mor uchel os nad uwch; ac felly, drachefn, ar eu hôl hwythau; ac ar eu hôl hwythau, hyd y dydd hwn. Fel y mae y pulpud yn Nghymru, er ys blynyddoedd lawer bellach, y gallu cryfaf sydd o fewn y tir. Y mae ein capeli wedi eu llïosogi yn gymmaint, fel nad oes braidd un lanerch o'n gwlad hebddynt, mewn cysylltiad â'r naill enwad Cristionogol neu y llall; ac, yn ein hardaloedd mwyaf poblogaidd, fe all y llygad ddisgyn ar chwech, neu wyth, neu ddeg, neu ychwaneg o honynt, braidd ar yr un edrychiad, ac o fewn ond ychydig bellder, mewn cymhariaeth, i'w gilydd. Nid oes unrhyw gyfarfodydd yn ein gwlad, ar ba destyn bynnag, yn alluog i dynu cynnifer o'r bobl at eu gilydd a Chyfarfodydd Pregethu; ac, er eu bod yn gwrandaw pregethau bob Sabbath, ac, yn fynych, yn yr wythnos, nid yn anfynych y canfyddir miloedd lawer wedi cyrchu yn nghyd, o bell ac o agos, ac yn sefyll ar y ddaear noeth, mewn tyndra mawr, ac weithiau yn ngwyneb hin dra anfanteisiol, yn ymddangos fel wedi eu hoelio am ddiwrnod cyfan, oddieithr adeg prydiau bwyd, wrth yr efengyl; ac yn mwynhau dan ei gweinidogaeth yr hyfrydwch uchaf a phuraf a brofwyd ganddynt erioed; ac nas gallant ddychymygu am ddim mwy, na dysgwyl dim gwell, hyd oni chyrhaeddont y nefoedd ei hunan. Yn sicr, fe ddylai "coffadwriaeth"

y rhai a fuant yn offerynol i ddwyn oddiamgylch gyfnewidiad mor fawr yn ein gwlad, fod, am byth, yn ein teimladau yn "fendigedig."

Yr un a ddechreuodd gyntaf, ac un o'r rhai a wnaethant fwyaf o bawb, tuag at hyny, oedd, HOWELL HARRIS o Drefecca. Fe'i ganwyd ef, Ionawr 23, 1714; a bu farw, Gorphenaf 21, 1773. Y mae felly wedi gorphwys oddiwrth ei lafur er ys yn agos i gan' mlynedd. Nid oes neb yn awr yn fyw a'i gwelodd erioed. Ond yr ydym ni ein hunain, ac y mae lliaws ereill, wedi gweled, ac wedi cael ymddyddan âg amryw a'i gwelsant ac a'i gwrandawsant; ac â rhai a'i gwrandawsant amrywiol weithiau. Ac y mae pob peth a glywsom am dano, yn annibynol ar y gwaith mawr a wnaeth, yn cyd-dystiolaethu fod rhywbeth rhyfedd yn wir yn ei ddoniau fel pregethwr; rhywbeth a'i gwnelai yn un am byth arno ei hunan yn nheimladau pawb a wrandawsant arno. Y mae yn hysbys nad oedd efe mewn urddau eglwysig. Yr oedd wedi cael addysg dda yn ei ieuenctyd, gydâ'r bwriad o gael ei ddwyn i fynu yn offeiriad; ond yr oedd y pryd hyny yn gwbl ddifeddwl am grefydd. Ond ar Sul y Pasg, Ebrill 6, 1735, pan wrth yr allor yn y Cymun, yn eglwys Talgarth, yn adrodd y geiriau yn y gyffes gyffredin, yn ngwasanaeth yr eglwys,—"Eu coffa sydd drwm genym, eu baich sydd anrhaith i'w oddef,"—fe deimlodd y fath argyhoeddiad o'i annghymwysder i nesau at y Cymun, fel y bu agos iddo dynu yn ol. Ond, gan addaw iddo ei hunan y diwygiai rhagllaw, fe gymmerodd yr elfenau. Cynnyddodd ei argyhoeddiadau, hyd nes ar y Sulgwyn, Mai 25, yr un flwyddyn, pan yn cyfranogi drachefn o Swpper yr Arglwydd, y profodd dangnefedd yr efengyl, ac y gwnaed ef yn "ddyn newydd" "yn Nghrist Iesu." Yn fuan wedi hyny,—dechreu y Tachwedd canlynol,—fe aeth i Rydychain, gydâ'r bwriad o barotoi ei hunan i'r eglwys. Ond diflasodd yn fuan ar anfoesoldeb, a'r hyn a olygai efe yn annghrefydd, y lle hwnw; ac wedi aros yno ond un *term* fe ddychwelodd adref. Wedi dychwelyd adref, dechreuodd gynghori ei gymmydogion o dŷ i dŷ, a chynnal cyfarfodydd crefyddol gydâ hwynt, yn ei blwyf ei hunan a'r plwyfi cymmydogaethol, yn y fath fodd ag y cafodd ei hunan, megis yn ddiarwybod iddo ei hunan, yn bregethwr. Daliodd ati fel hyn, gan gael ei galonogi â'r llwyddiant mawr oedd yn dilyn ei ymdrechiadau, nes y dechreuodd ymosodiadau erledigaethus arno, nid yn unig oddiwrth y bobl anwaraidd, ond oddiwrth yr offeiriaid a'r ynadon. Yn niwedd yr haf 1736, fe ddechreuodd gadw ysgol

yn Nhrefecca, yr hon a symmudodd yn fuan i Eglwys y Plwyf. Rhoddes yr ysgol yma gyfleusdra i lawer i ddyfod ato am ymgeledd ysbrydol, yn gystal ag am addysg mewn pethau cyffredin. Elai ar y nosweithiau allan i gynghori, ac felly ar y Sabbathau, ac yn ystod y gwyliau; weithiau i leoedd y gelwid am dano, brydiau ereill, i'r lleoedd y byddai yn gweled cyfleusdra iddo. Y pryd hwn, y dechreuodd gyntaf gadw cyfarfodydd neillduol,—dechreuad y cyfarfodydd eglwysig yn mhlith y Trefnyddion Calvinaidd. Parhaodd i gadw ysgol hyd ddiwedd y flwyddyn 1737, pan y tröwyd ef allan o honi. Erbyn hyn, yr oedd cylch ei lafur yn ymeangu, ac yntau yn fwy rhydd i'w lanw; ac yn ffyddlawn hollol i'r cymhelliadau a deimlid ganddo, fe gymmerai fantais ar bob cyfleusdra a gyflwynid iddo, i geisio am iachawdwriaeth ei gyd-ddynion. Aeth allan i'r prif-ffyrdd a'r caeau. Pregethai yn enwedig yn mynwent Talgarth, i'r bobl pan y byddent yn dyfod allan o'r gwasanaeth yn yr eglwys, ac i ereill a gyrchent yno i wrandaw arno ef. Gan deimlo ei fod yn gweithredu yn afreolaidd, yn ol pob peth a ddysgasid iddo ef am drefn eglwysig, fe ymgeisiodd am urddau esgobol; ond fe wrthodwyd hyny iddo. Fe geisiodd at hyny drachefn; a thrachefn; ond fe'i gwrthodwyd dair gwaith. Wedi gwrthod iddo y caniatâd i bregethu, yn yr hyn a dybid oedd yr unig ddull rheolaidd, fe deimlodd nad oedd iddo ef ddim i'w wneyd, ond myned allan yn ngrym yr alwad ddwyfol dufewnol a gawsai. Ac felly y gwnaeth. Pa le bynnag y caffai bobl, dechreuai eu rhybuddio. Pregethai mewn marchnadoedd a ffeiriau a gwylmabsantau, gan ymosod "yn erbyn dïafol a phechod, ar eu tiriogaethau eu hunain." Byddai, weithiau, yn teimlo graddau o ofn a oedd yn iawn yn y cyfeiriad a gymmerasai. Ond dygwyddodd iddo gael ei wysio ger bron gŵr mawr, i roddi cyfrif am ei waith yn myned oddiamgylch, fel yr ydoedd; a daeth y geiriau yn Dat. iii. 8,—"Wele, rhoddais ger dy fron ddrws agored, ac ni ddichon neb ei gau,"—gyda'r fath oleuni ac awdurdod ac effeithiolrwydd i'w feddwl, fel yr ymlidiwyd ymaith yn hollol, ac am byth, bob petrusder o'r fath yn nghylch ei anfoniad dwyfol. Ac yr oedd yr argyhoeddiad oedd, erbyn hyn, wedi ei feddiannu yn gwbl, ei fod wedi cael ei anfon gan yr Arglwydd ei hunan at y gwaith, a'r ffydd oedd ganddo yn nghyfaddasder trefn yr efengyl i gyfarfod amgylchiad y byd yn ei drueni, y fath, ag i beri iddo lefaru "fel un âg awdurdod ganddo." Ac yr oedd hyny, yn gyssyllt-

iedig â theimlad dwfn a dwys am iachawdwriaeth ei wrandawwyr, ac â'r gallu anarferol oedd ganddo i ymadroddi yn rhwydd ac yn nerthol, ac yn enwedig, gydâ'r arddeliad dwyfol oedd braidd bob amser arno, yn peri fod effeithiau rhyfeddol yn cael eu cynnyrchu trwyddo ar y bobl, a llwyddiant mawr ar ei lafur. Gwelsom y sylw, yn rhywle, fod yn ammheus a draddodwyd un bregeth ganddo erioed, yn ystod y blynydd oedd y teithiai trwy Gymru, heb fod rhyw rai wedi eu hachub trwyddi.

Nid oes dim amlycach na bod cymhwysderau hynod ac arbenig yn HOWELL HARRIS i'r gwaith mawr yr ymgymmerasai âg ef. Yr oedd ganddo gorph cryf, golygus, ac o wneuthuriad tra chadarn. Nid rhaid ond edrych ar ei ddarlun, er mwyn gweled, ar unwaith, mai nid dyn cyffredin ydoedd. Y mae y wyneb hir,—ac, yn enwedig, yr ên hir yna,—y trwyn eryraidd, yr aeliau mawrion, y talcen llydan er nad yw yn uchel, y genau agored eang, y llygaid treiddgar, a'r wynebpryd penderfynol yna, yn arwyddo ei fod yn berchen galluoedd naturiol cryfion, ac, yn enwedig, ei fod "wedi ei wneuthur heb ofn." Hyny, fe ddichon, wedi y cwbl, oedd ei brif hynodrwydd. Nis gallasai dim arall ei gyfaddasu i'r gwaith yr ymaflodd ynddo, ac a gyflawnwyd mor effeithiol ganddo. Yr oedd gwroldeb a phenderfyniad ei feddwl y fath, fel nad oedd rhwystrau yn *ddim* yn ei olwg, yn ngwyneb dyledswydd. Edrycher arno yn ŵr ieuanc, dim ond pump-ar-hugain oed, yn wynebu ar Ogledd Cymru; yn ŵr dïeithr, heb adwaen odid neb, os neb heblaw y Parch. Lewis Rees, Llanbrynmair, yn yr holl wlad; yn anturio i blith pobl oeddent mor wrthwynebol i'r hyn a gyhoeddid ganddo, ac yn gymmaint dan ddylanwad dynion a ystyrient ei weinidogaeth ef yn ymosodiad uniongyrchol yn erbyn eu hawliau hwy; yn cyfarfod, yn mha le bynnag yr elai, â'r erledigaethau mwyaf ofnadwy,—yn cael ei drin, yn wir, fel pe na buasai ond rhyw fwystfil drwg, fel y mae braidd yn wyrthiol, pa fodd, laweroedd o weithiau, y diangodd â'i fywyd ganddo; ac eto yn parhau i fyned rhagddo, gan bregethu yn mha le bynnag y câi ryw nifer i wrando arno; yn ennill rhyw rai yn ddysgyblion i Iesu Grist braidd yn mhob man; yn eu casglu yn nghŷd, ac yn eu ffurfio yn fan gymdeithasau er meithriniad a chynnydd y bywyd ysbrydol yn eu heneidiau; ac yn llwyddo felly, yn yr amcan oedd mewn golwg ganddo, y tu hwnt i ddim a allesid ddysgwyl dan yr amgylchiadau;—meddylier am hyn oll, ac nis gellir osgoi y casgliad, y rhaid fod rhywbeth rhyfedd ac annghyffredin yn y *dyn*, yn annibynol

ar ba beth bynnag dwyfol a allasai fod gydâg ef. Gydâ golwg ar ei ddull neillduol yn pregethu, nid oes genym lawer i'w ddywedyd. Pan y cychwynodd allan gyntaf, ni byddai yn arfer darllen un testyn neillduol, nac yn rhagbarotoi nemawr ddim o'r hyn a leferid ganddo; ond yn cyfarch y bobl, yn yr hyn a alwai efe yn "araeth rydd," oddiar argyhoeddiadau dyfnaf ei feddwl, a theimladau dwysaf ei galon. Yn mhen amser, cymmerai destyn neillduol, fel pregethwr arall; eto pregethai, gan amlaf, braidd heb ddim rhag-barotöad. Ond yr oedd yn ymadroddwr rhwydd, a nerthol annghyffredin. Yn Nyddlyfr Mr. Wesley, ar gyfer dydd Llun, Ionawr 22, 1750, yr ydym yn cael yr adroddiad canlynol;—"Mi a weddïais yn y boreu yn y *Foundery* [capel Mr. Wesley yn Llundain], a phregethodd Howell Harris: areithiwr nerthol, yn gystal wrth natur a thrwy ras; ond nid yw yn ddyledus am ddim i gelfyddyd na dysgeidiaeth." Y nerth yma oedd yn hynodrwydd mawr ynddo. Nid peth anfynych, pan fyddai efe yn pregethu, oedd gweled dynion cryfion, annuwiol, ac weithiau rhai mor galed mewn annuwioldeb ag y byddent wedi dyfod i'r lle gan fwriadu ei erlid, gan ddychryn yn syrthio i lawr mewn llewygfeydd, neu, ynte, yn tori allan i waeddi am eu bywyd. Yr oedd y fath argyhoeddiad yn ei feddwl ef ei hunan o wirionedd a phwysfawrawgrwydd y pethau a draethid ganddo, ag i adael argraff ar feddyliau ei holl wrandawwyr ei fod ef yn eu credu ac yn eu teimlo. Yr ydym yn cofio fod un hen ŵr, tra anystyriol, wrth adrodd i ni yr hyn a gofiai am dano, yn dywedyd,—"Yr oedd y dyn hwnw yn dywedyd am uffern fel pe buasai o wedi bod ynddi hi." Yr oedd hyny yn peri ei fod yn llefaru "fel un âg awdurdod ganddo," a bod ei weinidogaeth, i ba le bynnag yr elai, yn cael ei dilyn â llwyddiant mawr. Y mae yn eglur fod y difrifwch, a'r dwysder, a'r awdurdod, ac yn enwedig ei nodwedd gyfeiriadol at gydwybodau y gwrandawwyr, ag sydd yn hynodi i raddau helaeth y Pulpud Cymreig o'r dechreuad, yn arbenig yn perthynu i weinidogaeth Howell Harris. Ac fel y dywed yr hen Fardd o Bant-y-celyn, yn ei Farwnad iddo, y mae yn ymddangos fod rhyw neillduolrwydd yn ei ddawn ef, nad ydoedd, dybygid, yn perthynu yn hollol i neb arall yn Nghymru yn ei amser:—

"Ond yn nghanol myrdd o honynt, mae rhyw eisiau o dy ddawn."

Ond yr un, yn arbenig, a roddes fri ar y Pulpud yn y diwygiad Methodistaidd, ac y saif ei enw yn glodfawr byth yn y weinidogaeth

Gymreig, oedd y Parchedig DANIEL ROWLAND, o Langeithio. Fe'i ganwyd ef yn y flwyddyn 1713; nid ydym yn gwybod y dydd na'r mis. Yr oedd ei dad, yr hwn hefyd a elwid Daniel, yn ŵr eglwysig, ac yn gweinidogaethu yn Llangeitho a Llancwnlle. Daniel oedd yr ail mab. Fe gafodd ei addysg yn Ysgol Rammadegol Henffordd, lle y gwnaeth gynnydd mawr mewn dysgeidiaeth, yn gymmaint felly, fel y derbyniodd urddau eglwysig cyn cyrhaedd yr oedran arferol, a phan nad ydoedd ond ugain oed. Gwasanaethai fel curad i'w frawd hŷn nag ef, yn yr eglwysi lle y buasai ei dad. Ond er ei fod, dybygid, o'r dechreuad yn dra awyddus am ragori fel pregethwr, yr oedd, pan yr ordeiniwyd ef, yn hollol ddïeithr i awdurdod y gwirionedd ar ei feddwl ei hun. Pa fodd bynnag, ryw bryd yn y flwyddyn 1735, wrth wrandaw ar yr hybarch Griffith Jones, o Landdowror, yn pregethu yn eglwys Llanddewi-brefi, fe gyffyrddodd Ysbryd Duw a'i galon, ac fe ddechreuodd cyfnewidiad arno a derfynodd yn ei ddychweliad trwyadl at Grist Iesu. Nid ydym yn gwybod am ba hyd y bu cyn ymostwng yn hollol i drefn yr efengyl, a phrofi tangnefedd yn ei fynwes ei hunan. Ond, yn fuan iawn ar ol hyn, yr ydym yn ei gael yn pregethu y ffydd gydâ nerth a dylanwad mawr. Ac, wedi oes faith, o lafur diorphwys, gartref ac oddicartref, a chael ei alluogi, yn wir, i bregethu hyd yn nod y Sabbath olaf y bu byw, efe a fu farw, ychydig cyn deuddeg ar y gloch, boreu Sadwrn, Hydref 16, 1790, yn ddwy flwydd ar bymtheg a thriugain oed. Y mae yntau, felly, wedi gadael y byd er ys dros ddwy flynedd a phedwar ugain; ac nid ydym, erbyn hyn, yn gwybod am neb sydd yn fyw yn gallu cofio dim am dano. Ond y mae ugeiniau a channoedd yn fyw a fuant yn ymddyddan â llïaws a wrandawsant lawer arno, ac â rhai oeddent yn ei gofio yn dda iawn. Ni a gawsom ein hunain gyfleusdra i hyny lawer oedd o weithiau, a mwy nag unwaith, gydâ rhai ag oeddent mewn oedran digonol, ac yn meddu deall da, i roddi barn led gywir ar yr hyn a wrandewid ganddynt. O ran ei ymddangosiad allanol, y mae y darlun o hono—gydâ'r talcen llydan, uchel, llawn, yr aeliau bŵaog, y llygaid treiddgar, y trwyn Rhufeinig, y genau llydan, y gwefusau teneuon, yr ymddangosiad penderfynol—y darlun a dynwyd gan *R. Bowyer*, ac a gyhoeddwyd yn mhen ychydig gydâ mis wedi ei farwolaeth, yn un cywir hollol. *Y mae genym ni brawf tufewnol, o'r fath oreu, o hyny.* Ar nos Wener, Hydref 13, 1837, yr oeddem, pan ar Daith Ddirwestol trwy Ddeheubarth Cymru, yn digwydd bod

yn Llandeilo Fawr, Sir Gaerfyrddin. Boreu drannoeth, pan oeddem ar heol Llandeilo, ar gychwyn tua lle a elwir *Tal-y-llychau*, fe ddywedid wrthym fod hen wraig, ar yr ochr arall i'r heol, yn dymuno cael ysgwyd llaw, a siarad gair â ni. Ni a aethom ati. Yr oedd yn wraig oedranus, fechan o gorpholaeth, ond yn ymddangos o wneuthuriad cadarn, a chyda gwyneb nodedig o ddeallgar. Ni a'i gwelem, ar unwaith, yr un ddelw a darlun Mr. Rowland, â'r hwn yr oeddem yn hollol gynnefin. Wedi peth ymddyddan, ni a ofynasom iddi,—"A ydych chwi yn rhyw berthynas i Mr. Rowland, gynt o Langeitho?" "'Rwy'n *supposo* 'mod i." "A ydych chwi yn ferch iddo?" "Wel, odw; yr odw i yn ferch iddo." Nid oeddem ni, ar y pryd, yn gwybod fod gan Mr. Rowland yr un ferch wedi bod erioed, a llawer llai y gwyddem fod merch iddo yn fyw y pryd hyny. Ond yr oedd hi mor hynod o debyg i'w ddarlun ef, fel y darfu i ni yn y fan gasglu y rhaid ei bod yn rhyw berthynas agos iawn iddo. Yr oedd yn ddrwg iawn genym fod ein cyhoeddiad yn gosod angenrheidrwydd arnom i ymadael mor fuan, fel na chawsem yr hamdden a ddymunasem i ymddyddan â hi yn nghylch ei thad. Ond, yn atebiad i amrywiol gwestiynau o'r eiddom, fe ddywedodd ryw bethau wrthym na chlywsem ni mo honynt erioed gan neb arall am dano:—"*Un byr, caled, oedd fy nhad;*" "*'Doedd fy nhad yn sparing* [arbed] *dim arno'i hunan;*" "*Un chwimmwth iawn ar ei droed oedd e;*" "*Un gwyllt iawn ei dymher oedd e;*" "*Fe dwymnai'n dost, weithiau;*" "*Un enbyd oedd e pan y twymnai;*" "*Hen weddiwr mawr oedd e;*" "*'Doedd fodd i'w gael e o'i study.*"—Dyna y dywediadau i'r darllenydd, fel y cawsom ni hwynt. Gall ein cyfeillion yn y Deheudir fyned i mewn i ystyr rhai o honynt yn well na ni. Yr oedd yr ymddyddan hwn rhyngom ni a'i ferch, yn mhen saith mlynedd a deugain, o fewn dau ddiwrnod,—ac yn ol y dydd o'r wythnos, saith mlynedd a deugain union,—i'r diwrnod y buasai ei thad marw.

Fel pregethwr, y mae yn ddiddadl fod Mr. Rowland yn un hynod iawn. Tystiolaeth unfrydol pawb y cawsom ni ymddyddan â hwy, o berthynas iddo, oedd, fod ei weinidogaeth yn un hollol annysgrifiadwy;—na chlywsant hwy erioed ond un Rowland. A hyny oedd barn bwyllog y rhai callaf, a mwyaf dysgedig, yn mhlith ei wrandawwyr, yn gystal a'r bobl gyffredin; ac nid hyny yn unig, ond yr oedd ei wrandawwyr yn cynnyddu yn eu mawrygiad o hono, yn ol eu cynnydd

mewn gwybodaeth a phrofiad. Dyma, er enghraifft, fel yr ysgrifena Mr. Howell Harris am dano:—"Argyhoeddwyd Mr. Daniel Rowlands tua'r un pryd a minnau, ond mewn parth arall o Gymru, sef, Sir Aberteifi. Cyfarfyddais âg ef gyntaf yn eglwys Defynog, ar flaen y Sir hon, yn 1737, yn mha le, wedi gwrando ei bregeth, a chanfod y ddawn a roddwyd iddo, a'r gallu rhyfeddol a'r awdurdod gydâ pha rai y llefarai, teimlais yn wir ddiolchgar, a llosgai fy nghalon gan gariad at Dduw ac ato yntau. Yno y dechreuodd fy nghyfeillach âg ef, ac ni therfyna i dragywyddoldeb. Hyn a fu yr achos cyntaf i mi fyned i Sir Aberteifi, lle y clybum ragor am ei athrawiaeth a'i gymeriad, ac y cynnyddodd fy serch tuag ato; ac o'r pryd hwnw hyd yr awr hon, cefais lawer cyfleusdra gogoneddus i eistedd tan ei weinidogaeth er mawr les i'm henaid; ac yr wyf yn parhau i fawrhau beunydd waith Duw arno a thrwyddo. Gan iddo fod o fendith i filoedd mewn amrywiol Siroedd, ac yn cael ei arddel yn fwy o bryd i bryd gan Dduw er adeiladaeth praidd Crist, felly nis gallesid disgwyl y diangai rhag malais y gelyn, yr hyn a chwytha efe arno yn mhob ffordd a ganiateir iddo, trwy ddyfeisio pob math o gelwyddau am dano; eithr y mae Duw mor amlwg gydâg ef, fel y credaf fod y Ddraig yn crynu ffordd y cerddo. Er i mi bellach gael y fraint o wrando a darllen gwaith amryw o weinidogion Duw, gan belled ag y gallaf fi farnu, nid wyf yn gwybod am neb sydd wedi ei fendithio â galluoedd a doniau cyfuwch; y fath oleuni treiddiol i ysbryd yr ysgrythyrau, er gosod allan ddirgelwch duwioldeb, a gogoniant Crist Iesu. Ac er ei gyhuddo yn fynych o gyfeiliornad, eto y mae yr Ysbryd Tragywyddol wedi ei arwain mor ofalus oddiwrth unrhyw ffordd gyfeiliorn, fel yr wyf yn credu fod ei weinidogaeth yn un o'r bendithion penaf a fwynheir gan Eglwys Dduw yn y parthau hyn o'r byd. Y mae amryw Siroedd yn derbyn o'r bendithion hyn, gan ei fod ef yn ymroddgar i fyned oddiamgylch, a chredaf nad yw ond anfynych, os byth, yn agoryd ei enau, heb fod bendith yn deilliaw o hyny; ac nid peth tros fyr amser ydyw ei ddylanwad, ond y mae wedi parhau, i'm gwybodaeth i, am yn agos i saith mlynedd." (Dyfynedig yn yr Erthygl "Daniel Rowlands," yn y "*Geirlyfr Bywgraffiadol o Enwogion Cymru*," tu dal. 916. Liverpool, 1870.) Dyma dystiolaeth Harris. A rhaid i'r darllenydd gofio ei fod ef y pryd hyn wedi cael cyfleusdra i wrandaw Whitefield, a'r ddau Wesley, a'r tadau Methodistaidd ereill, yn Saeson ac yn Gymry, a bod ganddo y meddyl-

iau uchaf am danynt oll,—ac, eto, ni wyddai am neb "wedi ei fendithio â galluoedd a doniau cyfuwch" â Rowland.

Yn gyffelyb y tystiolaetha Mr. Jones, Llangana. Mewn llythyr o'i eiddo at *Lady Huntingdon*, dyddiedig "Penybont, Mai 14, 1773," efe a ddywed,—"Buasai yn wir dda genym eich gweled yn ein Cymdeithasfa. Yr ydoedd, mewn gwirionedd, yn ddiwrnod tra arbenig. Cyflawnodd yr Arglwydd Iesu ei addewid werthfawr i'w weision,—'Yr wyf fi gydâ chwi.' Yr oedd gallu mawr oddiuchod yn cyd-fyned â'r gair a bregethid. Aeth llawer i'w cartref yn llawen: a phwy na lawenhâi wrth weled Tywysog ein Hiachawdwriaeth ei hunan yn ymddangos ar faes y frwydr, ac yn sicrhau i galonau ei bobl druain y byddai iddo ef fuddugoliaethu ynddynt a throstynt? Yr ydwyf yn hyderu fod rhai diofal wedi eu dwysbigo yn eu calon. Pregethodd Mr. Rowland yr ail bregeth yn y boreu, oddiar Actau ix. 4: 'Ac efe a syrthiodd ar y ddaear, ac a glybu lais yn dywedyd wrtho, Saul, Saul, paham yr wyt yn fy erlid i?' Pregethodd Mr. William Williams o'i flaen ef. Ni a gawsom ddwy bregeth hefyd yn y prydnawn. Y gyntaf gan Mr. William Llwyd [o Gaio], pregethwr diurddau,—a'r ail gan Mr. Peter Williams. Gwnaeth rhai o'r bobl i'n tref fechan adsain '*Gogoniant i Fab Dafydd;*' '*Hosanna trwy'r nefoedd;*' '*Hosanna hefyd trwy'r ddaear.*' '*Amen, Amen.*' Y mae digon yn eich cyrhaedd i gyfieithu y geiriau Cymraeg i chwi. Pregethodd Mr. Rowland, y dydd canlynol, mewn tref fechan, ryw ddeuddeg milltir i'r gorllewin i ni; lle y cafodd oedfa felus mewn gwirionedd. Llefarodd yn rhyfeddol am Abraham *yn dyrchafu ei lygaid ac yn edrych:* Genesis xxii. 13. Ni chlywais y fath bregeth erioed o'r blaen. Yn sicr, efe yw y pregethwr mwyaf yn Europe. Bydded i'r Arglwydd ei arddel yn fwy-fwy. Yr oedd y dref fechan hono, hefyd, yn adseinio '*Gogoniant.*' Parha, fendigedig Iesu, i farchog yn llwyddianus trwy ein gwlad. Llanw ein calonau oerion â'th gariad, ac yna ni a'th foliannwn di o fôr i fôr" (*The Life and Times of Selina, Countess of Huntingdon; Vol. II. page* 118). Ni a allem ddyfynu tystiolaethau i'r un ystyr, pe byddai angenrheidrwydd am hyny, o eiddo Mr. Jones o Creaton, Mr. Griffiths o Nefern, Mr. Charles o'r Bala, Mr. John Evans o'r Bala, Mr. Robert Jones, Rhoslan, ac amryw ereill, nas gall fod un amheuaeth yn nghylch eu cymhwysder i roddi barn ar y fath destyn. Ac y mae yn ddiamheuol y rhaid fod rhywbeth rhyfedd ac annghyffredin yn y

pregethwr, a dynai y fath ganmoliaethau, oddiwrth y fath rai. Ond, yn gwbl annibynol ar dystiolaethau neb, y mae yr effeithiau rhyfeddol ac anhygoel, a ddilynent ei weinidogaeth, yn profi fod rhyw elfenau hynod ynddi, nas gallwn ni yn awr ffurfio braidd un dychymyg am danynt. Meddylier ond yn unig ei fod wedi gwneuthur pentref bychan, distadl, tlodaidd, Llangeitho,—a'r hwn oedd yn fwy felly y pryd hwnw nag ydyw yn awr,—yn enw teuluaidd trwy holl Gymru; y byddai dynion yn cyrchu yno yn fisol, am yn agos i hanner can' mlynedd, o bellderoedd dirfawr o amrywiol Siroedd y Deheudir a'r Gogledd—ac nid yn unig o'r Siroedd agosaf, ond yn fynych o Sir Gaernarfon, ac, weithiau, o Siroedd Môn a Fflint, yn unig i gael pregeth neu ddwy ganddo, ac i dderbyn y cymun sanctaidd o'i ddwylaw; y byddent yn teithio yr holl bellder hwn ar eu traed, trwy ludded mawr, ac, weithiau, yn cael eu herlid yn dost gan elynion crefydd ar eu ffordd tuag yno; ond, wedi myned yno felly, yn cael y fath fwynhâd i'w hysbrydoedd, a'u codi i'r fath hwyliau dan ei weinidogaeth, nes colli eu holl flinder, eu hannghofio eu hunain yn hollol, ac yn ymollwng gyda'u teimladau i waeddi, weithiau, am oriau bwygilydd. Cymerer un enghraifft, a glywsom gan yr hen bregethwr hybarch, Mr. John Williams, Dolyddelen, yr hwn nad oedd mewn un modd yn un gwanaidd, difeddwl, a pharod i ymollwng gydâ phob awel a chwythai ar ei dymherau. Dywedai ei fod ef, un tro, wedi myned yno, gan gerdded yr holl ffordd o Ddolyddelen i Langeitho. "Yr oeddwn," meddai, "wedi blino cymmaint fel yr oeddwn yn llawer *ffitiach* i fyned i fy ngwely nag i fyned i'r capel. Ond fe aeth Rowlands i bregethu. Y testyn oedd,—'Ac Arglwydd y lluoedd a wna i'r holl bobloedd yn y mynydd hwn wledd o basgedigion, gwledd o loyw-win; o basgedigion breision, a gloyw-win puredig?' Ac ni chlywsoch chwi erioed y fath beth. Fe aeth ati i *dapio barilau* y cyfammod gras, ac i ollwng allan y gwir puredig, ac i ddiodi y bobl ag o. Yn wir, yr oedd o yn llifo trwy y capel. Mi yfais innau o hono, nes yr oeddwn i wedi meddwi fel *ffwl*; a dyna lle y bum i, ac ugeiniau gydâ mi, heb feddwl dim am flinder, yn gwaeddi, a rhai o honom yn neidio, am oriau."

Mae yn anhawdd, erbyn hyn, rhoddi un darluniad o'r pregethu a gynnyrchai effeithiau fel hyn. Mae genym ddeuddeg o Bregethau Rowland yn argraffedig, er fod yn amheus ai efe ydoedd awdwr y cwbl. Ac er fod y rhai hyn yn darllen yn dda, a'u bod yn gyflawn

o'r Dduwinyddiaeth buraf, eto nid ydynt, dybygem ni, ond darluniad tra anmherffaith o'r hyn oedd Mr. Rowland yn y pulpud; ac, yn wir, y mae yn amheus iawn genym, a ydynt yn rhoddi golwg gywir hyd yn nod ar ffurf ei bregethau yn y cyffredin. Y mae yn amlwg, pa fodd bynnag, mai nid y pregethau, *fel cyfansoddiadau*, oeddent yn peri fod y fath effeithiau gydâ hwynt, ond y pregethau *fel y traddodid hwynt ganddo ef*. Rhywbeth yn ei ddull bywiog tanbaid,—yn cyfodi oddiar angerddoldeb ei deimlad a ffag'iad ei ddawn hynod ei hunan,—a daflai y gwreichion tanllyd ar y dyrfa, nes y byddai yr holl gynnulleidfa yn fflam. Yn ei flynyddoedd diweddaf, ar Sabbathau y pen mis beth bynnag, byddai rhyw un bob amser yn darllen y gweddiau iddo. Byddai yntau yn y tŷ, gerllaw y capel, yn cerdded yn ol ac yn mlaen, a golwg braidd wyllt arno, mewn myfyr ar ei bregeth. Can gynted ag y byddai y gweddïau drosodd, deuai i'r capel, trwy ddrws bychan oedd y tu ôl i'r pulpud, a'r olwg arno eto braidd yn wyllt a chyffrous. Rhoddai, yn y cyffredin, un pennill i'w ganu, allan o un o'r Salmau, o Gyfieithiad Edmund Prys:—"*Un arch a erchais gan Dduw Naf*," neu "*Dof finnau tua'th dy mewn hedd*," &c.; ac os cenid y pennill fwy na dwywaith drosodd, cyn y bregeth, byddai yn dra anfoddlawn. Yna darllenai y testyn, â llais eglur ond yn dra brysiog. Siaradai, ar y cyntaf, yn hytrach yn isel, ond yn dra chyflym; yn gymmaint felly, fel mai anhawdd braidd oedd ei ddilyn. Yr oedd yn ymddangos, am amryw funudau, fel pe buasai yn ofnus, ac heb ymddiried hollol ynddo ei hun. Ond, yn raddol, fe ddiflanai hyny, ac fe ennillai hunanfeddiant perffaith. Siaradai yn awr yn fwy araf, ond yn uwch ac yn rymusach; gan ymwresogi, fel yr elai rhagddo, a'r holl gynnulleidfa yn cynhesu gydâg ef, nes y byddai ias o deimlad tyner yn treiddio trwyddi. Y mae wedi darfod yn awr â'r sylw cyntaf; yn gostwng ei lais; yn rhoddi ysgydwad naill ochrog arno ei hunan; ac yn dechreu ar yr ail sylw. Y mae yn cychwyn eto yn lled araf a phwyllog, ond yn cyflymu yn fuan iawn, ac yn llefaru gydâ rhwyddineb a nerth annghyffredin; y mae ei lygaid yn treiddio trwy y capel; ei lais yn ymddyrchafu; ei deimladau yn tanio; y mae y gwres yn awr yn cydio yn y bobl; y mae y dagrau yn treiglo dros eu gruddiau; yr "*Amenau*" cynhes yn dyfod dros eu gwefusau; a'r pregethwr a hwythau mewn meddiant happus o'u gilydd. Y mae yn darfod a'r ail sylw. Y mae yn disgyn, yn raddol, drachefn, i'r tawelwch a'r pwyll a deimlid yn

angenrheidiol ganddo gydâ phob ad-gychwyniad. Ac ni a glywsom y sylw gan fwy nag un o'i hen wrandawwyr, na byddai efe byth yn ymddangos yn well fel siaradwr, na phan yn disgyn o'r arucheledd teimlad, y byddai efe ei hunan a'r gynnulleidfa wedi eu codi iddo, i'r arafwch a roddai y fantais oreu iddo i ail esgyn. Ni welwyd mo hono erioed yn *syrthio* i lawr, ond yn *disgyn* yn *dawel* ac yn *esmwyth*, a'i holl nerth ganddo i ail godi. A dyna fo yn esgyn eto, ac yn cyfodi ei gynnulleidfa gydâg ef, i deimladau uwch a dwysach a phoethach. Y mae yr "*Amenau*" yn amlach a chryfach; bloeddiadau—"*Diolch*," "*Bendigedig*," "*Gogoniant*,"—i'w clywed o bob cwr i'r capel; a'r holl gynnulleidfa, mewn hwyl hyfryd, yn mwynhau gorfoledd yr iachawdwriaeth. Ond y mae y pregethwr yn arafu; yn disgyn, drachefn, braidd yn esmwythach ac yn brydferthach nag o'r blaen; ac yn rhoddi ychydig eiliadau o seibiant i'r bobl i ddisgyn gydâg ef. Eithr y mae heb ddarfod eto. Y mae yn cychwyn drachefn; ac i fynu—yn *uwch*, UWCH, UWCH. Y mae golwg ryfedd erbyn hyn arno. Y mae ei lygaid yn fflamio; ei lais yn ymdori; ei wyneb yn dysgleirio; ei holl gorph yn ymddangos fel pe byddai wedi ei ysbrydoli; yr enaid mawr yn gollwng allan, yn ffrydlif o hyawdledd byw, y meddyliau mwyaf tanllyd, a'r rhai hyny yn tanio yr holl gynnulleidfa, ac yn ei chyfodi i hwyliau rhyfedd o orfoledd a mawl. Y mae llais y pregethwr yn awr wedi ei golli yn gwbl yn mloeddiadau a chaniadau y dyrfa; y mae yntau yn terfynu, nad oes neb yn gwybod pa fodd, heblaw ei fod mewn hwyl fawr; y mae yn brysio allan, trwy y drws bychan o'r tu ol i'r pulpud, mor ddisymwth ag y daeth i mewn; ac yn gadael y gynnulleidfa yno, ar ei ol, i waeddi a gorfoleddu am oriau. Y mae yntau yn cymmeryd ychydig luniaeth; yn myned am ddwy awr i'w wely i orwedd; ac, yn ei gwsg, yn adennill rhyw gymmaint o'r yni gwefrol a gollwyd ganddo, mewn awr o amser, yn y capel.

Yr ydym wedi darlunio Mr. Rowland, fel yr ydoedd ar adegau arbenig. Nid oes i ni un lle i feddwl y byddai effeithiau, fel y nodwyd, bob amser gydâ'i bregethau. Ond y mae yn sicr eu bod yn fynych iawn. Yn wir, eithriadau, iddo ef, fyddai pregethu y Sadwrn pen mis yn Llangeithio hebddynt. Tystiolaeth pawb o'r hen bobl y buom ni yn ymddiddan â hwynt am dano ydoedd, na byddai neb, oddieithr Robert Roberts, mor gyson dan arwyddion amlwg o arddeliad dwyfol. Ond, yn annibynol ar y peth dwyfol oedd gydâg ef, ac yn gyfrwng i'r peth dwyfol hwnw,

y mae yn rhaid fod rhyw neillduolrwydd arbenig yn ei weinidogaeth ef. A'r neillduolrwydd hwnw, dybygem ni, ydoedd, y cyfuniad hynod oedd ynddi o ATHRAWIAETH BWYSIG A THEIMLAD DWYS. Sicrheir i ni fod ei bregethau, bob amser, yn cynnwys eglurhad goleu a manwl, ar ryw un o wirioneddau neillduol yr efengyl, eglurhad a fyddai yn gadael argraff ar feddyliau y rhai callaf o'i wrandawyr, o'i fod yn meddiannu, i raddau annghyffredin, eangder a manylrwydd golygiadau ar "ddyfnion bethau Duw." Ond ni buasai hyny, arno ei hunan, byth yn cynnyrchu y fath effeithiau ag a gynnyrchid trwyddo ef. Prin, ni a dybiem, o ran hyny yn unig, y gellid ei gymharu am funudyn â'r diweddar David Charles o Gaerfyrddin, er esiampl. Ond, heblaw hyny, yr oedd efe yn meddiannu mesur annghyffredin o danbeidrwydd teimlad, a rhyw allu annghydmarol i daflu hwnw allan i ganol y gynnulleidfa, nes tanio ei holl wrandawwyr. Ac yr oedd, dylai pregethwyr ieuainc yn enwedig gofio, wedi gwneyd pregethu yn orchwyl mawr ei fywyd. Dyn y pulpud yn arbenig ydoedd. Nid ydoedd yn gofalu nemawr ddim am ranau ereill y gwaith. Yr oedd yn rhoddi ei holl amser i barotoi a thraddodi ei bregethau; ac yr oedd yn gallu eu traethu, nes y byddai ei wrandawwyr yn gweled, ac yn teimlo y pethau, fel y byddai efe yn eu darlunio. Fel y canodd Mr. Jones, Dinbych, yn ei Farwnad ragorol iddo ef, a Williams, Pantycelyn, a Dafydd Morris:—

"Tan ei weinidogaeth hynod,
Pechod ymddangosai 'n bechod;
Byd a'i wegi, oll yn wagedd;
Eglwys Dduw, yn lana' gyntedd;
Geiriau 'r Nef, yn eiriau sicraf;
Ammod rhad, yn graig gadarnaf:
Rhyfedd fraint, yr holl saint, mewn pwys a maint welid,
Nes y byddai 'r saint, o'i phlegid,
Uwch eu blinder maith a'u gofid,"

Byddai yn anfaddeuol ynom adael DANIEL ROWLAND, heb roddi i'n darllenwyr rhai rhanau o'r darluniad campus o hono, a gawn gan yr hen Fardd o Bant-y-celyn, yn ei Farwnad ardderchog iddo. Cymmerer yr hyn a ganlyn:—

"Pan oedd tywyll nos trwy Frydain, heb un argoel codi gwawr,
A thrwm gwsg oddiwrth yr Arglwydd, wedi goruwch guddio 'r llawr;
Daniel chwythodd yn yr udgorn, gloyw udgorn Sinai fryn,
Ac fe grynodd creigydd cedyrn, wrth yr adsain nerthol hyn.

"*Boanerges* oedd ei enw, Mab y daran danllyd gref,
Sydd yn siglo yn ddychrynllyd, holl golofnau dae'r a nef;
'Dewch, di hunwch,' oedd yr adsain, 'y mae 'n dinas ni ar dân,
'Ffowch oddiyma mewn munudyn, ynte ewch yn ulw mân.'

"Yn Llangeithio fe ddechreuodd gweiddi distryw 'r anwir fyd,
Miloedd ffôdd o'r *De* a'r *Gogledd*, yn un dyrfa yno ynghyd;
Arswyd, syndod, dychryn, ddaliodd yr holl werin fawr a mân,
Nid oedd gwedd wynebpryd un-gwr, fel y gwelwyd ef o'r blaen.

"Gliniau 'n crynu gan y daran, fel pe buasai angau ei hun
Wedi cym'ryd llawn berch 'nogaeth ar y dyrfa bob yr un;
'Beth a wnawn am *Safio* 'n henaid?' oedd yr unrhyw gydsain lef;
Chwi sy am wybod hanes *Daniel*,—Dyma fel dechreuodd ef.

"Daeth y swn dros fryniau *Dewi*, megis fflam yn llosgi llin,
Nes dadseinio creigydd *Towi*, a hen *Gapel Ystrad Ffin*;
Lle daeth siroedd yn finteioedd, werin o aneirif ri',
Wrth gref adsain udgorn gloyw, cennadwri 'r nefoedd fry.

"Dyma ddyddiau pur gyffelyb i rai *Sinai* hen o'r blaen,
Llais yr udgorn a llef geiriau, tarth a thymhestl, mwg a thân;
Mynydd mawr yn crynu 'n danbaid, ac yn chwareu o eigion byd,
Yn datguddio 'n erbyn pechod, o bob rhyw, anfeidrol lid.

"Dyma 'r pryd daeth *Harries* fywiog, yn arfogaeth fawr y nef,
Megis taran annioddefol yno i'w gyfarfod ef;
Dyma ddyddiau sylfaen gobaith, dyddiau gwewyr llym a phoen,
Wrth gael esgor ar ei meibion, newydd wraig yr addfwyn Oen.

"Pump o Siroedd penaf Cymru, glywsant y taranau mawr,
A chwympasant gan y dychryn, megis celaneddau i lawr;
Clwyfau gawd, a chlwyfau dyfnion, ac fe fethwyd cael iachad,
Nes cael eli o *Galfaria*, dwyfol ddw'r a dwyfol waed.

"'Nol pregethu'r ddeddf dymhestlog, rai blynyddau yn y blaen,
A rhoi llawer yn friwedig, 'n awr cyfnewid wnaeth ei gàn;
Fe gyhoeddodd iachawdwriaeth gyflawn, hollol, berffaith, lawn,
Trwy farwolaeth y *Messiah*, ar *Galfaria* un prydnawn.

"Dyma 'r pryd daeth *Whitefield* enwog, ar adenydd dwyfol ras,
Lawr i Gymru i gael profi 'r newydd win o ddwyfol flas;
Dyma 'r pryd yr hyfryd asiwyd, o fewn ffwrnes fawr y nef,
*Sais* a *Chymro* mewn athrawiaeth loyw, ddisglaer, gadarn, gref.

"Nid oes un o siroedd *Cymru*, braidd na phlwy' sy 'n berchen cred,
Na bu Rowlands yn eu teithio ar eu hyd, ac ar eu lled;
Tros fynyddau, trwy afonydd, ac aberoedd gwaethaf sydd,
O *Dŷ Ddewi* i *Lanandras*, o *Gaergybi* i *Gaerdydd*.

"Deuwch trosodd i *Langeitho*, gwelwch yno ôl ei law,
Miloedd meithion yno 'n disgwyl, llu oddiyma, llu o draw;
* * * * * * * * * * *
* * * * * * * * * * *

"Gwelwch *Ddaniel* yn pregethu, yn y tarth, y mwg, a'r tân;
Mil ar unwaith yn moliannu, Haleluia yw y gân:
Nes b'ai torf o rai annuwiol, mewn rhyw syndod dwfn, mud,
Ac yn methu rhoi eu meddwl ar un dim ond diwedd byd.

"Mae'r torfeydd yn dychwel adref, mewn rhyw ysbryd llawen fryd,
Wedi taflu i lawr eu beichiau, oedd yn drymion iawn o hyd;
Y ffyrdd mawr yn frith o werin, sŵn caniadau nefol Oen,
Nes yw 'r creigydd oer a'r cymmydd yn adseinio 'r hyfryd dôn.

"Dyma ddyddiau gwerthfawr *Rowlands*, ac hwy eto a barhau',
Pan b'o 'i gorph yn mynwent *Ceitho*, wedi myn'd yn ulw mân:
Os *Elias* yn ei gerbyd tanllyd esgyn fry i'r nef,
Fe ddaw *Eliseus* yn berchen ar ei fantell nefol ef."

Un arall a gododd i enwogrwydd mawr, ac yr oedd arbenigrwydd neillduol ar ei weinidogaeth, oedd DAVID JONES o Langana. Fe'i ganwyd ef,—nid ydym yn gwybod y dydd na'r mis,—yn y flwyddyn 1735, yn mhlwyf Llanllüeni, yn Sir Gaerfyrddin. Bu farw yn Manor-

owen, yn agos i Abergwaen, yn Sir Benfro, Awst 12, 1810, yn bymtheg mlwydd a thriugain oed. Y mae lliaws, gan hyny, eto yn fyw sydd yn ei gofio ef yn dda, er fod eu nifer yn myned braidd beunydd yn anamlach, ac y mae rhyw swyn neillduol gan ei enw byth ar eu meddyliau. Dechreuodd yntau, fel Mr. Daniel Rowland, a llawer ereill, ar ei weinidogaeth, heb wybod nemawr ddim am awdurdod crefydd ar ei feddwl ei hun. Fe'i hordeiniwyd yn y flwyddyn 1758, i guradaeth Llanafan fawr, yn Sir Frecheiniog. Yn mhen ychydig amser, symmudodd oddiyno, i fod yn gurad yn Nhydweiliog, yn Lleyn, Sir Gaernarfon. Clywsom gan y diweddar Mr. John Robert Jones, Bangor, yr hwn a glywsai gan rai hen bobl ag oeddent yn ei gofio yn dda yno, nad oedd dim un arwydd crefydd arno am yr ychydig amser y bu yn aros yn Nhydweiliog, er ei fod yn cael ei hoffi fel dyn hawddgar iawn. Rywbryd yn y flwyddyn 1760, fe symmudodd o Dydweiliog, i blwyfi Trefethin a Caldicot, yn Sir Fynwy. A thra yn Sir Fynwy, yr aeth tan y cyfnewidiad mawr, a'i gwnaeth am byth yn ddyn arall. Yr oedd ei bregethau, erbyn hyn, wedi newid, ac yn ymwneyd yn uniongyrchol â chydwybodau a chalonau ei wrandawwyr; ac yn gyflawn o Grist Iesu ar eu cyfer, yn eu trueni. Ond nid oedd y fath weinidogaeth yn dderbyniol gan y person a'i cyflogasai, ac, felly, fe'i tröwyd oddiyno. Cafodd, wedi hyny, le yn agos i *Bristol;* ond yr oedd yn rhy efengylaidd i'r person yno drachefn. Wedi ei droi oddiyno, fe gafodd guradaeth mewn rhyw le yn *Wiltshire.* Naill ai yn *Wiltshire,* ai cyn myned yno, daeth i gydnabyddiaeth â'r Iarlles Huntingdon: a thrwy ei dylanwad hi gydâ phendefiges o Sir Forganwg, fe gyflwynwyd iddo, yn y flwyddyn 1768, fywioliaeth Llangana, yn y sir hono, yr hyn a'i gwnaeth yn annibynol ar y personiaid, o hyny allan. Yn fuan iawn, yn wir yn ddioed, ar ol hyny, fe ymunodd â'r offeiriaid duwiol ereill yn Neheudir Cymru, rhai oddifewn a rhai wedi eu bwrw allan o'r eglwys wladol, oeddent yn arfer cyfarfod â'u gilydd yn Gymdeithasfaol, a lliaws, erbyn hyn, o wyr diurddau yn eu plith yn pregethu, ac yn cael eu hadnabod wrth yr enw Methodistiaid. Ac ni chafodd efe, fel Mr. Daniel Rowland, Mr. William Williams, Mr. Peter Williams, ac ereill o'r hen dadau Methodistiaidd, ei droi allan o Eglwys Loegr; ond, er y teithiai Gymru yn gyson, gan bregethu mewn llëoedd annghysegredig, ac ymgymmysgu mewn Cyfarfodydd cyhoeddus â phregethwyr diurddau, a chyrchu, yn enwedig, i'r holl Gymdeithasfäoedd yn y Dehendir, ac yn

fynych yn y Gogledd, eto efe a gadwodd ei fywioliaeth hyd ddiwedd ei oes, ac a fu farw yn berson Llangana. Wedi marwolaeth Mr. Daniel Rowland, er fod ei fab, Mr. Nathaniel Rowland, yn ymddangos fel pe buasai yn ystyried fod llywodraeth y Cyfundeb yn dref-tadaeth iddo ef, eto gan Mr. Jones yr oedd y dylanwad mwyaf o lawer; ac wedi diarddeliad Mr. Nathaniel Rowland, yn y flwyddyn 1807, yr oedd yr arweiniad, yn y Deheudir, yn gwbl yn ei ddwylaw ef. Fel pregethwr, y mae yn ddiammheuol ei fod yn un hynod iawn. Cyfrifid ef y mwyaf toddedig o'r holl hen dadau. Nid oedd neb yn gyffelyb iddo, yn hyny, ond Mr. Evan Richardson o Gaernarfon. Efengylwr yn arbenig ydoedd. Nid oedd dim o'r "gwynt nerthol yn rhuthro," yn ei weinidogaeth ef; ond y "deheuwynt" tyner, yn "chwythu ar yr ardd," ac yn peri iddi "wasgar ei pheraroglau." Yr ydym yn cofio clywed ein hanwyl hen fam yn dywedyd am dano, ei fod yr un fath yn gwbl a'r adnod hono :—"Fy athrawiaeth a ddefnyna fel gwlaw : fy ymadrodd a ddifera fel gwlith ; fel gwlith-wlaw ar îr-wellt, ac fel cawodydd ar laswellt." Y mae pob crybwylliad braidd a gawn am dano, yn cyfeirio at y neillduolrwydd hwn ynddo. Y mae hen Fardd Pant-y-Celyn, yn ei Farwnad i Mrs. Grace Price, yr hon a fu farw Tach. 16, 1780, yn dywedyd,—

"Yn *Llangan* o dan y pulpud, 'r oedd ei hysbryd, 'r oedd ei thre',
Tra f'ai DAFYDD yno 'n chwareu 'n beraidd ar delynau 'r ne ;
Iesu 'r *Text*, a Iesu 'r Bregeth, Iesu 'r Ddeddf, a Iesu 'r Ffydd,
Meddai JONES, a hithau 'm ateb,—Felly mae, a Felly bydd !
[*Amen, Amen.*]"

Yr un modd, yn ei Farwnad i Mr. Daniel Rowland, y mae yr hen Fardd yn cyfarch ei fab, Nathaniel, ac yn dywedyd,—

"Bydd yn dad i'r Assosasiwn, ac os teimli'th fod yn wan,
Ti gai *help* gwir efengylwr, DAFYDD onest o *Langan ;*
Dodd y cerrig â'i ireidd-dra, a thrwy rym ei 'fengyl fwyn,
Wna i'r derw mwyaf caled, blygu 'n ystwyth, fel y brwyn."

Tystiolaeth gyffelyb a gawn gan Mr. Robert Jones o Roslan, yn "*Drych yr Amseroedd.*" Wrth sôn am dano, efe a ddywed, y byddai "yn hyfryd chwareu tannau telyn auraidd yr efengyl, nes y byddai

pregethwr, a dynai y fath ganmoliaethau, oddiwrth y fath rai. Ond, yn gwbl annibynol ar dystiolaethau neb, y mae yr effeithiau rhyfeddol ac anhygoel, a ddilynent ei weinidogaeth, yn profi fod rhyw elfenau hynod ynddi, nas gallwn ni yn awr ffurfio braidd un dychymyg am danynt. Meddylier ond yn unig ei fod wedi gwneuthur pentref bychan, distadl, tlodaidd, Llangeitho,—a'r hwn oedd yn fwy felly y pryd hwnw nag ydyw yn awr,—yn enw teuluaidd trwy holl Gymru; y byddai dynion yn cyrchu yno yn fisol, am yn agos i hanner can' mlynedd, o bellderoedd dirfawr o amrywiol Siroedd y Deheudir a'r Gogledd—ac nid yn unig o'r Siroedd agosaf, ond yn fynych o Sir Gaernarfon, ac, weithiau, o Siroedd Môn a Fflint, yn unig i gael pregeth neu ddwy ganddo, ac i dderbyn y cymun sanctaidd o'i ddwylaw; y byddent yn teithio yr holl bellder hwn ar eu traed, trwy ludded mawr, ac, weithiau, yn cael eu herlid yn dost gan elynion crefydd ar eu ffordd tuag yno; ond, wedi myned yno felly, yn cael y fath fwynhâd i'w hysbrydoedd, a'u codi i'r fath hwyliau dan ei weinidogaeth, nes colli eu holl flinder, eu hanghofio eu hunain yn hollol, ac yn ymollwng gydâ'u teimladau i waeddi, weithiau, am oriau bwygilydd. Cymerer un enghraifft, a glywsom gan yr hen bregethwr hybarch, Mr. John Williams, Dolyddelen, yr hwn nad oedd mewn un modd yn un gwanaidd, difeddwl, a pharod i ymollwng gydâ phob awel a chwythai ar ei dymherau. Dywedai ei fod ef, un tro, wedi myned yno, gan gerdded yr holl ffordd o Ddolyddelen i Langeitho. "Yr oeddwn," meddai, "wedi blino cymmaint fel yr oeddwn yn llawer *ffitiach* i fyned i fy ngwely nag i fyned i'r capel. Ond fe aeth Rowlands i bregethu. Y testyn oedd,—'Ac Arglwydd y lluoedd a wna i'r holl bobloedd yn y mynydd hwn wledd o basgedigion, gwledd o loyw-win; o basgedigion breision, a gloyw-win puredig?' Ac ni chlywsoch chwi erioed y fath beth. Fe aeth ati i *dapio barilau* y cyfammod gras, ac i ollwng allan y gwir puredig, ac i ddiodi y bobl ag o. Yn wir, yr oedd o yn llifo trwy y capel. Mi yfais innau o hono, nes yr oeddwn i wedi meddwi fel *ffwl;* a dyna lle y bum i, ac ugeiniau gydâ mi, heb feddwl dim am flinder, yn gwaeddi, a rhai o honom yn neidio, am oriau."

Mae yn anhawdd, erbyn hyn, rhoddi un darluniad o'r pregethu a gynnyrchai effeithiau fel hyn. Mae genym ddeuddeg o Bregethau Rowland yn argraffedig, er fod yn amheus ai efe ydoedd awdwr y cwbl. Ac er fod y rhai hyn yn darllen yn dda, a'u bod yn gyflawn

o'r Dduwinyddiaeth buraf, eto nid ydynt, dybygem ni, ond darluniad tra anmherffaith o'r hyn oedd Mr. Rowland yn y pulpud; ac, yn wir, y mae yn amheus iawn genym, a ydynt yn rhoddi golwg gywir hyd yn nod ar ffurf ei bregethau yn y cyffredin. Y mae yn amlwg, pa fodd bynnag, mai nid y pregethau, *fel cyfansoddiadau*, oeddent yn peri fod y fath effeithiau gydâ hwynt, ond y pregethau *fel y traddodid hwynt ganddo ef.* Rhywbeth yn ei ddull bywiog tanbaid,—yn cyfodi oddiar angerddoldeb ei deimlad a ffag'iad ei ddawn hynod ei hunan,—a daflai y gwreichion tanllyd ar y dyrfa, nes y byddai yr holl gynnulleidfa yn fflam. Yn ei flynyddoedd diweddaf, ar Sabbathau y pen mis beth bynnag, byddai rhyw un bob amser yn darllen y gweddiau iddo. Byddai yntau yn y tŷ, gerllaw y capel, yn cerdded yn ol ac yn mlaen, a golwg braidd wyllt arno, mewn myfyr ar ei bregeth. Can gynted ag y byddai y gweddïau drosodd, deuai i'r capel, trwy ddrws bychan oedd y tu ôl i'r pulpud, a'r olwg arno eto braidd yn wyllt a chyffrous. Rhoddai, yn y cyffredin, un pennill i'w ganu, allan o un o'r Salmau, o Gyfieithiad Edmund Prys:—"*Un arch a erchais gan Dduw Naf,*" neu "*Dof finnau tua'th dy mewn hedd,*" &c.; ac os cenid y pennill fwy na dwywaith drosodd, cyn y bregeth, byddai yn dra anfoddlawn. Yna darllenai y testyn, â llais eglur ond yn dra brysiog. Siaradai, ar y cyntaf, yn hytrach yn isel, ond yn dra chyflym; yn gymmaint felly, fel mai anhawdd braidd oedd ei ddilyn. Yr oedd yn ymddangos, am amryw funudau, fel pe buasai yn ofnus, ac heb ymddiried hollol ynddo ei hun. Ond, yn raddol, fe ddiflanai hyny, ac fe ennillai hunan-feddiant perffaith. Siaradai yn awr yn fwy araf, ond yn uwch ac yn rymusach; gan ymwresogi, fel yr elai rhagddo, a'r holl gynnulleidfa yn cynhesu gydag ef, nes y byddai ias o deimlad tyner yn treiddio trwyddi. Y mae wedi darfod yn awr â'r sylw cyntaf; yn gostwng ei lais; yn rhoddi ysgydwad naill ochrog arno ei hunan; ac yn dechreu ar yr ail sylw. Y mae yn cychwyn eto yn lled araf a phwyllog, ond yn cyflymu yn fuan iawn, ac yn llefaru gydâ rhwyddineb a nerth annghyffredin; y mae ei lygaid yn treiddio trwy y capel; ei lais yn ymddyrchafu; ei deimladau yn tanio; y mae y gwres yn awr yn cydio yn y bobl; y mae y dagrau yn treiglo dros eu grùddiau; yr "*Amenau*" cynhes yn dyfod dros eu gwefusau; a'r pregethwr a hwythau mewn meddiant happus o'u gilydd. Y mae yn darfod a'r ail sylw. Y mae yn disgyn, yn raddol, drachefn, i'r tawelwch a'r pwyll a deimlid yn

angenrheidiol ganddo gydâ phob ad-gychwyniad. Ac ni a glywsom y sylw gan fwy nag un o'i hen wrandawwyr, na byddai efe byth yn ymddangos yn well fel siaradwr, na phan yn disgyn o'r arucheledd teimlad, y byddai efe ei hunan a'r gynnulleidfa wedi eu codi iddo, i'r arafwch a roddai y fantais oreu iddo i ail esgyn. Ni welwyd mo hono erioed yn *syrthio* i lawr, ond yn *disgyn* yn *dawel* ac yn *esmwyth*, a'i holl nerth ganddo i ail godi. A dyna fo yn esgyn eto, ac yn cyfodi ei gynnulleidfa gydâg ef, i deimladau uwch a dwysach a phoethach. Y mae yr "*Amenau*" yn amlach a chryfach; bloeddiadau—"*Diolch*," "*Bendigedig*," "*Gogoniant*,"—i'w clywed o bob cwr i'r capel; a'r holl gynnulleidfa, mewn hwyl hyfryd, yn mwynhau gorfoledd yr iachawdwriaeth. Ond y mae y pregethwr yn arafu; yn disgyn, drachefn, braidd yn esmwythach ac yn brydferthach nag o'r blaen; ac yn rhoddi ychydig eiliadau o seibiant i'r bobl i ddisgyn gydâg ef. Eithr y mae heb ddarfod eto. Y mae yn cychwyn drachefn; ac i fynu—yn *uwch*, UWCH, UWCH. Y mae golwg ryfedd erbyn hyn arno. Y mae ei lygaid yn fflamio; ei lais yn ymdori; ei wyneb yn dysgleirio; ei holl gorph yn ymddangos fel pe byddai wedi ei ysbrydoli; yr enaid mawr yn gollwng allan, yn ffrydlif o hyawdledd byw, y meddyliau mwyaf tanllyd, a'r rhai hyny yn tanio yr holl gynnulleidfa, ac yn ei chyfodi i hwyliau rhyfedd o orfoledd a mawl. Y mae llais y pregethwr yn awr wedi ei golli yn gwbl yn mloeddiadau a chaniadau y dyrfa; y mae yntau yn terfynu, nad oes neb yn gwybod pa fodd, heblaw ei fod mewn hwyl fawr; y mae yn brysio allan, trwy y drws bychan o'r tu ol i'r pulpud, mor ddisymwth ag y daeth i mewn; ac yn gadael y gynnulleidfa yno, ar ei ol, i waeddi a gorfoleddu am oriau. Y mae yntau yn cymmeryd ychydig luniaeth; yn myned am ddwy awr i'w wely i orwedd; ac, yn ei gwsg, yn adennill rhyw gymmaint o'r yni gwefrol a gollwyd ganddo, mewn awr o amser, yn y capel.

Yr ydym wedi darlunio Mr. Rowland, fel yr ydoedd ar adegau arbenig. Nid oes i ni un lle i feddwl y byddai effeithiau, fel y nodwyd, bob amser gydâ'i bregethau. Ond y mae yn sicr eu bod yn fynych iawn. Yn wir, eithriadau, iddo ef, fyddai pregethu y Sadwrn pen mis yn Llangeithio hebddynt. Tystiolaeth pawb o'r hen bobl y buom ni yn ymddiddan â hwynt am dano ydoedd, na byddai neb, oddieithr Robert Roberts, mor gyson dan arwyddion amlwg o arddeliad dwyfol. Ond, yn annibynol ar y peth dwyfol oedd gydâg ef, ac yn gyfrwng i'r peth dwyfol hwnw,

y mae yn rhaid fod rhyw neillduolrwydd arbenig yn ei weinidogaeth ef. A'r neillduolrwydd hwnw, dybygem ni, ydoedd, y cyfuniad hynod oedd ynddi o ATHRAWIAETH BWYSIG a THEIMLAD DWYS. Sicrheir i ni fod ei bregethau, bob amser, yn cynnwys eglurhad goleu a manwl, ar ryw un o wirioneddau neillduol yr efengyl, eglurhad a fyddai yn gadael argraff ar feddyliau y rhai callaf o'i wrandawyr, o'i fod yn meddiannu, i raddau annghyffredin, eangder a manylrwydd golygiadau ar "ddyfnion bethau Duw." Ond ni buasai hyny, arno ei hunan, byth yn cynnyrchu y fath effeithiau ag a gynnyrchid trwyddo ef. Prin, ni a dybiem, o ran hyny yn unig, y gellid ei gymharu am funudyn â'r diweddar David Charles o Gaerfyrddin, er esiampl. Ond, heblaw hyny, yr oedd efe yn meddiannu mesur annghyffredin o danbeidrwydd teimlad, a rhyw allu annghydmarol i daflu hwnw allan i ganol y gynnulleidfa, nes tanio ei holl wrandaẅwyr. Ac yr oedd, dylai pregethwyr ieuainc yn enwedig gofio, wedi gwneyd pregethu yn orchwyl mawr ei fywyd. Dyn y pulpud yn arbenig ydoedd. Nid ydoedd yn gofalu nemawr ddim am ranau ereill y gwaith. Yr oedd yn rhoddi ei holl amser i barotoi a thraddodi ei bregethau; ac yr oedd yn gallu eu traethu, nes y byddai ei wrandaẅwyr yn gweled, ac yn teimlo y pethau, fel y byddai efe yn eu darlunio. Fel y canodd Mr. Jones, Dinbych, yn ei Farwnad ragorol iddo ef, a Williams, Pantycelyn, a Dafydd Morris:—

"Tan ei weinidogaeth hynod,
Pechod ymddangosai 'n bechod;
Byd a'i wegi, oll yn wagedd;
Eglwys Dduw, yn lana' gyntedd;
Geiriau 'r Nef, yn eiriau sicraf;
Ammod rhad, yn graig gadarnaf:
Rhyfedd fraint, yr holl saint, mewn pwys a maint welid,
Nes y byddai 'r saint, o'i phlegid,
Uwch eu blinder maith a'u gofid,"

Byddai yn anfaddeuol ynom adael DANIEL ROWLAND, heb roddi i'n darllenwyr rhai rhanau o'r darluniad campus o hono, a gawn gan yr hen Fardd o Bant-y-celyn, yn ei Farwnad ardderchog iddo. Cymmerer yr hyn a ganlyn:—

"Pan oedd tywyll nos trwy Frydain, heb un argoel codi gwawr,
A thrwm gwsg oddiwrth yr Arglwydd, wedi goruwch guddio 'r llawr;
Daniel chwythodd yn yr udgorn, gloyw udgorn Sinai fryn,
Ac fe grynodd creigydd cedyrn, wrth yr adsain nerthol hyn.

"*Boanerges* oedd ei enw, Mab y daran danllyd gref,
Sydd yn siglo yn ddychrynllyd, holl golofnau dae'r a nef;
'Dewch, di hunwch,' oedd yr adsain, 'y mae 'n dinas ni ar dân,
'Ffowch oddiyma mewn munudyn, ynte ewch yn ulw mân.'

"Yn Llangeithio fe ddechreuodd gweiddi distryw 'r anwir fyd,
Miloedd ffôdd o'r *De* a'r *Gogledd*, yn un dyrfa yno ynghyd;
Arswyd, syndod, dychryn, ddaliodd yr holl werin fawr a mân,
Nid oedd gwedd wynebpryd un-gwr, fel y gwelwyd ef o'r blaen.

"Gliniau 'n crynu gan y daran, fel pe buasai angau ei hun
Wedi cym'ryd llawn berch 'nogaeth ar y dyrfa bob yr un;
'Beth a wnawn am *Safio* 'n henaid?' oedd yr unrhyw gydsain lef;
Chwi sy am wybod hanes *Daniel*,—Dyma fel dechreuodd ef.

"Daeth y swn dros fryniau *Dewi*, megis fflam yn llosgi llin,
Nes dadseinio creigydd *Towi*, a hen *Gapel Ystrad Ffin*;
Lle daeth siroedd yn fintelioedd, werin o aneirif ri',
Wrth gref adsain udgorn gloyw, cennadwri 'r nefoedd fry.

"Dyma ddyddiau pur gyffelyb i rai *Sinai* hen o'r blaen,
Llais yr udgorn a llef geiriau, tarth a thymhestl, mwg a thân;
Mynydd mawr yn crynu 'n danbaid, ac yn chwareu o eigion byd,
Yn datguddio 'n erbyn pechod, o bob rhyw, anfeidrol lid.

"Dyma 'r pryd daeth *Harries* fywiog, yn arfogaeth fawr y nef,
Megis taran annioddefol yno i'w gyfarfod ef;
Dyma ddyddiau sylfaen gobaith, dyddiau gwewyr llym a phoen,
Wrth gael esgor ar ei meibion, newydd wraig yr addfwyn Oen.

"Pump o Siroedd penaf Cymru, glywsant y taranau mawr,
A chwympasant gan y dychryn, megis celaneddau i lawr;
Clwyfau gawd, a chlwyfau dyfnion, ac fe fethwyd cael iachad,
Nes cael eli o *Galfaria*, dwyfol ddw'r a dwyfol waed.

"'Nol pregethu'r ddeddf dymhestlog, rai blynyddau yn y blaen,
A rhoi llawer yn friwedig, 'n awr cyfnewid wnaeth ei gân;
Fe gyhoeddodd iachawdwriaeth gyflawn, hollol, berffaith, lawn,
Trwy farwolaeth y *Messiah*, ar *Galfaria* un prydnawn.

"Dyma 'r pryd daeth *Whitefield* enwog, ar adenydd dwyfol ras,
Lawr i Gymru i gael profi 'r newydd win o ddwyfol flas;
Dyma 'r pryd yr hyfryd asiwyd, o fewn ffwrnes fawr y nef,
*Sais* a *Chymro* mewn athrawiaeth loyw, ddisglaer, gadarn, gref.

"Nid oes un o siroedd *Cymru*, braidd na phlwy' sy 'n berchen cred,
Na bu Rowlands yn eu teithio ar eu hyd, ac ar eu lled;
Tros fynyddau, trwy afonydd, ac aberoedd gwaethaf sydd,
O *Dŷ Ddewi* i *Lanandras*, o *Gaergybi* i *Gaerdydd*.

"Deuwch trosodd i *Langeitho*, gwelwch yno ôl ei law,
Miloedd meithion yno 'n disgwyl, llu oddiyma, llu o draw;
* * * * * * * * * * *
* * * * * * * * * * *

"Gwelwch *Ddaniel* yn pregethu, yn y tarth, y mwg, a'r tân;
Mil ar unwaith yn moliannu, Haleluia yw y gân:
Nes b'ai torf o rai annuwiol, mewn rhyw syndod dwfn, mud,
Ac yn methu rhoi eu meddwl ar un dim ond diwedd byd.

"Mae'r torfeydd yn dychwel adref, mewn rhyw ysbryd llawen fryd,
Wedi taflu i lawr eu beichiau, oedd yn drymion iawn o hyd;
Y ffyrdd mawr yn frith o werin, sŵn caniadau nefol Oen,
Nes yw 'r creigydd oer a'r cymmydd yn adseinio 'r hyfryd dôn.

"Dyma ddyddiau gwerthfawr *Rowlands*, ac hwy eto a barhan',
Pan b'o 'i gorph yn mynwent *Ceitho*, wedi myn'd yn ulw mân:
Os *Elias* yn ei gerbyd tanllyd esgyn fry i'r nef,
Fe ddaw *Eliseus* yn berchen ar ei fantell nefol ef."

Un arall a gododd i enwogrwydd mawr, ac yr oedd arbenigrwydd neillduol ar ei weinidogaeth, oedd DAVID JONES o Langana. Fe'i ganwyd ef,—nid ydym yn gwybod y dydd na'r mis,—yn y flwyddyn 1735, yn mhlwyf Llanllüeni, yn Sir Gaerfyrddin. Bu farw yn Manor-

owen, yn agos i Abergwaen, yn Sir Benfro, Awst 12, 1810, yn bymtheg mlwydd a thriugain oed. Y mae lliaws, gan hyny, eto yn fyw sydd yn ei gofio ef yn dda, er fod eu nifer yn myned braidd beunydd yn anamlach, ac y mae rhyw swyn neillduol gan ei enw byth ar eu meddyliau. Dechreuodd yntau, fel Mr. Daniel Rowland, a llawer ereill ar ei weinidogaeth, heb wybod nemawr ddim am awdurdod crefydd ar ei feddwl ei hun. Fe'i hordeiniwyd yn y flwyddyn 1758, i guradaeth Llanafan fawr, yn Sir Frecheiniog. Yn mhen ychydig amser, symmudodd oddiyno, i fod yn gurad yn Nhydweiliog, yn Lleyn, Sir Gaernarfon. Clywsom gan y diweddar Mr. John Robert Jones, Bangor, yr hwn a glywsai gan rai hen bobl ag oeddent yn ei gofio yn dda yno, nad oedd dim un arwydd crefydd arno am yr ychydig amser y bu yn aros yn Nhydweiliog, er ei fod yn cael ei hoffi fel dyn hawddgar iawn. Rywbryd yn y flwyddyn 1760, fe symmudodd o Dydweiliog, i blwyfi Trefethin a Caldicot, yn Sir Fynwy. A thra yn Sir Fynwy, yr aeth tan y cyfnewidiad mawr, a'i gwnaeth am byth yn ddyn arall. Yr oedd ei bregethau, erbyn hyn, wedi newid, ac yn ymwneyd yn uniongyrchol â chydwybodau a chalonau ei wrandawwyr; ac yn gyflawn o Grist Iesu ar eu cyfer, yn eu trueni. Ond nid oedd y fath weinidogaeth yn dderbyniol gan y person a'i cyflogasai, ac, felly, fe'i tröwyd oddiyno. Cafodd, wedi hyny, le yn agos i *Bristol;* ond yr oedd yn rhy efengylaidd i'r person yno drachefn. Wedi ei droi oddiyno, fe gafodd guradaeth mewn rhyw le yn *Wiltshire.* Naill ai yn *Wiltshire,* ai cyn myned yno, daeth i gydnabyddiaeth â'r Iarlles Huntingdon: a thrwy ei dylanwad hi gydâ phendefiges o Sir Forganwg, fe gyflwynwyd iddo, yn y flwyddyn 1768, fywioliaeth Llangana, yn y sir hono, yr hyn a'i gwnaeth yn annibynol ar y personiaid, o hyny allan. Yn fuan iawn, yn wir yn ddioed, ar ol hyny, fe ymunodd â'r offeiriaid duwiol ereill yn Neheudir Cymru, rhai oddifewn a rhai wedi eu bwrw allan o'r eglwys wladol, oeddent yn arfer cyfarfod â'u gilydd yn Gymdeithasfäol, a lliaws, erbyn hyn, o wyr diurddau yn eu plith yn pregethu, ac yn cael eu hadnabod wrth yr enw Methodistiaid. Ac ni chafodd efe, fel Mr. Daniel Rowland, Mr. William Williams, Mr. Peter Williams, ac ereill o'r hen dadau Methodistiaidd, ei droi allan o Eglwys Loegr; ond, er y teithiai Gymru yn gyson, gan bregethu mewn llëoedd annghysegredig, ac ymgymmysgu mewn Cyfarfodydd cyhoeddus â phregethwyr diurddau, a chyrchu, yn enwedig, i'r holl Gymdeithasfäoedd yn y Dehendir, ac yn

fynych yn y Gogledd, eto efe a gadwodd ei fywioliaeth hyd ddiwedd ei oes, ac a fu farw yn berson Llangana. Wedi marwolaeth Mr. Daniel Rowland, er fod ei fab, Mr. Nathaniel Rowland, yn ymddangos fel pe buasai yn ystyried fod llywodraeth y Cyfundeb yn dref-tadaeth iddo ef, eto gan Mr. Jones yr oedd y dylanwad mwyaf o lawer; ac wedi diarddeliad Mr. Nathaniel Rowland, yn y flwyddyn 1807, yr oedd yr arweiniad, yn y Deheudir, yn gwbl yn ei ddwylaw ef. Fel pregethwr, y mae yn ddiammheuol ei fod yn un hynod iawn. Cyfrifid ef y mwyaf toddedig o'r holl hen dadau. Nid oedd neb yn gyffelyb iddo, yn hyny, ond Mr. Evan Richardson o Gaernarfon. Efengylwr yn arbenig ydoedd. Nid oedd dim o'r "gwynt nerthol yn rhuthro," yn ei weinidogaeth ef; ond y "deheuwynt" tyner, yn "chwythu ar yr ardd," ac yn peri iddi "wasgar ei pheraroglau." Yr ydym yn cofio clywed ein hanwyl hen fam yn dywedyd am dano, ei fod yr un fath yn gwbl a'r adnod hono:—"Fy athrawiaeth a ddefnyna fel gwlaw: fy ymadrodd a ddifera fel gwlith; fel gwlith-wlaw ar îr-wellt, ac fel cawodydd ar laswellt." Y mae pob crybwylliad braidd a gawn am dano, yn cyfeirio at y neillduolrwydd hwn ynddo. Y mae hen Fardd Pant-y-Celyn, yn ei Farwnad i Mrs. Grace Price, yr hon a fu farw Tach. 16, 1780, yn dywedyd,—

"Yn *Llangan* o dan y pulpud, 'r oedd ei hysbryd, 'r oedd ei thre',
Tra f'ai DAFYDD yno 'n chwareu 'n beraidd ar delynau 'r ne;
Iesu 'r *Text*, a Iesu 'r Bregeth, Iesu 'r Ddeddf, a Iesu 'r Ffydd,
Meddai JONES, a hithau 'm ateb,—Felly mae, a Felly bydd!
[*Amen, Amen.*]"

Yr un modd, yn ei Farwnad i Mr. Daniel Rowland, y mae yr hen Fardd yn cyfarch ei fab, Nathaniel, ac yn dywedyd,—

"Bydd yn dad i'r Assosasiwn, ac os teimli'th fod yn wan,
Ti gai *help* gwir efengylwr, DAFYDD onest o *Langan;*
Dodd y cerrig â'i ireidd-dra, a thrwy rym ei 'fengyl fwyn,
Wna i'r derw mwyaf caled, blygu 'n ystwyth, fel y brwyn."

Tystiolaeth gyffelyb a gawn gan Mr. Robert Jones o Roslan, yn "*Drych yr Amseroedd.*" Wrth sôn am dano, efe a ddywed, y byddai "yn hyfryd chwareu tannau telyn auraidd yr efengyl, nes y byddai

llawer credadyn llwfr yn baro i lamu o lawenydd." Y mae yn sicr fod rhyw dynerwch rhyfedd yn ei bregethu, a barai iddo fod yn un arno ei hunan am byth yn hyny, yn nheimladau ei holl wrandawwyr. Yr oedd pob peth cysylltiedig âg ef yn fanteisiol i hyny. Yr oedd rhyw brydferthwch tyner yn ei wynebpryd; mwyneidd-dra, a sirioldeb, a charedigrwydd yn ei lygaid; rhyw bereidd-dra anarferol yn ei lais; ac, yn enwedig, rhyw eneinniad nefol braidd yn wastad ar ei ysbryd, fel y byddai y gynnulleidfa ac yntau yn ymdoddi i'w gilydd, agos bob amser, cyn y byddai y bregeth drosodd. Yr ydym yn cofio clywed y diweddar Mr. Michael Roberts o Bwllheli, yn dywedyd wrthym, am y tro cyntaf iddo ef, pan yn fachgen pedair-ar-ddeg oed, fyned i Gymdeithasfa y Bala, yn y flwyddyn 1794,—fod Mr. Jones yn pregethu yno gydâ'r fath hwyl ac effeithiau, nes oedd yr holl gynnulleidfa yn foddfa o ddagrau; a lliaws, yn methu ymattal, wedi tori i orfoledd mawr. "Yr oeddwn yn edrych arno," meddai, "fel pe buasai yn angel Duw. Yr oedd yn ymadael ar ol yr oedfa y boreu; ac yr oeddwn i wedi myned at dŷ Mr. Charles i'w weled yn myned ymaith: ac yr ydwyf yn cofio yn dda fod Mr. Charles yn dyfod allan o'r tŷ gydag ef; a phan yn ysgwyd llaw wrth ffarwelio, â'r dagrau yn treiglo dros ei ruddiau, yn dywedyd wrtho,—'Brysiwch yma eto, da chwi, Mr. Jones bach, gael i ni gael ein bedyddio â'ch gweinidogaeth.'" Parhaodd yn yr ireidd-dra hwn hyd y diwedd. Yr oedd yn cael ei deimlo felly, yn gymmaint ag y clywsid ef braidd erioed, pan yn pregethu yn Nghymdeithasfa Llangeitho, ryw bedwar diwrnod neu bump cyn ei farwolaeth. Y testyn yno oedd, Ioan vi. 55: "Canys fy nghnawd i sydd fwyd yn wir, a'm gwaed i sydd ddiod yn wir." Pregethodd drachefn, ar ei ffordd o Langeitho adref, yn y Capel Newydd, Sir Benfro, oddiar Esaiah i. 18. A dyna y bregeth olaf iddo. Cyrhaeddodd ei gartref, Manorowen, ddydd Gwener, Awst 10. Yr oedd wedi ei gyhoeddi i bregethu y Sul canlynol, yn Woodstock; ac amcanai fyned yno: ond, y boreu hwnw, efe a gymmerwyd gan yr angelion i'r nefoedd. Y nos Sadwrn, gan deimlo fod amser ei ymddattodiad wedi dyfod, efe a ddywedodd wrth un o'r morwynion a wasanaethent arno,—"*Lettice* fach, y mae yma loned y tŷ o weision lifrai y nef wedi dyfod i gyrchu fy enaid tuag adref. Os tarewi wrth rai o'u hesgyll hwy, paid a chymmeryd ofn, da merch." Y mae yn ddiddadl fod yr elfen dyner, fwynaidd, wlithog, ag sydd i raddau mawr, yn hynodi y Pulpud

Cymreig trwy y blynyddoedd, yn perthynu yn arbenig i weinidogaeth yr hen Efengylwr o Langan.

Un yn gwahaniaethu yn fawr oddiwrth Mr. Jones, ond yn ei radd ei hunan yn llawn mor hynod ag yntau, oedd DAFYDD MORRIS. Fe'i ganwyd ef yn Lledrod, Sir Aberteifi, rywbryd yn y flwyddyn 1744. Bu farw gerllaw capel y Tŵr Gwyn, yn yr un sir, Medi 16, 1791; yn saith mlwydd a deugain oed. Y mae yntau, felly, wedi gadael y byd er ys dros un mlynedd a phedwar ugain; ac nid ydym yn gwybod fod neb yn fyw yn cofio dim am dano. Yr oedd yn dad i'r hwn a ddaeth yn enwocach nag yntau,—Mr. Ebenezer Morris. Dechreuodd bregethu pan ydoedd tuag un-ar-hugain oed. Wedi trigiannu y rhan fwyaf o'i oes yn Lledrod, fe symmudodd, rai blynyddoedd cyn marw, i le a elwir Pen y ffos, gerllaw Capel y Tŵr Gwyn: ond fel Dafydd Morris, Lledrod, yr adwaenid ef, hyd y diwedd, gan yr hen bobl. Nid ydoedd, hyd y gwyddom, wedi cael dim manteision dysgeidiaeth yn ei ieuenctyd; ac eto, ryw fodd, fe ddysgodd ysgrifenu yn dda; ac a gyrhaeddodd ddigon o wybodaeth o'r Saesonaeg ag i allu defnyddio yn rhwydd Weithiau awdwyr Duwinyddol ynddi; ac, hyd ag y goddefai ei deithiau mynych a meithion, a'i lafur caled gydâ phregethu, yr oedd yn ddarllenwr mawr, ac yn fyfyriwr caled. Yr oedd ei feddwl yn nodedig o fywiog a gweithgar a ffrwythlawn, a phregethau newyddion ganddo yn wastadol; ac, weithiau, fe fyddai ganddo bump neu chwech neu saith o bregethau gwahanol ar yr un testyn. Yr oedd Mr. Daniel Rowland yn meddwl yn annghyffredin o uchel am dano fel pregethwr. Byddai raid iddo, bob amser, bregethu un o'r pregethau ar Sul y pen mis—y Cymmun mawr—yn Llangeitho; ac felly, bob blwyddyn, yn y Gymdeithasfa yno; er ei fod yn ei sir ei hunan, ac nid yn mhell o'i gartref. Yr oedd ganddo olygiadau eglur a phendant ar wirioneddau mawrion yr efengyl, ac yr oedd yn meddiannu gallu nodedig i'w gwneyd yn eglur i'w wrandawwyr. Ond, heblaw hyny, yr oedd yn fyw o deimlad. Yr oedd y pethau a draddodid ganddo yn tanio ei enaid ei hun, ac yn cynneu yr un tân yn nheimladau ei wrandawwyr. Yr oedd yn siaradwr naturiol, rhwydd, a nerthol; ac yn meddiannu un o'r lleisiau cryfaf, a mwyaf perseiniol, a fu gan odid ddyn erioed. Yr oedd, o'r ddau, yn rhagori, yn hyny, hyd yn nod ar ei fab, Mr. Ebenezer Morris. Ond nid llais na dull oedd y cwbl oedd ganddo ef. Yr oedd ei bregethau yn dra meddylgar; yn cynnwys llawer o syniadau cryfion a dyfnion;

ac yn gyflawn o'r cymhariaethau mwyaf naturiol a phrydferth. Gallwn roddi un enghraifft neillduol o hyny. Yr oeddem ni ryw Sabboth, yn y flwyddyn 1834, yn myned o Lanllyfni, ar ol yr oedfa yn y boreu, i Dalsarn at ddau yn y prydnawn. Yr oedd un o'r hen frodyr o Lanllyfni yn ein hebrwng, ac yn cyd-gerdded â ni. Pan y daethom i ryw le ar y llwybr, wrth fyned ar draws rhyw gae, meddai yr hen frawd wrthym,—"A welwch chwi y garreg hon? Wyddoch chwi beth? Mi glywais i Dafydd Morris yn pregethu yn y fan yma; ac ar y garreg yma yr oedd o yn sefyll." "Ai e!" meddem ninnau; "A ydych chwi yn cofio y testyn?" "O ydwyf, yn eithaf da; y geiriau yna yn y Salm:—'O drugaredd yr Arglwydd y mae'r ddaear yn gyflawn.'" "A ydych chwi yn cofio rhywbeth o'r bregeth?" "Ydwyf: yr wŷf yn cofio fod ganddo drugaredd mewn creadigaeth, a thrugaredd mewn rhagluniaeth, a thrugaredd mewn iachawdwriaeth; ac wrth sôn am drugaredd mewn creadigaeth, yr wyf yn cofio ei fod o yn tybied rhyw rai yn codi gwrthddadleuon yn erbyn hyny, am fod cymmaint o'r ddaear yma yn anialwch diffaeth, cymmaint o honi yn foroedd diffrwyth, a chymmaint o honi yn fynyddoedd gwylltion." "Wel," meddem ninnau, "sut yr oedd o yn ateb y gwrthddadleuon?" "Nid ydwy' i ddim yn cofio," meddai yntau, "sut yr oedd o yn ateb gwrthddadl yr anialwch, a'r môr; ond yr ydwy' i yn cofio yn dda sut yr oedd o yn ateb gwrthddadl y mynyddoedd:—'Cistiau Duw ydyw y mynyddoedd yma, bobl, yn llawn o'i drysorau; ac fel y bydd o yn gweled ar ei blant eu heisiau, fe deifl o yr allwedd i ryw un i'w hagor hwy.'"—Y mae hynyna yn ddigon i ddangos fod *meddwl* yn ei bregethau ef. Ond, wedi y cwbl, y grymusder mawr oedd ynddi ydoedd yn hynodi ei weinidogaeth. Yr oedd hwnw y fath fel y byddai yn gorchfygu pawb. Nid oedd dim dal o'i flaen. Byddai y dynion mwyaf anystyriol, ac yn fynych rhai llawn o'r ysbryd mwyaf erlidgar, yn cael eu meddiannu â'r fath arswyd, wrth wrandaw arno, nes delwi yn eu gwedd; troi i grynu drwyddynt; ac, weithiau, i waeddi allan am eu bywyd. Y mae sôn am rai pregethau o'i eiddo, â rhyw *nerth ofnadwy* ynddynt. Coffeir am un felly yn Llanarmon Dyffryn Ceiriog, ar y geiriau,—"Dyro gyfrif o'th oruchwyliaeth: canys ni elli fod mwy yn oruchwyliwr." Yr oedd Duw yn ei lef, a'r llef yn cyrhaedd calonau; nes i bawb, braidd, oeddent yn y lle, gael eu dychwelyd. Yr ydym yn cofio, pan oeddem ni yn ieuanc iawn, yn Nghaergybi, am y sôn a fyddai gan

yr hen bobl yno am bregeth ryfeddol iddo, mewn lle a elwir *Pont Rippont*, o fewn rhyw bedair milltir i'r dref hono, a elwid ganddynt hwy,—"*Pregeth y Golled Fawr.*" Y testyn oedd—"Pa lesâd i ddyn, os ynnill efe yr holl fyd, a cholli ei enaid ei hun? neu pa beth a rydd dyn yn gyfnewid am ei enaid?" Yr oedd y fath effeithiau gydâ'r bregeth hono, a'r fath ganlyniadau daionus iddi, fel y tybid yn gryf fod pawb o'r rhai oeddent yn gwrandaw wedi cael eu hachub. Ac yr oedd ei lais mor uchel a threiddgar, fel yr oedd y bobl, gan y sŵn, yn cyrchu yno o'r holl gylchoedd; ac, fel y delent i'r lle, yn teimlo argraffiadau rhyfedd oddiwrtho, neu, yn hytrach, oddiwrth Ysbryd Duw trwyddo. Adroddwyd i ni un hanesyn, a ddengys mor ddwfn ac arosol oedd yr effeithiau oddiwrth y bregeth hono. Yr oedd y diweddar Mr. David Roberts o Fangor, ryw Sabboth yn pregethu yn Llanerchymedd: ac yn y cyfarfod eglwysig, ar ol y bregeth yn yr hwyr, fe aeth, yn ol ei arfer, i holi rhai o'r aelodau am eu profiadau. Wedi dyfod at un hen chwaer, a chlywed rhywbeth ganddi a barai iddo deimlo rhyw ddyddordeb ynddi, fe ofynodd iddi, er ys pa faint o amser yr oedd hi gydâ chrefydd. Nid oedd yr hen chwaer yn gallu dywedyd hyny:—"Ond," meddai, "yr oeddwn i yn hogen go fechan, yn agos i Bont Rippont; a rhyw ddiwrnod, wrth fyned i ryw le, mi a gollais fy marclod [*ffedog=apron*]. Yr oeddwn wedi myned i chwilio am dano, ac yn teimlo yn fawr, bron â chrïo, os nad oeddwn i yn crïo, am fy mod i wedi ei golli. Pan yr oeddwn i felly yn chwilio am dano, mi a glywn ryw lais uchel, cryf, yn swnio yn fy nghlustiau,—'*Y golled fawr; y golled fawr.*' Mi feddyliais i mai sôn am fy marclod i yr oedd o. Ond mi a ddilynais y sŵn, nes yr oeddwn i yn y lle. Ac, erbyn dyfod yno, yr oedd yno lawer o bobl wedi ymgasglu; a dyn yn pregethu, ar yr adnod,—'Pa lesâd i ddyn, os ennill efe yr holl fyd, a cholli ei enaid ei hun?' Ac mi ddois i too i ddeall, fy mod i mewn perygl o golli peth annhraethol fwy gwerthfawr na fy marclod. Dyna yr amser y dechreuais i gydâ chrefydd. A Dafydd Morris oedd y pregethwr hwnw." "O ïe," meddai Mr. David Roberts, "tad *Eben.*" "Nage," meddai yr hen wraig, "nid tad Eben." "Ie," meddai yntau drachefn, "*tad* Eben." "Nage, nage;" meddai yr hen chwaer, eilwaith; "nid tad *Eben.* Griffith ydyw tad Eben; ond *Dafydd Morris* oedd *hwnw.*" Nid oedd yr hen wraig yn cofio am yr un Eben., ond y Parch. Ebenezer Davies, yn yr un dref â hi; ac yr

oedd yn gwybod mai yr hen bregethwr, y Parch. Griffith Davies, oedd ei dad ef.

Yr oedd Dafydd Morris, o ran ei ymddangosiad corfforol, yn dêg iawn; ei wynebpryd yn wridog; ei wallt yn wineu-felyn; a'i lygaid yn fawrion a bywiog, ac, wedi ei gyffroi yn ei bregeth, yn nodedig o awgrymiadol. Daliodd tewder mawr ac annaturiol ef, pan oedd yn ddyn lled ieuanc; yr hwn a gynnyddodd arno, nes y daeth yn syndod i bawb, ac yn un o'r rhai mwyaf corphol a welwyd braidd erioed. Cyfansoddwyd pennill digrifol iddo, oddiar hyny, gan Dafydd Ddu o'r Eryri, pan oedd y bardd yn fachgenyn pur ieuanc. Yr oedd Thomas Griffith, tad Dafydd Ddu, yn bregethwr gyda'r Methodistiaid; ac yn ei dŷ ef y byddai y pregethwyr, a ddelent i'r Waunfawr, yn arfer llettŷa. Yr oedd Dafydd Morris wedi bod yno lawer gwaith, ac yn hollol adnabyddus i'r teulu. Wedi clywed fod prydyddu yn y bachgen, fe ofynodd iddo, ryw dro, am bennill. A phan ar ymadael—wedi mŷned ar gefn ei anifail—ac yn ffarwelio â'r teulu, ac â'r bachgen, dywedai,—"Aros di, Dafydd, yr ydwyf fi heb gael y pennill genyt ti eto." Ar hyny, ac megis yn ddifyfyr, dyna y bachgen yn ei ateb,—

"Am Dafydd Morris, 'r wyf fi 'n sŷn, nid oes, mae hyn yn rhyfedd,
Berffeithiach Cristion, mewn un plwy', yn cario mwy o lygredd:
Ar fyr eheda 'i enaid ef, yn iach i'r nef fendigaid;
A'i gorph a fydd, yn ngwaelod bedd, ddanteithiol wledd i bryfaid."

Yr oedd Dafydd Morris yn ŵr diddan a siriol; yn gyfaill serchog a ffyddlawn; ac yn un hynod o gydymdeimladol â phwy bynnag a fyddai mewn unrhyw gyni neu angen. Amddifadai ei hunan, nid yn unig o'i gysuron ond o'i angenrheidiau, er mwyn gwneyd cymmwynas i ryw un a fyddai mewn eisiau. Er nad oedd heb rai colliadau pwysig, eto bu yn offerynol i wneuthur daioni dirfawr yn ei dymhor; ac y mae Gogledd Cymru, yn enwedig, mor rwymedig iddo ef ag i un o'r hen dadau Methodistaidd. Cymerai bedair o deithiau, bob blwyddyn, am flynyddoedd lawer, i Siroedd Arfon a Môn, a rhai o Siroedd ereill y Gogledd; ac yr oedd ei weinidogaeth, bob amser braidd, gyda nerth mawr. Y mae yn sicr fod y grymusder a'r awdurdod, ag sydd yn hynodi y Pulpud Cymreig, yn nodweddau arbenig, ac i raddau annghyffredin, ar bregethu DAFYDD MORRIS.

Yr oedd y nesaf y cyfeiriwn ato,—ROBERT ROBERTS,—yn ddiddadl, yn un hynod yn mhlith *rhai hynotaf* y Pulpud Cymreig. Fe'i ganwyd ef, Medi 12, 1762, mewn lle a elwir Ffridd-bala-deulyn, yn mhlwyf Llanllyfni, Sir Gaernarfon. Bu farw Tachwedd 28, 1802, yn Nghlynnog, yn yr un sir, pan nad ydoedd ond deugain mlwydd oed. Y mae yntau, felly, wedi gadael y byd er ys dros ddeng mlynedd a thriugain, fel y mae nifer y rhai sydd yn ei gofio, erbyn hyn, wedi myned yn ychydig iawn. Yr oedd, fel y mae yn hysbys, yn frawd i'r hen bregethwr, Mr. John Roberts o Langwm, ac yn ewythr i Mr. Michael Roberts o Bwllheli. Yr oedd ei rïeni yn mhlith y rhai cyntaf a ymunasant â chrefydd, yn mhlith y Methodistiaid, yn mhlwyf Llanllyfni, pan oedd Robert Roberts rhwng tair a phedair oed; a phan oedd tua chwech oed, agorasant eu tŷ i dderbyn pregethu iddo, yr hyn a barhaodd ynddo am ddeuddeng mlynedd a deugain. Pan oedd Robert Roberts yn dra ieuanc, am fod y teulu yn lïosog iawn, cynnifer a thri-ar-ddeg o blant, fe'i hanfonwyd ef i weithio i'r Gloddfa Lechau, yn y Cilgwyn, yn gyfagos i'w gartref. Byddai y tad yn defnyddio y nos a'r Sabbathau i addysgu ei blant i ddarllen, ac i'w hegwyddori yn ngwirioneddau yr efengyl; ac yr oedd Robert, hyd nes oedd tua phedair-ar-ddeg oed, yn ymddangos yn cael cryn hyfrydwch yn hyny. Ond tua y pryd hwnw, fe ddechreuodd ddangos tuedd cryf at wylltineb; a chan ddilyn cymdeithion drwg, yr oedd yn ymroddi gydâ hwynt i bob math o gampau a chwareuon ofer, ac heb un meddwl am grefydd. Yr oedd ei rïeni, a'i frawd hynaf John,—yr hwn oedd ddeng mlynedd yn hŷn nag ef, ac wedi ymuno a'r eglwys er ys pan oedd yn ddwy-ar-bymtheg oed,—yn ofni yn fawr am dano, y pryd hyn, mai rhagddo yr âi mewn caledwch ac annuwioldeb, ac y byddai yn fuan yn gadfridog yn myddin yr un drwg. Ond yn haf y flwyddyn 1779, pan ydoedd yn un-ar-bymtheg oed, fe'i perswadiwyd gan ei frawd i fyned gydâg ef i wrando ar Mr. Jones, Llangana, yr hwn oedd ar daith yn Sir Gaernarfon, ac i bregethu ryw ganol dydd yn Mryn yr Odyn. Yr oedd y diwnod yn dêg iawn, a chynnifer wedi dyfod yn nghyd, fel nad oedd digon o le i'r bedwaredd ran o honynt yn nhŷ Sion Gruffydd, lle, y pryd hyny, yr arferid pregethu; ac, felly, fe gadwyd y cyfarfod dan yr awyr agored. Yr oedd Mr. John Roberts y pryd hyny newydd ddechreu pregethu, ac efe a ddechreuodd yr oedfa i Mr. Jones. Testyn yr hen Efengylwr ydoedd,

Zech. ix. 12 :—" Trowch i'r amddiffynfa, chwi garcharorion gobeithiol, &c." Cafwyd cyfarfod hynod annghyffredin. Daeth tywalltiadau helaeth o arddeliad ar y gwirionedd, nes oedd y dorf, gan mwyaf, yn ymdoddi mewn dagrau, a'r lleill mewn syndod, a phawb dan arwyddion o ryw effeithiau. Yn mhlith ereill, fe gyffyrddwyd â chalon Robert Roberts. Fe'i hargyhoeddwyd o'i bechadurusrwydd ac o'i berygl, nes ei ddwyn i ystyriaeth ddifrifol am ei achos tragywyddol. Bu am gryn ysbaid dan argyhoeddiadau dyfnion iawn, ac heb brofi tangnefedd yr efengyl. Clywsom Mr. Elias yn coffau am dano yn adrodd ei brofiad unwaith, yn nghyfarfod y Pregethwyr ryw bryd yn Nghymdeithasfa y Bala, pan y dywedai ei fod, yn yr adeg yma, "yn y fath ddychrynfeydd meddwl am ei fater mawr, fel y byddai yn cenfigenu wrth y cywion gŵyddau oeddent tua thŷ ei dad; ac yn dymuno na buasai yntau wedi ei wneyd yn *gyw gŵydd*, yn lle bod yn ddyn." Wedi ei ddwyn i'r teimladau hyn, a chael lle yn yr eglwys, fe farnodd ei rieni, ac yntau, mai gwell iddo, er mwyn dianc o'r gymdeithas lygredig yr oedd ynddi yn y gloddfa, oedd myned i weithio ar dir yn ngwasanaeth rhyw amaethwr cyfrifol yn y wlad. Cafodd le felly, y gauaf canlynol, yn Nghefn Pencoed, yn Eifionydd, lle y bu am tua phum mlynedd. Wedi hyny aeth yn ben gwas at Mr. John Prichard, Coed-cae-du, tad y diweddar Mr. Richard Jones o'r Wern, yn yr un gymmydogaeth, lle y bu am rai blynyddoedd drachefn. Nid ydym yn deall fod unrhyw hynodrwydd neillduol arno am rai blynyddoedd gydâ chrefydd. Yr oedd, pa fodd bynnag, yn ymroddi i ddarllen ; yn hoff iawn o wrandaw pregethau; yn arfer ysgrifenu y pregethau a wrandewid ganddo, o'i gof, yn fanwl ar ol myned adref; yn myned yn gyson, ddwywaith neu dair neu bedair yn y flwyddyn, i Langeitho, gydâ hen grefyddwyr ereill o gymmydogaeth Bryn Engan, i wrandaw Mr. Rowland, ac i'r cymun sanctaidd; ac yn cofio, yn ysgrifenu, ac yn adrodd ei bregethau braidd yn gyflawn. Yr oedd, erbyn ei fod tua dwy ar hugain oed, wedi tyfu i fynu yn ddyn tal, lluniaidd, cryf; ac yr oedd rhyw fywiogrwydd a chraffder yn ei ymddangosiad, a barent i bob gŵr dieithr, can gynted ag y gwelai ef, wneyd ymofyniad neillduol pwy ydoedd. Yn wir, pan nad ydoedd ond deunaw oed, y tro cyntaf yr aeth i Langeitho, gydâg ereill o Fryn Engan, fe'i canfyddwyd ef gan Mr. Rowland; ac efe a wnaeth, yn y fan, ryw ymofyniad am dano. Hysbyswyd iddo gan rai o'r cyfeillion pwy ydoedd; y rhai hefyd a ychwanegasant, eu bod yn

dysgwyl y deuai ryw bryd yn bregethwr defnyddiol iddynt. "Och fi! Och fi!" meddai Mr. Rowland; "pregethwr! Ni wnaiff o bregethwr byth, oni chaiff o dro ar ei gyflwr." Nid ydym yn gwybod a oedd rhywbeth yn ei ymddangosiad, y pryd hwn, a barai i Mr. Rowland ammeu a oedd wedi cael hyny; ai, ynte, a oedd yn dywedyd felly er mwyn gadael argraff ar feddwl y cyfeillion o'r pwys oedd yn hyny. Pan oedd rhwng dwy a thair-ar-hugain oed, fe gafodd ryw anwyd mawr a droes yn beswch trwm anarferol arno, yr hwn a ofnid a fyddai angeuol iddo. Ond darfu i'w feistres, mam Mr. Richard Jones, yr hon oedd yn dra chyfarwydd mewn dail, barotoi rhywbeth iddo a fu yn foddion i attal y peswch yn hollol. Eithr, wedi ei daflu megis o'r ysgyfaint, aeth yr afiechyd i'w aelodau a'i gymmalau; cynnyddodd, nes y bu yn ei wely am naw wythnos, yn y poenau mwyaf, nos a dydd. Ac erbyn iddo wellau, a dechreu codi, yr oedd golwg ryfedd arno: yr oedd rhyw grebychiad ar ei ewynau, ac ar amwydyn ei gefn, nes ei wneyd yn grwcca hollol o ran ei gorph; ac felly y bu holl ystod ei weinidogaeth, ac hyd ddiwedd ei ddyddiau.

Pan ydoedd o dair i bedair-ar-hugain oed, fe ymwelodd yr Arglwydd âg eglwys a chymmydogaeth Bryn Engan, â rhyw adfywiad annghyffredin. Yr oedd nerthoedd y nefoedd mor rymus gydà'r weinidogaeth, fel nad oedd odid oedfa heb arwyddion fod rhyw rai yn cael eu hachub, a'r hen broffeswyr yn cael eu hadnewyddu yn eu hysbryd; ac yr oedd adsain gorfoledd yn llenwi yr ardaloedd, nos a dydd. Cyfranogodd Robert Roberts i raddau anarferol o'r adfywiad hwnw. Yr oedd dan ddylanwadau rhyfeddol ac ofnadwy. Torai allan braidd yn mhob cyfarfod, i hwyliau gorfoleddus; a hyny gydà'r fath ddysglaerni ac effeithiolrwydd ag i synu y pregethwyr a ddygwyddent fod yno, ac i beri i bawb ddymuno ei weled yn ymroddi i weinidogaeth yr efengyl. Ac yn niwedd y flwyddyn 1787, pan ydoedd yn bump-ar-hugain oed, ac erbyn hyn wedi prïodi a dau o blant ganddo, fe ddechreuodd ar y gorchwyl pwysig. Am rai blynyddoedd, wedi dechreu pregethu, bu yn cadw Ysgol ddyddiol Gymraeg, yn ardaloedd Eifionydd, ac yn pregethu ar nosweithiau yr wythnos, ac ar y Sabbathau. Ond yr oedd ei iechyd mor wanaidd ac anmharus, a'r galwadau am dano fel pregethwr mor lïosog, a'i egni yntau yn y gwaith mor fawr, fel y darfu iddo, ar gais y Cyfarfod Misol, roddi yr Ysgol heibio; a phenderfynu ymroddi yn hollol i'r weinidogaeth, a symmud i drigiannu i dŷ

y Capel, yn Nghlynnog, lle y bu byw am y gweddill o'i oes. Fe dynodd ei weinidogaeth, braidd ar unwaith, sylw cyffredinol, a daeth yn fuan y pregethwr mwyaf poblogaidd yn Nghymru. Yr oedd rhywbeth ynddo fel pregethwr ag y mae yn anmhosibl ei ddarlunio, a rhywbeth nas gallwn ni, sydd heb ei glywed, ffurfio prin un dychymyg am dano. Tystiolaeth pawb a'r a'i clywsant yw, na chlywsant neb cyffelyb iddo. Yr oedd y fath rwyddineb yn ei ddawn, y fath angerddoldeb yn ei deimlad, y fath fywiogrwydd a nerth yn ei ddychymyg, y fath amrywiaeth yn ei lais, a'r fath allu ganddo i'w daflu ei hunan yn gwbl i'r mater a fyddai ganddo dan sylw, nes y byddai yr effeithiau ar y cynnulleidfaoedd yn hollol drydanol. Ar adegau felly, byddai golwg ryfedd arno ef ei hunan. Byddai dan gynhyrfiadau ofnadwy. Weithiau byddai ei lygaid yn melltenu nes gwneyd braidd yn anmhosibl edrych arno; weithiau fe'u canfyddid yn sirioli nes rhoddi gwên ar bob wyneb; ac yn amlach, byddent yn ffynnonau o ddagrau, nes cynnyrchu wylo cyffredinol trwy y gynnulleidfa. Pa beth bynnag fyddai pwnc y bregeth, fe'i dadguddiai ei hunan yn agweddau ei wynebpryd, yn ysgogiadau ei gorph, yn nhôn ei lais, yn gystal ag yn netholiad ei eiriau, a ffurfiad ei frawddegau, nes peri i'r gwrandawwyr nid yn unig ei ddeall, ond ei deimlo. Yr oedd rhyw allu anghyffredin, yn enwedig ganddo, i bortreadu y golygfeydd a ddysgrifiai yn ddarluniau byw ger bron ei wrandawwyr. Tynai ddarlun weithiau o'r farn, nes y byddai y gwrandawwyr yn tybied mai yno y byddent, ac yn gwaeddi allan am eu bywyd. Cyfodai yr orsedd; casglai y dyrfa fawr yn nghyd; didolai y rhai da oddiwrth y rhai drwg; cyhoeddai y ddedfryd; gyda'r olwg fwyaf cariadlawn, a chyda'r llais pereiddiaf, gwahoddai y rhai cyfiawn i mewn i'r deyrnas; nes y gwelid y pyrth gogoneddus yn ymagor, y goron yn cael ei gwisgo, y deyrnas yn cael ei hetifeddu, —ac adsain caniadau euraidd y dorf waredigol yn swnio yn nghlustiau y gwrandawwyr. Yna fe dröai at dyrfa'r aswy law. Byddai difrifwch ofnadwy, erbyn hyn, yn ei wedd; ac â rhyw rym ac awdurdod eto y teimlad dwysaf yn ei lais, fe gyhoeddai yr "*Ewch*" nes y byddai y gynnulleidfa yn canfod y trueiniaid annedwydd yn myned; yn clywed eu gruddfanau torcalonus; yn gweled y carchar yn ymagor; y tân tragywyddol yn cynneu; ac anobaith diddiwedd yn cau arnynt yno byth. Y mae sôn am dano unwaith yn pregethu yn Mryn yr Odyn, pan y cynnyrchwyd effeithiau rhyfedd ar y gynnulleidfa trwy fywiog-

rwydd y darluniad a dynid ganddo. Yr oedd yn gosod allan gyflwr dynolryw yn eu perygl fel pechaduriaid, trwy y gymhariaeth o ddynion yn ymddifyru ar ryw lecyn uwch ar draeth y môr pan oedd y llanw allan—ac yn cael y fath fwyniant yn eu difyrwch fel yr annghofiasant bob peth am y lle yr oeddent arno. Yn y cyfamser, yr oedd y llanw wedi troi, ac yn parhau i ddyfod i mewn; ac wedi dyfod i mewn gymmaint, nes yr oeddent wedi eu hamgylchu braidd yn gwbl gan y môr—dim ond un lle i ddïanc, a hwnw yn hytrach yn mhell oddiwrthynt, ac yn myned yn llai lai o hyd. O'r diwedd, dyna ryw un oddiar y lan yn gweled eu perygl, ac â llais uchel, cryf, clir, yn gwaeddi arnynt i ffoi; fod y môr ar eu hamgylchu; nad oedd ond un lle iddynt ddianc; ac oni ddiangent, ar frys, y byddai yn rhy ddiweddar iddynt, y byddai y môr wedi eu boddi i gyd. Yr oedd y bobl, yr holl amser hwn, wedi eu llyncu i fynu mor llwyr gan ei ddarluniad o'r amgylchiad ac o'r perygl, fel, pan y darluniai y gŵr o'r làn yn gwaeddi am iddynt ffoi a ffoi ar unwaith ac nad oedd un moment i'w golli—y cyd-gyfodasant mewn gwylltineb, ac y ffoisant allan o'r capel, gan waeddi am eu bywyd, yn ofni fod y môr wedi eu hamgylchynu. Daethant yn ol drachefn, neu ryw nifer o honynt, yn fuan; a chafodd yntau gyfleusdra gogoneddus i wasgu at eu meddyliau, y perygl mwy na boddi yr oeddent yn agored iddo, a'r pwys o ddefnyddio, heb oedi dim, drefn yr efengyl am waredigaeth. Yr oedd y gallu portrëadawl hwn, pa un bynnag ai o amgylchiadau ai o gymmeriadau yn nodedig ynddo. Clywsom Mr. John Jones yn adrodd un hanesyn am dano, a ddengys ei nodwedd yn y cyfeiriad hwn. Yr oedd Mr. John Jones ryw Sul yn pregethu yn Mynydd Llanllyfni, ar y geiriau—'Efe a lwnc angeu mewn buddugoliaeth, &c.' Yr wythnos ganlynol, efe a dderbyniodd lythyr oddiwrth hen ŵr oddiyno, yn rhoddi rhyw adroddiad o bregeth a glywsai gan Robert Roberts, ag yr oedd ei bregeth ef wedi ei adgofio o honi. Iesu Grist yn ymladd ag angeu oedd gan Mr. John Jones, ond Iesu Grist yn ymladd â dïafol oedd gan Robert Roberts. Yr oedd brwydr fawr bersonol wedi bod rhyngddynt ar ol ei fedyddio, ac yr oedd Iesu Grist wedi cael buddugoliaeth dêg ar ddïafol y pryd hyny. Yr oedd ei holl bregethau a'i holl wyrthiau yn ymosodiad uniongyrchol arno; ac yr oedd, yn y cwbl, yn fuddugoliaethus. Yr oedd dïafol yn gweled, os gadewid ef i fyned rhagddo felly, y byddai diwedd ar ei awdurdod ef; ac, felly, fe gynlluniodd i gael brwydr benderfynol ag ef. Fe roddes

ei holl ystryw ar waith, ac a gasglodd ei holl luoedd yn nghyd. Rhoddes yn nghalon un o'i ddysgyblion ei fradychu. Fe wasgwyd mor galed ar yr Iesu nes y mae yr awdurdod wladol wedi ei gondemnio; y bobl yn ei hwtio; ei ddysgyblion wedi ffoi; y mae ar y groes dan hoelion; a holl allu y tywyllwch yn y fantais oreu erioed i gael buddugoliaeth arno. Ac ar Galfaria y mae y frwydr fawr yn cymmeryd lle. Yr oedd Robert Roberts wedi cymmeryd ei safle wrth odre y bryn, yn gweled yr olygfa, ac yn ei darlunio fel yr ymddangosai iddo ef. Ond, yn mhen amser, y mae yr awyr yn pruddhau; y goleu yn cilio; a thywyllwch yn cuddio y groes a'r ymladdwyr o'i olwg. Y mae yn awr yn y pryder mwyaf pa fodd y mae y frwydr yn myned rhagddi, gan ei fod yn gwybod fod bywyd y byd yn dibynu ar y modd y terfyna. Y mae yn awyddus i holi yr Iesu; ond y mae yn deall fod y fath bwysau ofnadwy ar ei ysbryd ef, fel, yn ei gariad ato, nas gall feddwl am drafferthu dim arno. Am hyny y mae yn gwaeddi ar ddïafol—"Pa fodd y mae y frwydr yn myned rhagddi, Satan?" 'Cyd-godwm,' meddai yntau. "Ah!" meddai Robert Roberts, "y mae ein Iesu ni yn dal ei dir, er fod y gâd uffernol i gyd yn ei erbyn. Iesu mawr, congcro wnelot ti; y mae ein bywyd ni, drueiniaid, byth yn troi ar hyny." Yna y mae yn troi drachefn at Satan, ac yn gofyn,—"Pa fodd y mae y frwydr yn dyfod yn mlaen, erbyn hyn, Satan?" 'Cyd-godwm eto,' meddai yntau; ond mewn llais cras, annhymerus, a Robert Roberts yn gwneyd llais yr un fath. "Oh y mae ein Iesu, diolch iddo! yn dal ei dir; ac mi dybiwn i fod Satan braidd yn colli: y mae yn sicr yn colli yn ei dymher, ac y mae hyny yn hytrach yn arwyddo ei fod yn colli yn y frwydr." Yna aeth rhagddo i ddarlunio drachefn bwys y frwydr, a'r pryder mawr oedd trwy yr holl nefoedd, yn meddyliau Abel, ac Enoch, a Noah, ac Abraham, a Moses, a'r prophwydi, a holl saint yr Hen Destament, yn nghylch y modd y byddai yn troi ar Galfaria; nes yr oedd y bobl wedi eu llyncu i fynu â'r unrhyw bryder, ac fel pe buasent heb glywed erioed o'r blaen, neu, ynte, wedi annghofio yn gwbl, pa fodd yr *oedd wedi troi*. Toc, dyna fo yn gwaeddi drachefn,—"Pa fodd y mae hi yn myned yn mlaen yn awr, Satan?" Ond nid oedd neb yn ateb. "Satan, Satan, cymer lai na chwarter munud o hamdden i ddywedyd i mi, pa fodd y mae yr ymgyrch yn myned yn mlaen?" Ond nid oedd eto na llef, na neb yn ateb. "Beth?" meddai Robert Roberts, gan edrych yn ofnus ac yn syn,—"A ydyw

y ddau gawr mawr wedi peidio lladd eu gilydd? Iesu anwyl, y mae yn ddrwg gen' i dy flino di am un amrantiad, ond a wyt ti yn fyw? Os wyt, dywed sut y mae y frwydr yn troi?" Ar hyny, dyna Iesu yn ateb, mewn llais buddugoliaethus,—'Gorphenwyd!' 'Sethrais y gwinwryf fy hunan, ac o'r bobl nid oedd neb gydâ mi.' Ar hyny, dyna y pregethwr yn gwaeddi, yn yr hwyl fawr—"Gogoniant! dyna ei fywyd i Robin;" a'r holl gynnulleidfa, ar darawiad amrant, yn myned yn un goelcerth o hwyl gydag ef.

Yr oedd rhyw nerthoedd rhyfedd gyda'i bregethau. "Byddai, ar amserau," meddai Mr. Richard Jones o'r Wern, y fath gyflawnder o arddeliad yn ymdywallt ar ei weinidogaeth, nes y byddai ei natur yn methu ymgynnal dani, a'r bobl yn llefain wrth yr ugeiniau a'r cannoedd, fel pe buasai gleddyfau yn eu trywanu; a'u dagrau yn rhedeg fel ffrydiau." Clywsom hen flaenor call, yn Mryn Engan,—Daniel Roberts, mab i'r hen bregethwr Robert Dafydd,—yn adrodd am dano unwaith yno. "Chwi wnaethoch i mi gofio yn y capel yna," meddai, "am Robert Roberts. Yr oedd o yn pregethu yma, a'r nefoedd yn tywallt ar ei ben, ac ar ben y gynnulleidfa. Ond rywbryd, ar y canol, dyna fo yn troi at y pared, ac yn gwaeddi,—'Attal, Arglwydd; cofia mai cnawd ydwyf; cofia nas gallaf fi ddal gormod.' Ac yna, dyna fo yn troi atom ninau, ac yn gwaeddi allan, ar frig ucha'i lais,—'Gogoniant am obaith boreu, y byddaf fi wedi fy nghylchio âg anfarwoldeb; y gallaf fi ddal fy llon'd o'r Duwdod heb *gracio* byth!'" Mae yn amlwg y byddai rhyw lewyrchiadau annghyffredin yn tanbeidio ar ei feddwl ef ei hunan, a'r rhai hyny drwyddo yn pelydru ar ei wrandawwyr. "Gwelais," meddai Mr. Michael Roberts, "y cynnulleidfäoedd, ddegau o weithiau, yn wylo, na's gwelwn braidd wyneb sych. . . . . Nid aml y gwrandewais arno erioed, heb alaru, wylo, a gradd o orfoledd; ac ni welais neb erioed â'r arddeliad mor gyson arno." Yr oedd yr arddeliad yma, yn gysylltiedig â'r cymhwysderau eraill a berthynent iddo, yn gosod rhyw ogoniant mwy na dynol ar ei weinidogaeth. Yr ydym yn y "RHAGDRAETH" i'r gyfrol o Bregethau, a elwir "*Lampau y Deml*," wedi cyfeirio at un hanesyn am dano, a glywsom gan y diweddar Barch. Griffith Solomon, ag y tueddir ni i'w ddodi i fewn yma hefyd. Yr oedd Robert Roberts ar gyhoeddiad, gydâ brawd arall, trwy Sir Fôn, ac ar eu taith daethant i Fryn Siencyn. Yr oedd y diweddar Barch. John Parry, Caerllëon, y pryd

hyny yn cartrefu yn y Bryn, ac yn cadw ysgol yno. Yr oedd Elias Parry, brawd i Mr. Parry, gydâg ef yn y Bryn yn yr ysgol, yn fachgen ieuanc, yr hwn oedd o'i fabandod wedi cynefino â phregethu ac â phregethwyr. Yr oedd yno ryw fachgen ieuanc arall, o gymmydogaeth Amlwch, yn yr ysgol, i'r hwn yr oedd pregethu a phregethwyr yn llawer dïeithrach, a Robert Roberts yn hollol ddïeithr. Aeth y ddau fachgen gydâ'u gilydd i wrandaw y pregethau. Yr oedd yno dyrfa fawr wedi dyfod yn nghyd, a dysgwyliad mawr am y pregethwyr, yn enwedig am un o honynt. Yr oedd cryn deimlad yn y capel pan oedd y gŵr cyntaf yn pregethu. Ar ei ol, cyfododd Robert Roberts. Yr oedd difrifoldeb ofnadwy ar ei wynebpryd. Darllenodd ei destyn. Ymddangosai ar y cyntaf braidd yn bryderus. Siaradai yn llai manwl nag y byddai yn arfer gwneyd. Yn raddol, y mae ei ddawn yn rhwyddhau, ei lais yn clirio, a'r olwg arno yn dyfod yn fwy-fwy difrifol. Y mae yn myned rhagddo, ac yn cymmeryd gafael yn enaid yr holl gynnulleidfa—y mae rhai yn llewygu, y lleill yn gwaeddi, ac yntau, a'i lais fel udgorn Duw, yn treiddio trwy y lle. Ar hyn, neu rywbryd yn ystod yr oedfa, dyna y bachgen arall yn troi at Elias Parry, ac yn gofyn iddo, a'i wynebpryd yn welw fel corff marw,—"Dyn ydi' o, fachgen, ynte angel?" "Ond angel, fachgen, wyddit ti ddim?" "Na wyddwn i, yn wir: bobl anwyl, ond ydy' angel yn well pregethwr o lawer na dyn!" Y mae yn rhaid fod rhywbeth *annysgrifiadwy* yn y pregethwr a adawai y fath argraff ar feddwl bachgen felly. Ond nid ar feddwl bechgyn yn unig yr oedd ei ddoniau dysglaer ef yn gadael argraff. Yr oedd y rhai mwyaf craffus a meddylgar yn teimlo fod rhyw ardderchawgrwydd annarluniadwy yn ei weinidogaeth. Clywsom ein hanwyl dad-yn-nghyfraith yn adrodd un hanesyn a ddengys hyny yn amlwg. Y tro diweddaf iddo ef fod ar gyhoeddiad yn Sir Aberteifi cyn marwolaeth Mr. Ebenezer Morris, yr oedd y diweddar Mr. John Jones o Bethania gydâg ef, fel cyfaill iddo. Yr oeddent yn myned o Benmorfa i'r Tŵrgwyn; ac yr oedd Mr. Ebenezer Morris wedi myned i'w cyfarfod i Benmorfa. "Yr oeddem," meddai Mr. Roberts, "wrth fyned o'r naill gapel i'r llall, yn ymddyddan am yr hen bregethwyr. Ac fel yr oeddem yn tynu at y Tŵrgwyn, ac wedi disgyn oddiar ein ceffylau i fyned i fynu rhyw riw go fawr sydd yno, yr oeddwn i wedi myned encyd o'i flaen ef. Ond yn fuan mi a'i clywn yn gwaeddi arnaf,—'A wyddoch chwi, William Roberts? Pe

buaswn i wedi marw heb glywed Robert Roberts o Glynnog yn pregethu, mi fuaswn wedi marw heb y syniad sydd gen' i am ogoniant gweinidogaeth yr efengyl.'" Dyna dystiolaeth un o'r pregethwyr mwyaf a fagodd Cymru erioed am dano, ac un oedd wedi gwrandaw llawer ar Mr. Daniel Rowland, a'r holl hen bregethwyr. Pymtheng mlynedd a fu parhâd ei dymhor gweinidogaethol; ac yn yr ysbaid byr hwnw, er holl anfanteision amgylchiadau isel, amddifadrwydd hollol o ddysgeidiaeth athrofäol, ac ymddangosiad allanol eiddil ac anolygus, fe adawodd argraff mor ddwfn ar feddwl ei genedl, fel y mae ei enw yn air teulüaidd hollol, gan filoedd lawer o honynt, yn mhen deng mlynedd a thriugain wedi ei gladdu. Yn y bywyd, y teimlad, y grym,—ac yn enwedig yn y dull drychebol, neu pa air Cymraeg a gawn am dano (*dramatic*), tra effeithiol, ag sydd i fesur mor fawr yn hynodi y Pulpud Cymreig eto, yr oedd arbenigrwydd neillduol yn ngweinidogaeth Robert Roberts.

Un arall, â dawn neillduol iddo ei hun ganddo, ac a gododd i enwogrwydd mawr yn mhlith yr hen bregethwyr, oedd John Jones, o Edeyrn. Fe'i ganwyd ef yn mhlwyf Llandwrog, Sir Gaernarfon, yn y flwyddyn 1761. Bu farw yn Edeyrn, yn yr un sir, Awst 9, 1822, pan nad ydoedd ond un mlwydd a thriugain oed. Y mae lliaws mawr, gan hyny, eto yn fyw, ag sydd yn ei gofio ef yn dda; er nad llawer sydd yn ei gofio fel yr ydoedd, yn nghyflawnder ei nerth gweinidogaethol. Pan oedd efe yn faban, fe symmudodd ei rïeni i Gaernarfon i drigiannu; ac, felly, yno y dygwyd ef i fynu. Cafodd ychydig ysgol pan yn blentyn ac yn fachgen; cymmaint ag a'i gwnaeth mor gyfarwydd yn yr iaith Saesonaeg, ag i allu ysgrifenu yn lled rwydd a chywir ynddi. Ond yr oedd yn ymroddi gydâg egni, braidd tu hwnt i neb o'i gyfoedion, i bob math o oferedd. Cyfarfu, trwy hyny, â niwed corfforol dirfawr; yr hyn, ar y pryd, a dybid a fyddai yn angeuol iddo. Ofnid, gan ei rïeni, y byddai i'r niwed a gawsai ei annghymwyso am byth at bob gwaith caled; ac am hyny, pan ydoedd tuag un-ar-bymtheg oed, fe'i hanfonwyd ganddynt i'r Wyddgrug, at ryw un yno, i ddysgu eillio, a thrin gwallt, &c. Bu yno am ddwy flynedd. Wedi darfod ei amser yno, fe symmudodd i Amlwch, lle yr oedd ei rïeni, erbyn hyn, yn preswylio; gan fwriadu ymsefydlu yno yn ei alwedigaeth. Yr oedd eto yn gwbl ddifeddwl am grefydd, ac yn flaenor ar ieuenctyd y dref a'r cylchoedd yn mhob rhyw gamp ofer. Fe'i perswadiwyd, pa fodd

bynnag, pan oedd tuag ugain oed, i fyned i wrando pregeth i le yn gyfagos i Amlwch: ac fe gydiodd rhyw beth yn ei feddwl, dan y bregeth hono, ag a barodd iddo adael ar unwaith, ac am byth, ei arferion pechadurus blaenorol. Bu y pryd hyn, a chyn ymuno ei hunan â chrefydd, na chael dim tawelwch i'w enaid ei hun, yn foddion dychweliad un wraig, o'r enw *Katrin Rondol*, yr hon a ddaeth, wedi hyny, yn un hynod iawn yn mhlith Methodistiaid Môn. Yn fuan ar ol hyn, yr oedd cyhoeddiad i Dafydd Morris, trwy Sir Fôn; ac, ar ei daith, efe a ddaeth i Amlwch. Ac wrth wrando arno ef, y pryd hyny, yr ennillwyd ef i ymostwng yn hollol i drefn yr efengyl, ac i fwrw ei goelbren yn mhlith pobl yr Arglwydd. Edrychai byth ar Dafydd Morris fel ei dad yn yr efengyl; a phan y deuai, ar ol hyny, ar gyhoeddiad trwy Sir Fôn, fel y delai yn fynych, dilynai ef i bob capel, neu, pa le bynnag arall y pregethai, trwy yr holl ynys. Yr oedd, erbyn hyn, ac er ys rhai blynyddau, wedi gwellau yn gwbl oddiwrth y niwed a gawsai pan yn Nghaernarfon; ac wedi tyfu yn ŵr ieuanc tal, lluniaidd, nerthol, heb ei gyffelyb braidd yn yr holl wlad. Yr oedd hefyd yn ymroddi, gydâ dyfalwch mawr, i wasanaeth crefydd, ac, yn enwedig, yn cael hyfrydwch annghyffredin mewn gwrando pregethau. Yn y flwyddyn 1784, pan ydoedd yn dair-ar-hugain oed, fe ddechreuodd bregethu. Yn y flwyddyn 1786, pan ydoedd yn bump-ar-hugain, fe briododd etifeddes Pen y Bryn, Edeyrn, yn Llëyn, ac a symmudodd yno yn ddioed i gartrefu; lle y bu byw, mewn amgylchiadau tra chysurus, am y gweddill o'i oes.

Fel pregethwr, fe ganfyddwyd, ar unwaith, fod rhywbeth tra neillduol ynddo. Yr oedd ei ddawn o nodwedd hollol newydd, nad oedd dim cyffelyb iddo wedi ei glywed o'r blaen. Yr oedd yn nodedig o gydnabyddus â'r ysgrythyrau, ac yn defnyddio eu hanesion er eglurhau ei wahanol faterion, mewn dull mor agos at ei wrandawwyr, nes eu gwneyd yn ddelweddau byw am byth yn eu meddyliau. Yr oedd yn hynod, yn enwedig, mewn rhyw fath o ddynwarediad ar y pethau, neu y personau, a ddysgrifid ganddo, nes creu dyddordeb annghyffredin yn y cynnulleidfaoedd. Yr oedd ei ffraethineb yn ddiarebol trwy yr holl wlad. Yr oedd y fath fin arno, nes peri ei arswyd ar elynion crefydd. Sicrhawyd i ni iddo, fwy nag unwaith, droi awch ei arabedd ar rai a fyddent yn tueddu i erlid crefydd, nes eu gwneyd yn wawd hyd yn nod i'w pleidwyr eu hunain, a pheri iddynt hwythau, gan gywilydd, gilio

ymaith can gynted ag y gallent. Yr oedd, heblaw hyny, yn un o'r dynion cryfaf ei gyhyrau, a mwyaf llewaidd ei ymddangosiad, ellid weled yn yr holl wlad. Clywsom y diweddar Barch. Thomas Richard, Abergwaen, yn dywedyd, mai Mr. Jones, Edeyrn, oedd y dyn mwyaf gwrol ac awdurdodol yr olwg arno, a welsai efe erioed. Yr oedd ei nerth cyhyrol braidd yn anhygoel. Clywsom, yn ddiweddar, gan un o hen flaenoriaid Edeyrn, sydd eto yn fyw,—Mr. Thomas Roberts, Bryn Gŵydd,—iddo, âg un llaw, godi dyn gerfydd ei fraich, nes yr oedd pen y dyn yn taro planciau y llofft oedd uwchben yr ystafell lle yr oeddent. Yr oedd y nerth mawr hwn, yn gysylltiedig â'r ffraethineb yr oedd mor hynod am dano, yn rhoddi rhyw feistrolaeth iddo ar y rhai mwyaf annuwiol, nes y byddai arnynt gryn fesur o'i ofn. Byddai y ffraethineb oedd mor gryf ynddo, yn tori allan yn wastadol yn ei bregethau; ac, yn fynych, yn terfynu ar yr hyn a ystyrid yn ysgafnder; ac, weithiau, yn peri chwerthiniad hollol. Ond, ar unwaith, byddai yn ei ffrwyno ei hunan; gwelid ei wedd yn newid; clywid ei lais yn difrifoli; neidiai y deigryn gloyw i'w lygad; a thröai ar y gwrandawwyr, gydâ'r fath nerth ac effeithiolrwydd, fel y byddai y chwerthin yn troi yn wylofain; a llawer a ddaethent i'w wrando er mwyn difyrwch, yn myned adref dan argyhoeddiadau dyfnion, gan benderfynu gadael eu ffyrdd drygionus, ac ymroddi, o hyny allan, i ddilyn buchedd newydd. Clywsom y diweddar Barch. James Hughes o Lëyn,—yr hwn a deithiasai lawer gydâg ef, trwy amrywiol siroedd y Gogledd a'r Deheudir, fel cyfaill iddo, yn ôl yr hen ddull Methodistaidd,—yn dywedyd, y byddai ei ffraethineb yn ddiddiwedd, ac yn syndod i bawb. Addefai wrth Mr. James Hughes y byddai hyny yn myned yn brofedigaeth fawr iddo, ar achlysuron; y byddai y pethau mwyaf digrifol yn eu gwthio eu hunain i'w feddwl, hyd yn nod yn y pulpud, fel yr oedd dan angenrheidrwydd i gadw gwyliadwriaeth wastadol arno ei hunan, rhag gyru y cynnulleidfaoedd dros derfynau y gweddeidd-dra priodol i gyfarfod crefyddol. Adroddai Mr. James Hughes i ni un hanesyn am ffrwyth da ar ei ffraethineb. Yr oeddent, ryw bryd, ar eu taith yn Sir Gaerfyrddin, ac i bregethu yn rhywle am ddau yn y prydnawn, ryw ddydd gwaith. Yr oedd cryn bellder ganddynt rhwng oedfa y boreu a'r un am ddau; ac yr oedd pedol ceffyl Mr. Jones yn ysgwyd, ac yn y perygl o golli, fel nas gallent deithio yn rhwydd; ac yr oedd amser yr oedfa nesaf yn agosau. Yr oedd ganddynt, pa fodd bynnag,

ddwy filltir neu dair i'w teithio, cyn y byddent yn y lle. Ond gwelent Efail Gôf, ar ochr y ffordd. Yr oedd y gôf yn nghanol ei ddyddiau; yn un adnabyddus yn y gymmydogaeth fel un nodedig o ffraeth; ond yn un nad oedd yn meddwl dim am grefydd. Disgynodd Mr. Jones oddiar ei geffyl, a chyfarchodd y gôf,—"Y gŵr mwyn, y mae un o bedolau y ceffyl yma ar ddyfod yn rhydd, ac yn blino y creadur a minnau; a fyddwch chwi cystal, os gwelwch yn dda, a'i *Sadio* hi, can gynted ag y galloch." "Gweled yn dda," meddai yntau, "ydwyf: ond y mae eisiau rhywbeth heblaw gweled i hyny." Wedi edrych y bedol,—"Ni thâl hon ddim," meddai y Gôf. "Ho! ho!" meddai yntau, "na ofelwch chwi am hyny; *sadiwch* chwi hi, mi dalaf fi." Effeithiodd yr atebiad gymmaint ar feddwl y gôf, fel, er nad oedd braidd byth yn arfer myned i'r capel, y cauodd yr efail, ac yr aeth ar ol y pregethwr. Ac yn yr oedfa hono fe'i hachubwyd. Daeth mor hynod ar ol hyny yn ei grefydd, ag oedd o'r blaen am ei ddïeithrwch iddi.

Mae yn sicr fod ei weinidogaeth, yn enwedig yn ei flynyddoedd cyntaf, yn nodedig o fachog a gafaelgar a llwyddiannus. Adroddid gan Mr. Robert Jones, Rhoslan, fod ei gyhoeddiad am y tro cyntaf, pan oedd yn wr ieuanc iawn, ryw ddydd gwaith, ar ganol y cynhauaf gwair, yn Nhrawsfynydd. Dywedai rhyw amaethwr wrth y rhai oeddent ar waith ganddo gyda'r gwair,—"Yr ydwyf fi yn myned i'ch gadael am ychydig, ac yn myned i'r capel i wrando pregeth. Gweithiwch chwithau eich goreu tra y byddaf fi i ffordd." Ac ymaith ag e. Ond yn mhen ychydig, dyna y gŵr yn troi yn ol, ac yn dywedyd wrthynt,—"Yr ydwyf yn clywed fod rhywbeth annghyffredin yn canlyn y dyn sydd i fod yn y capel heddyw: da chwi, gadewch y cwbl, a dowch yno i gyd." Ac felly y gwnaethant, chwech o honynt. Ac yn yr oedfa hono, fe'u dychwelwyd bob un at grefydd. Dywedir gan Mr. Griffith Solomon, yn y Cofiant byr a ysgrifenwyd ganddo iddo, am y tro cyntaf yr aeth i'r Aberffraw, yn Môn, fod y fath arddeliad ar ei weinidogaeth, fel y dychwelwyd *naw ugain a naw* trwyddo, o dan yr un bregeth. Parodd cyhoeddiad hyny i ryw rai ammeu gwirionedd yr adroddiad, ac ysgrifenu i un o'r cyhoeddiadau Cymreig i'r perwyl hwnw. Ar hyny, daeth un o'r dychweledigion eu hunain allan i dystio cywirdeb yr hyn a ysgrifenasid; ond yn unig fod y nifer yn naw ugain a *deg*, ac nid naw ugain a *naw*. Yr oedd y fath gymhwysder yn ei ddawn i ateb i'r amseroedd hyny, a'r fath addasrwydd yn y pethau a

draddodid ganddo i gyfarfod anghenion ac amgylchiadau corph mawr y bobl, ar y pryd, fel nad oedd neb mwy effeithiol i dynu sylw pob dosbarth, na neb, braidd, am flynyddoedd lawer, yn cael ei anrhydeddu â llwyddiant mwy. Yr oedd y fath helaethrwydd o synwyr cyffredin cryf ganddo, y fath arabedd yn naturiol iddo, a'r fath gyflawnder o'r geiriau mwyaf prïodol i'w amcan at ei alwad,—heb byth ball arno, fel yr ennillodd yn fuan, ac y cadwodd agos hyd ei ddiwedd, un o'r lleoedd uchaf yn mhlith ei frodyr. Y mae yn debyg iddo fod am tua 25 mlynedd olynol, yn pregethu bob amser, yn yr oedfa am ddeg yn y boreu, yn Nghymdeithasfa y Bala; a'r un modd yn Nghymdeithasfaoedd ereill y Gogledd a'r Deheudir, os byddai yn bresennol ynddynt. Parodd gradd o anwyliadwriaeth gydâ dïodydd meddwol, ofid i'w gyfeillion, fwy nag unwaith. Aed heibio iddo, o herwydd hyny, yn yr Ordeiniad cyntaf, yn mhlith y Methodistiaid, yn y flwyddyn 1811; pryd, o ran dawn, a phoblogrwydd, ac, oddieithr Mr. Jones, Dinbych, o ran dylanwad, nad oedd neb yn y Gogledd, heblaw Mr. Elias, i'w gystadlu ag ef. Yn y flwyddyn 1814, yr un amser a Mr. Michael Roberts, a Mr. John Jones, Tremadoc, yr ordeiniwyd ef. Nid oedd ei weinidogaeth, oblegyd yr un peth, yn ei ddyddiau diweddaf, yn llewyrchu gyda'r fath ddysglaerni ag a fuasai arni yn y blynyddoedd gynt. Ond nid oes un amheuaeth nad oedd yn blentyn Duw, ac na ddefnyddiwyd ef yn offeryn yn ei law, i "droi llawer at gyfiawnder." Ac, yn y cyfuniad o'r arabedd mwyaf parod a bywiog a'r difrifwch mwyaf pwysig a dylanwadol, sydd i'w gael, weithiau, eto yn y Pulpud Cymreig, y mae yn ddiammeu fod arbenigrwydd neillduol yn ngweinidogaeth JOHN JONES, o Edeyrn.

Un arall a gydnabyddid yn un o'r pregethwyr mwyaf dylanwadol yn ei oes, ac y cynnyrchid effeithiau grymus trwyddo, oedd EVAN RICHARDSON o Gaernarfon. Fe'i ganwyd ef yn mhlwyf Llanfihangel-genau'r-Glyn, yn Sir Aberteifi, rywbryd yn y flwyddyn 1758. Yr ydym yn casglu yr amseriad, oblegid i ni glywed ei fod yn ieuengach o chwech mlynedd na'r diweddar Barch. John Roberts o Langwm; ac yr ydym yn gwybod mai yn y flwyddyn 1752 y ganwyd ef. Bu Mr. Richardson farw yn Nghaernarfon, ar ddydd Llun, Mawrth 29, 1824, yn bum' mlwydd a thriugain oed. Cafodd ei ddwyn i fynu yn Ysgol Ystrad Meirig, gydâ'r bwriad o fod yn Weinidog yn yr Eglwys Wladol; a gwnaeth gynnydd da yno mewn dysg. Ond yr oedd wedi cael blas,

'yn gadael Ystrad Meirig, ar wrandaw ar y Methodistiaid, ac wedi ei ldwyn i bryder mawr yn nghylch ei achos tragywyddol; ac yr oedd yn rhy dyner ei gydwybod i fyned rhagddo am urddau eglwysig, tra yn ammheus yn nghylch ei grefydd ei hunan: ac, felly, efe a roddodd y meddwl am hyny i fynu. Tynodd arno ei hunan, oblegyd hyny, ŵg ei dad i'r fath raddau, fel y bu mewn perygl hyd yn nod am ei fywyd oddiwrtho; a bu raid iddo adael ei gartrof, a dechreu byd, fel y gallai, drosto ei hunan. Cafodd le, pa fodd bynnag, i gadw ysgol yn agos i Landdewi Brefi; ac yno yr arosodd, am rai blynyddoedd. Dechreuodd yn awr wrando yn gyson ar y Methodistiaid; ac, yn fuan, fe ymunodd â hwynt mewn cymundeb eglwysig. Ond yr oedd yn parhau dan "ysbryd caethiwed," a'i feddwl yn isel iawn gydâ golwg arno ei hunan. Arferai fyned yn fynych i Langeitho, i wrando Mr. Rowland; ac elai yno yn gyson, bob mis, i'r Cymun: ac wrth wrando arno ef, unwaith yno, fe dywynodd y fath oleuni i'w feddwl ar drefn yr efengyl, ac ar ei haddasrwydd iddo ef, fel yr ydoedd, ag a'i galluogodd i orphwys yn dawel arni am ei fywyd tragywyddol; a phrofodd yn helaeth o'r "tangnefedd" "sydd uwchlaw pob deall." Pan oedd yn ugain oed, aeth, fel cyfaill i un o offeiriaid Methodistaidd y Deheudir, ar daith trwy Sir Gaernarfon; ac ar y daith hono y dechreuodd bregethu. Yn y flwyddyn 1781, a phan yn dair-ar-hugain oed, fe symmudodd i Sir Gaernarfon, i gadw ysgol yn Mryn Engan. Symmudodd oddiyno i Bwllheli; ac oddiyno i Langybi; ac oddiyno, drachefn, am ychydig, i Fryn Engan. Yn y flwyddyn 1787, ar gais y Cyfarfod Misol, fe symmudodd i Gaernarfon, lle y trigiannodd am y gweddill o'i oes. Troes ei ysgol, yn Nghaernarfon, allan yn dra llwyddiannus. Yn y blynyddoedd hyny, yr oedd pob gwr ieuanc, braidd, yn mhlith y Methodistiaid, yn siroedd y Gogledd, awyddus am ddysg, yn ymdrechu myned am ryw gymmaint o amser yno. Yr oedd Mr. Richardson yn cael ei gydnabod yn ŵr o ddysgeidiaeth dda. Yr oedd yn proffesu dysgu Saesonaeg, ac elfenau Lladin, a Groeg, a rhyw gymmaint o Ffrancaeg. A phan oedd rai blynyddoedd dros ddeugain oed, ac wedi clywed fod rhai o'i hen ysgoleigion gynt,—Mr. John Elias, Mr. Richard Jones, wedi hyny o'r Wern, ac ereill,—yn ymroddi i ddysgu yr Hebraeg, ac wedi gwneyd peth cynnydd ynddi, fe ddechreuodd yntau ar yr un gorchwyl; ac a ddaeth yn alluog i ddefnyddio yr Hen Destament yn lled rwydd ynddi. Yr oedd yn wr nodedig o hardd o ran ei berson;

bob amser yn drwsiadus a dillyn yn ei wisg; yn hynod o foesgar a boneddigaidd yn ei ymddygiadau; ac yr oedd, yn neillduol, wedi ei fendithio â'r fath helaethrwydd o hynawsedd ysbryd a mwyneidd-dra tymher, ag i wneyd pawb,—yn enwedig plant ac ieuenctyd,—yn hynod o hoff o hono. Fel pregethwr, yr oedd yn un hollol ar ei ben ei hunan. Nid oedd unrhyw elfen a ellid alw yn *fawr* yn ei bregethau, a'u golygu yn unig fel *cyfansoddiadau;* ac eto, yr oedd gwir fawredd ynddynt, os bernid oddiwrth eu heffeithiau ar y gwrandawwyr. Yr oedd ei ddoniau fel y diliau mêl. Efengylwr mewn gwirionedd ydoedd. Gadawodd y tangnefedd a brofodd yn ei enaid ei hun, dan weinidogaeth Mr. Rowland, yn yr olwg ar Grist Iesu yn haeddiant ei aberth, ac yn "anchwiliadwy olud" ei ras, y fath argraff ar ei feddwl, ag i osod y nodwedd hwnw, o'r dechreuad, ac ar hyd ei oes, ar ei weinidogaeth. Pregethai yn hynod o fyr, ac yn nodedig o felus. Dygwyddodd iddo unwaith, mewn Cymdeithasfa yn Rhuthin, pan yn pregethu o flaen Mr. John Jones o Edeyrn, fyned a'r amser gan mwyaf ei hunan, fel ag i daflu Mr. Jones a'r gynnulleidfa i gryn brofedigaeth. Fe wnaeth adduned ag ef ei hun, y diwrnod hwnw, y pregethai yn fyr o hyny allan byth. Ac fe gadwodd ati yn berffaith. Yr oedd ganddo ryw allu annghyffredin i ddisgyn, ar unwaith, i ganol ei bwnc; ac mewn tuag ugain munud, fe fyddai y gynnulleidfa, ac yntau, yn yr hwyl fawr; a'r cwbl drosodd, bob amser, yn mhen yr hanner awr. Yr oedd y fath bereidd-dra swynol yn ei lais, y fath ireidd-dra yn ei ysbryd, a'r fath dynerwch nefolaidd yn ei ddawn, fel y byddai y cynnulleidfaoedd yn toddi o'i flaen; eu dagrau yn treiglo yn ffrydiau cryfion; a llaweroedd, yn ngwres tanbaid y dyddiau hyny, yn tori allan i waeddi ac i orfoleddu. Nis gallai, oblegyd ei gysylltiad â'r Ysgol, deithio ond ychydig, mewn cymhariaeth â'r nifer mwyaf o'r hen bregethwyr; ac eto fe ymdrechai fyned i'r holl Gymdeithasfaoedd yn y Gogledd; ac elai ar daith bob Gwyliau Nadolig, i un neu ychwaneg o siroedd y Deheudir. Ac yr oedd y fath alwad am dano, a'r fath barch iddo, fel y dodid ef, bob amser, i bregethu am ddau ar y gloch, yn Nghymdeithasfa ei sir ei hunan, pan y byddai, fel y byddai y pryd hyny bob dwy flynedd, yn Mhwllheli.

Dichon y gwasanaetha yr hanesyn canlynol, a adroddwyd i ni gan y diweddar Parch. Thomas Richard, can gystal â dim a allwn gael, er rhoddi rhyw syniad am dano, ac am yr effeithiau hynod a gynnyrchid

trwyddo, i'r rhai, fel ni ein hunain, nas clywsant ef erioed. Yr oeddem wedi myned o Lundain i Gymdeithasfa Abergwaen, yr hon a gynnelid Hydref 2, 3, 1855. Yr oedd Mr. Rees yno hefyd o Liverpool: ac yr oeddem, ein dau, yn lletya yn nhŷ Mr. a Mrs. Davies, mab-yn-nghyfraith a merch Mr. Richard. Yr oedd Mr. Richard ei hunan yno gydâ ni, yr oll o bob dydd, tra y buom yno, oddieithr pan yn Nghyfarfodydd y Gymdeithasfa, ac yn ymddangos fel pe buasai wedi penderfynu ein gwneyd mor gysurus ag y gallai. Yr oedd yr ymddyddan, gan mwyaf, ar bregethu a phregethwyr, ac yn enwedig ar yr hen bregethwyr; a Mr. Richard mewn hwyl ragorol yn eu darlunio. Mewn un ymddyddan, gofynai i ni,—"A ydych chwi yn cofio Mr. Richards o Gaernarfon?" "O, nag wyf," ebem ninau; "nid oes genyf fi ond côf plentyn am dano, yn gweinyddu Swpper yr Arglwydd ryw foreu Sabbath yn Nghaergybi. Yr wyf yn cofio prydferthwch ei wynebpryd; ac yr ydwyf yn cofio fod yno orfoleddu mawr: ond nid oes genyf fi ddim côf am ei bregeth." "Yr y'ch chwi yn ei gofio," meddai wrth Mr. Rees. "O ydwyf yn dda iawn, meddai yntau;" "mi fum i yn cyd-bregethu âg ef fŵy nag unwaith. Go dlawd fyddai hi arno fo, os na byddai y gwynt yn chwythu." "Ie," meddai Mr. Richard, "ond fe fyddai y gwynt yn chwythu, serch hyny. Oeddech chwi yn Nghymmanfa y Bala, y flwyddyn yr ordeiniwyd Evan Evans y Cenadwr? Nid yno yr ordeiniwyd ef; ond yr wyf fi yn cofio mai dyna y flwyddyn, oblegyd yr oedd Mr. Mark Wilks wedi dyfod yno, ar yr achos hwnw, dros Gymdeithas Genhadol Llundain." "Nid oes genyf fi ddim cof neillduol am y Gymmanfa," meddai Mr. Rees, "ond y mae yn sicr fy mod i yno; oblegyd mi a fyddwn yno yn gyson, yn y blynyddoedd hyny." "Oes genych chwi ddim côf am Mr. Richards y pryd hyny?" "Na, nid ydwyf yn cofio dim am dano." "Wel, yr ydwyf fi yn cofio yn dda. Yr oedd Mr. Richards yn pregethu am chwech yn yr hwyr, yn ffenestr y Capel, a mwy o lawer o bobl allan nag oedd i fewn. Nid wyf yn sicr pa un ai Dafydd Evans, Aberaeron, ynte Lloyd, Beaumaris, oedd yn pregethu o'i flaen ef; ond yr wyf yn cofio fod y ddau yn y pulpud.* Yr oedd Mr. Mark Wilks yn pregethu yn y Saesoneg rhyngddynt. Yr oedd y Gymmanfa drwyddi wedi bod yn un hynod

* Mr. Lloyd oedd yn pregethu, oddiar Matt. xv. 13. Y mae cyfeiriad at y Gymmanfa hon, yn *tu dal.* 555. Dyma y Gymmanfa yn yr hon y pregethodd Mr. Jones, Dinbych, ei bregeth hynod ar yr iawn.

o lewyrchus. Ar ol i Mr. Wilks ddarfod, dyna Mr. Richards yn esgyn i'r ffenestr; ac yr oedd bywyd newydd a rhyfedd, ar unwaith, trwy y Capel. Darllenodd yn destyn,—'Ac Arglwydd y lluoedd a wna i'r holl bobloedd yn y mynydd hwn wledd o basgedigion, gwledd o loyw-win; o basgedigion breision, a gloyw-win puredig.' Yr oedd yno feddyliau gwahanol i'w gweled ar wynebau ac agweddau y pregethwyr. O dan y pulpud, yr oedd Jones o Edeyrn, gydâ'i dalcen uchel, llydan, a'i wyneb tywysogaidd, yn eistedd â'i ddwylaw dan ei geseiliau, fel yn dywedyd,—'Ah, Evan Richard o Gaernarfon: yr ydwyf fi yn gwybod ei hyd a'i led, ei uchder a'i ddyfnder o. Ni wnaiff *o* ddim *ffŵl* o honof fi.' Wrth ei ochr ef, yr oedd Elias, yn edrych yn siriol, ac yn gynnorthwyol iawn; fel pe dywedasai—'Mr. Richardson: fy hen athraw da; y dyn hynaws anwyl; fe fu yn garedig iawn wrthyf fi, pan nad oedd *pawb* felly; gobeithio y bydd ei Feistr gydâg ef.' Gyferbyn â hwynt, fe eisteddai Michael Roberts, wrth ochr ei dad. Fe daflodd ei olygon i fynu tua'r ffenestr; ac ar unwaith, â rhyw wedd ofnus arno, dyna ei ben i lawr drachefn, a'i *edrychiad* braidd yn dywedyd,—'Yn wir, ni wn i ddim a wnaethant hwy yn ddoeth rhoi yr hen frawd, ar yr awr bwysig yma. Gobeithio y caiff o gymhorth.' Yn y pulpud, a'i bwysau ar ei ddrws, yr oedd Lloyd, Beaumaris, â'i olwg yn dyweyd,—'Ah, yr hen ffrynd, Richards o Gaernarfon; llawer chwerthiniad happus a gawsom ni gydâ'n gilydd. Gobeithio nad aiff o ddim i'r wâl.' Wrth droed grisiau y pulpud, yr oedd Prytherch o Fôn, yn sefyll i fynu, a'i holl sylw wedi ei lyncu, yn edrych wrth fodd ei galon, braidd yn dywedyd yn uchel,—'*Dyma bregethwr!*'" "Wel, Mr. Richard," meddem ninau, "beth oeddech chwi yn wneyd?" "'Rown innau yno, yn *spïo* ac yn tybio. Ond yr oedd yr hen bregethwr gydâ'i hoff bwnc,—digon trefn Duw i bechadur,—ac arddeliad amlwg y nefoedd arno. Ac yn fuan, mi a welwn fochau Prytherch yn dechreu glasu; a thrwyn Jones, Edeyrn, yn dechreu cochi; a dannedd uchaf Elias yn pwyso ar ei wefus isaf; a Lloyd, Beaumaris, â'i wedd wedi newid trwyddo; a Michael Roberts yn gafaelyd yn mraich ei dad, fel i'w gadw ei hunan rhag cwympo. Yr oedd 'y gwynt yn chwythu,' fel y rhaid i chwi ddeall. Ac yn mhen ychydig, mi a glywn Prytherch yn rhoddi gwawch; a dyna Jones, Edeyrn, wedi myn'd y gallasech chwi ei olchi e yn ei ddagrau ei hunan; Elias yn llefain fel plentyn; Lloyd, Beaumaris, os nad ydwyf fi yn camgymmeryd, yn

gwaeddi agos mor uchel â'r pregethwr; Michael Roberts, erbyn hyn, yn cydio, â'i *ddwy* law, yn mraich ei dad; 'r oedd 'y gwynt yn chwythu,' deallwch; a Mark Wilks, yn y pulpud, â'i freichiau i fynu, a'r dagrau mawrion yn treiglo dros ei ruddiau, yn wylo cymmaint â neb, er nad oedd e yn deall yr un gair; a'r holl bobl yn y Capel, ar lawr ac ar lan, yn cyd-wylo ac yn cyd-waeddi, fel nad oedd bosibl clywed un gair a ddywedai y pregethwr. Ar hyny, dyna fe yn troi at y dyrfa oedd y tu allan; ac yn mhen ychydig, ni a glywem y fonllef fawr oddiyno drachefn; ac felly y dibenodd y cwrdd."

Dyna ddarluniad Mr. Thomas Richard o hono.* Yn y gallu i fyned i mewn, ar unwaith, i deimladau ei wrandawwyr, cyffwrdd a llinynau tyneraf eu calonau, a'u codi i hwyliau hyfryd a sanctaidd, nodwedd sydd i raddau mawr yn parhau yn y Pulpud Cymreig, y mae yn ddiammeu fod arbenigrwydd neillduol yn ngweinidogaeth EVAN RICHARDSON o Gaernarfon.

Y mae y nesaf sydd yn dyfod ger ein bron,—EBENEZER MORRIS,—yn cael ei gydnabod yn gyffredinol fel un o Dywysogion mwyaf urddasol y Pulpud yn Nghymru, un yr oedd pawb, yn ei ddydd, yn teimlo ei nerth ac yn talu y warogaeth uchaf iddo, ac un y mae ei "goffadwriaeth" yn parhau, ac a bery yn hir, yn "fendigedig." Fe'i ganwyd—nid ydym wedi gallu cael allan am dano yntau y dydd na'r mis—yn y flwyddyn 1769, yn mhlwyf Lledrod, yn Sir Aberteifi. Bu farw yn ei gartref, yn Mlaen-y-Wern, yn mhlwyf Troed-yr-aur, yn yr un sir, ar brydnawn dydd Llun, Awst 15, 1825, pan nad ydoedd ond un mlwydd ar bymtheg a deugain oed. Y mae llaweroedd eto yn fyw ag sydd yn ei gofio ef yn dda. Y mae yn ddrwg iawn genym nad ydym ni yn nifer y rhai hyny. Nid oedd wedi bod yn Nghaergybi er y Gymmanfa a fuasai yno yn mis Medi, yn y flwyddyn 1818, pan nad oeddem ni ond pump oed. Y mae genym gôf am yr oedfa yn y Capel, y prydnawn cyntaf, y pryd hyny, yn gymmaint ag y darfu iddo daro y pulpud, nes ryw fodd y syrthiodd y canwyllau i lawr. Yr ydym yn cofio hyny; ac fe ddywedir mai Ebenezer Morris oedd yn y pulpud: ond nid oes genym un math o gôf am y bregeth, na llais, na dull y

* Yr oedd Mr. a Mrs. Davies, y diweddar Mr. Thomas Morgan o Gaerdydd, y Parch. John Lewis, o Abergwaen y pryd hyny, yn awr o'r Casnewydd, Sir Fynwy, yn clywed yr ymddyddan hwn. Mae yn ddiammeu genym fod Mr. Lewis a Mr. Davies, yr unig rai oeddent yno gydâ ni, sydd yn awr yn fyw, yn cofio yn dda am dano.

pregethwr. Yr ydym yn edrych ar ein colled yn ddirfawr na buasem yn gallu ei gofio ef. Nid oes yr un o hen bregethwyr Cymru ag na welsom ni mo honynt, oddieithr Robert Roberts, ag y dymunasem yn gymmaint wrandaw arno ag efe. Y mae yr argraff yn ddwfn ar ein meddwl, oddiar bob peth a glywsom am dano, fod mwy o'r pregethwr yn *naturiol* ynddo, nag yn yr un, oddieithr, fe allai, Robert Roberts, a gododd yn Nghymru o'i flaen; a'i fod, o ran holl gynneddfau gweinidog yr efengyl, yn mhell uwchlaw iddo yntau. Dyna oedd barn bwyllog Mr. Michael Roberts o Bwllheli. Ac ni a glywsom Mr. Elias yn dywedyd, nad oedd efe erioed wedi gwrando ar neb tebyg i Ebenezer Morris; ac y buasai yn werth cadw *Sassiwn* bob wythnos er mwyn iddo ef bregethu ynddi. Yr oedd, o'i febyd, wedi cael addysg grefyddol, o'r fath oreu, gan ei rïeni, yn enwedig gan ei fam, yr hon oedd yn wraig dduwiol iawn. Yr oedd, er yn fachgen, yn llawn ysbryd ac asbri, ond heb arwyddion neillduol fod dim a wnelai ei feddwl â chrefydd. Wedi i'w rïeni symmud i Gymmydogaeth y Tŵr-gwyn, fe gafodd fanteision addysg dda, mewn Ysgol Rammadegol yn Nhroed-yr-aur, a gedwid gan ŵr eglwysig o'r enw Davies. Gwnaeth gynnydd da mewn dysg, am yr amser y bu yn yr Ysgol hono. Pan ydoedd yn ddwy-flwydd-ar-bymtheg oed, fe adawodd ei gartref, ac a symmudodd i Drecastell, yn Sir Frecheiniog, i gadw ysgol yno,—ysgol oedd mewn rhyw fath o gysylltiad â'r Methodistiaid yn y lle hwnw. Er ei fod yn ŵr ieuanc dichlynaidd ei ymarweddiad, nid oedd eto yn aelod eglwysig, nac yn ymddangos yn tueddu at hyny. Er hyny byddai yn gyson yn y moddion crefyddol a gynnelid yno, ac ymddangosai yn cael hyfrydwch annghyffredin mewn gwrando pregethau. Yn mhen ychydig fisoedd, pa fodd bynnag, ar ol iddo ymsefydlu yn Nhrecastell, wrth wrando ar un o'r hen bregethwyr cyntaf yn mhlith y Methodistiaid,—un o'r enw Dafydd William Rhys,—fe ymaflodd gwirionedd yr efengyl yn ei galon, ac fe'i dygwyd i ystyriaeth ddifrifol am ei achos tragywyddol; ac ni ddibenodd y pryder, nes ei fyned dan y cyfnewidiad mawr, a roddes wedd newydd ar ei holl achos o hyny allan byth. "Aeth trwodd o farwolaeth i fywyd." Ymunodd yn ddioed â'r gymdeithas eglwysig fechan oedd y pryd hyny yn Nhrecastell, a derbyniwyd ef gydâ llawenydd mawr. Dechreuodd, ar unwaith, weddio ar ddiwedd yr ysgol bob dydd; a chymmerodd, yn fuan, ei ran, fel aelod, yn nygiad yn mlaen y gwasanaeth yn y cyfarfodydd gweddio, ac yn y

cynnulliadau eglwysig, ac, yn achlysurol, yn yr oedfäon cyhoeddus. Er nad oedd ond ieuanc, arddangosid ganddo y fath wybodaeth helaeth a manwl yn athrawiaeth yr efengyl, y fath addfedrwydd barn ar braidd bob cwestiwn a ddygid i'w sylw, ac, yn enwedig, y fath ddoniau neillduol mewn gweddi, fel y cymhellwyd ef gan y cyfeillion crefyddol yn Nhrecastell, yn gystal a chan y pregethwyr a ddelent yno ar eu tro, i ymroddi i'r weinidogaeth; ac, felly, yn y flwyddyn 1788, a phan nad ydoedd ond pedair-ar-bymtheg oed, fe ddechreuodd ar y gorchwyl. Yn mhen llai na blwyddyn wedi iddo ddechreu pregethu, fe aeth ar daith gydâ Dafydd Parry, Sir Frecheiniog, trwy siroedd y Gogledd, a deallwyd, ar unwaith, fod pregethwr wedi codi, ag y byddai raid i'r byd deimlo oddiwrtho. Yr ydym yn cofio un hen ŵr a gafodd gyfleusdra i wrando arno y pryd hyny. Dywedai ei fod yn ŵr ieuanc nodedig o dêg yr olwg, a siriol ei ymddangosiad; a bod siarad mawr am dano fel mab i Dafydd Morris. Yn mhen tua blwyddyn neu ddwy wedi iddo ddechreu pregethu, fe roddes yr ysgol yn Nhrecastell i fynu, ac a dychwelodd i dŷ ei dad yn Nhroed-yr-aur, lle yn awr y cartrefai, gan ymroddi i'r weinidogaeth. Yr oedd y galwadau arno o bob parth yn amlhau, fel yr oedd yn anmhosibl iddo ateb i'r cwbl. Teimlai yntau, y pryd hyny, fel ei dad, yn neillduol dros Ogledd Cymru. Sicrhäwyd i ni y byddai, am lïaws o flynyddoedd yn olynol, ar ôl ei daith gyntaf gydâ Dafydd Parry, yn myned bob blwyddyn ddwy waith, ac weithiau dair gwaith, i siroedd y Gogledd. Ar daith felly yr ydoedd, mewn cysylltiad â Chymdeithasfa y Gogledd yn Sir Gaernarfon, yn mis Medi, 1791, pan y daeth y newydd ato gydâ chenad o'r enw Watkins, a ddanfonasid ar ei ol, i hysbysu iddo fod ei dad wedi marw! Effeithiodd marwolaeth ei dad—yn ŵr mewn cymhariaeth, mor ieuanc, ac un oedd yn ddiweddar mor nerthol—yn ddirfawr ar ei deimladau; daeth i fwy o ddifrifwch nag erioed gydâ chrefydd, ac yr oedd arwyddion o hyny i'w canfod yn amlwg ar ei weinidogaeth. Cynnyddodd yn gyflym iawn mewn poblogrwydd a dylanwad. Yr oedd y fath doraeth o synwyr cyffredin ganddo; y fath ddoniau ymadroddi parod a rhwydd; y fath gymeriad crefyddol dihalog a phwysig; y fath gydwybodolrwydd a ffyddlondeb i'r hyn oedd gywir ac uniawn; y fath graffder a phwyll ac arafwch ac anmhleidgarwch, wrth olrhain achosion dyrys dysgyblaethol; y fath wroldeb ac eondra ysbryd i'w gadw rhag derbyn wyneb neb; ac eto y fath dynerwch teimlad, a'r fath fwyneidd-dra

dull, a'r fath ddoethineb sanctaidd, ag i'w gadw rhag tramgwyddo neb; fel y daeth ei ddylanwad braidd yn ddiderfyn. Teimlid ef yn allu hollol yn mhob cylch y byddai ynddo. Daeth yn fuan, hyd yn nod pan oedd yr offeiriaid yn llywodraethu y Cyfundeb, ac yntau ond dyn ieuanc, heb fod yn llawn pymtheg-ar-hugain oed, yn ŵr mor ddylanwadol, fel yr oedd yr offeiriaid eu hunain, a'r rhai mwyaf arglwyddaidd o honynt, yn ei arswydo yn hollol. Unwaith, mewn Cymdeithasfa yn y Capel Newydd, yn Sir Benfro, yr oedd Mr. Nathaniel Rowland ac offeiriad arall yn dadleu mor frwd ar ryw fater, nes oedd wedi myned yn ymryson hollol rhyngddynt—y ddau mewn nwydau cynhyrfus, a hollol anweddaidd i'r fath le ac i'r fath rai—a phawb ereill yn hollol ddistaw, gan ofn Mr. Rowland, dan ofal uniongyrchol yr hwn, er yr amser y buasai farw ei dad-yn-nghyfraith, y Parch. Howell Davies, yr oedd y Capel Newydd, ac amryw o'r capelau ereill yn Sir Benfro. Yr oedd Mr. Ebenezer Morris yn dysgwyl i ryw rai ereill, oeddent hynach nag ef, gyfryngu rhyngddynt, a rhoddi terfyn ar yr ymgecru poenus ac annghristionogol; ond wrth weled nad oedd neb yn gwneyd, dyna fo yn codi ei hunan, ac â golwg ddifrifol arno, ac â llais awdurdodol, yn dywedyd,—"Os na ddeuwch i well trefn na hyna wrth drin achos Duw, ni a fynwn eich dysgyblu chwi ill dau;" nes yr eisteddodd y ddau, heb ddywedyd yr un gair. Ac yn y flwyddyn 1807, mewn Cymdeithasfa yn y Castell Newydd, pan nad oedd Mr. Jones o Langana, na Mr. Griffiths o Nefern, na neb o'r rhai oeddent hŷn nag ef, yn ddigon gwrol i ddysgyblu Mr. Nathaniel Rowland, am ddrwg fuchedd amlwg a diammheuol; a phan y mynai ereill weinyddu rhyw gerydd ysgafnach, fe ddangosodd Mr. Ebenezer Morris y fath onestrwydd a gwroldeb a dylanwad, ag na welwyd yn fynych ddim cyffelyb. Mewn araeth ddifrifol, a nodedig o effeithiol,—yn yr hon y cyfeiriai, gydâ'r teimladau dwysaf, at lafur apostolaidd a bendithiol tâd y cyhuddedig; ac at ddoniau dysglaer, sefyllfa urddasol, hir wasanaeth gwerthfawr, a dylanwad mawr, y cyhuddedig ei hunan;—efe a sylwai, fod y profion o'i afreolaeth a'i ddrwg-fuchedd mor amlwg, a'i ymddygiadau mor annghydweddol â'r hyn oedd deilwng i Weinidog Cristionogol, fel yr oedd efe yn teimlo angenrheidrwydd arno i gynnyg, ar fod i bob cysylltiad gweinidogaethol rhyngddo ef a hwynt gael ei dori, ac na byddai mwyach i'w ystyried yn aelod o'r Gymdeithasfa. Cefnogwyd hyny gan Mr. David Charles, Caerfyrddin, yr hwn nad ydoedd eto wedi

dechreu pregethu, ond yn unig yn flaenor. Bu yno am ysbaid ddistawrwydd difrifol. Gofynai Mr. Jones o Langana, A oedd gan neb arall ryw gynnygiad gwahanol? Ond nid oedd gan neb. "Rhoddwch y cynnygiad i'r cyfarfod, Mr. Jones," meddai Mr. Ebenezer Morris. "Na, rhaid i chwi ei roddi eich hunan, Eben., ni allaf fi wneyd," meddai yntau, a'r dagrau yn treiglo dros ei ruddiau. "Wel, Mr. Jones, eich lle chwi ydyw ei roddi; ond, os na wnewch chwi, yn enw Iesu Grist, mi a'i gwnaf." Ac yna, â golwg bruddaidd ond awdurdodol ofnadwy arno, fe ddywedodd,—"Yr ydwyf fi ynte yn galw ar bawb sydd yma ag sydd am sefyll dros burdeb eglwys Crist ac anrhydedd gweinidogaeth yr efengyl, i gyduno â mi ac â Mr. David Charles, yn ol y cynnygiad a osodwyd ger eich bron, i dori pob cysylltiad â Mr. Rowland, hyd oni chaffer arwyddion edifeirwch gwirioneddol ynddo." Ar hyny, fe gododd pawb eu dwylaw—hyd yn nod Mr. Jones, Llangana, a'r offeiriaid ereill. Terfynwyd y cyfarfod trwy weddi hynod, a hynod iawn, gan Mr. Evans, New Inn. Sefydlwyd cymeriad Mr. Ebenezer Morris, trwy yr amgylchiad hwn, fel y gŵr mwyaf ei ddylanwad yn Nghymdeithasfa y Deheudir. Yr oedd, yn mhen ychydig amser ar ol hyn, ar daith yn Sir Forganwg. Yno, fe gyfarfu â'r hen bregethwr, Jenkin Thomas, neu *Siencyn Penhydd*, fel y gelwid ef yn gyffredin. Yr oedd hyny nid ryw lawer o amser cyn i Siencyn farw. "Wel, Eben.," meddai wrtho, "da 'machgen i. Ti a'i gwnest hi yn y Castell Newydd yna. Fe fydd ar holl 'ffeiradon y byd dy ofn di bellach. Y mae pen dy farch di yn uwch na march neb yn y Deheu heddyw; ond gwylia di gwympo. Os gwnei, ti gei godwm ofnadwy." O ras Duw, fe'i cadwyd ef yn ddigwymp hyd yn nheyrnas nefoedd.

Am dano fel pregethwr, nis gwyddom yn iawn pa fodd i geisio ei ddarlunio. Rhaid i ni gydnabod nad oes yr un o'r hen dadau, na chlywsom ni mo honynt, ag yr ydym yn teimlo fod mor anhawdd ffurfio syniad cywir am dano ag efe. Nid ydym yn meddwl fod yr un o honynt, â rhywbeth yn ei lais a'i ddull mor briodol ac arbenig iddo ei hunan ag efe; ac eto, y rhywbeth hwnw yn gyfryw, ag y mae braidd yn anmhosibl cael drychfeddwl cywir am dano, heb fod wedi ei glywed ef ei hunan. Y mae yn rhaid addef, ar unwaith, nad oedd ei ragoriaeth yn cyfodi oddiar unrhyw ardderchawgrwydd neillduol yn ei bregethau, a'u golygu fel *cyfansoddiadau*. Nid oedd nemawr o hyny ynddynt. Nid oedd un gymhariaeth, ni a dybiem, rhyngddo â Mr. Daniel Rowland yn

hyny, er, fel y sylwasom, mai nid yn nghyfansoddiad ei bregethau yr oedd ei fawr ragoriaeth yntau. Nid oedd y dull y llafuriai Mr. Ebenezer Morris yn caniatâu, na'r dawn neillduol oedd ganddo yn gofyn, iddo ef drafferthu cymmaint gydâ chyfansoddiad ei bregethau â Mr. Rowland. Yr oedd wedi dechreu pregethu yn ieuanc iawn, ac o'r dechreuad a'r fath alwadau arno, fel mai cymmaint ag a allai wneyd oedd ateb iddynt. Pan y byddai gartref, byddai yn pregethu ac yn cadw cyfarfodydd eglwysig, bob dydd o'r wythnos, oddieithr y Llun a'r Sadwrn, trwy y flwyddyn; yn pregethu dair gwaith, ac yn gweinyddu yr ordinhadau arwyddol amrywiol weithiau ar y Sabbath; yn dilyn Cyfarfodydd Misol ei sir ei hunan yn gyson, heb golli yr un byth; yn myned i holl Gymdeithasfäoedd y Deheudir, ac i un neu ddwy o Gymdeithasfäoedd y Gogledd bob blwyddyn; heb sôn am ymweliadau âg eglwysi ar achlysuron neillduol, pregethau mewn angladdau, ac mewn llongau, &c., fel y mae yn hawdd gweled nad oedd yn cael ond ychydig iawn o hamdden uniongyrchol i ddarllen a myfyrio ac ysgrifenu. Yr un pryd, nid oedd yn esgeuluso darllen, nac mewn un modd yn segur mewn myfyrdod. Yr holl amser a ga'i gartref, fe'i cysegrid ganddo yn gydwybodol i'w lyfrgell, gan ymroddi i chwilio i mewn i ystyr geiriau Duw, a chyfoethogi ei feddwl â golygiadau yr awdwyr goreu ar wirioneddau mawrion yr efengyl. Ac, yn ol tystiolaeth Mr. Griffiths o Nefern, yr oedd ganddo allu annghyffredin i wneuthur cynnwysiad yr hyn a ddarllenai yn eiddo hollol iddo ei hun, a hyny mewn ychydig amser. Ond, wedi y cwbl, nid yn ëangder y golygiadau; nid yn nyfnder nac arucheledd y meddyliau; nid yn nghywreinrwydd na manylder yr ymresymiad; nid yn nhlysni na phrïodoldeb ei gymhariaethau; ac nid yn nghoethder yr iaith, na destlusrwydd y cyfansoddiad, yr oedd ei ragoriaeth arbenig ef. Nid ydoedd ychwaith, hyd ag y gallwn ni weled, mewn un modd yn meddiannu y dychymyg bywiog, cryf, eryraidd,—yr angerddoldeb teimlad,—a'r ffachiad melltenaidd dawn,—a hynodent, mor arbenig, weinidogaeth Robert Roberts.

Ac eto yr oedd yn bregethwr braidd heb ei gyffelyb. Yn mha beth, gan hyny, yr oedd ei ragoriaeth ef? Ateb ein hen dad-yn-nghyfraith, i gyfaill i ni a ofynodd iddo y cwestiwn yna, oedd,—"Yr oedd o heb ei fath am ei allu i ardderchogi gwirioneddau *plain* yr efengyl." Yr oedd ei bregethau, bob amser, yn cynnwys eglurhad syml a naturiol a goleu, ar y gwirionedd neillduol a fyddai ger ei fron; sylwadau

prïodol a phwysig a grymus, ar yr amrywiol adnodau a ddefnyddid ganddo i eglurhau ei bwnc; ambell hanesyn effeithiol er peri iddo adael argraff ddyfnach ar y deall a'r côf; gydâg appeliadau difrifol, uniongyrchol, a pharhaus, ac fel meistr y gynnulleidfa, at gydwybodau y gwrandawwyr.

*Yr oedd ei ymddangosiad allanol yn fawreddig, ac yn wir foneddigaidd.* Yr oedd ganddo gorph cryf annghyffredin. Gallasid teithio gwlad gyfan cyn cyfarfod âg un mor lydan yn ei ysgwyddau, ac yn ei holl wneuthuriad mor gadarn. Er nad oedd ond canolig o ran maint, ac, oblegyd ei fod mor dew, yn edrych, pan ar lawr, yn fyrach nag ydoedd, eto yr oedd, o'r pen hyd y morddwydydd, yn gorphol iawn; fel yr ymddangosai yn y pulpud, gydâ rhywbeth dan ei draed, yn ddyn mwy na chyffredin. Yr oedd ei wyneb yn dêg a siriol; ei lygaid yn graffus a threiddgar; ei enau yn llydan; y gwefusau, yn enwedig y wefus isaf, yn arwyddo penderfyniad diencil; a'r holl olwg arno yn wrol ac yn awdurdodol, ac, ar yr un pryd, yn dra enniilgar. Er iddo farw cyn prin ddechreu heneiddio, eto, rhwng y gwyndra buan a ddaeth ar ei wallt, a'r gwydrau a ddefnyddid ganddo i ddarllen, a'r *cap* du a wisgid ganddo, ac, yn enwedig, oblegyd ei fod mor gorphol, fe ymddangosai yn hynach o lawer nag ydoedd; ac yr oedd ei holl wedd, yn neillduol yn y pulpud, yn nodedig o barchedig.

*Yr oedd ganddo lais na chlybuwyd, odid erioed, ei gyffelyb.* Yr oedd ein cyfaill, y Parch. William Rees, D.D., mewn ymddyddan â ni yn lled ddiweddar, yn gofyn i ni,—"A ydych chwi yn cofio Ebenezer Morris?" Wedi i ni ateb nad oeddem, fe ddywedai,—"Wel, ni chlywsoch chwi ddim *llais* ynte." Dywedai un hen flaenor wrthym, ei fod ef yn meddwl fod llais ei dad, Dafydd Morris, yn gryfach na'i lais ef, ond mai llais y mab oedd y pereiddiaf. Yn y cyfuniad o nerth, a phereidd-dra, a threiddgarwch, ni a allem dybied, oddiwrth bob peth a'r a glywsom, ei fod heb ei debyg. Yr oedd holl fwyneidd-dra llais Mr. John Evans, New Inn, neu un o'r ddau Richard ganddo, gydâ threiddgarwch llais Mr. Michael Roberts, a rhyw nerth nad oedd yn eiddo i neb ond iddo ei hunan. "Yr oedd ganddo," meddai ein hanwyl hen fam wrthym, "nid llon'd capel, ond llon'd cae o lais." Yr oedd y fath gyflawnder o nerth ynddo, fel, ar ddydd y Gymmanfa fawr, y byddai y rhai pellaf yn y dorf yn gallu ei glywed, fel y rhai agosaf ato; ac eto nid oedd mewn un modd yn boenus, ond yn hollol i'r

gwrthwyneb, i'r rhai oeddent yn ei ymyl. Ac yr oedd ei lais ef, nid yn unig yn cario y sŵn a'r geiriau i bellder dirfawr, ond yn cario y teimlad hefyd. Gofynwyd i un chwaer sydd yn arfer eistedd yn Nghapel *Prince's Road, Liverpool*, mewn cryn bellder oddiwrth y pulpud,—a oedd hi yn gallu clywed yn weddol o'r lle hwnw? "Ydwyf," ebe hithau, "yn clywed yn dda iawn; ond fe fydd y bwyd, rywfodd, wedi oeri cryn lawer cyn iddo gyrhaedd atom ni i'r fan acw." Ond yr oedd y pethau, gydâ Mr. Ebenezer Morris, gan rym ei lais, yn myned yn eu holl wres i gyrau eithaf y dorf.

*Yr oedd ei feistrolaeth hefyd ar ei lais yn hollol.* Ni adawai iddo byth ddianc o'i gyrhaedd, neu ymddyrchafu uwchlaw ei reolaeth. Gallai ei ostwng neu ei godi fel y mynai; amrywio ei nodau a'i dônau, yn gwbl yn ol ei ewyllys, i gyfateb i'r amrywiaeth materion a fyddent dan sylw ganddo; weithiau yn lleddf, ac weithiau yn llon; weithiau yn dyner ac weithiau yn arw: pa un bynnag ai y daran ofnadwy yn rhuo, ai yr udgorn mawr yn swnio; y delyn fwyn yn chwareu, neu y gloch fechan yn tincian; y dyfroedd grisialaidd yn murmur, neu yr awel ysgafn yn süo;—unrhyw beth, pob peth, fel y byddai ei bwnc yn gofyn.

*Yr oedd, bob amser, yn meddiannu ei hunan yn berffaith.* Y mae yn ddiammeu nas gallasai fod yn hollol ddibryder, eto ni welid byth un arwydd fod hyny yn ei derfysgu, fel ag i beri iddo golli dim arno ei hunan, neu ymddangos fel pe buasai yn dyrysu, neu yn annghofio yr hyn a fwriadasai ddywedyd. A phan na byddai rhyw adnod, a ddefnyddid ganddo er egluro ei bwnc, yn dyfod yn uniongyrchol i'w gôf, yn gwbl ddigyffro ac yn y modd mwyaf pwyllus, efe a dynai allan y gwydrau, a'u gosodai ar ei lygaid, a dröai yn hamddenol ati, ac a holai ryw gwestiynau yn ei chylch; ac, wedi iddo ei chael, fe'i darllenai gydag eglurder a dwysder a nerth, ac a dywalltai genllif o hyawdledd syml a sanctaidd oddiwrthi, nes y byddai wedi ei sefydlu dros byth yn meddwl y gynnulleidfa. Yn yr hunan-feddiant hwn, ymgomiai yn dawel â'r bobl; ac, ar ddydd y Gymmanfa, tröai at y pregethwyr, o'r tu ol iddo, ar yr esgynlawr, gydâ rhyw sylw priodol yn arbenig iddynt hwy; tröai drachefn at y bobl; ac â'i law aswy o'r tu ol iddo ar ei gefn, a'i law ddeheu i fyny yn uchel, a'r gwydrau ynddi, fe daflai ei lais allan, fel taran, at y segurwyr tu hwnt i gyrau y dorf, neu, yn y Bala, at y rhai diofal ar ben y *domen* draw; deuai yn ol eilwaith i ymgomio yn hamddenol â'i wrandawwyr; a'i holl ymddangosiad yn

arwyddo ei fod wrth fodd ei galon yn y gwaith mawr oedd ganddo, ac yn ymwybodol, ynddo ei hunan, ei fod yn gennad Duw at y bobl. Clywsom Mr. Rees yn fynych yn sôn am dano yn pregethu mewn Cymdeithasfa yn y Bala, pan oedd ychydig ddolur ar un o'i fysedd, a rhyw fretyn o lian ganddo o'i gwmpas. Pan oedd ar ganol pregethu, dattododd y cwlwm ar yr edau oedd yn dal hwnw; ac, felly, yr oedd y bretyn yn colli. Ond yr oedd y pregethwr, newydd fod yn yr hwyl fawr, yn arafaidd yn ail ddirwyn yr edau; yn ceisio dodi cwlwm arno, ond yn methu; ac, felly, yr oedd yn dattod drachefn. Yna dechreuai ei ail ddirwyn; a hyny amrywiol weithiau, yn ystod y bregeth; ond heb derfysgu dim arno ei hunan, na cholli dim yn ei ddylanwad ar deimladau y dyrfa.

Peth arall arbenig iawn ynddo oedd, *yr amrywiadau hynod a welid ar ei wyneb, yn ol y gwirioneddau neillduol a fyddent dan sylw ganddo.* Yr oedd hyny yn cyfodi yn naturiol oddiwrth yr argraff ddwys a wneid gan y gwirioneddau hyny arno ef ei hunan. Ystyriai rhai o'i hen wrandawwyr fod y pethau a draethid ganddo i'w canfod mor amlwg yn ei wynebpryd, fel, pe buasai dyn byddar yn bresennol, y gallasai, heb glywed yr un gair, gasglu yn lled sicr y cyfeiriad oedd i'r bregeth. Yr oedd ganddo, yn neillduol, pan y tröai at ddarpariaeth gras, a'r llewyrch nefol ar ei ysbryd, ryw *wên* ag yr oedd yn anmhosibl dal dani. Clywsom Mr. Michael Roberts, fwy nag unwaith, wrth sôn am dano yn pregethu ar un o'r troion mwyaf hynod a gafodd yn ei oes, sef yn Nghymdeithasfa Caernarfon, yn mis Medi, 1818, oddiar y geiriau,—"Y gwaed hwn a wna gymmod dros yr euaid,"—yn cyfeirio yn arbenig at y *wên* hono. "Pan y troes," meddai, "at drefn y 'cymmod,' ac y gwaeddai,—'Y gwaed hwn;' '*y gwaed hwn;*' 'Y GWAED HWN;' 'Y GWAED HWN;'—chwech neu saith o weithiau, ac yn uwch, uwch, bob tro, gydâ rhyw *wên angylaidd* ar ei wyneb, yr oedd yno le rhyfedd, ac effeithiau i'w cofio byth. Y *wên* hono oedd yn lladd." "Y deigryn," ychwanegai Mr. Michael Roberts, "yn llygad Jones, Edeyrn; wylo fy ewythr, Robert Roberts; bloedd, ac yn enwedig gwên, Ebenezer Morris; ac edrychiad, distawrwydd, a bŷs Elias; dyna y pethau mwyaf effeithiol arnaf fi o ddim erioed."

Yr ydym wedi casglu y nodweddau blaenorol a berthynent iddo, yn ein hymddyddanion âg ugeiniau, o bryd i bryd, yn ei gylch; ac yr ydym yn gobeithio y gwasanaethant, i ryw fesur, er rhoddi i'n darllen-

wyr, nad ydynt, mwy na ni ein hunain, yn ei gofio, ryw syniad am dano. Ond pan y trown oddiwrth yr ymddangosiad, y dull, y llais, at y pethau a draddodid ganddo, rhaid i ni gydnabod mai ychydig iawn sydd genym o'r rhai hyny i'w hadrodd. Dywedir y byddai ei bregethau yn llawn o'r Dduwinyddiaeth oreu; a'u bod, er heb eu hysgrifenu erioed, eto, fel y traddodid hwynt ganddo ef, yn gyfansoddiadau rheolaidd a threfnus; yn gymmaint felly, fel y byddai dynion manyl-graff, megys y diweddar Mr. Charles o Gaerfyrddin, yn synu at ei fedrusrwydd i ffurfio brawddegau meithion, a'u gwahanol ranau mewn cydsafiad a chysondeb hollol â'u gilydd, ac yn gyflawn, drwyddynt, o wirioneddau mwyaf gogoneddus yr efengyl. Ond pan awn i ymofyn pa beth a ddywedid ganddo a adawai y fath argraff ac a gynnyrchai y fath effeithiau ar ei wrandaẅwyr, ychydig iawn, a nesaf peth i ddim, a allwn gael. Yr oedd y pethau, ryw fodd, mor gylymedig wrtho ef, fel nad oes bosibl eu cael wedi ei golli ef ei hunan. Mae yn y Cofiant helaeth a thra dyddorol iddo sydd yn y "GWYDDONIADUR" (*Cyfrol VII. tu dal.* 557—580), un hanesyn yn dangos hyn yn eglur iawn. Yr oedd gweinidog o'r Gogledd, pan ar daith trwy Sir Aberteifi, mewn rhyw dŷ capel yno, yn ymddyddan â hen flaenor; yr hwn a ddywedai,—"Yn ffenestr y capel hwn, ar Gwrdd Misol, y cafodd Ebenezer Morris yr oedfa fawr hono ar y geiriau, 'Ffordd y bywyd sydd fry i'r synwyrol, i ochel uffern obry;' pan yr oedd pawb, oddifewn ac o faes, yn delwi wrth wrando arno." "A ydych chwi yn cofio rhanau o'i bregeth?" meddai y gŵr dieithr wrtho. "Yn cofio, ŵr da," atebai yr hen flaenor, "yn cofio? ydwyf! ac mi gofiaf byth! O! nid oedd yma yr un cnawd yn gallu sefyll o'i flaen." "Ië: ond pa beth yn bennodol oedd Mr. Morris yn ei ddywedyd ar y testyn?" "Yn ei weyd, ŵr da—yn ei weyd? Yr oedd ê yn gweyd—'Obry', 'obry', 'obry!' 'Bobl,' meddai, 'y mae uffern 'obry', 'obry', 'obry!' nes yr oedd hi yn dôd yn ddiwedd byd ar bawb oedd yn y tŷ cwrdd ac oddifaes." Dyna y cwbl a allai yr hen frawd adrodd o'r bregeth effeithiol hono.

Ac nid yr hen flaenor gwledig hwnw, yn unig, a deimlai anhawsder i adrodd ei *bethau* ef. Byddai y rhai galluocaf o'i wrandaẅwyr yn teimlo yn gyffelyb. Buom, laweroedd o weithiau, yn ymddyddan â'r diweddar Mr. Rees yn ei gylch. Yr oedd efe yn ei edmygu braidd yn ddiderfyn. Nid oedd neb, oddieithr Mr. Elias, ac, fe allai, Mr. Roberts, Amlwch, cyfuwch yn ei feddwl. "Rhoddwch i mi," meddem wrtho,

"ryw ddarluniad o hono." "O," meddai yntau, "beth pe' buasech chwi yn ei glywed o mewn *Sassiwn* yn Machynlleth, pan oedd o yn pregethu ar y testyn,—'Ar yr hyn bethau y mae yr angylion yn chwennychu edrych.' O! yr oedd o yn rhyfedd iawn." "Beth oedd ganddo?" meddem ninau. "O! 'yr hyn bethau!' '*yr hyn bethau!!*' 'YR HYN BETHAU!!!' 'YR HYN BETHAU!!!!' Nid 'y pethau hyn:' 'yr *hyn* bethau!' Ni chlywsoch chwi erioed y fath floedd. Yr oedd gogoniant y 'pethau' o flaen llygaid y bobl." "Yr oedd ganddo," ychwanegai Mr. Rees, "ryw allu annghyffredin i gydio mewn rhyw air; ac fe'i gwaeddai laweroedd o weithiau drosodd; a byddai rhyw lewyrch gydâ'i floedd, fel y byddai y peth ei hunan yn dyfod i olwg y bobl. Yr ydwy' i yn cofio ei fod yn pregethu y tro hwnw yn Machynlleth, y boreu olaf, ar y geiriau yna yn yr Actau, am y morwyr yn tybied 'eu bod yn nesâu i ryw wlad.' A rhyfedd yr effeithiau oedd gydâ'i waedd,—'Rhyw wlad!' 'rhyw wlad!!' 'rhyw wlad!!!' laweroedd o weithiau, nes yr oedd pawb yn y lle fel yn eu teimlo eu hunain yn ymyl tragywyddoldeb." Dyna gymmaint a allem ni gael, hyd yn nod gan Mr. Rees, o ddarluniad o hono: yr hyn, gydâ phob peth arall a glywsom ni yn ei gylch, sydd yn myned yn mhell at brofi fod y dylanwad mawr oedd gydag ef,—yn annibynol ar y peth goruwchnaturiol a dwyfol, a deimlid, y mae yn ddiammheuol, trwyddo,—yn gysylltiedig, i raddau annghyffredin, â'i bresennoldeb, ei ymddangosiad, ei ddull, ei lais, a'i gymeriad pwysig a sanctaidd ef ei hunan. Yn y nerth, y difrifwch, a'r awdurdod, sydd i fesur mor fawr wedi bod ac yn parhau i hynodi y Pulpud Cymreig, y mae yn ddiddadl fod arbenigrwydd neillduol yn ngweinidogaeth EBENEZER MORRIS.

Y mae y nesaf sydd yn dyfod dan ein sylw,—JOHN ELIAS,—yn cael ei gydnabod, braidd yn gyffredinol, fel prif areithiwr a phen pregethwr Cymru. Ac er ein bod yn ei adwaen yn dda, ac wedi gwrandaw, o bosibl, mwy arno nag a wrandawsom ar neb arall, yr ydym yn teimlo yn dra anhawdd genym amcanu at geisio rhoddi unrhyw ddarluniad o hono. Yr oedd ei ragoriaethau fel siaradwr, yn ein bryd ni y fath, fel nad ydym yn gwybod pa fodd i roddi darluniad o hono, heb i hyny ymddangos i'r rhai nad ydynt yn ei gofio, neu i rai â rhyw ragfarn ynddynt yn ei erbyn, fel gorganmoliaeth; tra yr ydym yn gwybod, o'r tu arall, y bydd pob darluniad o hono, yn cael ei ystyried gan lïaws o'i hen wrandawwyr, yn mhell islaw y ddelw o hono a argraffwyd gan ei

hyawdledd seraphaidd ef ei hunan ar eu meddyliau hwy. Fe'i ganwyd ef, Mai 6, 1774, mewn tŷ bychan, a elwid Bryn-llwyn-bach, yn mhlwy Abererch, tua phedair milltir o Bwllheli, yn Sir Gaernarfon. Bu farw, yn ei dŷ yn y Fron, gerllaw Llangefni, Môn, ar ddydd Mawrth, Mehefin 8, 1841, yn saith mlwydd a thriugain oed. Fe'i claddwyd, Mehefin 15, yn ochr gweddillion ei hen gyfaill, y Parch. Richard Lloyd, yn mynwent Llanfaes, gerllaw Beaumaris. Y mae erbyn hyn, gan hyny, genhedlaeth gyfan agos wedi codi, nad ydynt yn cofio dim am dano; ac y mae ei hen wrandawwyr yn myned, y naill flwyddyn ar ol y llall, yn llawer anamlach. Er nad oedd nemawr neu ddim tuedd at grefydd yn ei rïeni, o leiaf pan y ganwyd ef, a thra y bu yn aros adref gydâ hwynt, eto fe gafodd e fagwraeth dra chrefyddol gan ei daid, o dŷ ei dad, yr hwn oedd yn byw yn ymyl; a'r tad a'r taid yn yr un alwedigaeth, fel gwëhyddion, ac yn cyd-gyfranogi o'r tyddyn tir. Yr oedd y taid yn ŵr dichlynaidd iawn ei ymarweddiad; yn cyrchu bob Sabbath i eglwys y plwyf; yn cynnal addoliad teuluaidd yn gyson; ac yn rhagori yn ddirfawr ar y cyffredin o'i gymmydogion. Yr oedd wedi cymmeryd dyddordeb mawr yn ei ŵyr bychan, o'i enedigaeth; ac yn ofalus iawn yn ei ddysgu, can gynted ag y dechreuodd siarad, am y perygl o arfer geiriau drwg, dywedyd anwiredd, llŵon, &c. Gosodai hefyd bwys mawr ar gadw y Sabbath, a pharchu addoliad Duw. Dysgodd y taid hefyd iddo ddarllen Cymraeg, fel yr oedd yn gallu darllen ei Fibl yn dda pan yn chwech oed; ac yr oedd wedi darllen ei Fibl, o ddechreu Genesis hyd ganol Jeremiah, pan oedd yn saith oed. Pan oedd yn saith oed, fe'i cymmerwyd yn glaf o'r frech-wen; a bu yn glaf iawn. Anobeithid dros rai wythnosau am ei adferiad. Collodd ei synwyrau am rai dyddiau, a bu heb allu gweled dim am bythefnos. "Yr wyf yn cofio," meddai, "pan oeddwn yn troi i wellâu, ac yn dechreu agor fy llygaid, fod fy nhaid wedi dyfod at y gwely, dan wylo, a gofyn i mi,—'Fy machgen bach i, a wyt ti yn cofio pa le y mae dy wers di?' Atebais, 'Ydwyf;' gan enwi rhyw bennod yn llyfr y prophwyd Jeremiah. Llawenychodd yr hên ŵr yn fawr fy mod wedi gallu cofio, trwy fy nghystudd trwm, y lle o'r Bibl ag yr oeddwn yn ei ddarllen pan aethum yn sâl, a bod gobaith i mi gael fy llygaid i ddarllen y Bibl drachefn. Bûm yn wael yn hir; ac am dair blynedd neu bedair yn lled afiach yn fynych." Yr oedd yn arfer cael ei gymmeryd gan ei daid, er pan oedd yn gallu cerdded, bob boreu Sul i'r eglwys;

ac wedi iddo ddysgu darllen, fe'i cyfodid ganddo i ryw le amlwg, i ddarllen bob yn ail gydâ'r gweinidog, yn ol yr arfer yn y Llan. Clybu yn lled ieuanc fod pregethwyr enwog o Ddeheudir Cymru, ac o barthau ereill yn y Dywysogaeth, yn dyfod i Bwllheli, a'r Pentre' uchaf, a lleoedd ereill, yn y gymmydogaeth. Cynnyrchwyd ynddo, rywfodd, awydd annghyffredin am fyned i'w gwrando; a chydsyniodd ei daid i'w gymmeryd ef gydâg ef i hyny, ar brydnawniau neu yn hŵyr y Sabbathau, wedi iddynt fod yn yr eglwys yn y boreu, Pan yn myned felly gydâ'i daid, fe wnai yr hen ŵr iddo ddarllen rhanau o'r Bibl i'r bobl, tra y byddent yn aros gerllaw y capel, ac yn dysgwyl y pregethwr. Ac am fod clywed plentyn mor ieuanc yn darllen, y pryd hyny yn beth mor hynod, fe roddid gwrandawiad astud iawn iddo. Un tro, pan ydoedd wedi myned felly gydâ'i daid i gapel y Pentre' Uchaf, a lliaws wedi ymgynnull ynghŷd yno yn dysgwyl y pregethwr, ac yntau yn dra diweddar yn dyfod, aeth ei daid ato, ac a ddywedodd wrtho,—"Y mae yn drueni fod y bobl yn segur fel hyn: dôs di i'r pulpud yna, a darllen bennod o'r Bibl iddynt." "Yna," meddai Mr. Elias, "efe a agorodd y drws—gwthiodd fi i mewn—a chauodd arnaf yno. Darllenais ran o bregeth Crist ar y mynydd; a gwrandawai y bobl yn astud a difrifol iawn. Edrychais dros fy ysgwydd, a gwelwn y pregethwr yn sefyll wrth ddrws y pulpud: dychrynais yn fawr; cauais y Bibl; ac aethum i lawr yn gyflym. Nid ydwyf yn gwybod beth oedd fy oedran y pryd hwnw: ond yr wyf yn meddwl fy mod o naw i deuddeng mlwydd. Hwn ydoedd y tro cyntaf i mi fyned i'r pulpud; ac nid oeddwn i, na neb arall, yn meddwl, yr amser hwnw, y cawswn y fraint o fyned iddo mor fynych." Pan oedd rhwng deuddeg a thair-ar-ddeg oed, fe ddechreuodd weithio gydâ'i dad a'i daid, yn eu celfyddyd hwy, fel gwëhydd. Yr oedd ei deimladau crefyddol y pryd hyn, fel yr oeddent, yn wir, er pan oedd braidd yn gallu cofio dim, yn ddwysion iawn, a'i gydwybod yn nodedig o dyner yn erbyn pechod. Yr oedd ei daid yn awr wedi gwaelu, fel nad oedd yn cael ei gwmni ef i fyned i'r pregethau. Yr oedd efe, pa fodd bynnag, yn ymroddi i wrando, ac i ddarllen y llyfrau crefyddol oeddent yn ei gyrhaedd. Yr oedd yn cael blas annghyffredin ar wrando pregethau. Pan y delai pregethwr poblogaidd o'r Deheudir i'r wlad, efe a gerddai yn fynych, ar foreu Sabbath, ddeng milltir i'w wrando; ac a'i dilynai, oddiyno, i'r lle y byddai yn y prydnawn; a thrachefn, yn yr hwyr; ac yna, adref i gysgu; heb gael ond ychydig i'w fwyta

trwy y dydd. Pan oedd rhwng pedair-ar-ddeg ac un-ar-bymtheg oed, efe a deimlodd ymdrechfeydd tufewnol mawrion. Profai lygredigaeth ei galon yn ymweithio yn nerthol ynddo, a'r argraffiadau crefyddol ar ei feddwl yn lleihâu, gydà gogwydd cryf i ymollwng i wylltineb ieuenctyd, fel ei gyfoedion. Ond trugarhäodd yr Arglwydd wrtho, fel na chafodd y llygredigaeth fuddugoliaeth, ac na chaniatäwyd iddo dori allan i unrhyw anfoesoldeb cyhoeddus. Ac nid hyny yn unig, ond dwysäodd ei deimladau crefyddol, a daeth yn fwy pryderus nag erioed yn nghylch ei achos tragywyddol. Yr oedd yn awr wedi dechreu dyfod i gydnabyddiaeth âg ychydig o bobl grefyddol, ac yn dra awyddus am ymuno â hwy yn eu cymdeithas eglwysig. Ond yr oedd yn gweled ei annghymhwysder, ac yn ofni yn fawr nad oedd wedi cael gwir dröedigaeth; ac, os felly, er iddo ddechreu ar broffesu, mai gwrthgilio a wnai, a thynu gwaradwydd trwy hyny ar grefydd. Bu dan ymrysoniadau o'r fath, ac heb dori trẅodd i geisio lle yn yr eglwys, am dros dair blynedd. Yn y cyfamser, pa fodd bynnag, cafodd ganiatâd ei rieni i godi addoliad yn y teulu, a dechreuodd ar y gorchwyl ar unwaith. Yr oedd, pan tuag un-ar-bymtheg oed, yn awyddus iawn am fyned i Langeitho, i wrando Mr. Daniel Rowland. Yr oedd wedi clywed cymmaint am dano gan ei daid, a chan y crefyddwyr y daethai i gydnabyddiaeth â hwynt, amryw o'r rhai oeddent wedi bod yn Llangeitho yn gwrando arno ac yn arfer myned yno yn gyson, fel yr oedd wedi penderfynu, pan y delai ychydig yn hynach a chryfach, yr äi yntau yno gydâ hwynt i'w glywed, gan ddysgwyl rhyw fendith neillduol i'w enaid trwyddo. Ond, fel yr ydoedd yn meddwl am hyn, aeth un boreu Sabbath i Bwllheli, i wrando ar ryw un oedd i fod yno yn pregethu. Eithr yn canfod ei fod yn rhy fuan i'r addoliad yn nghapel y Methodistiaid, efe a aeth i gapel yr Annibynwyr, i wrando y Parch. Benjamin Jones, yr hwn oedd, y pryd hwnw, yn gweinidogaethu yno. Efe a gymmerodd yn destyn y geiriau hyny yn 2 Sam. iii. 38—"Oni wyddoch chwi i dywysog ac i ŵr mawr syrthio heddyw yn Israel?" Dywedodd mai yr achlysur iddo ef gymmeryd y geiriau hyny dan ei sylw oedd, y newydd galarus a'i cyrhaeddasai, fod y Parchedig Daniel Rowland o Langeitho, yr hwn oedd dywysog a gŵr mawr yn Israel Duw yn Nghymru, wedi syrthio yn angeu. Clywsom Mr. Elias ei hunan, fwy nag unwaith, yn cyfeirio at yr amgylchiad hwn. "Yr oeddwn yn eistedd," meddai, "ar y llawr, gyferbyn a'r pulpud. Mi a glywais y testyn, a'r geiriau cyntaf

a ddywedodd ar ol ei ddarllen, yn cyfeirio at farwolaeth Mr. Rowland. Ond fe effeithiodd y cyfeiriad hwnw gymmaint ar fy nheimladau, fel y gorchfygwyd fi yn hôllol; torais allan i wylo yn hidl; a chynhyrfwyd fi i'r fath raddau, fel nas gallwn sylwi ar ddim a ddywedwyd ganddo ar ol hyny." Bu Mr. Rowland farw ar y Sadwrn, Hyd. 16, 1790; fel y mae yn dra thebygol mai ar y Sabbath, Hydref 24, yr oedd Mr. Elias yn clywed fel hyn am ei farwolaeth, o'r pulpud yn Mhwllheli.

Yn mhen yn agos i ddwy flynedd ar ol hyn,—1792,—efe a aeth, gydâ'r fintai o Léyn, am y tro cyntaf i Gymdeithasfa y Bala. Yr ydym yn cofio ymddyddan â hen flaenor, yr hwn oedd yn teithio gydag ef yno y pryd hyny. Ac fe ddywedai yr hen ŵr wrthym, fod rhyw sobrwydd yn ei ymddangosiad nad oedd e erioed wedi sylwi ar ddim o'i gyffelyb. Yn Ffestiniog, ar eu ffordd tua'r Bala, fe benderfynwyd cael Cyfarfod Gweddio. Gofynwyd a oedd Bibl gan ryw un? Ond nid oedd yr un yn digwydd bod gan neb, o leiaf nid oedd neb yn ateb fod ganddo un. O'r diwedd, dyna y gŵr ieuanc sobr, distaw, dïeithr i bawb, a dillad pur lwydaidd am dano, yn dywedyd fod ganddo ef Fibl, ac yn ei dynu allan o'i logell. Gan fod y Bibl ganddo ef, fe'i hannogwyd ef i ddarllen pennod. "Yr hyn a wnaeth," meddai yr hên ŵr, "nes oedd y bennod yn newydd i ni i gyd." Annogwyd ef i fyned i weddi. "Ac os oedd y darllen," meddai, "yn rhyfedd, yr oedd y weddi yn rhyfeddach. Nid wyf yn meddwl i mi glywed y fath weddïo, na chynt, nac wedi hyny." Nid oedd efe eto yn aelod eglwysig; er fod y daith hon i'r Bala, a'r llewyrch rhyfedd oedd ar y pregethau yno, wedi ei ddwyn i'r penderfyniad i wneyd hyny bellach ar frys. Ond, ar ol dychwelyd, oedi yr ydoedd; ac yr oedd ei feddwl yn drallodedig iawn o'r herwydd. Tybiodd, pe cawsai le i weithio mewn teulu crefyddol, y buasai yn gymhorth mawr iddo. Clywodd fod pregethwr gydâ'r Methodistiaid o'r un gelfyddyd ag ef, a'i fod yn arfer cadw gweithwyr; sef un o'r enw Griffith Jones, Ynys y Pandy, yn agos i Benmorfa, gerllaw Tremadoc. Meddyliodd, pe gallai gael lle yno, mai dyna y fan iddo ef. Rhwng bôdd ac anfodd, fe gafodd ganiatâd ei rieni i ymgais am dano: ac fe lwyddodd i'w gael. Ond bu yno drachefn am tua blwyddyn, ac o dan deimladau dwysion iawn, cyn ymuno â'r gymdeithas eglwysig. Pa fodd bynnag, rywbryd tua diwedd Medi, 1793, fe wnaeth hyny, mewn lle a elwid Hendre Howel; ac fe gafodd dderbyniad tra serchiadol. Gwelwyd, ar unwaith, fod ynddo ddoniau

tra annghyffredin; a chymhellwyd ef gan y frawdoliaeth fechan yno, i gymeryd rhan yn y Cyfarfodydd Gweddïau, ac, yn fuan, i roddi gair o gyfarchiad i'r bobl oddiwrth y bennod a ddarllenid ganddo. Gwnaeth hyny unwaith ac eilwaith a thrachefn, nes aeth y gair ar lêd ei fod yn pregethu. Annogwyd ef gan y brodyr yn Hendre Howel, a chan flaenoriaid yr eglwysi cymmydogaethol, yn enwedig gan un John Richards, oedd yn flaenor yn y Garn, Dolbenmaen, i fyned i'r Cyfarfod Misol, er mwyn cael ei awdurdodi yn bregethwr rheolaidd. Cydsyniodd yntau i fyned. Yr oedd y Cyfarfod Misol i'w gynnal yn Mryn yr Odyn, ar ddydd y Nadolig, yn y flwyddyn 1794. Perswadiwyd ef gan John Richards i fyned i'w dŷ ef i letŷa, y nos cyn y Nadolig, ar ei ffordd tua'r Cyfarfod Misol. Beth a wnaeth yntau, ond ei gyhoeddi i bregethu yn nghapel y Garn, yn y plygain ddydd Nadolig, tra ar ei ffordd i'r Cyfarfod y ceisiai ganiatâd i bregethu. Aeth rhagddo tua Bryn yr Odyn â'i feddwl yn dra chythryblus, rhag ofn mai ei wrthod a gâi, yn enwedig oblegyd ei ddïeithrwch i'r pregethwyr yn y sir, a'r afreoleidd-dra a deimlai oedd, i raddau, yn gysylltiedig â'i achos. Fe fu rhai o'r hen frodyr, yn sicr, yn llaw-drwm iawn arno y pryd hyny; ond y diwedd fu, derbyniad iddo yn aelod o'r Cyfarfod Misol, a chaniatâd iddo bregethu yn y llëoedd y gelwid am dano. Ni a glywsom fod y fath ofn wedi dyfod arno y pryd hwn, fel mai hynod o afrwydd a chymmysglyd oedd yn ei atebion, ac mai yr argraff a wnaeth ar feddwl yr hen bregethwyr,—ac nid hen iawn y pryd hyny,—oedd, nad oedd dim neillduol ynddo. Cafodd y derbyniad hwn pan ydoedd yn ugain mlwydd a hanner oed, a dim ond blwyddyn a chwarter o broffeswr. Ni a glywsom hefyd, mai yn y Cyfarfod Misol hwn y newidiwyd ei enw, i John *Elias*. Gofynodd Mr. John Jones, Edeyrn, beth oedd ei enw? Atebwyd mai "John Jones" ydoedd. "Beth ydyw enw ei dad o?" meddai yntau. Atebwyd mai "Elias Jones." "Yn en' dyn, gelwch y bachgen yn John Elias, onide ni a fyddwn yn John Jonesiaid i gyd yma yn fuan." Yr oedd John Jones o Lëyn, John Jones y Penrhyn, ac yntau ei hunan o Edeyrn, beth bynnag am ereill, yno. Pa fodd bynnag, felly y bu. Yn *John Elias* yr adnabyddwyd ef byth wedi hyny. Ac fe'i hadnabüwyd yn fuan iawn. Fe deimlwyd, ar unwaith, fod pregethwr digyffelyb wedi codi yn y wlad. Yr oedd y fath ddifrifoldeb yn ei ddull, y fath briodoldeb a newydd-deb yn ei bethau, y fath angerddoldeb yn ei deimlad, y fath nerth yn ei draddodiad, y fath

lewyrchiadau ar ei ysbryd, ac, yn enwedig, y fath arddeliad ar ei genadwri, fel yr oedd ei weinidogaeth, o'i gychwyniad cyntaf allan, yn cyffroi yr holl wlad. I ba le bynnag yr elai, yr oedd yr holl ardaloedd yn cyrchu i'w wrando. Yr oedd y galwadau arno o bob parth yn ddibaid, ac yr oedd yntau, heb arbed dim arno ei hunan, yn cydsynio â hwy. Ni a glywsom y diweddar Barch. John Jones, Tremadoc, yn dywedyd, iddo yn ddioed brynu merlyn bychan, a chyfrwy, a pharotoi ei hunan i deithio y siroedd gydâg efengyl Crist. Yr oedd efe,—heb ddeall y drefn oedd yn adnabyddus yn y Cyfundeb, nad oedd neb, hyd ryw amser pennodol arno fel pregethwr, i roddi cyhoeddiad tu allan i gylch ei sir ei hunan,—yn cydsynio â'r galwadau arno, ac yn rhoddi cyhoeddiadau am Sabbathau i leoedd yn Siroedd Meirionydd a Dinbych, neu yn mhellach na hyny. Tynodd arno ei hunan trwy hyny ŵg yr awdurdodau yn y Cyfarfod Misol; a cheryddwyd ef, yn garedig, meddai efe, ond yn arw iawn, fel y clywsom ni, am ei afreoleidd-dra. Ond ni fynai y wlad ei gyfyngu; ac yn fuan fe gafodd yr awdurdod angenrheidiol i fyned, fel pregethwyr ereill, i gyhoeddiad Sabboth i'r man y mynai, ac ar daith i siroedd ereill y gelwid am dano, trwy ganiatâd arferol y frawdoliaeth yn y Cyfarfod Misol. Wedi cael awdurdod felly, rhoddes gyhoeddiadau trwy ranau o amrywiol siroedd Gogledd Cymru, oddieithr Môn, ac i'r trefi, *Liverpool* a *Manchester*. Yr oedd, o'r dechreuad, wedi ffurfio syniad uchel iawn am y swydd yr oedd yn awr ynddi, ac, yn ganlynol, yn ymdeimlo yn ddirfawr â'i annghymhwysderau iddi. Yr oedd, yn enwedig, yn awyddus am ddeall yr iaith Saesonaeg, er mwyn gallu defnyddio Gweithiau yr Awduron Duwinyddol, y clywsai am danynt, oeddent wedi ysgrifenu ynddi, fel y gallai gyfoethogi ei feddwl a'i bregethau â hwynt. Pan oedd yn Manchester y tro cyntaf, rhoddes y fath foddlonrwydd i'r frawdoliaeth yno, fel—a pharch i'w coffadwriaeth am hyny—y ceisiasant yn daer ganddo ddyfod atynt hwy am ryw gymaint o amser yno i'r ysgol i ddysgu Saesonaeg, gan addaw ei gynnal a gofalu am ddillad iddo a thalu am ei ysgol, tra byddai yno, ond iddo bregethu iddynt hwy ar y Sabbathau. Yn llawen iawn o'r cynnyg, fe ofynodd i'r brodyr a'r tadau yn y Cyfarfod Misol, am ganiatâd i fyned yno, i'r amcan hwnw, ar yr ammodau hyny. Ond ceryddwyd ef yn dost am feiddio meddwl am y fath beth. Dywedid wrtho fod y cwbl yn codi oddiar falchder ei galon, a'i awydd am fod yn bregethwr mawr; a bod ei ben eisoes yn

dechreu troi gan y rhedeg oedd gan y bobl ar ei ol. Siaradwyd yn y modd mwyaf anngharedig wrtho. Cymmerodd yntau y cwbl yn dawel, gan gredu eu bod hwy yn gweled rhyw beryglon nad oedd e yn eu canfod, ac mai gofal gwirioneddol am dano oedd yn peri iddynt feddwl a siarad felly. Ond nid oedd ei awydd am ddysg yn lleihau, ond yn hytrach, bob wythnos, yn cynnyddu. Yr oedd yn cyfarfod yn fynych â Mr. Richard Jones, o'r Coedcaedu, y Wern wedi hyny, yr hwn oedd wedi cael ysgol dda pan yn fachgen ac yn llencyn, ac a soniai lawer wrtho am yr Awduron Seisonig a ddarllenid ganddo; ac fe gyfieithai iddo, weithiau, ambell ddarn o honynt. Yr oedd yntau yn gresynu wrth feddwl fod y fath drysorau, megis yn ei ymyl, tra yr oedd yn analluog i wneuthur unrhyw ddefnydd o honynt. Ac, mewn rhyw Gyfarfod Misol neu ddau wedi ei rwystro i fyned i *Fanchester*, fe ofynodd, a gâi efe ganiatâd i fyned i Gaernarfon, i'r ysgol a gynhelid yno gan Mr. Richardson? Yr oedd cryn anmharodrwydd, mewn llawer o honynt, hyd yn nod i hyny: ond, pa fodd bynnag, caniatâd a gafodd. Ni bu yno ond am ychydig fisoedd: eithr gwnaeth y fath gynnydd yn yr amser byr y bu yno, fel ag y dysgodd ddeall y Saesonaeg yn weddol, ac y gosododd i lawr sylfaen dda i'r wybodaeth ëang a manwl a gasglwyd ganddo ar ol hyny. Ac nid gwybodaeth o'r Saesonaeg yn unig a ennillwyd ganddo yn Nghaernarfon. Cymmerodd Mr. Richardson drafferth fawr gydag ef, i'w ddiwygio o ryw ystumiau gwrthun a wnelid ganddo ar ei gorph, ac, yn enwedig, o ryw rwnc annaturiol ac anynad a phoenus oedd ganddo yn ei wddf, can gynted ag y twymnai wrth bregethu. Collodd hyny yn gwbl dan ddysgyblaeth Mr. Richardson. Daeth, yn ei ddull, yn un o'r rhai mwyaf gweddus a fuant erioed yn cyfarch cynnulleidfa; ac yr oedd ei feistrolaeth ar ei lais yn berffaith. Clywsom Mr. Michael Roberts yn dywedyd, mai y llyfr Saesonaeg cyntaf a gafodd, oedd,—"*Brown's Compendious View of Natural and Revealed Religion;*" a'i fod wedi ei wneyd yn eiddo hollol iddo ei hunan; wedi trafferthu i droi at bob adnod y cyfeirir ati ynddo, ac wedi ei astudio mor fanwl a llwyr, nes yr oedd braidd yn gyfan, os nad yn gwbl felly, yn ei gôf. Wedi gadael Caernarfon, fe ymroddodd i deithio y siroedd, ac yr oedd nerthoedd Duw yn cael eu teimlo, yn mhob man, o dan ei weinidogaeth. Yr ydym yn cael ei fod yn dechreu yr oedfa, y prydnawn cyntaf, mewn Cymdeithasfa a gynnaliwyd yn Llanfair-Caereinion, Ebrill 11, 12, 1796. Yr oedd mwy o sôn am weddi "y

bachgen o Sir Gaernarfon," fel y gelwid ef y pryd hyny, nag am ddim arall, ar ol y Gymdeithasfa hono. Tua y pryd hwn, fe ddygwyddodd iddo gyfarfod, pan ydoedd ar daith yn Sir Fôn, â Mr. Ebenezer Morris, yr hwn, ar unwaith, a deimlodd ei fod wedi cyfarfod â phregethwr digyffelyb; ac nid oedd boddloni arno, heb iddo addaw cyhoeddiad iddo, trwy siroedd y Deheudir. Cydsyniodd yntau i addaw. Yn dra anewyllysgar y rhoddwyd caniatâd y Cyfarfod Misol iddo i fyned. Ofnid yn fawr i'r daith wneuthur niwed iddo. Pa fodd bynnag fe gafwyd caniatâd, ac fe gychwynodd. Yr ydym yn cofio clywed yr hen flaenor, Mr. Meredith Morgan, Maes y Careiau, gerllaw Machynlleth, yn dywedyd, mai pan oedd yn myned ar y daith hon, i'r Deheudir, y gwelodd ac y clywodd efe ef gyntaf erioed. Yr oedd yn pregethu yn Mathafarn, lle yr oedd Mr. Jones, Dôl-y-fonddu wedi hyny, y pryd hwnw yn byw. "Yr oedd John Elias," meddai yr hên ŵr, "yn pregethu allan yn y Büarth, oblegyd yr oedd yno ormod o bobl o lawer i fyned i'r tŷ; yn wir, yr oedd yno dyrfa fawr iawn o'i flaen. Yr oedd Mrs. Jones, ac un o'r morwynion, yn y tŷ, yn parotoi ciniaw, oblegyd yr oedd yno lawer iawn o ddïeithriaid wedi ymgasglu;—ond yr oedd hi a'r forwyn yn rhyw ddyfod allan, bob yn ail, i wrando ychydig o'r bregeth. Y testyn oedd, y geiriau yn Ioan i. 29:—'Wele Oen Duw, yr hwn sydd yn tynu ymaith bechodau y byd.'—Ac yr oedd yn pregethu gydâ'r fath oleuni a nerth ac effeithiau, nad oeddem ni, yn y wlad yma, erioed wedi clywed dim byd cyffelyb. Yr oedd y bobl o'i flaen o, fel pe gwelsech chwi gae gwenith o flaen ystorm fawr o wynt. Yr oedd yno ddynion mawr, cryfion, celyd, yn gwaeddi allan am eu bywyd. Ond toc, fe ddaeth at y gair hwnw,—'Y teulu yn rhy fychan i'r oen.' 'Beth ydyw y tramwy y sydd rhwng Dê a Gogledd, a rhwng y Gogledd a'r Dê?' "Y teulu sydd yn rhy fychan i'r oen." Beth ydyw y cyffro sydd y dyddiau yma, i anfon Cenhadon i filiynau tywyll India, i baganiaid düon Affrica, ac i lwythau anwar Ynysoedd Môr y Dê? "Y teulu sydd yn rhy fychan i'r oen." I ba beth y daethoch chwi yma, ar ganol dydd gwaith, i dynu dynion oddiwrth eu gorchwylion, ar amser prysur fel hyn? "Y teulu sydd yn rhy fychan i'r oen." Bobl,' meddai, ac yn codi ei lais yn uchel, 'y mae y wledd ar y bwrdd; Duw ei hunan sydd wedi ei darpar; y mae cyflawnder Duw ynddi; y mae croesaw, y mae galwad arnoch i gyd i ddyfod ati; yr ydwyf fi wedi dyfod yma, heddyw, yn un pwrpas i'ch hysbysu, fod lle i chwi wrth y

bwrdd;—mae "y teulu yn rhy fychan i'r oen."' Ar hyny, fe aeth yn waeddi mawr drwy y lle i gyd. Ac yr oedd Mr. Jones, Dôl-y-fonddu, yn gwaeddi ac yn neidio fel hogyn. Gydâ hyny, dyna y forwyn, yr hon oedd yn dygwydd bod y pryd hyny allan, mewn dychryn mawr, yn rhedeg i'r tŷ, ac yn gwaeddi,—'Meistres, Meistres, Dowch allan mewn munud; mae Meistr wedi myn'd o'i gô'.' Yr oedd yno y lle rhyfeddaf a welsoch chwi erioed. 'Allwch chwi ddim dychymygu am y nerth oedd gydâg o y pryd hyny. Wel, ni a aethom ar ei ol o, am a wn i bob enaid o honom, i Fachynlleth y noswaith hono, nes oedd pobl Machynlleth wedi dychryn, yn meddwl ein bod ni yn myned i gymmeryd y dref. Nid oedd yno ddim digon o le i hanner y bobl yn y capel. Yr oedd yno un o hen offeiriaid y Deheudir, oedd yn dyfod tua'r Gogledd yma ar gyhoeddiad, yn ei gyfarfod o yn Machynlleth; ac fe feddyliodd hwnw, y creadur gwirion! mai ar ei ôl o yr oedd y bobl wedi dyfod, ac yr oedd o am rwystro i John Elias gael pregethu. Ond fe ddywedwyd wrtho mai ar ol y dyn ieuanc yr oedd y bobl wedi dyfod; ac, os na châi efe bregethu, yr äi y rhan fwyaf, os nad y cwbl, o honynt ymaith ar unwaith. Ac felly pregethu a ddarfu iddo, yn y ffenestr yno. Ac fe gafodd y fath hwyl y noswaith hono drachefn, fel na wnai yr offeiriad gynnyg pregethu ar ei ol o. Ac, yn wir, yr oedd yn llawer callach wrth beidio pregethu nag oedd o pan oedd o am ei rwystro ef yn y dechreu. A therfynu y cyfarfod trwy weddïo a wnaeth." Dyna yr adroddiad yn syml, fel y cawsom ni ef o enau yr hen flaenor ei hunan, Mawrth 12, 1850; ac yr ydym yn ei ddodi i mewn yma am ein bod yn teimlo y byddai yn resyn iddo fyned ar ddifancoll. Yr oedd hyn, can belled ag y gallai yr hen ŵr gofio, yn agos i'r amser y bu farw y Parch. Peter Williams. Ac fe fu e farw, Awst 8, 1796. Os felly, nid oedd Mr. Elias, y pryd hyn, ond ychydig dros ddwy-ar-hugain oed, ac heb fod yn pregethu am lawn ddwy flynedd. Sefydlodd y daith hon, pa fodd bynnag, ar unwaith, ei gymeriad fel pregethwr trwy holl Ddeheudir Cymru; a thystiai Mr. Ebenezer Morris i'w bregethau tanllyd y pryd hyny, fod yn foddion cynnyrchu un o'r adfywiadau mwyaf nerthol a bendithfawr ag y gwyddai efe am danynt.

Yr oedd yn awr yn ymroddi i lafurio yn ddiarbed; ac i ba le bynnag yr elai, yr oedd effeithiau hynod yn dilyn ei weinidogaeth. Fe'i rhoddwyd i bregethu am y tro cyntaf yn Nghymdeithasfa y Bala, y boreu olaf, yn y flwyddyn 1797; ac fe gafodd oedfa yno y pryd hyny

ag oedd yn coroni y Gymdeithasfa i gyd. Y testyn oedd Esaiah liii. 11; a pharhäodd, ni a glywsom, i bregethu am tuag awr a thri chwarter. Pregethodd yno, y flwyddyn ganlynol, am ddau ar y gloch; a phregethodd yno bob blwyddyn, o hyny hyd ei farwolaeth, oddieithr yn unig yn y flwyddyn 1832, pan y lluddiwyd ef gan y ddamwain ofidus a'i cyfarfu, ar y ffordd o'r Fronheulog i'r Bala, trwy neidio o hono allan o'r cerbyd, yn ei ddychryn, wrth weled yr anifail wedi gwylltio.

Chwefror 22, 1799, efe a briododd âg Elizabeth, merch hynaf Mr. Richard Broadhead, Tre'r Gôf, yn mhlwyf Llanbadrig, Sir Fôn. Yr oedd hi yn byw yn Llanfechell, ac wedi dechreu ar fasnach yno. Yn ganlynol i'w brïodas, efe a ymadawodd â Sir Gaernarfon, ac a symmudodd i breswylio yn Llanfechell. Cafodd yn ei wraig un oedd yn ymdeimlo, fel ef ei hunan, â phwysfawrawgrwydd y gwaith yr ydoedd ynddo, ac un nad oedd un ymdrech yn ormod ganddi i'w ryddhau ef oddiwrth bob gofal am eu hamgylchiadau, fel y gallai ymroddi yn gwbl iddo. Yn y blynyddoedd cyntaf, a thra yn magu y plant, nis gallai wneuthur hyny ond mewn rhan; ond, wedi i'r plant dyfu ychydig, hi a allodd wneyd hyny agos yn hollol. Collodd ei brïod, Ebrill 2, 1828. Yn fuan ar ol hyny, rhoddes y fasnach i fyny i'w blant, er mwyn iddo gael bod yn hollol rydd i'r weinidogaeth. Chwefror 10, 1830, efe a brïododd drachefn, â gweddw Sir John Bulkeley, o Bresaddfed, gerllaw Bodedern, Môn. Ar ol prïodi yr ail waith, efe a symmudodd i fyw i'r Fron, gerllaw Llangefni, lle y trigiannodd hyd ddiwedd ei oes, a'r lle, fel y crybwyllasom eisoes, y bu farw.

Fel pregethwr, yr ydym yn teimlo fod John Elias yn gwbl annysgrifiadwy. Yr oedd ynddo rywbeth ag y mae yn anmhosibl, dybygem ni, rhoddi un syniad am dano i'r rhai nas clywsant ef ei hunan, a rhywbeth oedd yn gwneuthur ei ddylanwad ar ei wrandawwyr yn annghydmarol. Yn y rhagoriaethau neillduol a berthynent iddo, yr oedd, yn ein bryd ni, gymmaint uwchlaw pawb ereill, fel nid yn unig nad oedd neb cyffelyb iddo, ond nad oedd neb yn dyfod yn agos ato i'w gystadlu âg ef. Yr ydoedd, y mae yn ddiammheuol, y pregethwr mwyaf poblogaidd, a chymmeryd y Dywysogaeth yn gyffredinol, a gododd erioed yn Nghymru. Yr oedd felly o'i gychwyniad cyntaf, ac yr oedd felly hyd ei ddiwedd. Yr oedd felly gartref yn gystal ag oddi-

cartref; yn Sir Fôn, yn gystal ag yn Sir Fynwy; yn Llanrhuddlad a Llangefni, fel yn Llangeitho neu Gaerfyrddin. Yr oedd felly yn y dref, ac felly yn y wlad; felly gydâ chyfoethogion a gwŷr urddasol a dysgedig, ac felly gydâ'r tlodion, y werin gyffredin, a'r rhai mwyaf anllythyrenog. Pa bryd bynnag y cyhoeddid ef i bregethu,—ar ganol dydd gwaith ganol y cynhauaf yn y wlad, neu ganol dydd marchnad neu ffair yn y dref, fel ar noson gyffredin yn yr wythnos neu ar y Sabbath,—nid oedd y capelau mwyaf prin yn ddigon helaeth i gynnwys ei wrandawwyr; a byddai raid iddo gan amlaf, mewn llaweroedd o fanau, am flynyddoedd meithion, os byddai yr hin mewn un modd yn caniatâu, bregethu yn y ffenestr, neu mewn rhyw le dan yr awyr agored. Pan ymwelai â Llundain, fel y gwnai bob dwy flynedd, pregethai bob boreu Sabbath am saith, i gapelaid llawn; a thrachefn, yn fynych, dair gwaith yn ystod y dydd. Byddai y capel, yn gyffredin, ac felly bob nos Sabbath, mor lawn, fel y byddai rhai yn methu myned i mewn iddo o gwbl; ac yn y dyrfa, byddai Cymry o bob parth ac o bob gradd i'w canfod: offeiriaid Eglwys Loegr, a wasanaethent mewn cynnulleidfaoedd Seisonig, megis Howells o Longacre, Hughes o Clerkenwell, a'u cyffelyb; gweinidogion ymneilldüol, o'r amrywiol enwadau, yr un modd; Owain Myfyr, William Owen Pugh, a'r beirdd a'r llenorion Cymreig yn ddieithriad; a phob dosbarth o Gymry, a breswylient yn y ddinas fawr. Yn yr oedfa y boreu am saith, ac ar nosweithiau yr wythnos, y gwelid yr offeiriaid a'r gweinidogion ymneillduol: a rhai o honynt wedi teithio mor foreu a hyny amryw filltiroedd i'w wrando, ond yno yn brydlawn, ac yno bob Sabbath a phob wythnos, mor gyson a'r pregethwr ei hunan. Am flynyddoedd lawer, ar ei ymweliadau â Liverpool, pregethai dair gwaith, ac yn fynych bedair gwaith, ar y Sabbathau; a phregethai bob dydd gwaith, am hanner dydd, yn nghapel Pall Mall,—yr hwn a fyddai ar yr awr hono yn orlawn, gan gynnulliad pobl o bob parth o'r dref i wrandaw arno. Pregethai drachefn, bob nos drwy yr wythnos, oddieithr nos Lun a nos Iau, ar y rhai y cynnelid, fel y gwneir eto, y cyfarfodydd eglwysig. A pha amlaf y pregethai, mwyaf fyddai y cyrchu ar ei ol; ac, fel rheol gyffredin, pa bryd bynnag y pregethai, byddai y cynnulleidfaoedd dan y dylanwadau mwyaf nerthol. Fe ddywedir, yn wir, fod yr effeithiau a ddilynent ei weinidogaeth, am yr ugain mlynedd cyntaf, yn gyfryw ag nas gallai hyd yn nod ei wrandawwyr ef ei hunan,

yn ei flynyddoedd diweddaf, braidd ffurfio un dychymyg am danynt. Clywsom y diweddar Mr. Hugh Hughes, yr Arluniwr ("*Cristion*"), yn dywedyd hyny droiau. Dyna hefyd olygiad Mr. Michael Roberts. Dyna yn bendant syniad Mr. Roberts, Amlwch. Dywedai wrthym unwaith, wrth sôn am dano,—"Ni chlywsoch chwi erioed mo John Elias." "Erioed mo John Elias?" meddem ninau; "dô, gannoedd o weithiau." "Naddo, erioed," meddai yntau; "*Mr.* Elias a glywsoch chwi. Ni chlywsoch chwi erioed mo *John* Elias."

Yn awr, wrth chwilio am elfenau y gallu mawr hwn oedd ganddo, a'r dylanwad rhyfedd oedd yn eiddo iddo, nid ydyw, dybygem ni, mewn un modd yn anhawdd cael gafael arnynt, er nas gallwn ni obeithio rhoddi un drychfeddwl am dano ynddynt, i'r rhai nas clywsant ef ei hunan. Nid ydym yn meddwl, pa fodd bynnag, eu bod i'w cael mewn un rhagoriaeth ynddo yn yr hyn a ellir yn brïodol ei alw yn fawredd meddyliol, yn yr ystyr a roddir genym i'r dynodiad, pan yn ei gymhwyso at y galluoedd neu y cynneddfau naturiol. Nis gellir priodoli iddo ef yr eangder na'r nerth na'r craffder rheswm, o'r fath ag a geir yn Aristotle neu Anselm; yn Barrow neu Locke neu Clarke; yn Butler neu Jonathan Edwards. Nis gellir ychwaith briodoli iddo yr arucheledd, y bywiogrwydd, y prydferthwch, y ffrwythlonedd, na'r gwylltineb dychymyg, a geir mor doreithiog yn Shakspeare a Milton; yn Jeremy Taylor ac Edmund Burke; yn John Bunyan a Christmas Evans. A llawer llai y gellir priodoli iddo y cyfuniad happus o'r ddau allu, y fath ag a geir yn Plato ac Augustine; yn Bacon a Hooker a Howe; yn Robert Hall a Dr. Chalmers; yn Henry Rees a John Jones; yn Dr. Newman a Dr. Edwards. Nid oedd cyfansoddiad meddwl, na chylch efrydiaeth Mr. Elias, mewn un modd, yn ei arwain ef at y wedd arddansoddol, neu athronyddol, i'r pwnc a fyddai ganddo dan sylw. Nid ydym yn tybied y gallasai byth weithio, nac y buasai ganddo nemawr hyfrydwch mewn gweled ereill yn ymgais at weithio, y fath gadwynau troellog, cywrain, manwl, cyflynol, o ymresymiad, ag a geir, er esiampl, yn nhraethodau Jonathan Edwards, ac a geid, yn fynych, yn mhregethau Mr. John Jones. Nid oedd ganddo, ychwaith, nemawr o'r athrylith farddonol, ag a'i galluogasai i ganfod cyffelybrwydd syniadau moesol ac ysbrydol yn ngwrthddrychau a ffurfiau y byd elfenol, ac i'w gwisgo ynddynt gydâ'r fath briodoldeb a phrydferthwch, nes eu gwneyd yn ddelweddau byw tragywyddol, yn meddyliau ei wrandawwyr, o'r

gwirioneddau neillduol a ddygid ganddo ger eu bron; neu, a newid y gymhariaeth, nes peri fod yn anmhosibl iddynt edrych byth ar y seren a'r cwmwl, y llŷn a'r afon, y ddeilen a'r blodeuyn, ond fel cynnifer o ddrychau naturiol, yn adlewyrchu yr anweledig a'r ysbrydol. Nid ydym yn honi dim fel hyn iddo. Nid ei fod yn amddifad hollol o'r naill a'r llall o'r rhai hyn, ond nid yn hyn yr oedd ei *ragoriaeth*. Ond yr oedd yn meddiannu rhywbeth annhraethol uwch a gwell at wneuthur pregethwr poblogaidd ac effeithiol nag a fuasai y graddau uchaf o'r pethau hyn, heb y pethau yr oedd efe wedi ei gyflenwi â hwynt. Nid llawer a fuant yn cyfarch cynnulleidfa, a ragorent, yn y gallu cyntaf, ar Samuel Drew, ac eto nid oedd ar ond ychydig o'i wrandawwyr ef un awydd i'w glywed drachefn. Ni bu neb erioed yn meddu mwy o'r gallu olaf na John Foster, ac eto ni bu odid neb erioed mwy aflwyddiannus fel pregethwr. Dywedai ei hunan nad oedd ganddo ef ddawn i ddim ond i waghau y capel. Yr oedd George Whitefield, o'r tu arall, heb ganddo ond y nesaf peth i ddim o'r naill na'r llall, yn un o ben pregethwyr y byd. Ac felly, yn ddiammeu, yr oedd John Elias. Beth oedd ganddo ynte? Dyna un peth, ac o bosibl y peth cyntaf, a darawai feddyliau ei wrandawwyr, *argyhoeddiad dwfn a dwys o ddwyfoldeb yr efengyl, ac o bwysfawrawgrwydd ei chynnwysiad ar gyfer byd colledig*. Yr oedd ei gwirioneddau wedi meddiannu ei holl enaid. Yr oedd, trwy ei brofiad ei hunan, wedi ei ddwyn i ymdeimlo i'r fath raddau â'i hawdurdod, fel nad oedd pob peth arall ond gwegi mewn cymhariaeth â hi yn ei olwg. Yr oedd yn credu, ac am hyny yn llefaru. Yr oedd ei argyhoeddiadau mor ddyfnion, a'i ffydd mor gref, fel nad oedd yn gallu ymdeimlo dim ag ammheuon o unrhyw fath, na rhoddi i wrthddadl, pa mor gydwybodol bynnag fyddai y sawl a'i cyflwynai, y sylw a deilyngai. Yn awr, er y gallai hyn fod yn anfantais fawr iddo i ymwneyd â rhyw fath o feddyliau, ac y buasai yn annghymhwysder hollol ynddo i eistedd yn nghadair yr Athronydd,—hyd yn nod yr Athronydd Duwinyddol,—eto yr oedd yn fantais arbenig iddo fel cennad dros Grist, i gyhoeddi, nid casgliadau ei reswm neu gynnyrch ei ymchwiliadau a'i ddarganfyddiadau ei hunan, ond datguddiad Duw; y gwirionedd megis y mae yn yr Iesu; meddwl yr Ysbryd; yr efengyl yr hon nid yw ddynol; "gair y cymmod" oedd wedi ei "osod" ynddo. Hyn, gydâ'r gallu traddodi digyffelyb oedd yn eiddo iddo, oedd dirgelwch yr awdurdod diderfyn oedd ganddo ar ei wrandawwyr. Yr oedd dyfnder a nerth ei

argyhoeddiadau, nid yn unig yn ei godi ef ei hunan uwchlaw amheuaeth, ond yn codi y rhai oll a wrandawent arno uwchlaw pob amheuaeth am dano. Pa fodd bynnag y teimlent eu hunain, ni byddai neb o honynt yn meddwl ammeu am foment byth, a oedd efe ei hunan yn credu yr hyn a leferid ganddo.

*Yr oedd ei feddwl hefyd wedi ei gyfoethogi, i raddau tra annghyffredin, â gwybodaeth, yn yr amrywiol ganghenau gwasanaethgar iddo, yn y weinidogaeth fawr.* Trwy lafur caled, ac yn ngwyneb anfanteision dirfawr, fe ymdrechodd i wneyd i fynu am ei ddiffyg o addysg foreuol; ac ni orphwysodd nes cyrhaedd rhyw fesur o gydnabyddiaeth braidd â phob peth, a deimlid ganddo yn angenrheidiol tuag at ei effeithiolrwydd fel pregethwr. Y mae yn amheus genym a oedd llawer yn ei oes, yn Nghymru o leiaf, can nad beth a allasai eu manteision boreuol fod, yn gwybod mwy am bob peth nag efe. Sylwer,—am wybodaeth yr ydym yn dywedyd, ac nid am ddysgeidiaeth; a llawer llai am ysgolheigdod. Yr oedd yn nodedig o gydnabyddus â Daearyddiaeth a Hanesyddiaeth; Daearyddiaeth Ysgrythyrol, a Chyffredinol; Hanesyddiaeth Eglwysig, a Chyffredin. Yr oedd yn dra chyfarwydd â chyfreithiau ei wlad. Mewn amgylchiadau cyffredin, gallasai roddi cynghor cyfreithiol, ag y gallesid dibynu arno, yn gystal âg odid gyfreithiwr. Yn ei wybodaeth am gyfansoddiad y corph dynol, yr amrywiol anhwylderau y mae yn ddarostyngedig iddynt, a'r cyfferïau goreu i'w symmud, yr oedd tu hwnt i lawer o feddygon. Yn ei gymmydogaeth ei hunan, pan y cartrefai yn Llanfechell, gan brinder meddygon proffesedig, fe roddid ymddiried mawr yn ei farn, a gwerth mawr ar ei gynghorion. Ac yr oedd ganddo ryw allu, priodol yn unig iddo ei hunan, i ddefnyddio pob gwybodaeth a gasglasai, i'w gynnorthwyo i wneyd yn fwy eglur i'w wrandawwyr y gwirioneddau mawrion a bregethid ganddo, ac i'w gwasgu gyda mwy o effeithiolrwydd at eu cydwybodau. Ond maes mawr ei lafur oedd,—Deonglyddiaeth Ysgrythyrol, a Duwinyddiaeth. Yr oedd ei wybodaeth yn Ysgrythyrau yr Hen Destament a'r Newydd, a phob rhan o'r naill fel y llall, o ran y llythyren a'r ystyr, yn ymddangos yn ddihysbydd. Tuag at ei gynnorthwyo i fyned i mewn i'r meddwl Dwyfol, fe ymroddodd i ddysgu cymmaint o'r ieithoedd yn y rhai y rhoddwyd y dadguddiad yn wreiddiol, ag i allu, trwy gymhorth Geiriaduron, barnu i ryw fesur, drosto ei hunan, am ystyr pob rhan o hono. Ac mewn Duwinyddiaeth, y mae yn ddiddadl fod ei feddwl

wedi ei gyflenwi â phrif weithiau yr Awdwyr goreu yn yr iaith Saesoneg, yn enwedig yr hen Buritaniaid, i raddau mor helaeth a neb, a hwyrach y gallem ddywedyd, i raddau helaethach nag odid neb yn ei oes. Yr oedd yn darllen yn wastadol, gartref ac oddicartref, ac ar hyd ei fywyd; ac yr oedd pa beth bynag a ddarllenai, gan nerth ei gôf, yn myned yn eiddo am byth iddo ei hunan.

*Yr oedd yn ymresymydd poblogaidd o radd uchel iawn.* Yr ydym wedi dywedyd na ellir honi iddo ef, o gwbl, yr ëangder a'r nerth rheswm, ag sydd yn hynodi prif feddylwyr yr oesoedd:—y gallu sydd yn cydio yn y gwirioneddau dirgelaf; yn eu holrhain i'w hegwyddorion cysefin; yn eu modrwyo, yn eu hamrywiol gysylltiadau, yn gadwyn gref, ddolenog, brydferth, fel ag i ddal pwysau oesoedd amser a thragywyddoldeb ei hunan; yn gadarn ac annhoradwy, fel angenrheidrwydd ei hun. Yr oedd hyny uwchlaw iddo. Ond yr oedd ganddo rywbeth annhraethol well iddo fel pregethwr. Yr oedd yn canfod, ar unwaith, y rhesymau cryfaf, ac yn enwedig y rhai Biblaidd, dros y gosodiad y dadleuai yn ei blaid; yr oedd yn gwybod yn berffaith pa rai, o'r rhai hyny, fyddent gyfaddasaf i gyfarfod y meddwl cyffredin, a chynnulleidfa gymmysg; ac yr oedd yn gallu cyflwyno y cwbl, yn y drefn fwyaf naturiol, i ennill cydsyniad y dëall â'i bwnc, a chydâ'r fath danbeidrwydd teimlad, ag i weithio argyhoeddiad o'i bwysfawrawgrwydd yn nghydwybodau a chalonau y rhai a annerchid ganddo.

*Yr oedd dychymyg areithyddol annghyffredin yn eiddo iddo.* Er nad oedd yn meddu ond ychydig o'r hyn a ellir alw yn ddychymyg barddonol, eto camgymeriad mawr ydyw dywedyd "nad oedd ganddo un math o ddychymyg." Yr oedd yn meddiannu yr hyn a alwasom yn awr dychymyg areithyddol, neu ddrychebol (*dramatic*), fel y gallem ei alw, i raddau uwch nag a welsom ni yn eiddo i neb arall erioed. Portrëadai y cymeriadau a'r amgylchiadau a'r dygwyddiadau, a ddysgrifid ganddo, nes nid yn unig y byddent yn ddarluniau byw, ond yn wrthddrychau ac yn sylweddau byw, ger bron llygaid ei wrandawwyr. Nid ydym yn tybied fod yn bosibl fod Robert Roberts, na neb arall, yn rhagori arno yn hyn. Yr oedd ei allu y fath, fel y byddai yn llëoli ei wrandawwyr yn gwbl yn nghanol yr amgylchiadau a ddysgrifiai; nes y byddent yn gweled y golygfëydd, yn clywed y sŵn, yn teimlo y dychryn, ac yn pryderu drwyddynt am eu bywyd. Clywsom y diweddar Barch. David Roberts o Abertawy, wedi hyny o Bontfaen, yn adrodd

am dano yn pregethu mewn Cymmanfa yn Morganwg. Drannoeth, yr oedd dau fachgen yn siarad â'u gilydd am y Gymmanfa, a'r pregethu, a'r pregethwyr. "Pwy," meddai un, "oeddit ti yn hoffi yn fwyaf?" "Pwy?" meddai y llall; "Pwy hefyd, ond John Elias." "Wel, ïe, o'n'd oedd e yn dda? O'n'd oedd e yn dyweyd yn ardderchog am Petr? *Yr oeddwn i yn gweled Petr yn sefyll wrth y Bont yna.*" Clywsom Mr. John Jones yn adrodd am dano yn pregethu mewn rhyw Gymdeithasfa lëol, a gynnelid gynt yn Mangor, ar ddydd Iau y Dyrchafael. Yr oedd yn pregethu allan mewn maes, o dan y ffordd, yn agos i'r *Penrhyn Arms.* Yr oedd hyny cyn i ni ymadael â Chaergybi. Y testyn y pryd hwnw oedd,—"Ac Agrippa a ddywedodd wrth Paul, Yr wyt ti o fewn ychydig i'm hynnill i fod yn gristion. A Phaul a ddywedodd, Mi a ddymunwn gan Dduw, o fewn ychydig, ac yn gwbl oll, fod nid nid tydi yn unig, ond pawb hefyd a'r sydd yn fy ngwrando heddyw, yn gyfryw ag wyf fi, ond y rhwymau hyn." Yr oedd ei ddarluniad o Paul yn ei amddiffyn ei hunan, y fath,—ac, yn enwedig, ei ddarluniad o ran ei eiriau, ei lais, ei olwg, a'i ystum, o'r cadwynau oeddent am ei ddwylaw,—fel ag y darfu i ryw longwr, oedd yn gwrando ar y cae, ac yn sefyll yn ymyl Mr. John Jones, waeddi allan,—"Ffei, ffei! tynwch y *chainiau* yna, ar unwaith, oddiam ddwylaw y dyn." Ni a'i clywsom ef ein hunain, laweroedd o weithiau, yn arddangos y gallu hwn i'r fath raddau, nes y byddai y bobl, dan ei ddylanwad, yn ymddangos fel wedi colli pob meddiant arnynt eu hunain. Nid ydyw ond megis doe genym edrych yn ol, dros wyth mlynedd a deugain bellach, at Gymmanfa yn Nghaergybi, yn nechreu Hydref, 1824, pan gawsom brawf nodedig o hyn. Yn yr oedfa am ddeg y boreu, wedi i'r diweddar Mr. Owen Jones o'r Gelli, bregethu oddiar Esaiah xlviii. 21, a chyn i Mr. William Morris, Cilgeran y pryd hyny, bregethu oddiar Joel ii. 31, rhoddes Mr. Elias gyfarchiad i'r gynnulleidfa, er annog pawb i sobrwydd a gweddeidd-dra priodol i gyfarfod crefyddol yn ystod y Gymmanfa. Yr oeddem ni yn eistedd ar yr esgynlawr, yn y porth yr elai y pregethwyr i fyny, a'n traed ar yr ysgol ar hyd yr hon y dringent. Yr oeddem, felly, yn ymyl yr areithfa ac mewn mantais i gael golwg ar yr holl dorf. Llefarai gydâ grym mawr yn erbyn meddwdod, fel pechod sydd bob amser, ac yn mhob man, yn diraddio dyn yn fwy nag odid un pechod arall; ond fe safai yn arbenig ar ei ysgelerder mewn cyfarfod crefyddol;

a gobeithiai nad oedd yno neb, am gymmeryd mantais ar gynnulliad felly, i dynu gwarth ar eu gwlad, arnynt eu hunain, ac ar grefydd.—"A oes yma feddwon? Yr wyf yn ofni fod. A gaf fi erfyn arnoch, a wnewch chwi am heddyw, beth bynnag, geisio eich llywodraethu eich hunain? Os nad oes genych ddim parch i'r Brenhin Mawr, dim parch i gyfreithiau eich gwlad, dim parch i chwi eich hunain,—yr wyf yn addef fy mod i yn cymmeryd tir isel,—A wnewch chwi, am heddyw, er ein mwyn ni, fod yn sobr a gweddaidd? Yr ydych trwy ddyfod i gyfarfod fel hyn, i yfed a meddwi ac ymddwyn yn afreolaidd, yn tòri ein *character* ni. Nid ydyw ein gelynion yn y wlad wedi marw i gyd eto. Y maent yn barod i ddefnyddio pob peth, a dybiont hwy a wasanaetho i hyny, yn achlysur yn ein herbyn. Ac nid oes genym ni ddim ond ein *character* i syrthio arno. Nid ydym ni yn gyfoethog; nid ydym yn ddysgedig; nid ydym yn ddoniol; nid oes genym ditlau uchel; ni feddwn ni neb yn ein mysg mewn awdurdod fawr. Ond y mae genym ein *character;* yr ydym yn meddwl cryn dipyn o'n *character;* yr ydym am gadw ein *character;* nid ydym, os gallwn, am adael i neb dori ein *character.* Ac y mae meddwon y *Sassiynau* yma yn tòri'n *character* ni. A'n dilyn ni, y Methodistiaid tlodion, y mae nhw. Beth a wnawn ni o honyn' nhw, frodyr?" "*Eu llunio,*" meddai rhyw lais o'r tu ôl iddo, gan gyfeirio at y bregeth oedd newydd gael ei thraddodi. "Yr ydwyf fi," meddai yntau, ac yn dechreu cyffroi, "yn teimlo awydd y munud yma, i'w rhoi nhw ar *Auction*, i bwy bynnag a'u cymeron' nhw, fel na chaffom ni ein blino ganddynt mwy." Ac yna, ar uchaf ei lais, gan estyn ei fraich allan, ac fel pe buasai yn eu dal yn ei law, fe waeddai,—"Pwy a'u cymmer nhw? Pwy a'u cymmer nhw? Eglwyswyr, a gymmerwch chwi nhw? 'Nyni! Yr ydym ni yn ein bedydd yn proffesu ymwrthod â'r diafol a'i holl weithredoedd. Na: ni chymmerwn ni mo'nyn' nhw.'" Yna dyna enyd o ddistawrwydd. "Independiaid, a gymmerwch chwi nhw? 'Beth? Nyni! Yr ydym ni er ys llawer oes wedi gadael Eglwys Loegr oblegyd ei llygredigaeth; ni chymmerwn ni mo'nyn' nhw.'" Ychydig ddistawrwydd eto. Ond, gyda'i fraich allan, gwaeddai drachefn,—"Fedyddwyr, a gymmerwch chwi nhw? 'Nyni! Yr ydym ni yn trochi ein pobl ni i gyd mewn dwfr, i ddangos mai rhai glân a gymmerwn ni: ni chymmerwn ni mo'nyn' nhw.'" Distawrwydd eto. "Wesleyaid, a gymmerwch chwi nhw? 'Beth? Nyni! Y mae gweithredoedd da yn bwnc bywyd genym ni: ni fynwn

ni mo'nyn' nhw.'" Yna, dyna fo yn estyn ei law allan, ac fel pe buasai yn eu dal ynddi, yn troi ei olwg o gylch y dorf, ac yn gwaeddi â nerth uchaf ei lais,—"Pwy a'u cymmer nhw? Pwy a'u cymmer nhw? Pwy a'u cymmer nhw?" Ond ar darawiad, dyna ei natur yn cyffroi; ei lygaid yn melltenu; dyna ryw ysgogiad rhyfedd arno ei hunan; dyna fo yn troi ei wyneb at ei ochr aswy, ac mewn llais lled isel, ond eto i'w glywed gan yr holl dorf, yn dywedyd,—"Braidd na chlywn i y cythraul, wrth fŷ mhenelin i, yn dywedyd,—'*Tarewch nhw i mi; mi cym'ra' i nhw.*'" Yna dyna fo yn codi ei lygaid i fynu, ac â golwg sobr, ddifrifol ofnadwy arno, yn edrych o'i amgylch ar y gynnulleidfa, ac, am tua chwarter munud, heb ddywedyd gair. Ond dyna fo yn troi eto at ei ochr aswy; a chan ysgwyd bys blaenaf ei law ddeheu at ei benelin, unwaith, dwywaith, teirgwaith, yn gwaeddi gydâ nerth mawr, nes oedd ei lais yn diasbedain trwy y dref,—"Yr oeddwn i yn myn'd i ddweyd, ddiawl, y cait ti nhw: ond"—gan godi ei olygon, a thaflu ei law i fynu tua'r nefoedd, a chydâ llais buddugoliaethus, tyner, yn llefain,—"mi glywaf Iesu yn gwaeddi,—'Mi cym'ra' i nhw; mi cym'ra' i nhw; mi cym'ra' i nhw; yn aflan i'w golchi; yn feddwon i'w sobri; yn eu holl fudreddi i'w glanhau â'm gwaed fy hun.'" Erbyn hyn, yr oedd yno olygfa hynod. Yr oedd y pregethwyr ar yr esgynlawr fel wedi dyrysu. Yr oedd y dorf fawr yn un berw drwyddi; a'r effeithiau y fath fel yr oedd llawer wedi tori allan i hwyliau gorfoleddus. Fe ddyfethwyd gweddill y cyfarfod y boreu hwnw: yn wir, fe ddyfethwyd gweddill y Gymmanfa yn hollol, hyd nes aeth efe ei hunan i bregethu yn ddiweddaf yn y Capel yn yr hwyr, pryd y cafodd, oddiar Ioan iii. 15, un o oedfaon mwyaf nerthol ei holl oes. Os bu dychymyg areithyddol yn eiddo i neb erioed, yn sicr yr ydoedd gan John Elias.

Ond, wedi y cwbl, ei ragoriaeth mawr oedd, *y gallu traddodi oedd yn eiddo iddo*. Yn hyny yr oedd yn ddigyffelyb. Byddai un yn teimlo wrth ei wrandaw nad oedd bosibl byth *dywedyd* y peth yn well. Nid ydym yn meddwl y buasai rhyw ardderchawgrwydd mawr yn ei bregethau ef fel *cyfansoddiadau i'w darllen*, hyd yn nod pe cawsid hwynt air am air fel y delent dros ei wefusau ef ei hunan; ond yr oedd efe, wrth eu traddodi, yn gallu anadlu rhyw fywyd iddynt, oedd yn peri fod eu dylanwad yn rhyfedd ac yn ofnadwy ar ei wrandawwyr. Ni a grybwyllasom yn y "RHAGDRAETH" i'r gyfrol o Bregethau, a elwir "*Lampau y Deml*," am hanesyn a adroddwyd i ni gan yr hen flaenor,

Mr. Meredith Morgan, o Faes y Careiau, ag yr ydym yn tueddu i'w ddodi i mewn yma hefyd, er egluro hyn. Adroddwyd yr hanesyn i ni yr un diwrnod ag y cawsom yr hyn a grybwyllwyd genym eisoes am Mr. Elias yn pregethu yn Mathafarn. "Mi ddywedaf i chwi," meddai yr hen ŵr, "y peth cyntaf erioed a glywais i am John Elias. Fe ddaeth Dafydd Cadwaladr heibio yma ryw ddiwrnod:—'Yr ydwyf fi,' meddai, 'wedi bod mewn Cyfarfod Misol tu hwnt i afon yr Abermaw, ac ar dipyn o daith rhwng y ddwy afon yna, ac yr ydwyf yn galw heibio i gael tamaid wrth basio adref.' 'Da iawn,' meddwn inau, 'y mae yn dda iawn genyf eich gweled bob amser.' Wedi tipyn o siarad, mi ofynais iddo, 'pa fath Gyfarfod Misol a gawsoch chwi tu hwnt i afon yr Abermaw?' 'Wel,' ebe yntau, 'yr oedd yno ryw fachgen o wëydd o Sir Gaernarfon; ac y mae o wedi dechreu pregethu; ac fe'u rhoeson' o i bregethu yn y Cyfarfod Misol: y Brenhin Mawr a'i cadwo fo rhag cyfeiliorni; *fe fydd raid i'r bobl goelio y peth ddywed o!*'" Dyna oedd effaith ei draddodiad y pryd hyny ar feddwl Dafydd Cadwaladr. Yr oedd yr un hynodrwydd ynddo ar hyd ei oes. Yr oedd pob peth siarad, ryw fodd, yn cyd-gyfarfod ynddo. Yr oedd ei ymddangosiad allanol yn dra manteisiol iddo. Yr oedd yn ddyn tàl, ychydig dros bum troedfedd a deng modfedd, ond yn deneu ac esgyrnog; yn sefyll yn syth; ei wynebpryd yn dywyll, ac ychydig o ôl y frechwen arno; ei lygaid yn lwyd-leision, ond yn fywiog a threiddgar, ac yn nodedig o ddynodiadol; ei wallt yn hollol ddu, ac yn grych a chryf; y bochgernau yn uchel ac amlwg; y talcen yn llawn ac yn dda; a'r genau yn arwyddo beiddgarwch diarswyd a phenderfyniad diysgog. Yr oedd yr holl olwg arno yn arddangos dyn o'r difrifwch a'r sobrwydd mwyaf, ac eto un hynod o feiddgar a hyf ac awdurdodol. Yr oedd ganddo lais cryf, cyrhaeddgar,—un o'r lleisiau *siarad* goreu, os nad y goreu, a glywsom ni erioed,—ond yn fwy cyfaddas i'r cyffröus a'r ofnadwy nag i'r tyner a'r serchiadol, ac yn gwbl amddifad o'r beroriaeth, a fuasai yn ddigon ei hunan i swyno cynnulleidfa. Yr oedd ganddo gyflawnder o eiriau, a'r rhai hyny bob amser yn briodol i'w amcan, ac yn hollol ddealladwy i'r lliaws, heb byth syrthio yn isel a gwael; yr oedd ei frawddegau yn syml a naturiol, ac wedi eu llunio i'w siarad yn y modd mwyaf effeithiol; yr oedd nodwedd yr ymdriniaeth yn wastadol mor gelfydd ag i beri digon o ddyddordeb yn mhawb i sicrhau sylw perffaith, ac heb fod byth mor ddwfn ag i drethu cymmaint ar y sylw ag i lethu y

teimlad; yr oedd ei feistrolaeth ar ei lais, fel ag i'w amrywio, yn ol ei ewyllys, i gyfateb i nodwedd y mater a fyddai ganddo dan sylw,—yn enwedig o fewn cylch y gorchymynol, y bygythiol, y difrifol, a'r ofnadwy, —yn berffaith; ac agos felly gydâ'r gwahoddol a'r addawol; ac yr oedd ei aceniad mor hysain a chroew, ei bwysleisiad mor naturiol a chywir, ei ystum mor weddaidd a phriodol a dynodiadol, a'i holl ymddangosiad mor sobr a difrifol a sanctaidd,—yn fyr, yr oedd pob peth o'i amgylch yn gyfryw ag i'w wneyd, o'r munud yr agorai ei enau, yn un nad oedd yn bosibl peidio a gwrando arno, ac yn un yr oedd yn anmhosibl gwneyd hyny heb deimlo oddiwrtho. Ond yn ychwanegol at hyn oll, fel yr elai rhagddo, efe a arddangosai y fath ymröad ac egni a grym, y fath wres ac angerddoldeb teimlad, fel y byddai ei holl natur yn llosgi megis ffwrn, a'r gwreichion poethion yn cael eu taflu oddiwrtho nes gwneyd y gynnulleidfa yn un oddaith, ïe, yn un eirias danllyd. Byddai y fflamau yn ymestyn yn mhob cyfeiriad, nes y gwelid y dynion cryfaf yn llewygu gan ofn, ac y teimlid fod "nerthoedd y byd a ddaw" yn ymaflyd yn mhob meddwl a chydwybod ger ei fron. Ac eto, yn nghanol y cyffröad ofnadwy hwn, byddai efe, nid yn unig yn ei feistroli ei hunan yn berffaith, ond yn ymddangos yn cynnyddu mewn hunan-feddiant. Pa fwyaf y gwres, lleiaf y mŵg, a chryfaf y goleu. Ym-ddangosai yn myned yn ddyfnach mewn dirnadaeth fel y byddai yn ymddyrchafu mewn teimlad; byddai ei lygaid yn clirio fel y byddai ei galon yn twymno; ac nid oes un amheuaeth na byddai ei iaith yn ymloewi ac yn ymgryfhau, y drychfeddyliau yn myned yn fwy-fwy dys-glaer a gogoneddus, a'r bregeth yn ymberffeithio fel cyfansoddiad, yn ol y graddau y byddai ei natur yn cael ei chyffroi gan ymweithiad y trydan ofnadwy yr oedd wedi ei lwytho âg ef.

Esgynai i fynu i'r pulpud, gydâ rhyw wylder a pharchedigaeth, a arwyddent ei fod yn edrych arno yn lle ofnadwy; a byddai rhyw ddif-rifwch ar ei wedd ynddo, oedd arno ei hunan yn bregeth. Ar foreu y Gymmanfa, wedi i un o gawri y weinidogaeth bregethu o'i flaen, ond yn wastadol mewn cryn frys, "i roddi lle i was yr Arglwydd," dyna yntau yn codi. Byddai yn hawdd canfod, ar wynebau y miloedd, fod etholedig y dyrfa ger eu bron. Taflai ei olwg yn ddifrifol o amgylch y dorf, a'i ymddangosiad yn amlwg yn arwyddo fod cryn raddau o bryder yn ei ysbryd, ond nid dim yn terfynu ar ofn. Rhaid i ni gydnabod nad ydym ni yn cofio dim am y wên, y sonia Eben Fardd am dani, ar ei wyneb ar y

fath adeg. Rhoddai bennill allan i'w ganu, perffaith gyfaddas i'r bregeth a draddodasid gan ei frawd o'i flaen. Tra y cenid y pennill, tröai at ei destyn, yn gystal ag at amrywiol adnodau yma a thraw yn y Bibl, gan blygu y dail gyferbyn â hwynt, y rhai yr amcanai eu defnyddio yn ei bregeth er egluro y naill ran neu y llall o'r gwirionedd y bwriadai y pryd hyny ei ddwyn ger bron ei wrandawwyr. Darllenai ei destyn ddwy waith drosodd, yn eglur, arafaidd, a phwysig; ac, er mewn cywair hollol naturiol, eto gydâ llais a gyrhaeddai i eithaf y dorf. Gwelid ugeiniau, yn y cyrau pellaf, yn ei ysgrifenu yn eu côf-lyfrau. Yr oedd rhywbeth, hyd yn nod yn ei ddarlleniad o'r testyn, a daflai oleuni newydd arno i feddyliau lliaws o'i wrandawwyr. Dechreuai ei bregeth gydâg ychydig sylwadau deheuig ac eglur, yn cyfodi naill ai oddiar ryw air arbenig yn y testyn, neu o'r cysylltiad neillduol y gorweddai y testyn ynddo, sylwadau cyffredin, ond yn ei ddull ef o'u traddodi, yn ymddangos yn gwbl newydd, ac yn arwain, yn hollol naturiol, at y testyn. Yna, gydâ medrusrwydd mawr, efe a esboniai y testyn, gan ddangos ei gysylltiad â'r cyd-destyn, ac, yn enwedig, gan sefyll ar ystyr ei eiriau neillduol. Cyfeiriai yn fynych at gyfieithiadau gwahanol, at arferion a defodau dwyreiniol, at y deongliadau a'r traddodiadau Iuddewig, ac at amgylchiadau Israel yn eu cysylltiad a theyrnasoedd a chenhedloedd ereill. Crybwyllai, o bosibl, olygiadau Ainsworth, Pool, Lightfoot, Lowth, neu Horsley; neu ynte, Campbell, Macknight, Owen, neu Leigh. Gwrthodai yn bendant un esboniad, er fod amryw feirniaid galluog yn ei bleidio; ymddangosai mewn gradd o betrusder pa un o ddau ereill i'w gymmeryd; ond, o'r diwedd, dygai yn mlaen resymau beirniadol neu ddeongliadol, duwinyddol neu hanesyddol, dros y golygiad a gymmeradwyid ganddo ef, nes gadael y gwrandawwyr, bob un o honynt, yn argyhoeddedig mai yr ystyr hwnw oedd y gwir ystyr, ac nes gwneyd yr adnod, o hyny allan, yn gwbl gynnefin iddynt. Yn wir, rhwng yr esboniad a'r bregeth a ganlynai, byddai y testyn yn gyffredin wedi ei argraffu ei hunan yn annileadwy dros byth ar feddyliau ei wrandawwyr. Pa bryd bynnag, hyd y dydd hwn, gan gannoedd o'i hen wrandawwyr, y clywir yr adnod, neu y cyfarfyddir â hi wrth ddarllen, fe gofir am dano ef yn pregethu arni. Wedi egluro ystyr y testyn, dechreuai ei ranu, a chyflwynai ger bron ei wrandawwyr yr hyn yr amcanai alw eu sylw ato oddiwrtho. A dyma, dybygem ni, lle yr oedd

ei ddiffyg mwyaf fel cyfansoddwr. Nid oedd digon o unoliaeth yn y bregeth. Ni byddai braidd byth fel yn cydio yn asgwrn cefn y testyn, ac yn tynu allan o hono y gwirionedd mawr a orweddai ynddo, gan ei egluro, yn ei amrywiol weddau, â'r defnyddiau a geid yn y testyn ei hun. Nid oedd ganddo ond anfynych yr hyn a elwir yn *conception*—rhyw un peth yn tynu pob peth arall iddo ei hun. Ac nid mor aml, mewn cymhariaeth, er y ceid hyny yn llawer amlach na'r llall, y byddai y bregeth yn cymmeryd y wedd *osodiadol*—neu yr amrywiol benau yn y ffurf o osodiadau cyffredinol, ac yn cyfodi o, neu yn gorwedd ar, gynnwysiad y testyn. Yr ydym yn addef y ceid y rhai hyn yn lled fynych, a byddent, bob amser, yn rhai tra rhagorol. Ond yr oedd y rhaniadau, gan amlaf, mewn gwedd *destynol.* Byddai yn cael dau neu dri o benau yn naturiol yn y testyn; ac yn eu trin braidd yn wastadol, ac yn gampus dros ben, yn ngeiriau y testyn ei hun, gan gymharu y defnydd o'r un gair a'i gysylltiad mewn lleoedd ereill yn yr ysgrythyrau. Os "caledwch" fyddai ganddo dan sylw, fe ddangosai fedrusrwydd anarferol yn yr ystyr a dynai allan, a'r cymhwysiad a wnelai o'r defnydd o'r amrywiol eiriau,—"calon-galed"; "gwàr-galed"; "gwyneb-galed"; "talcen-caled." Os "edifeirwch": "edifarhau *wrth*"; "edifarhau *am*"; "edifarhau *oddiwrth*"; "edifarhau *fel*"; "edifeirwch tuag *at*"; "edifeirwch *i.*" Os byddai ymadrodd ffugyrol yn y testyn, fe'i heglurai mor gywrain, ac eto mor gynnil a doeth, fel y byddai nid yn unig y gwirionedd a amcenid ynddo yn amlwg i'w wrandawwyr, ond y gymhariaeth ei hunan yn ddealladwy iddynt byth. Yr ydym yn ei gofio yn pregethu yn Nghymdeithasfa Caernarfon, yn y flwyddyn 1836, ar y geiriau yn Iago i. 21, am dderbyn "yr impiedig air"; pryd y triniai y gymhariaeth am "impio," gydâ'r fath oleuni a phrïodoldeb ac effeithiolrwydd, fel yr oedd un gŵr, wrth adael y maes, yn dywedyd,—"Wel, pa les bynnag arall a gefais i yn y Sassiwn yma, mi fedraf finnau impïo coed yrwan." Ond er y byddai sylfaen yr ymdriniaeth yn gorwedd ar eiriau y testyn, efe a âi i bob man, yn y nefoedd uchod ac ar y ddaear isod ac yn y dwfr tan y ddaear, am ddefnyddiau i'w gwneyd yn fwy eglur. Llefarai yn oleu, yn rymus, ac yn effeithiol. Byddai y dyrfa i gyd yn ei law, a llygaid pawb oll yn craffu arno. Ni byddai neb yn cysgu, neb yn gwammalu, neb yn ddiofal. Elai rhagddo felly, nes y byddai wedi gorphen â'r pen cyntaf. A theimlad pawb a fyddai,—Dyna hwna wedi ei benderfynu. Gadewch

iddo, yn y fan yna, am byth. Am eich bywyd, gwyliwch ymyraeth âg ef. Ac, yn enwedig, cofiwch y berthynas ddigyfnewid ac ofnadwy sydd rhyngddo â chwi eich hunain. Yna, yn yr un dull nerthol a hunan-feddiannol, fe ddechreuai drachefn, ac a elai rhagddo gydá'r pen nesaf. Parhâi i gadw at eiriau ei destyn; ond fe dynai allan o honynt ryw ystyr, nad oedd neb yn y lle wedi meddwl am dano erioed o'r blaen; ac fe'i daliai ger bron ei wrandawwyr, yn y fath oleuni, fel y byddai yn ennill cymmeradwyaeth pob deall a chydwybod yn eu mysg. Siaradai yn eglur, yn gryf, yn awdurdodol. Yn fuan fe ganfyddid rhyw gyffroad rhyfedd arno. Byddai ei deimladau yn tanio; ei lygaid yn melltenu; ei lais yn ennill rhyw oslef agos annaearol, a rhyw nerth goruwchnaturiol ynddo. Erbyn hyn, fe fyddai yr olwg allanol arno wedi cyfnewid yn ddirfawr; edrychai yn dalach o fodfeddi nag ydoedd; a byddai ei gorph yn ymwâu ac yn ymgordeddu, dan ddylanwad ei deimladau, ac yn cyfateb i'r meddyliau a fyddent yn berwi yn ei enaid. Ar adegau, edrychai yn syn, yn ofnus, yn frawychus; tynai ei fochau rywfodd i'w enau; clöai y gwefusau; ymddangosai fel yn gweled rhyw ddrychfeddwl arswydlawn, ond yn methu cael gafael hollol arno, neu ar y geiriau priodol i'w ddarlunio. Ond, toc, fe welid y fraich yn cael ei hestyn allan, a'r bys blaenaf yn chwareu fel pe buasai ganddo fywyd o'i eiddo ei hunan, annibynol ar y fraich a'r corph; teflid y drychfeddwl allan fel y fellten ofnadwy; clywid y daran ddychrynllyd yn rhuo; disgynai y cawodydd aruthrol; byddai teimladau y dyrfa i gyd fel yr eiddo Israel o dan Sinai; gwaeddai lliaws mewn cyffro am eu bywyd,—fel y dyn hwnw yn Mrynsiencyn,—"Evan Richard o Gaernarfon, neu ryw un, am bum' munud o rywle, rhag i ni farw!!"—a byddai yno ocheneidiau a gruddfanau a wylofain cyffredinol; dychrynfeydd Duw yn treiddio trwy y lle. Ond ar hyny, fe welid ei wedd yn newid, a'r serchawgrwydd a'r graslonrwydd mwyaf yn pelydru yn ei wynebpryd; clywid ei lais yn lleddfu; dygai allan, yn ei holl oludoedd, drefn yr efengyl am ymwared,—un Iesu wedi marw fel y gallai yr euog gael byw,—a hyny yn y fath hwyl, a chydá'r fath brawf yn nghydwybodau y bobl o'i fod ef ei hunan wedi cael ei fywyd trwyddo, fel y byddai gobaith yn gwawrio ar y calonau mwyaf cythryblus; y cymmylau tywyll, düon, yn cael eu gwasgar; yr awyr yn clirio; yr haul yn codi; a chysgod angeu ei hunan yn cael ei droi yn foreu-ddydd. Terfynai trwy weddi daer, a rhoddai bennill i'w

ganu mor gyfaddas i'r bregeth a phe buasai wedi ei wneyd ar ei chyfer; ac elai pawb adref dan yr argraffiadau dwysaf, a rhai wedi eu hachub am byth—wedi myned trwodd o farwolaeth i fywyd.

Byddai yn cael, weithiau, oedfäon celyd iawn. Nid ydym yn cofio nemawr neb yn cael rhai caletach. Clywsom ef ein hunain yn dywedyd iddo gael dwy felly, pryd yr oedd mor dywyll arno, fel ag iddo fethu yn hollol, a gorfod rhoddi y cwbl i fynu mewn ychydig funudau. Ond pan nad ymddangosai un pall felly arno, a phan y byddai y bregeth yn gyfansoddiad manwl a threfnus a galluog, byddai, weithiau, yn cael oedfäon nodedig o galed. Ac fe fyddai ei rai caled ef, yn rhai *caled iawn*. Yr ydym yn cofio un tro yn neillduol felly. Yr oedd yn pregethu yn Mangor ryw noswaith, ychydig cyn y Sulgwyn, 1835, pan ar ei ffordd i Gyfarfodydd Liverpool a Manchester, ac oddiyno, cyn dychwelyd adref, tua Chymdeithasfa y Bala. Ei destyn, y noswaith hono, oedd Esaiah vi. 9, 10. Yr un bregeth oedd hon, ag a draddodwyd ganddo yn y Bala y flwyddyn hono, ac a ddilynid yno â'r fath effeithiau. Yr ydoedd, yn y Bala, yn arbenig yn mhlith pregethau blynyddoedd diweddaf ei oes; ac y mae yn amheus a welwyd effeithiau rhyfeddach i bregeth, nemawr o weithiau erioed. Yr oedd arswyd Duw yn llenwi y lle; dynion cryfion ar lewygu, os nad yn llewygu, gan ofn; a'r byd arall, ar y pryd, yn meddiannu meddwl pawb. Ni a gyfeiriasom o'r blaen (*tu dal.* 282, 283) at y bregeth hon, ac at adroddiad y Parch. Ebenezer Richard o'i deimladau ef wrth ei gwrandaw; a lled gyffelyb oedd teimladau yr holl gynnulleidfa. Ond yn Mangor, ar y noswaith y cyfeiriwn ati, er fod y bregeth yn un â'r difrifwch mwyaf yn ei mater, ac yn cael ei thraddodi gydâ medrusrwydd a nerth mawr, eto yr oedd yn disgyn ar y gwrandawwyr yn hollol ddieffaith, heb ymddangos, yn wir, yn gwneyd un argraff ar neb. Gall y darllenydd, fe ddichon, gael gwell drychfeddwl o'r teimlad, os esgusodir ni i adrodd yr hanesyn canlynol. Yr oeddem ni, y noswaith hono, yn dygwydd bod yn dechreu y cyfarfod, ac yn eistedd y tu cefn iddo yn y pulpud, tra yr oedd efe yn pregethu. Gydâ ein bod yn y tŷ, meddai ein mam wrthym,—"Wel, yr oedd yn ddrwg gan fy nghalon i dy fod di yn dechreu yr oedfa i John Elias heno." "Paham? fy mam," ebem ninau. "Paham? ond rhag i ryw rai feddwl mai o dy achos di yr oedd o yn ei chael hi mor galed." Yr oedd Mr. Elias ei hunan yn teimlo ei bod hi yn galed iawn arno. Pan ofynwyd iddo gan y blaenoriaid,

yn nhŷ y capel, pa bryd y deuai yno drachefn? efe a atebodd, ar unwaith,—"Mi ddeuaf yma y nos Sul cyntaf ar ol *Sasiwn* y Bala, ar fy ffordd adref. Yr oedd Mr. Rowland, Llangeitho, yn cynghori rhyw bregethwr ieuanc, os câi o oedfa go dda yn rhywle, i beidio gwneyd brys mawr am fyned yno drachefn; ond, os câi efe un go galed, i fyned yno y cyfle cyntaf. Mi gefais innau," meddai, "nid un *go* galed, ond un galed *iawn* heno; ac mi ddeuaf yma y nos Sul hwnw, i edrych a gaf fi un well y pryd hyny." Fe ddaeth y nos Sul, Mehefin 22, 1835; ac fe gafodd oedfa i'w chofio byth, yr hynotaf a glywsom ni ganddo erioed. Pan y byddwn ni yn cofio am dano, at y noswaith hono, yn naturiol, y bydd ein meddwl yn myned. Ni chlywsom ddim cyffelyb erioed, ac nid ydym yn dysgwyl clywed dim cyffelyb ychwaith. Yr ydym yn cofio eto ein bod, ryw bryd yn ystod y bregeth, yn troi megis yn ddiarwybod i ni ein hunain, ac yn edrych dan y *Gallery*, i weled a oedd y colofnau yn eu lle ai peidio. Y testyn oedd,—Heb. vi. 7, 8. Ni a allem ddodi y bregeth i mewn yma yn lled gyflawn; ac nid ydym yn ammeu na ddarllenai yn lled dda. Ond ni byddai dim o honi, a ellid roddi byth ar bapur, braidd yn un cymhorth i neb, ac yn enwedig i'r rhai nas clywsant ef ei hunan, i ffurfio prin un ddirnadaeth am y lle *rhyfedd* oedd yn y Tabernacl, yn Mangor, y noswaith hono. Yr oedd yno ugeiniau, os nad cannoedd, a rhai o honynt hyd hyny yn nodedig am eu hannuwioldeb, yn gwaeddi allan am eu bywyd. Fe bregethodd am *awr a phum munud ar hugain;* ond yr oedd ei hunan dan gynhyrfiadau mor nerthol, fel na phregethodd drachefn am yn agos i fis o amser. Ni oddef ein terfynau i ni gyfeirio at lïaws o oedfäon hynod a gafodd, y buasai yn dda genym grybwyll am danynt, a adawsant eu hôl am byth ar y cymmydogaethau lle y cynnelid hwynt. Ond rhaid i ni adael y cwbl heibio. Yn y gallu i daflu goleu i'r llïaws ar ystyr yr ysgrythyrau sanctaidd,—y cyfuniad o'r pynciol a'r ymarferol yn ei bregethau, nes peri argraff o amrywiaeth diddiwedd arnynt,—y teimladau dwys ac angerddol y byddai braidd yn wastadol tanynt,—ac, yn enwedig, ei allu areithyddol digyffelyb, yn rhoddi iddo ryw ddylanwad diderfyn ar feddyliau ei wrandawwyr,—ein barn bwyllog ni ydyw, fod y fath ardderchawgrwydd yn ngweinidogaeth John Elias, ag a fuasai mewn gwlad, heb fod mor gauedig, oblegyd ei hiaith, oddiwrth y byd a Chymru, yn ddigon i greu cyfnod newydd yn hanes y Pulpud Cristionogol.

Byddai yn resyn i ni attal oddiwrth ein darllenwyr yr Englynion campus canlynol, a gyfansoddwyd iddo gan y Parch. William Rees (*Gwilym Hiraethog*):—

"John Elias! enw i luoedd—sy 'n anwyl,
Sai 'n enwog am oesoedd;
Dyn i'w wlad yn wawl ydoedd,
Dyn Duw fe adwaenid oedd.

"Arwyl fawr ar ei ol fu,—O! fywyd
Cymmanfaoedd Cymru!
Gwaew enaid i'n gwânu
Ei roi tan y gweryd du.

"Hir wasgai galarwisgoedd,—yn ol hyn,
Lwynau 'n hareithfäoedd;
Efe uwch ben tyrfäoedd,
Cerub Duw 'n creu bywyd oedd.

"Cawr eu nerth a'u coron hwy—a giliodd
Mae 'n galed y gofwy;
Geir sôn o Fôn i Fynwy
Fyth o'u mewn am ei fath mwy?

"Efo 'i fys y dyrfa fawr—arweiniai,
Megis rhiniwr swynfawr;
Annuwiolion yn welw-wawr
A'i daer lef dorai i lawr.

"Curai i agor y creigiau—â gordd Duw,
Gyrodd dan eu seiliau;
A tharan nerth ei eiriau
Gwnodd fyrdd o'u gau noddfâu.

"Os unwaith i ben Sinai—elai fo,
Tymhestl fawr ddilynai;
Horeb grwn ei grib grynai
Hyd i gryf waelod ei grai.

"Yn wyllt deilliai mellt allan;—y wybren
A'i 'n ebrwydd yn wefrdân;
Yntau 'r euog ddyn truan,
Dawai yn fud yn y fan.

"O Sinai hedai, â'i aden—wisgi 'n
Ysgwyd yn ei helfen;
I lewyrch Sïon lawen,
Awyr iach bur uwch ben.

"O hael fôr Iawn Calfaria,—deuai hedd;
Dyhuddid deddf Sina;
A'i wên ef, yn awr, a wna
Derfyn ar fraw y dyrfa.

"Pan wenai, gwenai pob gwyneb,—yn un
Ennynai sirioldeb;
Pan wgai, ni allai neb
Ei wel'd heb ddifrifoldeb,

"Elai 'n fud, wylai 'n y fan,—ni welid
Neb na wylai weithian;
Daliai dorf fel delw dan
Ei gu afael yn gyfan.

"Codai ef ei lef, a'i law,—a'i olwg,—
Gwnai miloedd ymwrandaw;
Trwyddynt 'r oedd nerth yn treiddiaw,
Wedi 'i ddwyn o'r byd a ddaw.

"Ond, Ow! efe a dawodd!—athraw mâd,
A thrwm yw 'r ymadrodd;
Ei fâd aur dafod oerodd;
Ys y clai 'n Llanfaes a'i clôdd!"

Un arall o gedyrn y weinidogaeth yn ein gwlad, ac un o anwyliaid arbenig ein cynnulleidfäoedd, oedd JOHN EVANS, *New Inn*. Fe'i ganwyd ef rywbryd yn mis Hydref, 1779, mewn lle a elwir Cwmgwen, yn mhlwyf Llanfihangel Jeroth, yn Sir Gaerfyrddin. Yr oedd ei rïeni yn bobl grefyddol, ac yn aelodau gyda'r Annibynwyr, yn yr eglwys yn Mhencader, a'i dad yn un o'r dïaconiaid yno. Fe'i haddysgwyd ef o'i febyd, yn enwedig gan ei fam, yn ngwirioneddau crefydd, ac yr oedd wedi teimlo argraffiadau dwysion iawn ar ei feddwl oddiwrth ei phethau er pan oedd yn cofio dim. Pan yn blentyn yr oedd yn hoffi bod lawer wrtho ei hunan, yn darllen ac yn myfyrio; ac fe dreuliai, dybygid, y pryd hyny, lawer o'i amser mewn gweddïau dirgel. Cafodd ysgol dda iawn pan yn ieuanc, gydâ'r bwriad, fel y mae yn ymddangos, er fod ei rïeni yn Annibynwyr, iddo fod yn weinidog yn yr Eglwys Sefydledig. Dichon mai dyna un rheswm paham, yn y canlyniad, yr ymunodd efe gydâ'r Methodistiaid, ac nid gydâ'r Annibynwyr. Yr oedd mwy o lawer o gyfathrach, y pryd hyny, rhwng y Methodistiaid a'r Eglwys, nag sydd yn awr. Pa fodd bynnag, yr oedd efe yn tueddu at y Methodistiaid; a phan oedd rhwng pymtheg ac un-ar-bymtheg oed, efe a ymunodd â hwynt, yn gyntaf, mewn lle a elwir Gwaenifor, ac yna yn y *New Inn*. Yr oedd efe, ar y pryd, er mor ieuanc, wedi dechreu cadw ysgol ddyddiol yn Mhencader. Yn mhen ychydig amser ar ol hyny, efe a symmudodd i Lanpumsaint, i gadw ysgol yno; lle hefyd, yn mis Hydref, 1796, pan nad oedd ond dwy-ar-bymtheg oed, os yn llawn hyny, y dechreuodd bregethu. Yn y flwyddyn 1808, efe a brïododd â gwraig weddw, o'r enw Mrs. Jones, yr hon oedd yn byw mewn lle a elwir Llwynffortun, yr hon a fu, am flynyddoedd lawer, yn ymgeledd werthfawr iawn iddo. Yn ol enw ei gartref newydd, Llwynffortun, y mae yn cael ei adnabod oreu byth yn y Deheudir, ond yn ol yr hen gartref, *New Inn*, y mae yn fwyaf adnabyddus yn y Gogledd. Yn y flwyddyn 1809, am ryw resymau anadnabyddus i ni, efe a ymadawodd â'r Methodistiaid ac a ymunodd â'r Eglwys Sefydledig; ac a urddwyd yn ddïacon yn yr Eglwys hono, gan Watson, esgob Llandâf. Bu yn gwasanaethu, fel curad, mewn dau neu dri o lëoedd, ac yn ddiweddaf, yn Llanddowror, lle gynt y buasai yr enwog Griffith Jones. Ond yr oedd gormod o fywyd a nerth a theimlad yn ei bregethu ef, i foddhau eglwyswyr oerion a marwaidd y dyddiau hyny; ac, heblaw hyny, yr oedd yn ymgymmysgu gormod â'i hen frodyr, ac, yn dra afrëolaidd,

yn pregethu mewn llëoedd annghysegredig, ac hyd yn nod, weithiau, yn nghapeli yr Ymneillduwyr, fel yr oedd drysau y naill eglwys ar ol y llall yn cael eu cau yn ei erbyn, ac o'r diwedd, y caüwyd y cwbl. Y canlyniad fu, iddo, yn mhen ychydig gydâ blwyddyn, a chyn cael cwbl urddau esgobol, ddychwelyd at y Methodistiaid, y rhai a'i derbyniasant yn ôl yn llawen, ac yn mhlith y rhai y treuliodd weddill ei oes, gan lafurio gydâ chymmeradwyaeth a defnyddioldeb mawr. Yn y neilldual cyntaf yn eu plith, ar weinidogion i'r holl waith, yr hyn a gymmerodd le yn fuan ar ol hyny, sef yn y flwyddyn 1811, yr oedd efe y blaenaf ar y rhes dros Sir Gaerfyrddin. Gan nad oedd un cymhwysder ynddo ef i drin y byd, a bod ei wraig yn heneiddio ac yn gwanhau, rywbryd tua y flwyddyn 1835, hwy a roddasant Lwynffortun i fynu, ac a symmudasant i breswylio i dŷ yn lled agos i gapel y *Cross Inn*, yn yr un sir. Yno, yn mhen rhai blynyddoedd, fe fu ei wraig farw. Yn mhen ychydig amser, efe a brïododd yr ail waith, â Miss Rachel Davies, Pentwyn, yn yr un sir eto, ac a symmudodd yno i gartrefu. Yr oedd ei iechyd ef ei hunan, erbyn hyn, yn adfeilio yn brysur. Yr oedd y pruddglwyf, ag yr oedd wedi bod yn dïoddef yn ddirfawr oddiwrtho ar hyd ei fywyd, yn awr yn ei arteithio yn hollol. Y mae yn rhyfedd pa fodd y diangodd â'i synwyrau ganddo. Caethiẅwyd ef i'w gartref, braidd yn gwbl, am y flwyddyn ddiweddaf o'i oes; ac ar ddydd Mercher, Hydref 6, 1847, fe roddes ei Dad nefol ymwared iddo oddiwrth ei holl flinderau, trwy ei gymmeryd ato ei hun. Yr oedd ei ddiwedd yn dangnefedd perffaith. Yr oedd yn agos i wyth mlwydd a thriugain oed,—hyny i'r mis,—pan y bu farw, ac wedi dechreu pregethu er ys un mlynedd-ar-ddeg a deugain.

Fe dorodd Mr. Evans allan, ar ei gychwyniad cyntaf, yn un o bregethwyr mwyaf poblogaidd Cymru, ac fe barhäodd yn ei boblogrwydd hyd ei ddiwedd. Pan y delai i'r Gogledd, yn y blynyddoedd yr ydym ni yn ei gofio, byddai tyrfäoedd llïosocach, a llïosocach o lawer, yn cyrchu i'w wrandaw, nag a gâi neb arall a ddeuai yno o'r Deheudir. Un rheswm am hyny, fe ddichon, oedd,—ei fod yn dyfod yno yn llawer anamlach na neb o'r pregethwyr enwog ereill yno a gyd-oesent âg ef, oddïeithr, yn unig, Mr. Charles o Gaerfyrddin. Ac eto prin y gall hyny fod yn rheswm ychwaith; oblegyd yr ydym yn deall ei fod agos yr un mor boblogaidd trwy yr holl Ddeheudir, ac yn gymmaint felly yn ei sir ei hunan ag mewn un sir arall. Ar un o'i ymweliadau

cyntaf â'r Gogledd, os nad y cyntaf oll, i Gymdeithasfa y Bala, yn y flwyddyn 1798, yr oedd yn pregethu yno, y nos olaf, oddiar Ioan xii. 24. Yr oedd y testyn yn un tra efengylaidd: ond yr oedd y rhan fwyaf o'r bregeth yn nodedig o daranllyd, ac yn cael effeithiau cyffrous iawn ar y gwrandawwyr. Yr oedd Mr. Robert Jones, Rhoslan, i bregethu ar ei ol ef; ond yr oedd efe wedi pregethu mor faith, a chyda'r fath ddylanwad ar y bobl, fel na wnaeth Robert Jones ond gweddïo yn unig; ac felly y terfynodd yr oedfa. Aeth Mr. Evans rhagddo, y pryd hyny, ar gyhoeddiad o'r Bala, trwy Siroedd Arfon a Môn; ac yr oedd ei weinidogaeth yn mhob man yn dra effeithiol. Yr oedd, yn ei flynyddoedd cyntaf, yn pregethu, braidd bob amser, yn hynod o daranllyd ac argyhoeddiadol. Yr oedd cyflwr pechadur wrth natur, a thrueni dychrynllyd yr annuwiol, yn cael lle mawr yn ei bregethau; ac yr oedd rhyw ddwysder a difrifwch yn ei ymddangosiad, a thynerwch yn ei ddull, ac, yn enwedig, yr oedd rhyw floedd ganddo, y pryd hyny, a dylanwad rhyfedd iddi,—fel yr oedd yr effeithiau, mewn gwirionedd, yn ofnadwy. Cyn y diwedd, am ychydig funudau, efe a ddygai allan drefn yr efengyl, gydâ'r fath oleuni a mwyneidd-dra ac effeithiolrwydd, nes y byddai megis bywyd i'r bobl o safn marwolaeth. Parhäodd yn y dull hwn am rai blynyddoedd. Clywsom nad ymadawodd ag ef yn hollol, hyd ar ol ei ail-ymuniad â'r Methodistiaid, wedi bod am ychydig yn Eglwys Loegr. Rywbryd, pa fodd bynnag, fe gyfnewidiodd yn drwyadl yn nodwedd ei weinidogaeth. Daeth yn efengylwr mwynaidd, a hyny braidd yn unig. Yr oedd fel yn dychryn rhag pethau ofnadwy y dadguddiad dwyfol. Hoffai aros ar ddigonolrwydd anfeidrol darpariaeth gras; cadernid diysgog trefn cadw; cyfoeth anhysbyddadwy yr addewidion dwyfol; y tangnefedd, y diddanwch, a'r llawenydd sydd yn Nghrist; a'r dedwyddwch digymmysg a diddiwedd sydd yn aros y saint yn y byd a ddaw;—ar y rhai hyn, a thestynau cyffelyb, y byddai yn hoffi aros; a thraethai arnynt yn y fath fodd ag y teimlid fod ei enaid ef ei hunan yn gwledda ar y pethau, a'i fod yn llawn awydd am i'w holl wrandawwyr wneyd yr un peth. Byddai ganddo yn mhob pregeth braidd, hanesyn neu ddau neu dri, hynod o darawiadol, er egluro yr hyn a fyddai ganddo dan sylw, wedi eu cymmeryd, gan amlaf, o hanes yr hen dadau Methodistaidd Cymreig neu Seisonig; ond, weithiau, o hanes yr hen Annghydffurfwyr, neu y Puritaniaid, neu y Diwygwyr Protestanaidd yn Lloegr neu

ar y Cyfandir; ac yr oedd ganddo ddawn mor neillduol i adrodd hanesynau o'r fath, fel y byddai y gwrandawwyr yn sicr o'u cofio byth.

Yr oedd rhyw swyn yn ei bregethu priodol yn unig iddo ei hunan, ac eto nid hawdd dywedyd yn hollol pa beth ydoedd. Mae yn sicr fod ynddo gyd-gyfarfyddiad dedwydd o lawer o bethau manteisiol iawn iddo i hyny. Yr oedd yr olwg arno, o ran y dyn oddiallan, yn nodedig felly. Yr oedd yn ŵr lled dàl—tua phum' troedfedd a naw modfedd o uchder,—lluniaidd o ran ei ffurf, a thra boneddigaidd yn ei ddull. Yr oedd ei wyneb yn brydferth a deallgar; y gwefusau a'r genau yn hynod o awgrymiadol, ac wedi eu gwneyd at siarad; y llygaid yn fawrion, llawnion, llonydd, a myfyrgar, ac ar wyneb y croen; yr ymddangosiad yn dynodi diniweidrwydd ei hunan; a'i holl ystum yn naturiol a thawel a gweddus. Yr oedd ganddo hefyd un o'r lleisiau mwyneiddiaf a fu erioed gan ddyn, a phob amser dan ei reolaeth yn berffaith. Yr oedd ei barabliad yn eglur a chroew a hysain; a'i ddawn ymadroddi y rhwyddaf a'r llithricaf a glywsom ni erioed, yn ffrydio,—fel afon ar wely esmwyth, yn ddidrwst a diball a diattaliad. Ond nid ydym yn meddwl y buasai hyn oll, na llawer ychwaneg o bethau cyffelyb, arnynt eu hunain, yn ddigon i gynnyrchu y dylanwad rhyfedd a dirfawr oedd ganddo ef ar ei wrandawwyr. Ac nis gellir dywedyd, ychwaith, fod hwnw yn cyfodi oddiar unrhyw ragoriaeth neillduol yn ei bregethau, fel y cyfryw, oblegyd prin y gellir dywedyd fod dim o hyny ynddynt; nac oddiar unrhyw nerth areithyddol yn y traddodiad o honynt, oblegyd nid oedd ynddo ddim o'r fath, oddieithr nerth tawelwch ei hunan; nac oddiar unrhyw brydferthwch neu odidawgrwydd yn ei gymhariaethau, oblegyd fe fyddai y rhai hyny, braidd bob amser, yn tòri dan ei ddwylaw; nac, yn sicr, oddiar unrhyw angerddoldeb teimlad, yn ei danio ef ei hunan, ac yn ffaglu pawb o'i amgylch,—oblegyd, er y byddai yn teimlo, ac yn teimlo yn ddwys, ni welid byth arwydd ei fod yn cael ei orchfygu, nac hyd yn nod ei gyffroi, gan ei deimladau. Yn wir, yr oedd ei draddodiad, ar hyd y bregeth, yn dra unffurfiol; heb na gostyngiad na chyfodiad, na chynhyrfiad na bloedd. Byddai y llaw ddeheu, â'r arddwrn ar y Bibl neu ar yr astell, yn ymgodi yn araf ac yn brydferth; y llygaid colomenaidd yn pelydru tynerwch ei hunan ar wyneb y gynnulleidfa; a'r geiriau yn llifeirio dros y gwefusau, megis oddiar gyflawnder didrai oddifewn, yn naturiol

ac yn rhwydd,—nid yn unig yn ddiorchest, ond yn gwbl ddiymdrech. Ac eto nid oedd mewn un modd yn undônol. Yr oedd yn gallu rhoddi rhyw amrywiaeth rhyfedd ar ei lais, yn nghanol yr holl dawelwch, a'i cadwai yn hollol rhag hyny. A dyna oedd yn hynod ynddo. Pan y byddai efe yn cynhesu gydâ'i bwnc, nid codi yn uwch yr oedd y llais, nea myned yn floedd, ond, o'r ddau, myned yn îs,—pereiddio, pa fodd bynnag, nes peri i chwi braidd dybied ei fod yn colli ei nodwedd naturiol yn gwbl, ac yn ymgyfnewid i ryw sŵn ysbrydol a nefol.

Yn mha le, gan hyny, yr oedd cuddiad ei gryfder, a dirgelwch ei ddylanwad? Yr oedd hyny, dybygem ni, yn arbenig, yn yr eneinniad dwyfol a fyddai braidd yn wastadol ar ei ysbryd ef ei hunan. Yr oedd ei edrychiad, ei ysgogiadau, cywair a thôn ei lais, a nodwedd ei holl sylwadau, yn amlwg yn arwyddo dyn yn dal cymundeb agos â Duw, ac un y mynai y Duw hwnw ei anrhydeddu. Yr oedd yn cymdeithasu llawer gydâ'i Dad "yn y dirgel," ac yr oedd yntau yn talu iddo "yn yr amlwg." Yr oedd yr olew ir, oedd yn y fath helaethrwydd ar ei ysbryd ef ei hunan, yn disgyn oddiwrtho ar, ac yn treiddio trwy, ysbrydoedd y rhai y delai i gyfarfyddiad â hwynt, nes yr oedd pob teimlad braidd yn tyneru, a phob calon yn cael ei pharotoi i dderbyn argraffiadau daionus a sanctaidd, a'r rhai hyny yn annilëadwy. Yr eneinniad yma arno a roddai iddo y fath barchedigaeth yn mhlith ei frodyr; a'r un peth a'i gwnelai mor anwyl gan ei holl wrandawwyr. Ni bu pregethwr erioed ag yr oedd y wlad yn hoffach o hono. Y mae Mr. David Rhys Stephen yn rhoddi i ni un enghraifft nodedig o'r serchawgrwydd a deimlid tuag ato gan ei wrandawwyr, a ddaethai dan ei sylw ef ei hunan. Yr oedd Mr. Evans i bregethu, ryw ganol dydd gwaith, yn hen gapel y Cruglas, yn Abertawe, a Mr. Stephen wedi myned yno i wrando arno. Yr oedd y capel yn orlawn, yn dysgwyl y pregethwr. A'r foment y daeth Mr. Evans i mewn, ac yr esgynai yn araf risiau y pulpud, dyna yr holl gynnulleidfa, ar unwaith, gydâ'u gilydd, yn tori i wylo o lawenydd yn yr olwg arno:—"The whole congregation seemed possessed of pathos itself, and fairly yielded to silent weeping. Anything so utterly unforced and even uninvited, and on so extensive a scale, I never saw before or since"—(*Memoirs of Christmas Evans*: *page* 142).

Buasai yn dda genym allu ymdroi gydâ rhai ymddiddanion a gawsom ein hunain âg ef; ond yr ydym yn ofni myned yn rhy faith, ac, yn

wir, yn gweled y rhaid i ni dalfyru y crybwyllion hyn. Ni a allwn ddywedyd, pa fodd bynnag, ein bod yn ei ystyried y dyn ffraethaf, a pharotaf yn ei atebion a'i sylwadau, y darfu i ni erioed ddyfod i gyfarfyddiad âg ef; a'r cwbl mor naturiol a dirodres, fel nad ymddangosai i ni ei fod ef ei hunan yn ymwybodol o hyny. Ni a gawsom y fraint o wrandaw arno yn pregethu laweroedd o weithiau: ac, er na chlywsom mo hono erioed ond gydâ boddhâd mawr, eto unwaith yn unig y clywsom ni ef yn ei ogoniant,—y fath ag a gyfatebai i'r cymeriad uchel oedd iddo fel pregethwr, ac a lanwai i'r ymylon ein holl ddysgwyliadau. Yr oedd yn pregethu, y tro y cyfeiriwn ato, y prydnawn cyntaf, mewn Cymdeithasfa a gynnhelid yn Hwlffordd, ar y Mawrth a'r Mercher, Hydref 24, 25, 1837. Yr oedd brawd bychan, gwanaidd, yn llefaru o'i flaen, nad oedd yn un caredigrwydd âg ef nac â'r gynnulleidfa, ei osod yn y fath le. Yr oedd Mr. Evans yn ymddangos yn hynod o anesmwyth tra yr oedd y brawd hwnw yn pregethu; ac, yn lle gwrando yn dda, fel yr arferai wneyd, yr oedd braidd yr holl amser ar ei draed, a'i wyneb at y pared, a'i gorph dan ryw ymweithiad a arwyddai fod ei feddwl dan ryw gynhyrfiadau annghyffredin. Wedi rhoddi pennill i'w ganu, priodol i destyn y brawd o'i flaen, fe ddarllenodd ei destyn ei hunan, 1 Tim. ii. 5:—"Canys un Duw sydd, ac un Cyfryngwr hefyd rhwng Duw a dynion, y dyn Crist Iesu." Nid oedd dim cywreinrwydd yn y bregeth, megis cyfansoddiad; ac yr oedd y rhaniadau, yn sicr, mor syml ag y gallasent fod,—"Duw," "dyn," a "Chyfryngwr hefyd;"—ac eto yr oedd yno rywbeth, o ddarlleniad y testyn hyd y diwedd, ag oedd yn rhwymo pob clust i wrando, ac yn peri i bob calon deimlo. Yr oedd yn llefaru gydâ'r fath brïodoldeb a phrydferthwch a pharchedigaeth, am fawredd ac awdurdod a sancteiddrwydd yr Anfeidrol, fel yr oeddem yn barnu, ar y pryd, nad oeddem wedi clywed na darllen dim cyffelyb erioed; a'r cwbl gydâ'r fath fanyldra a destlusrwydd a choethder, ag y gallesid argraffu pob gair fel y deuai allan o'i enau. Yr oedd y gynnulleidfa i gyd mewn syndod a distawrwydd ac arswyd sanctaidd, megis rhai yn "gweled y Brenhin, Arglwydd y lluoedd." Yna fe droes at Ddyn,—yn ei waeledd, ei bechadurusrwydd, a'i drueni,—yr un mor brïodol a naturiol a manwl a choeth,—gan gyferbynu y "soflyn sych," â'r "tân ysol" ac "â'r llosgfeydd tragywyddol," nes yr oedd pawb yn y lle fel yn teimlo fod yn anmhosibl byw heb ryw un yn y canol rhyngddynt. Ac yna, fe ddaeth at y

trydydd pen, "A Chyfryngwr hefyd!" "Cyfryngwr hefyd!" "Cyfryngwr hefyd!" "Cyfryngwr hefyd!" gan swnio y geiriau gydâ'r fath bereidd-dra angylaidd ag oedd mewn gwirionedd yn ymwared i deimladau y dyrfa i gyd. "Cyfryngwr a natur y ddwy-blaid yn ei berson, ac achos y ddwy-blaid ar ei galon. Un digon uchel i'r orsedd a digon isel i'r euog. Mab i Dduw a brawd i ninau. Yr oedd Moses yn ŵr mawr gydâ Duw, ond yr oedd e yn safn-drwm serch hyny; eithr yr oedd gydâg e frawd yn medru llefaru yn groyw. Ond am ein Iesu ni,—coronau fyrdd f'o ar ei ben! y mae e yn ŵr mawr gydâ Duw,—y mae pawb yn y llys uchaf yn plygu iddo, ac y mae e yn medru llefaru yn groyw wrth y pechadur hefyd. Y mae yn 'Eiriolwr gydâ'r Tad,' ac y mae ganddo 'dafod y dysgedig, i lefaru gair mewn pryd wrth yr enaid diffygiol.' Efe ei hunan, rwy' i am i chwi graffu, sydd yn y canol. Fel y mae y Dr. Manton yn dywedyd yn ogoneddus ar hyn,—yr y'ch chwi oll yn gydnabyddus â'i Waith ef, rwy'n *supposo*,—'Fe'i taflodd ei hunan i'r adwy. Nid dim oedd ganddo, nid dim a wnaeth, a roddes e rhyngom a Duw. O na: fe fuasai pob peth creadigol yn cael ei ysu ar unwaith ac am byth gan danbeidrwydd purdeb yr Anfeidrol. Nid oedd dim i'w wneyd ond ei roddi ei hunan yn y canol. Ac y mae efe yn un a digon o fawredd ynddo i lanw yr adwy i fynu, ac i gyfanu y rhwyg yn dragywydd.' Fel yna y dywed y Dr. Manton. O ran hyny, felly hefyd y canodd y prydydd Cymraeg da hwnw, Mr. John Williams, o Sant Athan, yn Morganwg:—

'Fe 'maflodd mewn dyn ar y llawr,
Fe 'i dygodd â'r Duwdod yn un;
Y pellder oedd rhyngddynt oedd fawr,
Fe 'i llanwodd â'i haeddiant ei hun.' Bendigedig a f'o."

Aeth rhagddo gydâ llawer o ymadroddion cyffelyb, nes yr oedd y gynnulleidfa mewn hwyl hyfryd, a phawb yn ymddangos fel yn penderfynu rhoddi eu hachos byth yn ngofal y Gŵr canol. O ran symledd a dwysder dull, rhwyddineb dawn, serchawgrwydd teimlad, ac, yn enwedig, yr ireidd-dra nefol a fyddai yn wastadol ar ei ysbryd ef ei hunan, yr oedd arbenigrwydd neillduol yn ngweinidogaeth JOHN EVANS.

Y mae crybwylliadau mor helaeth wedi eu gwneuthur genym eisoes *(tu dal.* 109—116) am MICHAEL ROBERTS, fel nad oes angenrheidrwydd am i ni yma ond ychwanegu ychydig am dano fel pregethwr. Ac, fel y cyfryw, yr ydoedd, yn ddiddadl, yn un o rai hynotaf ei oes. Dechreuodd ar y gorchwyl yn niwedd y flwyddyn 1796, pan nad ydoedd ond yn un-mlwydd-ar-bymtheg oed. Yr oedd ei gysylltiadau perthynasol, megis mab i Mr. John Roberts a nai i Mr. Robert Roberts, yn fanteisiol i'w ddwyn i sylw; ond, o'i darawiad cyntaf allan, fe deimlwyd fod ynddo ef y fath ddefnyddiau pregethwr ag y gallai yn hawdd sefyll ar ei deilyngdod ei hunan, ac fe ddaeth, ar unwaith, yn dra phoblogaidd a dylanwadol. Yr oedd yn uno, i raddau helaeth, y manylder a'r trefnusrwydd a'r eangder, a hynodent ei dad, gydâ'r teimlad dwfn a dwys oedd yn ei ewythr, a llawer mwy o allu deongliadol, yn gystal ag o wybodaeth gyffredinol, nag oedd gan y naill na'r llall. Nid oedd ynddo ddim o'r bywiogrwydd dychymyg, nac ond ychydig iawn o'r gallu darluniadol annghydmarol, a hynodent ei ewythr; ond yr oedd yn meddiannu gwybodaeth lawer ëangach a manylach am wirioneddau yr efengyl, ac am y ffurfiau neillduol a geir arnynt mewn gwahanol Gyfundraethau Duwinyddol, ac mewn gwahanol oesoedd, yn hanes yr eglwys. Yr oedd ei bregethau yn wastadol yn cynnwys eglurhad gofalus ar y naill neu y llall o honynt; a byddai ei ymdriniaeth â phob pwnc, bob amser, yn nodedig o Feiblaidd. Esboniai ei destyn, mewn cysylltiad â'r cyd-destyn, yn dra galluog; ac ni byddai byth yn foddlawn i ddefnyddio adnod ond yn yr hyn a olygid ganddo ef fel ei hystyr naturiol a phriodol, yn y cysylltiad y gorweddai ynddo. Yr oedd ganddo ryw ddull nodedig o happus, i gyfuno yr athrawiaethol a'r testynol yn nghyfansoddiad ei bregethau, a gwneuthur ei bregethau felly, ar yr un pryd, yn bynciol ac yn esboniadol. Er esiampl: yr ydym yn ei gofio yn pregethu mewn Cymdeithasfa yn Llanerchymedd, am ddau ar y gloch, ddydd Gwener, Mehefin 26, 1829, ar ol y diweddar Mr. Hughes o Liverpool, oddiar Actau ii. 37:—"Hwythau wedi clywed hyn, a ddwys-bigwyd yn eu calon, ac a ddywedasant wrth Petr a'r apostolion ereill, Ha wŷr frodyr, beth a wnawn ni?" Wedi sylwi ar gysylltiad y geiriau, fe nododd "*Argyhoeddiad*" fel y mater yr amcanai ei ddwyn dan sylw oddiwrthynt. "I. Natur gwir argyhoeddiad. II. Moddion gwir argyhoeddiad. III. Effeithiau gwir argyhoeddiad. I. Natur gwir argyhoeddiad: 'a

ddwys-bigwyd yn eu calon.' Pigiad; dwys-bigiad, pigiad trwodd; dwys-bigiad 'yn y galon.' Nid yn y dymher; nid yn y deall; nid yn y gydwybod: 'yn y galon,'—eisteddle a ffynnhonell y bywyd. II. Moddion gwir argyhoeddiad: 'clywed hyn.' Weithiau trwy *ddarllen;* weithiau trwy *fyfyrio;* yn y testyn, ac yn fynychaf eto, '*clywed* hyn.' Y meddwl yn cael ei ddwyn i gyfarfyddiad â'r *gwirionedd;* â'r gwirionedd am yr *Iesu;* â'r gwirionedd am yr Iesu *wedi ei groeshoelio;* â'r gwirionedd am yr Iesu wedi ei groeshoelio *gan y pechadur ei hunan;* ac â'r gwirionedd am yr Iesu wedi ei groeshoelio yn *Geidwad:* 'wedi ei wneuthur gan Dduw yn Arglwydd ac yn Grist.' III. Effeithiau gwir argyhoeddiad: 'Ha wŷr frodyr, beth a wnawn ni?' Yr ysbryd gwrthwynebus wedi ei ladd: 'gwŷr frodyr'; y perygl wedi ei ddadguddio; rhaid gwneyd rhywbeth; parodrwydd i wneyd unrhyw beth."

Dyna gynllun y bregeth, y pryd hwnw, yn ol yr argraff o honi sydd ar ein meddwl ni; ac fe welir, ar unwaith, oddiwrth yr enghraifft yna, mai nid pregethwr cyffredin ydoedd. Yn wir, yr ydym yn tueddu i dybied, nad oedd ond ychydig o'i rag-flaenoriaid ac o'i gyd-oeswyr ag y buasai eu pregethau yn darllen cystal a'i rai ef, pe cawsem hwynt fel yr oedd efe yn eu traddodi. Ond, wedi y cwbl, ei hynodrwydd arbenig yntau ydoedd, nid ardderchawgrwydd ei bregethau fel cyfansoddiadau, ond y dwysder gwastadol oedd yn ei deimlad; y difrifwch rhyfedd oedd ar ei wynebpryd; y treiddgarwch mwynaidd oedd yn ei lais; ac, yn enwedig, "ysbryd y peth byw," oedd mor fynych, ac am un tymhor ar ei oes braidd yn ddieithriad, yn dylanwadu trwyddo ar ei wrandawwyr. Yr oedd rhyw sobrwydd hyd at lymdra, ac eto hollol naturiol, yn ei ymddangosiad; a rhwng hyny, a'r olwg eiddil wanaidd oedd arno, gan yr anmhariaeth oedd braidd yn wastadol ar ei iechyd, fe gynnyrchid argraff o ryw ddifrifwch annaearol braidd ynddo, ar feddyliau ei wrandawwyr. Yr oedd ei eiriau, yn y cyffredin, ar unwaith, hyd yn nod yn y gynnulleidfa liosocaf, yn sefydlu sylw pawb; ac anaml y byddai yn terfynu y bregeth, heb fod teimladau y dyrfa wedi eu meddiannu yn gwbl ganddo. Fe weithiai ei ffordd yn raddol, ac yn araf, i'r meddiant hwnw; ac, wedi iddo unwaith gael gafael, ni byddai byth yn gollwng yn rhydd,—byth yn llacio yn ei afael,—ond yn gwasgu yn dŷnach, *dŷnach,* DYNACH, nes y byddai y gynnulleidfa weithiau yn ymddangos ar lewygu. Ond wedi ei chael i deimlad felly, fe ddygai allan, gydâ llais mwynaidd ac mewn hwyl nefolaidd, ddarpariaeth

gras ar ei chyfer, nes y byddai cadwynau pawb yn myned yn rhyddion, lliaws yn mwynhau "gorfoledd yr iachawdwriaeth," ac amryw o'r newydd yn penderfynu myned ar ol yr Iesu.

Ni chafodd neb yn Nghymru erioed oedfäon mwy nerthol a bendithiol na rhai o'i eiddo ef. Yr oedd ganddo un bregeth, yn enwedig, tua phymtheg mlynedd a deugain yn ol, ag yr oedd rhyw effeithiau rhyfedd ac ofnadwy yn cyd-fyned â hi, pa bryd bynnag y traddodid hi ganddo. Y testyn oedd Psalm i. 5:—"Am hynny yr annuwiolion ni safant yn y farn, na phechaduriaid yn nghynnulleidfa y rhai cyfiawn." Clywsom am dano yn ei phregethu ar ddydd Llun y Pasg, 1818, mewn lle a elwir y Pennant, yn gyfagos i'r Garn Dolbenmaen, yn Sir Gaernarfon, pryd yr oedd y fath effeithiau yn ei dilyn, fel y dywedid fod pawb braidd oeddent yn y lle wedi eu hennill drwyddi i broffesu crefydd, a lliaws mawr, yn ddiddadl, wedi eu hachub. Traddodwyd yr un bregeth ganddo mewn Cymdeithasfa yn Llanidloes, yn niwedd mis Ebrill, yn yr un flwyddyn (1818), gydâ'r fath effeithiau, ag na welwyd, meddir, nemawr weithiau erioed ddim cyffelyb. Y mae côf byw eto gan amryw yn Llanidloes am dani: ac yr oedd rhai o'r hen bobl yno, cyn y Gymdeithasfa a gawsant y flwyddyn hon (1873), yn daerion yn eu gweddïau am Gymdeithasfa gyffelyb i'r un a gofient hwy yno, bymtheng mlynedd a deugain cyn hyny. Yr oedd yn pregethu ar yr heol, am ddeg y boreu, o flaen Mr. Ebenezer Morris. Ar y cyntaf, fe ymddangosai y bobl yn ddifater ac yn dra aflonydd; ond, yn fuan, fe'u difrifolwyd, nes y daeth yn ddydd barn hollol yn eu teimladau. Yr oedd dychrynfëydd Duw yn llanw y lle. Wedi dysgrifio y "farn," gydâ bywiogrwydd a dwysder a nerth ac effeithiolrwydd mawr, a phortrëadu yr "annuwiolion" yn colli yn y prawf,—yn methu "sefyll,"—ac, erbyn hyn, wedi eu llanw â'r fath arswydau, nes yr oedd eu gwynebau yn gwelwi, eu gliniau yn crynu, a hwythau, mewn braw, ar drengu,—fe droes y pregethwr at y Barnwr, gan ei gyfarch,—"Iesu Mawr, ymattal! paid a dyweyd dim ychwaneg wrthynt! y maent ar farw, nis gallant byth ddal i glywed dim mwy." "Na,"—atebai yntau,—"y mae genyf *un gair* eto i'w ddywedyd wrthynt; y mae yn *rhaid* i mi gael dywedyd hwnw; ac, wedi dywedyd hwnw, ni ddywedaf fi yr un byth ar ei ol o": a chydâ hyny, dyna fo, â'r llais treiddgar dwys oedd ganddo, ac fel âg awdurdod y Barnwr ei hunan, yn gwaeddi,—"'EWCH ODDIWRTHYF, *rai melldigedig*, I'R TAN

TRAGYWYDDOL,'"—nes yr oedd cannoedd, os nad miloedd, yn tori allan, ar unwaith, i lefain am eu bywyd. Yr oedd yr olygfa yn un o'r rhai rhyfeddaf a welwyd erioed, ac yn un nad oedd bosibl ei hannghofio; a'r amgylchiad, yn ddiddadl, yn ddechreu cyfnod newydd hollol yn hanes cannoedd o'r rhai oeddent yno, o hyny allan byth. Yr oedd pawb, hyd yn nod y rhai mwyaf annuwiol, yn ymddangos wedi eu sobri yn drwyadl; ac yr oedd ymddangosiad yr holl dyrfa, hyd ddiwedd y dydd, y fath ag na welwyd ond yn anfynych, os erioed, y cyffelyb ar nifer mor fawr. Parhäodd rhyw sobrwydd rhyfedd ar y dref am wythnosau ar ol y bregeth. Cyn pen blwyddyn, yr oedd dros gant a hanner wedi ymuno â'r eglwys yn Llanidloes yn unig yn ganlyniad iddi: ac fe ychwanegwyd amryw gannoedd at yr eglwysi yn y wlad oddiamgylch. Büwyd yn derbyn rhai i'r eglwysi, o bryd i bryd, am tua deng mlynedd, wedi eu difrifoli yn gyntaf trwy y bregeth hono yn Llanidloes. Clywsom y diweddar Mr. Humphrey Gwalchmai yn dywedyd, ei fod ef yn tybied, yn ol yr ymchwiliadau a wnelsai, nad oedd dim llai na mil, trwy yr holl wlad, wedi ymuno â'r eglwysi ar ei hôl. Buasem yn hoffi aros yn hir gydâ'n hadgofion am ein hen gyfaill, ond rhaid i ni dalfyru. O ran eglurhad manwl ar ystyr yr ysgrythyrau, ëangder a chraffder sylw ar wirioneddau yr efengyl, dwysder a difrifoldeb dull, amcan syml am iachawdwriaeth ei wrandawwyr, a gafael gadarn yn eu cydwybodau a'u calonau, yr oedd arbenigrwydd annghyffredin, priodol braidd yn unig iddo ei hunan, ar weinidogaeth MICHAEL ROBERTS.

Yr oedd y nesaf sydd yn dyfod dan ein sylw,—DAVID CHARLES o Gaerfyrddin,—yn un o dywysogion mwyaf urddasol y Weinidogaeth Gymreig, ac yn un, ar rai cyfrifon, a safai yn hollol ar ei ben ei hunan yn nghanol ei holl frodyr. Yr oedd efe, fel y mae yn hysbys, yn frawd i'r enwog THOMAS CHARLES o'r Bala. Fe'i ganwyd, Hydref 11eg, 1762, mewn lle a elwir Pantdwfn, yn mhlwyf Llanfihangel, yn Sir Gaerfyrddin. Yr ydoedd er yn blentyn ieuanc yn dra hoff o ddarllen, a phob amser, fel y dywedai ei dad, "mewn rhyw gongl â'i ben yn y llyfr." Gresyn dirfawr na chawsai ei anfon, fel ei frawd, i Rydychain, i fwynhau manteision addysg uchel y lle hwnw; ond ni chaniatäi amgylchiadau y tad, ar y pryd, iddo feddwl am hyny; ac felly fe anfonwyd David, pan oedd tua phedair-ar-ddeg oed, i Gaerfyrddin, i ddysgu gwaith llinwr a rhaffwr. Yr oedd yn defnyddio ei oriau hamddenol yno drachefn i ddarllen llyfrau da, ac fe ddywedir

iddo, yn ystod ei brentisiaeth, drysori y cwbl o *Young's Night Thoughts* feddwl at grefydd, yr hyn a gymmerodd le trwy ddarllen pregethau RALPH ERSKINE. Yn fuan wedi hyny, efe a ymunodd â'r Gymdeithas eglwysig mewn cysylltiad â'r Methodistiaid, yn nghapel Heol-y-Dŵ'r, yn ei gôf. Yno hefyd, pan ydoedd tua phymtheg oed, fe ennillwyd ei yr hon oedd, y pryd hwnw, dan ofal neillduol y Parch. Peter Williams. Wedi ymuno â'r eglwys, ymroddai yn ddyfal i lafur crefyddol, ac ymddygai yn wastadol fel gŵr ieuanc yn ofni Duw. Pan ydoedd ychydig dros ddeunaw oed, efe a symmudodd, er mwyn ei alwedigaeth, i *Fristol*, lle yr arhosodd am dair neu bedair blynedd. Yr ydoedd yno yr un modd yn parhau yn ymroddgar i grefydd, gan ei gwneuthur fel peth penaf ei fywyd. Daeth yn rhagluniaethol i gydnabyddiaeth âg amryw o wŷr ieuainc crefyddol, yn dilyn fel yntau ryw alwedigaeth neu gilydd, â'r rhai yr arferai gyfarfod i gyd-weddïo, ac i ymddyddan am bethau crefyddol, a chynnorthwyo eu gilydd mewn bywyd duwiol. Ystyrid ef, y pryd hwnw, yn ŵr ieuanc o farn addfed ac o ddirnadaeth graff ar athrawiaethau gras, yn gystal ag yn un profiadol o'u heffeithiau ar ei feddwl a'i galon ei hunan, ac un yn gofalu am ymdrechu byw bob amser dan eu dylanwad ac er anrhydedd iddynt. Wedi ymadael â *Bristol*, efe a ddychwelodd i Gaerfyrddin, lle yn awr yr ymsefydlodd i ddilyn ei alwedigaeth drosto ei hunan. Yr oedd ei hen gyfeillion yn llawen iawn o'i ddychweliad atynt: a chanfuant yn fuan ei fod wedi gwneuthur cynnydd dirfawr mewn crefydd, yn enwedig mewn dawn gweddi, yn ystod yr amser y buasai yn absennol oddiwrthynt. Yn mhen ychydig amser, sef yn y flwyddyn 1787, a chyn ei fod yn llawn pum-mlwydd-ar-hugain oed, fe'i dewiswyd yn flaenor yn yr eglwys yn Heol-y-Dŵ'r. Yr oedd dewisiad un mor ieuanc i'r swydd hono, y pryd hyny, yn dra anarferol; ond yr oedd y fath ragoriaethau ynddo ef, fel nad oedd modd myned heibio iddo. Yn mhen rhyw gymmaint ar ol hyny, efe a brïododd â Sarah, merch i Samuel Levi Phillips, Ysw., *Banker*, o Hwlffordd, Sir Benfro. Iuddewes oedd hi: ond, fel ei thad, wedi ei hennill i gofleidio Cristionogaeth, ac nid y broffes o honi yn unig, eithr yr oedd ei chalon yn llawn cariad at Iesu o Nazareth, â'i chysegredigaeth yn gwbl iddo.

Yr oedd Mr. Charles yn awr, yn ôl yr hen drefn dda yn mhlith y Methodistiaid, mewn mantais i arfer ei ddawn yn y cyfarfodydd eglwysig, ac fe ddaeth yn fuan yn adnabyddus fel un oedd wedi ei

gyflenwi i raddau tra annghyffredin â gwybodaeth ac â phrofiad ysbrydol. Byddai ei sylwadau yn y cyfarfodydd eglwysig, oddiwrth yr amrywiol bregethau a draddodid ar y Sabbathau neu nosweithiau yr wythnos, yn cael eu teimlo gan yr holl frawdoliaeth megis rhai yn treiddio yn ddyfnach i enaid yr efengyl, ac yn arddangos cydnabyddiaeth helaethach â'i dirgelwch hi, nag a geid odid byth yn y pregethau eu hunain; ac yr oedd ganddo, yr un pryd, ryw allu anarferol i wneuthur ei phethau mawrion hi yn eglur i'r rhai gwanaf eu hamgyffredion, a'r rhai lleiaf eu manteision, oeddent yn yr eglwys. Yr oedd drachefn mor hollol anymhongar, mor dyner o deimladau pawb, ac mor gynnorthwyol yn wastadol i'r rhai gweiniaid ac ofnus, fel, er eu meddyliau uchel am ei wybodaeth a'i graffder, nad oedd neb a hoffid yn gymmaint ganddynt i ymddyddan â hwynt âg efe. Daeth, yn mhen rhai blynyddoedd, mor hynod fel Blaenor, fel yr ennillodd safle yn y Cyfundeb na ennillwyd mo hono gan yr un Blaenor arall erioed. Nid yn unig yn Nghyfarfod Misol ei sir ei hunan, ond yn y Gymdeithasfa Chwarterol, a hyny hyd yn nod pan oedd yr offeiriaid yn llywodraethu, fe safai e ochr yn ochr â gwŷr blaenaf y Cyfundeb, gan gymmeryd ei ran, fel hwythau, yn yr ymdriniaeth â phynciau athrawiaethol ar ddydd mawr y Gymmanfa; ac fe deimlid yn wastadol ei fod yn gallu taflu rhyw oleu arnynt nas gellid ei ddysgwyl oddiwrth neb ond efe. Yr oedd hyn oll heb iddo wthio dim arno ei hunan i sylw, ond trwy ei fod yn cael ei dynu yn gwbl gan ereill.

Wedi bod yn gwasanaethu felly am tuag un-mlynedd-ar-hugain, yn niwedd y flwyddyn 1808,—ar ddydd y Nadolig, ni a glywsom,—a phan oedd yn chwe' mlwydd a deugain oed, fe ddechreuodd bregethu. Cymmerodd y cam hwn, drachefn, yn benaf oddiar gymhelliadau taerion ei gyfeillion, yn enwedig y pregethwyr, ac, yn neillduol, trwy annogaethau ei frawd, y Parch. Mr. Charles o'r Bala. Nid oedd hyn, yn wir, iddo ef, i fesur mawr, ond symmudiad i wneuthur yr un peth yn y gynnulleidfa gyhoeddus, ag a wnelsid ganddo, er ys blynyddau, yn y cyfarfodydd eglwysig. Ac fe'i profodd ei hunan yn fuan, yn y cymeriad hwn, yn weinidog cymhwys y Testament Newydd. Ni bu y dyrchafiad a gafodd yn un darostyngiad arno. Gwelwyd rhai, weithiau, ar ol ennill cryn enwogrwydd fel blaenoriaid, wedi eu codi yn bregethwyr yn syrthio yn isel iawn,—mor isel fel na pherchid hwynt megis pregethwyr na blaenoriaid. Ond nid felly y bu gydâg ef. Yn

y neilldüad cyntaf yn y Deheudir gan y Methodistiaid ar Weinidogion o blith eu pregethwyr eu hunain, er nad oedd efe wedi bod yn pregethu ond ychydig gydâ dwy flynedd a haner, fe'i dewiswyd yn unfrydol i'r ymddiried hwnw dros Sir Gaerfyrddin. Ac fe ddywedir na byddai mor hynod braidd gydâ dim, oddieithr yn nghynnadleddau y Gymdeithasfa, â chydâ gweinyddiad Swpper yr Arglwydd. Ar adegau felly, byddai yr helaethrwydd o eneinniad a fyddai ar ei ysbryd ef ei hunan, yn ëangu ac yn dyrchafu ei olygiadau, yn ireiddio ac yn pereiddio ei lais, ac yn rhwyddhau ei ddawn,—ac fe gyfodai i hwyl hyfryd a hynod o ddylanwadol ar ei holl gyd-gymunwyr. Parhäodd yn ffyddlawn i wasanaethu achos crefydd, yn benaf yn ei sir ac yn enwedig yn ei dref ei hunan; ond, yn ei gysylltiad â'r Cymdeithasfäoedd, trwy holl siroedd y Deheudir, ac yn achlysurol yn y Gogledd, yn gystal a Bristol a Llundain, hyd fis Gorphenaf, 1828, pan y tarawwyd ef gan y parlys mud (*apoplexy*). Tybiwyd, pan y tarawwyd ef gyntaf, y byddai farw yn ddioed: eithr, yn groes i ddysgwyliadau pawb, efe a fu byw dros chwe' blynedd, ond âg un ochr iddo yn hollol ddiffrwyth, ac wedi colli ei leferydd yn gwbl; ac felly y parhäodd hyd ei farwolaeth, Medi 2, 1834, pan ydoedd ychydig wythnosau yn fyr o gyrhaedd deuddeg a thriugain mlwydd oed.

Mae yn ddrwg iawn genym na chawsom ni erioed y fraint o weled na chlywed Mr. Charles. O ran oedran, ni a allasem ei gofio yn dda, pe buasai yn dygwydd dyfod i'r lle y cartrefem. Ond ni bu yn Nghaergybi oddieithr unwaith erioed, sef Tachwedd 2, 1818,—pryd y bedyddiai chwaer fechan i ni yr hon a fu farw yn ieuanc,—a phan nad oeddem ni ond pump oed. Ond pe dygwyddasai i ni ei glywed, pan yn blentyn, y mae yn debyg iawn na buasem yn gallu ffurfio ond dirnadaeth anmherffaith iawn am dano. Clywsom ddau o'n cyfeillion mwyaf meddylgar, ac nid oes rhai mwy meddylgar o fewn Cymru, yn adrodd eu teimladau plentynaidd hwynt o berthynas iddo. Dywedai un o honynt, oedd yn fachgen lled ieuanc yn ei wrando ar y maes, yn Nghymdeithasfa Caernarfon, yn y flwyddyn 1822 (*tu dal.* 98, 99), ei fod ef, ar y pryd, yn teimlo nad oedd wedi clywed dim mwy difywyd, na nemawr ddiflasach, erioed. Dywedai y llall,—mai un o'r pethau a fyddai yn ei synu yntau yn fwyaf pan yn blentyn ac yn myned y naill flwyddyn ar ol y llall i Gymdeithasfa Aberystwyth, oedd, pa fodd yr oeddent yn rhoddi Mr. Charles o Gaerfyrddin i bregethu yno yn olaf,

bob amser, yn yr oedfa am ddeg neu am ddau. Felly y mae yn ymddangos y teimlai plant yn gyffredin; ac felly, ysywaeth! y teimlai nifer mawr o'i wrandawwyr ef, sef y cwbl o'r rhai nad oeddent ond megis plant o ran eu hamgyffredion. Yr oedd ei ragoriaeth ef fel pregethwr yn wahanol i'r eiddo y rhan fwyaf, yn wir agos y cwbl o'r gwŷr grymus a gyd-oesent âg ef. Fel ag yr ydym wedi cael achlysur fwy nag unwaith i sylwi, yr oedd eu rhagoriaeth hwy, nid yn gymmaint yn y pethau a draethid ganddynt, âg yn y dull neillduol oedd ganddynt hwy o'u traethu,—y bywiogrwydd, y teimlad, y tân, y nerth, oedd yn eu traddodiad. Yr oedd ei ragoriaeth yntau, o'r tu arall, yn gwbl yn y pethau a draethid ganddo, ac nid, mewn un modd, yn y dull y traddodid hwynt. Yn wir, y mae yn ymddangos ei fod yn nodedig o ddiffygiol yn hyny. Yr oedd ei fod wedi cyrhaedd yr oedran yr oedd ynddo pan y dechreuodd bregethu, fe allai, yn radd o anfantais iddo; gan y teimlai yn rhy anhawdd, erbyn hyny, ymadael â'r dull tawel, hamddenol, ac yn tueddu at fod yn undônol, a arferasid ganddo am gynnifer o flynyddoedd yn y cynnulliadau eglwysig. Yr oedd ei ddyn oddiallan yn dra manteisiol iddo. Yr oedd yn ŵr tàl, corphol, têg ei wynebpryd a thra pharchedig yr olwg arno; syml, ond tra boneddigaidd ei ymddangosiad; ac, yn ei holl ddull, yn ddidrwst a pherffaith ddirodres; ac, â'i holl enaid, yn ffieiddio pob peth a argoelai duedd at hyny. Yr oedd ganddo hefyd lais naturiol cryf, a ddaethai, gydâg ychydig ddysgyblaeth, yn llais siarad da. Ond nid ydoedd wedi cael dim o hyny erioed ganddo ef. Yr oedd ei ddull o draddodi yn araf a digyffro, gan ostwng ei lais ar ddiwedd y frawddeg; fel, mewn cynnulleidfa fawr, y byddai peth o'r synwyr, gyda lliaws, yn wastadol yn cael ei golli, a'r effaith ar bawb yn llawer llai, na phe buasai yn siarad yn fwy bywiog a nerthol, ac yn dal y llais i fynu yn gryf hyd y sill olaf yn y frawddeg. Yr oedd, yn ei ddull, yn ymddangos yn hytrach yn debycach i un yn meddwl yn uchel wrtho ei hunan, nag i un yn annerch cynnulleidfa o bobl, ar y testynau pwysicaf a allasent byth ddyfod dan eu sylw. Yr oedd yr un peth yn peri iddo *ymddangos* yn amddifad o deimlad. Nid ei fod felly mewn gwirionedd, oblegyd yr oedd yn nodedig o dŷner a dwys ei deimladau: ond yr oedd heb y gallu, sydd yn hanfodol i siaradwr effeithiol, i daflu ei deimlad i'w lais, a'i edrychiad, a'i ysgogiadau. Yn fyr, rhaid cydnabod nad ydoedd mewn un modd yn areithiwr. Ac eto yr oedd rhagoriaethau neillduol ac

arbenig ynddo fel pregethwr. Yr oedd ei bregethau yn gyflawn o'r meddyliau dyfnaf a phuraf a phrydferthaf a gynnyrchwyd braidd gan neb erioed,—meddyliau wedi eu tynu allan o galon yr efengyl, ac yn gyfoethog o'i gwirionedd, ei mawredd, a'i gogoniant hi. Yr oedd y fath newydd-deb a gwreiddiolder ynddynt, fel mai ofer a fuasai chwilio am danynt mewn unrhyw awdwr, na hen na diweddar; ac eto, wedi iddo ef eu dywedyd, ymddangosent mor eglur, ac mor naturiol i'r pwnc a fyddai ganddo dan sylw, fel y byddai lliaws o'i wrandawwyr yn synu pa fodd yr oeddent hwy eu hunain heb eu canfod o'r blaen. Dyna dystiolaeth pawb, y buom ni yn ymddyddan â hwynt am dano, a gawsant gyfleusdra i'w wrandaw, wedi iddynt ddyfod i addfedrwydd oedran a barn i allu gwerthfawrogi ei bethau. Ond nid rhaid i ni wrth dystiolaeth neb ar hyn. Y mae y cyfrolau argraffedig o'i Bregethau,—dwy yn y Gymraeg, ac un yn y Saesonaeg,—yn ddigon o dystiolaeth i odidawgrwydd y meddyliau a draddodid ganddo. Troed y darllenydd i unrhyw du dalen ynddynt,—nid yw o un gwahaniaeth pa un,—ac ni a feiddiwn ddywedyd y cyferfydd, cyn iddo ddarllen ond ychydig frawddegau, â syniadau mor ogoneddus a dyrchafedig ag odid ddim a all gael mewn unrhyw awdwr anysbrydoledig o ba wlad neu oes bynnag. Y maent mor syml a dirodres, fel ag y gall y difeddwl lithro drostynt heb deimlo fod dim neillduol ynddynt; ond, wrth graffu ychydig arnynt, fe ganfyddir fod ardderchawgrwydd gwirioneddol, ac o'r radd uchaf, yn perthynu iddynt. Nid ydym, er dywedyd hyn, yn hòni fod ei bregethau yn hollol yr hyn y dymunasem iddynt fod, a'r hyn, yn ein bryd ni, a ddylai pregethau fod. A chymmeryd ei bregethau argraffedig megis enghreifftiau o'i ddull cyffredin, fel yn ddiammeu y gallwn wneyd, y mae yn ymddangos i ni na byddai yn rhoddi digon o le, o gryn lawer, i ddeonglyddiaeth ysgrythyrol yn ei bregethau, yn enwedig i ystyr neillduol y testyn uniongyrchol a fyddai ganddo dan sylw. Prin hefyd, ni a dybygem, i gynnulleidfa gymmysg, y byddai yn dysgu digon ar wirioneddau yr efengyl yn eu cysylltiadau pynciol neu gyfundraethol; ymddangosai, yn hytrach, fel pe buasai yn tybied fod ei wrandawwyr uwchlaw rhyw ffurfiau elfenol o'r fath, ac yn alluog i'w ddilyn ef, i gymdeithas â gwirioneddau pur yr efengyl megis drychfeddyliau tragywyddol, annibynol ar bob trefniant, ac eto yn cynnwys defnyddiau y trefniant perffeithiaf,—yr hyn nas gallasai fod yn wir ond am ychydig iawn o honynt. Drachefn, ni

a dybiem mai tra anaml y byddai yn gwneyd appeliadau cyffrous, nerthol, yn uniongyrchol at gydwybodau ei wrandawwyr, nes eu dychryn yn eu diofalwch, a'u dwyn i ystyriaeth ddifrifol o'u hachos mawr rhyngddynt â Duw. Rhaid cydnabod fod y diffygion hyn yn y pregethau argraffedig, fel yr oeddent, ni a dybygem, yn y rhai llafaredig; ac, felly, nas gellir eu gosod i fynu fel esiamplau o'r dull goreu i annerch cynnulleidfäoedd cymmysg,—yn cynnwys lliaws tra anwybodus, a rhai tra annuwiol. Ond, os edrychir arnynt megis myfyrdodau meddwl cryf, gwreiddiol, hynod o bwyllog a gochelgar, a nodedig o dduwiol-frydig, ar wirioneddau mawrion y dadguddiad dwyfol,—yn cael eu gosod allan mewn iaith eglur, syml, a hollol ddiaddurn, ac eto, bob amser, iaith nodedig o goeth,—nid ydym yn tybied fod unrhyw awdwr, mewn unrhyw oes, wedi gadael gemau gwerthfawrocach ar ei ol i'r byd nag a geir yn ei bregethau ef. Ac wrth feddwl am hyny, nis gallwn lai na gresynu, pan y cofiom fod *cannoedd* o honynt eto yn aros mewn ysgrifen, heb eu hargraffu erioed, a'r eglwys a'r byd yn colli y fantais fawr a allai ddeillio iddynt oddiwrthynt.

Ond, yn nghanol ei frodyr, yn nghynnadleddau y Gymdeithasfa, ac, yn enwedig, pan yn ymdrin â phynciau athrawiaethol, y gwelid ef yn ei ogoniant. Yn ol tystiolaeth pawb a'r a'i clywsant, fe fyddai ar adegau felly yn hollol annysgrifiadwy. Byddai y fath wreiddiolder ac ardderchawgrwydd a phrïodoldeb yn ei sylwadau, a'r brodyr yn cael eu harwain ganddo i gyfeiriadau mor ddïeithr, ac ar hyd llwybrau mor ddisathr iddynt, fel, yn y cyffredin, y byddent oll mewn syndod at ogoniant y pethau, ac wedi annghofio pob peth arall wrth graffu arnynt. Nid dywedyd rhywbeth, a darawai i'w feddwl ar y pryd, y byddai mewn cyfarfodydd felly; ond byddai yn hawdd deall, oddiwrth nodwedd y pethau, eu bod wedi costio llafur caled blaenorol iddo. Yr oedd un fantais neillduol iddo, ar y fath achlysuron, na ch'ai byth yn y pulpud; yr oedd y nifer mwyaf o lawer, os nad y cwbl, o'r rhai a fyddent yn bresennol, yn gallu gwerthfawrogi y pethau a ddywedid ganddo, ac yn gwrando arno yn y modd mwyaf astud, ac, yn fynych, yn teimlo yn ddwys oddiwrth ei sylwadau. Effeithiai hyny er peri rhyw gymmaint o gyffröad arno yntau; nes ei godi, weithiau, i hwyl hyfryd, a pheri iddo bob amser siarad yn llawer mwy grymus nag y clywid ef braidd byth pan yn pregethu. Clywsom y diweddar Mr. William Morris, Tŷ Ddewi, yn adrodd am un tro nodedig, a ddygwydd-

odd mewn Cymdeithasfa yn y Casnewydd, yn Sir Fynwy, os ydym yn iawn gofio. Yr oedd Mr. Charles yn Gadeirydd yn y Gymdeithasfa. Y pwnc dan sylw, y pryd hyny, oedd "*Hollwybodaeth Duw*." Yr oedd Mr. Elias yn dygwydd bod yn y Gymdeithasfa. Ac yn lle agor y pwnc ei hunan, fel yr arferai wneyd, fe alwodd y Cadeirydd ar Mr. Elias i hyny, ac i gymmeryd ei amser fel yr un yr oedd dysgwyliad y cyfarfod yn arbenig wrtho. Wedi peth ymesgusodiad, fe gyfododd Mr. Elias ac a draethodd yn helaeth ac yn ardderchog ar y mater, nes yr oedd Mr. William Morris yn teimlo fod y pwnc wedi ei ddyhysbyddu, ac nad oedd dim wedi ei adael i neb arall. Cododd tri neu bedwar ar ol Mr. Elias, eithr nid oedd yr un o honynt yn gallu cael gafael ar ddim, heblaw cyfeirio yn unig at y pethau rhyfedd a gwerthfawr a ddywedasid eisoes. Yr oedd y cyfarfod, ar ol dechreu yn ardderchog, yn tueddu i drymhau, ac ofnid y buasai yn dibenu mewn gradd o dywyllwch. Ond toc, dyna Mr. Charles ei hunan yn codi; ac wedi cyfeirio yntau, gydâ chymmeradwyaeth mawr, at y sylwadau blaenorol, fe ddywedodd fod un gwrthddrych i'r wybodaeth ddwyfol, y gallent, fe allai, gyfeirio ato, a roddai fantais iddynt i weled rhyw gymmaint yn ychwanegol o'r pwnc oedd ganddynt dan sylw; ac yna fe ddechreuodd draethu, gydâ'r fath oleuni a nerth a gogoniant, ar wybodaeth yr Anfeidrol am dano ei hunan,—yn ysbrydolrwydd ei natur, yn nirgelwch ei hanfod, yn amrywiaeth y Personau ac undod y Duwdod, yn mherffeithrwydd ei gymeriad, yn nirgelwch ei gynghor a dyfnder ei fwriadau, yn nghymhelliadau a dibenion a nifer ei weithredoedd, ac felly yn y blaen,—nes yr oedd bywyd rhyfedd yn llanw y capel, a phawb yn y lle fel wedi eu boddi mewn syndod, a'u meddiannu â rhyw syniadau am wybodaeth y Goruchaf nad oeddent wedi dychymygu dim am danynt erioed o'r blaen. Yr oedd Mr. Elias, er ys meityn, wedi codi ar ei draed, ac yn edrych fel wedi delwi. Wrth ei weled ef ar ei draed, fe dybiodd Mr. Charles fod ganddo rywbeth ar ei feddwl i'w ychwanegu; ac fe'i cymhellodd i ddyweyd gair yn mhellach, cyn terfynu. "Dyweyd gair, Mr. Charles?" meddai yntau; "fe fyddai yn bechod ynof fi ryfygu dywedyd yr un hanner gair ar ol y pethau rhyfedd a glywais i yrŵan. Os caf fi, mi geisiaf fyned am funud i weddi." Ac felly fu. O ran nerth a dylanwad gweinidogaeth, yn cyfodi yn unig oddiar gyfoeth ac arucheledd ei feddyliau, ac heb dderbyn dim cymhorth oddiwrth y dull neillduol oedd ganddo i'w thraddodi, yr oedd DAVID CHARLES yn sefyll yn hollol arno ei hunan yn mysg *Hen Bregethwyr Cymru*.

Yr oedd y nesaf sydd yn dyfod dan ein sylw,—EBENEZER RICHARD,—yn un o gedyrn penaf y Weinidogaeth Gymreig, ac yn un y mae ei goffadwriaeth yn anwyl yn nghalonau cannoedd o'i hen wrandawwyr hyd heddyw. Fe'i ganwyd ef yn Nhrefin, yn Sir Benfro, Rhagfyr 5, 1781. Yr oedd ei dad, Henry Richard, yn ŵr nodedig o grefyddol, ac wedi bod yn athraw mewn cysylltiad âg ysgolion Mrs. Bevan, mewn amryw fanau yn Neheudir a Gogledd Cymru. Yr oedd hefyd yn arfer pregethu gydâ'r Methodistiaid;—a bu yn llafurio felly am driugain mlynedd. Bu farw, meddai Bywgraffwyr Mr. Ebenezer Richard, Rhag. 7, 1812; ond, yn ol Mr. Thomas Richard, ar nos Sabbath, Rhag. 6, 1813, yn dair blwydd a phedwar ugain oed. Yr oedd ei fam hefyd, yr hon a elwid Hannah, yn wraig dduwiol iawn, ac yn cymmeryd gofal annghyffredin i ddwyn ei phlant i fynu yn ofn yr Arglwydd. Bu hithau farw, Awst 22, 1818. Bendithiwyd gofal ac addysgiadau ei rïeni i Mr. Ebenezer Richard, fel y tyfodd i fynu âg arwyddion arno, o'i ddechreuad cyntaf, ei fod yn ofni Duw, ac yn meddwl yn ddifrifol am bethau crefydd. Pan oedd tuag ugain oed, ac erbyn hyn, er ys rhai blynyddoedd, wedi gadael ei gartref, ac yn cadw ysgol mewn lle a elwir Brynhenllan, yn Sir Benfro, bu dan argyhoeddiadau ac yn ngafael dychrynfeydd ofnadwy, nes yr oedd agos ar fin gwallgofi. Yr oedd arswydau ei feddwl y fath fel y gorfu arno roddi i fynu yr ysgol, a dychwelyd adref at ei rïeni, lle y bu am ryw gymmaint o amser ar ymylau anobaith. Y mae efe ei hunan yn ysgrifenu fel y canlyn, am ei deimladau ar y noswaith olaf o'r trallod hwn:—"Gorphenaf 1, 1801.—Y noswaith hon oedd y fwyaf ofnadwy yn fy mywyd; ond yr wyf yn gobeithio mai ynddi hi y dechreuodd *dydd* na bydd terfyn arno byth." Yr hyn a fendithiwyd i dawelu ei feddwl oedd y geiriau yn Heb. vii. 25:—"Am hyny efe a ddichon hefyd yn gwbl iachâu y rhai trwyddo ef sydd yn dyfod at Dduw, gan ei fod ef yn byw bob amser i eiriol drostynt hwy." Wedi cael yr ymwared hwn, fe ddychwelodd drachefn at ei ysgol, gan ymroddi gydâg egni adnewyddol, a chydâ theimladau nad oedd o'r blaen yn gwybod dim am danynt, i fywyd duwiol a llafur crefyddol. Dechreuodd bregethu yn y flwyddyn 1803, ychydig o flaen ei frawd, Mr. Thomas Richard: ond ar yr un pryd yr ymddyddanwyd â'r ddau, ac y derbyniwyd hwy yn aelodau o'r Cyfarfod Misol. Mr. Jones o Langana oedd â'r llaw benaf yn yr ymddyddan hwnw; ac ar ol dyfod allan o'r cyfarfod lle yr ymddiddenid â hwynt,

efe a ddywedai wrth ryw ŵr dieithr oedd yn bresennol, "Mae y ddau fachgen hyn yn pregethu fel dau angel." Yn y flwyddyn 1806, efe a symmudodd i Aberteifi, i fod yn athraw teuluaidd i feibion James Bowen, Ysw., wedi hyny o Lwyn-gwair. Wedi bod yn y teulu hwnw, yn dra chysurus, am tua thair blynedd, ar y cyntaf o Dachwedd, 1809, efe a brïododd, â Mary, merch Mr. William Williams o Dregaron, ac wyres i David Evan Jenkins, un o'r hen gynghorwyr cyntaf yn mhlith y Methodistiaid. Ar ol prïodi, er colled ddirfawr i Aberteifi ac i odre y sir, ond er ennill mwy i ben uchaf y sir, fe symmudodd i Dregaron i breswylio, lle hefyd y trigiannodd hyd ddiwedd ei oes. Ganwyd iddo yno amryw blant; o'r rhai y mae un mab, Mr. Henry Richard, yr Aelod Seneddol dros Ferthyr Tydfil, a dwy o'r merched, eto yn fyw. Yn y flwyddyn 1811, ar y neillduad cyntaf ar Weinidogion yn mhlith y Methodistiaid, yr oedd efe yn un o'r tri o Sir Aberteifi a ddewiswyd i hyny. Efe oedd yr ieuengaf, o rai blynyddoedd, o'r rhai oll a ddewiswyd y pryd hyny trwy Gymru i gyd: ond yr oedd ei dalentau dysglaer, ei gymeriad uchel, a'i ddylanwad mawr y fath, fel nad oedd modd myned heibio iddo. Yn y flwyddyn 1813, fe'i dewiswyd yn Ysgrifenydd y Gymdeithasfa yn y Deheudir; ac fe lanwyd y swydd hono ganddo, o hyny hyd ei farwolaeth, gydâ ffyddlondeb a medrusrwydd braidd digyffelyb. Yr oedd wedi cael aml ymosodiad gan ryw hûn-glwyf (*lethargy*) trwm, yn peri rhyw gwsg annaturiol arno, nad oedd braidd yn bosibl ei ddeffroi o hono. Cafodd ymosodiad felly, yn enwedig, tua diwedd y flwyddyn 1832, a'i hattaliodd oddiwrth bob llafur, ac a'i caethiwodd i'w dŷ, am lawer o wythnosau. Pan ydoedd yn Llundain drachefn, yn niwedd y flwyddyn 1835, fe ymosodwyd arno eilwaith â'r unrhyw afiechyd, a hyny i'r fath raddau, fel yr oeddid yn ofni yn fawr am ei einioes. Ond fe'i hadferwyd, nes yr ymddangosai braidd yn ei nerth arferol. Ond yr oedd yr argraff yn ddwfn ar ei feddwl ef nad oedd iddo hir ddyddiau ar y ddaear. Mae yn gofus iawn genym ei glywed, yn Nghymdeithasfa y Bala, Mehefin 15, 16, 1836, pan yn Nghyfarfod y Pregethwyr a'r Blaenoriaid, am ddau yn y prydnawn, y gwahoddai y brodyr i Gymanfa oedd i'w chynnal yn y Twrgwŷn, y gwnaeth ddatganiad cyhoeddus o hyny:—"Rhaid i chwi gyd-ddwyn â mi am fod yn daer iawn arnoch y tro hwn i ddyfod atom, oblegyd eich gwahodd i ddinas beddrod fy nhadau yr wyf. Chwi gewch bregethu yn ymyl y fan lle y gorwedd llwch y gwrol Dafydd

Morris, a'r enwog Ebenezer Morris, y cawri hyny fu yn bloeddio ar y Cymry i ddihuno o'u cwsg. Ac, heblaw hyny, ni ddeuaf fi byth yma i'ch blino chwi mwy. Y mae yr argraff yn ddwys ar fy meddwl na chaf fi byth Gymdeithasfa yn y Bala ar ol hon, ac mai dyma y tro diweddaf i mi gael eich gweled. Yr wyf fi ar gyrhaedd blwyddyn fy mrodyr;"—gan gyfeirio at Mr. Ebenezer Morris a Mr. David Evans, Aberaeron,—"ac y mae rhywbeth yn dywedyd wrthyf, yn bur gryf, mai hi fydd fy mlwyddyn olaf innau." Yr oedd teimlad rhyfedd yn treiddio trwy yr holl gynnulleidfa pan y dywedai hyn, a lliaws yn ofni i'w ragsyniad droi allan yn gywir. Yr oedd efe, pa fodd bynnag, y pryd hyny yn ei iechyd arferol; ac fe bregethodd dranoeth, am ddeg ar y gloch, o flaen Mr. Elias, oddiar Matt. xi. 28, mor gryf ac effeithiol ag y clywwyd ef braidd erioed. Yr oedd yn parhau yn dda iawn trwy yr holl haf hwnw. Aeth i Forganwg i'r Gymdeithasfa a gynhelid yn Mhontypridd, Awst 3, 4, a'r 5; lle y pregethodd ddwywaith, ac y traddododd, yn y cyfarfod ordeinio, araeth ragorol ar Natur Eglwys. Ymwelodd drachefn â'r Gogledd, yn Nghymdeithasfa Dolgelleu, yn niwedd mis Medi, lle y pregethodd dair gwaith; ac aeth, wedi hyny, i Gymdeithasfa y Deheudir, a gynhelid yn Nghrughywel, Sir Frecheiniog, Hydref 25, 26. Gobeithid, y pryd hyn, y mwynheid ei wasanaeth gwerthfawr am flynyddoedd lawer. Ond nid oedd yn teimlo yn llawn cystal yn nechreu y flwyddyn ganlynol. Yr oedd ei hen glefyd, yr hun-glwyf, yn ei flino yn fynych; a'i feddwl yntau yn myned yn fwy-fwy argyhoeddedig fod ei ddiwedd yn agosau. Yn nechreu mis Mawrth, pan ar daith, yn ol pennodiad y Cyfarfod Misol, yn ymweled âg eglwysi Sir Aberteifi, ac yn nghymmydogaeth y Twrgwyn, teimlai ei hunan yn llesgau cymmaint, fel y barnodd mai y peth goreu iddo, yn lle myned rhagddo yn ol ei gyhoeddiad, oedd dychwelyd adref yn ddioed. Cyrhaeddodd ei gartref, nos Fercher,—yn llesg, ond â'i feddwl mewn tangnefedd perffaith. Aeth i'w wely, ac ymddangosai yn cysgu yn naturiol ac yn esmwyth iawn. Tua chwech ar y gloch, boreu drannoeth, trwy gryn drafferth, fe'i deffröwyd, i gymmeryd rhyw feddyginiaeth a ddarparesid iddo. Syrthiodd yn fuan, eilwaith, i gwsg trwm. Pan aed, yn mhen tua dwy awr drachefn, at ei wely, canfyddid fod rhyw gyfnewidiad mawr wedi cymmeryd lle arno, ac ymddangosai ei wedd yn dra dieithr. Wedi gwylio wrth ei wely am tua chwarter awr, pallodd ei anadl, ac ehedodd ei ysbryd ymaith, i wlad y bywyd, yr iechyd, a'r yni tra-

gywyddol. Yr oedd hyn ar foreu Iau, Mawrth 9, 1837, a phan nad ydoedd ond pymtheg mlwydd a deugain oed.

Yr oedd Mr. Richard yn un o'r dynion gwerthfawrocaf a mwyaf defnyddiol a fu gan y Methodistiaid yn Nghymru erioed. Yr oedd y fath gyflawnder ac amrywiaeth doniau ganddo, a'r fath ddeheurwydd ynddo at bob math o wasanaeth, fel, yn mha le bynnag ei dodid, fe'i llanwai mor brydferth,—a pha orchwyl bynnag a ddysgwylid oddiwrtho, fe'i cyflawnai mor effeithiol,—ag i roddi i bawb, bob amser, y boddhâd mwyaf. Yr oedd yn anhawdd dywedyd yn mha le y rhagorai; pa un ai yn yr Ysgol Sabbothol, ai yn y cyfarfodydd eglwysig cyffredin, ai yn Nghynnadleddau y Gymdeithasfa, ai ynte yn y pulpud. Fe dywedir fod ei ddawn i holwyddori yr ysgolion braidd yn ddigyffelyb. Yr oedd yn gallu disgyn yn ddigon isel at ddeall y rhai gwanaf eu hamgyffredion, a'r plant lleiaf, ac ar yr un pryd yn gallu cadw y fath ddyddordeb yn y gwasanaeth, fel na byddai byth yn faich, ond, i'r gwrthwyneb, yn hyfrydwch gwirioneddol i feddyliau y rhai mwyaf deallus yn y lle. Yn y cyfarfodydd eglwysig, drachefn, yr oedd medrusrwydd annghyffredin ynddo i borthi yr aelodau â gwybodaeth ac â deall. Yn Nghynnadleddau y Gymdeithasfa, yn y Deheudir, wedi marwolaeth Mr. Ebenezer Morris, yn 1825, ac, yn enwedig, wedi analluogi Mr. Charles, Caerfyrddin, yn 1828, yr oedd yr arweiniad yn gwbl yn ei ddwylaw ef, ac yr oedd yn llywodraethu mor effeithiol, fel na feiddiai neb godi yn ei erbyn, ac ar yr un pryd, mewn dull mor ddeheuig a hynaws ac anymhongar, fel nad oedd byth yn terfynu ar dra-arglwyddiaeth, ac nad oedd neb yn teimlo yn anesmwyth tano. Pan y deuai i Gymdeithasfäoedd y Gogledd, fel y gwnai ddwywaith neu dair bob blwyddyn, yr oedd yn cymmeryd ei le yno mor naturiol, oddigerth yn unig yn yr arweiniad, a phe buasai gartref; ac ni a glywsom rai yn dywedyd, eu bod hwy yn tybied na byddai braidd byth yn sïarad cystal yn Nghymdeithasfäoedd y Deheu, ag yr arferai wneyd yn wastadol yn Nghymdeithasfäoedd y Gogledd. Y mae yn hawdd iawn genym gredu hyny: oblegyd yr oedd cymmaint o orchwylion ganddo yn y Deheu i ofalu am danynt, ac yr oedd yn gorfod sïarad mor fynych, fel nad oedd yn cael llawer o hamdden i sïarad, ac ond llai na hyny i feddwl am yr hyn a ddywedai; tra, yn y Gogledd, yr oedd yn cael sïarad ar y materion neillduol a ddewisai, o'r rhai a fyddent dan sylw, a digon o hamdden ganddo i feddwl pa beth a ddywedai. Pa

fodd bynnag, fe fyddai yn ardderchog yn y Gogledd. Yr oedd y fath graffder yn ei ddirnadaeth, y fath onestrwydd yn ei amcan, y fath brïodoldeb a chyfaddasrwydd yn ei sylwadau, y fath fywiogrwydd a chwareugarwch yn ei ddychymyg, y fath rwyddineb yn ei ddawn, y fath gyfeiriad a gafael ac awch ar ei awgrymiadau, ac, yn enwedig, y fath eneinniad nefol yn wastadol ar ei ysbryd ef ei hunan, fel ag y byddai yn hyfrydwch calon gan bawb ei weled yn codi, a byddai gwedd yr holl frawdoliaeth, ar unwaith, yn arwyddo fod pawb yn ei fwynhau. Gallem grybwyll, ond fel yr ydym yn ofni myned yn rhy faith, am amryw gyfarfodydd ag y gwelsom ef yn rhoddi cyfeiriad happus iawn i'r ymddyddan. Yr ydym yn cofio, unwaith, mewn Cymdeithasfa yn Nghaernarfon, fod yno gryn gwyno fod crefydd yn isel iawn, ac amryw o'r hen frodyr braidd yn tueddu i daro y rhai oeddent ieuainc y pryd hyny, fel rhai rhy anysbrydol, ac amddifaid, yn eu bryd hwy, o lawer o'r rhagoriaethau oeddent eiddo i'r hen bobl gynt. Yr oedd Mr. Elias, yn enwedig, yn cymmeryd y llwybr hwnw. "Y mae yn rhaid i mi dystio," meddai, "fod claearineb, a chnawdolrwydd, a hyfdra ansanctaidd, lliaws o grefyddwyr ac ambell i bregethwr, yn y dyddiau hyn, yn flinder mawr i mi, yn enwedig wrth eu cymharu â'r rhai ydwyf fi yn gofio. Byddaf yn meddwl yn fynych am eiriau Micah,—'Gwae fi! canys ydwyf fel casgliadau ffrwythydd hâf, fel lloffion grawnwin y cynhauaf gwin; nid oes swp o rawn i'w bwyta; fy enaid a flysiodd yr addfed ffrwyth cyntaf.' Y gŵr yn myned allan i'w winllan wedi i'r ffrwyth gael ei gasglu, ac yno yn blysio ychydig rawnwin i'w ddisychedu a'i adfywio: ond yn methu cael y ffrwyth blasus addfed a hoffai; yn cael ambell un yma ac acw,—yn lled uchel ar y cangau, neu tu hwnt i ryw gysgod,—ond nid 'swp o rawn,' dim digon i'w foddloni; a'r rhai oedd *yn* gael, yn rhai llai, a gwaelach, a sychach, na'r addfed ffrwyth cyntaf. Mi chwennychwn fyw gydâ rhai mwy sanctaidd; nid oes ond ychydig yn meddwl am grefydd, a'r rhai hyny yn dra gwahanol i'w tadau. Y mae y rhai rhagorol wedi eu claddu, wedi eu cymmeryd i'r nefoedd, a rhai llawer gwaelach wedi eu gadael ar eu hôl. O! 'yr addfed ffrwyth cyntaf!'—eu hedifeirwch dwfn; eu gostyngeiddrwydd mawr; eu ffydd gref; eu cariad tanllyd; eu hymddyddanion sanctaidd; eu hymddidoliad oddiwrth y byd; eu cysegredigaeth i grefydd. Nid oes bosibl cofio am danynt, a'u cymharu â chrefyddwyr ffurfiol, claear, cnawdol, y dyddiau hyn, heb deimlo

hiraeth mawr ar eu hôl. 'Fy enaid a flysiodd yr addfed ffrwyth cyntaf.'" Yr oedd yn sïarad gydâ theimlad dwys a chydâ nerth mawr, ac yr oedd yr effeithiau yn annghyffredin ar yr holl gyfarfod. Ond yr oedd Mr. Richard yn gweled y pwn yn troi braidd y naill ochr, a phan y galwyd arno, gan y Cadeirydd, fe gododd yn rhwydd, heb un ymesgusodiad; ac, yn mhlith pethau ereill, fe ddywedodd,—"Y mae yn dda iawn genyf finau gofio am yr hen bobl, ein hen dadau anwyl; ac y mae pob cyfeiriad atynt yn cyffwrdd, ar unwaith, â llinynau tyneraf fy nghalon i. Yr oeddwn yn awr, wrth glywed mor ardderchog am danynt, yn hiraethu fel y gallaswn wylo ar eu hôl. O! 'u gweddïau taer! O! 'u zel fawr! O! 'u llafur caled! O! 'u pregethu bywiog! O! 'u gwrando cynhes, teimladol! Mae arnaf hiraeth y funud yma am danynt! Ond nid daioni oedd ganddynt hwythau i gyd. Yr oedd y Meistr Mawr yn cael llawer ó waith maddeu iddynt hwythau. Ac yr oedden' nhw yn gwneyd yn dda iawn ar dir maddeuant. Ië, *ar dir maddeuant*, cofiwch. Hwyrach, hefyd, y goddefai y Tad nefol lawer o bethau ynddynt hwy, na bydd mor hawdd ganddo fyned heibio iddynt ynom ni. Yr y'm ni wedi cael llawer iawn o fanteision na chawsant hwy. Edrychwch ar y plentyn bach ar fraich y fam; ac am na châ ei ewyllys ei hunan ganddi, y mae, gydâ holl nerth ei fraich fach, yn *slapo* ei bôch hi; a'r tad yn chwerthin ei egni wrth edrych arno. Pe buasai y bachgen deunaw oed yn gwneyd hyny, fe gawsai ei droi dros y drws yn bur fuan. Yr y'ch chwi wedi myn'd yn llanciau; gwyliwch *slapo*'r fam, rhag i'r Tad ddigio!"—Ni welsom odid un amser sylwadau yn effeitho yn fwy dedwydd. Yr oeddent y cyflenwad goreu a allasid gael i'r sylwadau blaenorol, ac yn cael eu teimlo felly gan yr holl frawdoliaeth.

Fel pregethwr, yr oedd Mr. Richard yn un o'r rhai mwyaf effeithiol, ac, o'i gychwyniad cyntaf allan, yn un o'r rhai mwyaf poblogaidd yn Nghymru. Yr oedd yn uno i raddau mor helaeth ag odid neb yn ei oes yr amrywiol gymhwysderau angenrheidiol i wneuthur gweinidog da i Iesu Grist. Yr oedd ei ymddangosiad allanol yn ardderchog. Yr oedd yr olwg arno yn nodedig o dywysogaidd. Llon'd pulpud o ddyn ydoedd. Yr oedd ei feddwl wedi ei gyflenwi â gwirioneddau yr efengyl, a'i galon wedi ei thrwytho gan ei dylanwad hi; yr oedd ei ddychymyg yn gyfoethog a bywiog; yr oedd ei ddawn ymadroddi yn un o'r rhai mwyaf naturiol a rhwydd, heb byth ball arno, nid yn unig am air, ond am *y* gair angenrheidiol; yr oedd ei lais yn un o'r rhai

mwyaf swynol a thoddedig a swniodd erioed yn ein clustiau ni; a byddai ei ysbryd a'i dymher yn wastadol dan ryw ireidd-dra na welsom ni erioed ei gyffelyb. Nid ydym yn tybied y gallasai Mr. Richardson o Gaernarfon, na Mr. Jones, Llangana, na neb o'r hen dadau, fod yn fwy felly. Byddai y dagrau mawrion yn ffrydio o'i lygaid mor naturiol a'r dwfr o'r ffynnon; a'r hyn oedd yn hynod, nid oedd ei wylo ef byth yn rhwystro iddo siarad, ond yn hytrach yr oedd yn siarad yn rhwyddach pan y dechreuai wylo. A dyna lle y byddai golygfa: efe yn wylo; a'r holl gynnulleidfa yn wylo; a'r lle, drwyddo, yn un "Bochim." Gwelsom hyny laweroedd o weithiau. Adroddai cyfaill i ni (Owen Elias, Ysw.), am y tro diweddaf y bu Mr. Richard yn Liverpool, fod yr hen flaenoriaid, o'r amrywiol gapeli, yn ei ddilyn o gapel i gapel, trwy y dydd: ac yr oedd ein cyfaill wedi sylwi fod dau neu dri o'r hen frodyr anwyl—y rhai mwyaf teimladol,—can gynted ag y darllenai Mr. Richard ei destyn, yn tynu allan eu llofleni (*handkerchiefs*), er mwyn parotoi eu hunain i sychu eu dagrau, gan wybod y byddent dan angenrheidrwydd i'w defnyddio yn bur fuan. Nid oedd efe byth yn ymgais at yr hyn a dybid gan rai yn bregeth fawr. Ond ni byddai efe byth heb bregeth: a hono, bob amser, yn gyfansoddiad manwl a rheolaidd a threfnus, ac yn gyflawn o gymhariaethau prydferth, agos at y bobl,—er gwneuthur y gwirioneddau a draddodid ganddo yn fwy eglur i'w deall, a'u gwasgu yn fwy effeithiol at eu teimladau. Ac, er i ni ei wrando ugeiniau o weithiau, nid ydym yn ei gofio nemawr o weithiau erioed na byddai yn llwyddo, cyn y diwedd, i gael buddugoliaeth dêg ar ei wrandawwyr. O ran cyflawnder ac amrywiaeth a rhwyddineb dawn, symledd amcan, mwyneidd-dra llais, ac, yn enwedig, yr ireidddra hynod oedd ar ei ysbryd, yr oedd arbenigrwydd neillduol ar weinidogaeth Ebenezer Richard.

Un arall o feistriaid y gynnulleidfa, ac o addurniadau penaf y Pulpud Cymreig, oedd Thomas Richard. Yr oedd efe, fel y mae yn wybyddus, yn frawd i Mr. Ebenezer Richard. Fe'i ganwyd yntau yn Nhrefin, Chwefror 11, 1783. Yr oedd, felly, ychydig ddyddiau gydâ phedwar-mis-ar-ddeg yn ieuangach na'i frawd. Ni bu brodyr erioed anwylach o'u gilydd nag oeddent hwy, ac eto yr oedd cryn wahaniaeth rhyngddynt o'r dechreuad; gwahaniaeth oedd yn hawdd ei ganfod, wedi iddynt dyfu i fynu, a chyrhaedd ill dau i'r dosbarth uchaf, o ran poblogrwydd a dylanwad, fel gweinidogion yr efengyl yn mysg eu

cenedl. Yr oedd Ebenezer yn fwy tawel, a gwaraidd, a gochelgar, a chyfrwys; a Thomas yn fwy agored, a rhydd, a phrysur, ac anwyliadwrus. Yr oedd gofal eu rhieni yn fawr am y ddau; ac yr oeddent yn ymdrechu eu hegni eu magu yn grefyddol, ac mewn cysylltiad â'r eglwys yr oeddent eu hunain yn aelodau o honi. Nid oeddent yn cael llawer o drafferth gydâ'r hynaf i hyny; canys ymddangosai, er yn blentyn, yn cael hyfrydwch mawr yn y cyfarfodydd eglwysig, ac ni byddai byth yn esgeuluso rhoddi ei bresennoldeb ynddynt. Ond yr oedd yr ieuengaf yn dra gwahanol. Pan ydoedd tua deuddeg oed, fe ddiflasodd arnynt yn hollol, fel nad oedd modd ei gael iddynt; ac ymddangosai yn tueddu at fod yn fachgen gwyllt ac annuwiol iawn. Ond yr oedd ei rieni, ac yn enwedig ei fam, yn bryderus iawn yn ei gylch, ac yn trafferthu llawer gydâg ef. "Llawer gwaith," meddai efe ei hunan, "y bu fy anwyl fam dduwiol yn wylo dagrau uwch fy mhen am dd'od gydâ hi i'r *society*,—y cyfeillachau neillduol; minau yn gwrthwynebu ar wastad fy nghefn ar y llawr, fel y mae y dyllüan yn arfer ymladd, yn llawn llid a chynddaredd: fel hyn y parhëais mewn pob gwylltineb ac ynfydrwydd, yn maeddu ac yn gorchfygu pawb, hyd oddeutu pedair-ar-ddeg oed."—Ond tua'r oedran hwnw, efe a deimlodd ryw argraffiadau ar ei feddwl a derfynasant yn ei wneuthur yn greadur newydd; fel yr oedd, o hono ei hunan, yn awyddus i chwilio am le yn nhŷ yr Arglwydd, ac yr ymroddodd, gydâg egni a difrifwch mawr, i fywyd a llafur crefydd o hyny allan hyd ddiwedd ei oes.

Yn y flwyddyn 1803, fel y gwelsom eisoes, yn mhen ychydig wythnosau ar ol ei frawd, fe ddechreuodd yntau bregethu, pan nad ydoedd ond ugain oed. Daeth, yn fuan iawn, yn un o'r pregethwyr mwyaf swynol, a phoblogaidd, a dylanwadol, yn holl Gymru. Yr oedd y cynnulleidfäoedd yn dyheu am ei wrando; byddai tyrfäoedd mawrion yn ei ddilyn o gapel i gapel; a "nerthoedd y byd a ddaw" yn fynych iawn yn cael eu teimlo trwyddo. Y mae yn debyg nad oedd neb yn y Deheudir mor boblogaidd âg ef, oddieithr Mr. Ebenezer Morris a Mr. Evans, *New Inn*. Gydâ'r holl boblogrwydd hwn, y mae yn ymddangos i ni braidd yn syn paham na neillduasid ef i'r holl waith, yn yr Ordeiniad cyntaf, yn y flwyddyn 1811: pa fodd bynnag, ni wnaed hyny hyd 1814. Ebrill 30, 1819, fe'i priodwyd â Miss Bridget Gwynne; merch ieuanc dra chrefyddol, o deulu cyfoethog ac urddasol; yr hon oedd wedi ei magu gydâ, ac yn nîth i Mrs. Jones, ail wraig yr hen

efengylwr mwynaidd, Mr. Jones, Llangan. Ganwyd iddynt dri o blant: o'r rhai nad oes ond un—y mab—yn awr yn fyw. Wedi teithio llawer a llafurio yn galed, gartref ac oddicartref, fe wanhäodd ei iechyd yn fawr rai blynyddoedd cyn ei farwolaeth; ac, am y tair neu y pedair blynedd diweddaf o'i oes, yr oedd mor lesg, fel yr oedd yn cael ei gaethiwo braidd yn gwbl i'w gartref, a'r capeli cymmydogaethol. Tra yn y gwendid hwn, Mehefin 9, 1855, fe gollodd ei brïod, yr hyn oedd iddo yn brawf llym. Yr oedd ei afael yn awr yn y byd hwn yn llacio fwy-fwy, a'i hiraeth am y nefoedd yn cryfhau. Cawsom ni, fel y crybwyllasom eisoes (*tu dal.* 832), gyfleusdra i gael ychydig o'i gyfeillach, yn y cyfwng rhwng marwolaeth Mrs. Richard a'i ymadawiad ef ei hunan; ac nid ydym yn meddwl i ni weled ar y ddaear erioed y fath addfedrwydd ysbryd i'r nefoedd. Ac ar ddydd Iau, Ionawr 3, 1856, â'i feddwl yn gyflawn o dangnefedd yr efengyl, fe hunodd yn yr Iesu, pan nad oedd ond ychydig ddyddiau gydâ mis rhyngddo a bod yn dair-blwydd-ar-ddeg-a-thriugain oed.

Yr oedd Mr. Thomas Richard, yn ddiddadl, yn un o bregethwyr blaenaf ei oes. Yn y rhagoriaethau neillduol a berthynent iddo, anfynych iawn y gwelwyd ei gyffelyb. Yr oedd ei ymddangosiad allanol yn nodedig o fanteisiol iddo. Yr oedd ei gorph yn hynod o olygus a lluniaidd, a thua phum' troedfedd a naw modfedd o daldra. Yr oedd ffurf prydferth y pen, llun eirianaidd y wyneb, gwrid tlws y croen, gwyndra grisialaidd y dannedd, ac, yn enwedig, maint, bywiogrwydd, treiddgarwch, a sirioldeb y llygaid, yn dynodi dyn wedi ei dori allan gan natur ei hunan i ddylanwadu ar ei gyd-ddynion. Yr oedd ganddo, drachefn, un o'r lleisiau goreu a fu gan ddyn erioed, ac yr oedd ei feistrolaeth arno yn berffaith. Nid oedd, fe allai, mor doddedig â llais ei frawd, megis nad oedd cymmaint, hwyrach, o deimlad *(pathos)* yn ei natur: ond yr oedd yn llawer mwy nerthol a chlochaidd; ac yn mwyneiddio, fel y byddai yn ymddyrchafu, nes dyfod yn beroriaeth ei hunan; fel ag i'w wneuthur yn hyfryd i'w wrandaw, pe na buasai ond er mwyn y sŵn yn unig. Yr oedd ei ddoniau ymadroddi braidd yn ddiderfyn. Yr oedd ganddo y fath gyflawnder o eiriau at ei wasanaeth, y fath fedrusrwydd i'w cyfleu yn frawddegau yn gwbl yn ol ei ewyllys ei hunan, a'r fath rwyddineb ac ystwythder parabliad, fel yr oedd ei ddawn yn dueddol i fod yn fagl iddo. Yn wir, ni a dybygem mai dyna ei brofedigaeth fwyaf ef. Nid ydym yn ammeu dim, pe buasai yn llai doniol,

na buasai yn well pregethwr; o leiaf, na phregethasai yn fynych yn well. Byddai yn cael ei lithio, weithiau, gan y rhwyddineb oedd mor naturiol iddo, i arfer geiriau na buasai y chwaeth oreu yn eu cymmeradwyo, ac na buasai efe ei hunan, gydâg ychydig o ragfeddwl, byth yn eu defnyddio. Yr oedd yr un peth yn peri fod cryn anwastadrwydd yn ei bregethu ef, a mwy o ansicrwydd na chydâ llïaws o bregethwyr, llawer llai nag ef, pa fodd y tröai y cyfarfod allan. Yr oedd yn hyny yn wahanol iawn i'w frawd. Ni byddai Ebenezer un amser yn methu. Byddid yn sicr o bregeth dda, ac o gyfarfod hwylus gydâg ef. Dichon na byddai byth yn codi mor uchel ag y gwnai Thomas, pan yn ei hwyliau goreu; ond ni byddai byth yn syrthio mor isel ag y dygwyddai rai prydiau, ac yn lled fynych, gydâg ef. Y mae yn wir y byddai y bregeth bob amser gan Mr. Thomas Richard hefyd, wedi ei llunio yn drefnus, ac,—fel y gwelir oddiwrth y cyfrolau a gyhoeddwyd gan Mr. Matthews allan o'i ysgrifeniadau, o'r rhai y mae cannoedd eto yn aros,—wedi ei hysgrifenu yn lled helaeth, yn llawer helaethach nag y dysgwyliasid. Ac yr oedd y fath ragbarotöad, ar du un â'r fath gyflawnder o ddawn ganddo, yn arwyddo cydwybodolrwydd mawr i'w waith. Ond fe ddygwyddai iddo, weithiau, naill ai colli y llinell y bwriadasai ei chymmeryd, neu gael ei dynu rywfodd i gymmeryd cyfeiriad arall, neu, ynte, fethu cael hwyl dda i gyflenwi, yn y dull a amcanesid ganddo, yr hyn a ragbarotoisai;—a'r canlyniad fyddai, llïosogiad geiriau, a phlethiad brawddegau, yn rheolaidd ac yn eu ffordd yn gywrain ac yn nodedig o ddawnus, ond yn troi yn yr un cylch,—geiriau, geiriau, geiriau,—heb daflu nemawr o oleuni ar y pwnc, na chynnyrchu ond ychydig deimlad yn y gwrandawwyr.

Ond, pan y caffai hwyl iawn, fe fyddai yr effeithiau drwyddo ar y cynnulleidfaoedd yn anorchfygol, ac yn cyfodi miloedd, ar unwaith, i'r fath deimladau ag i'w hannghofio eu hunain yn gwbl. Yr ydym yn cofio un tro yn neillduol felly, mewn Cymdeithasfa yn Llanerchymedd, yr Iau a'r Gwener, Mehefin 25, 26, 1829,—y Gymdeithasfa y cyfeiriasom ati eisoes (*tu dal.* 879), wrth grybwyll am Mr. Michael Roberts. Yr oedd yr oedfa y cyfeiriwn yn awr ati ar y maes, y prydnawn cyntaf. Dechreuwyd gan Mr. Michael Roberts: ac wedi i Mr. Richard Davies o Gaio bregethu, gydâ rhwyddineb a blas mawr, oddiar Psalm lxviii. 18, dyna Mr. Thomas Richard yn dyfod i'r golwg. Yr oedd y pryd hyny yn nghanol ei ddyddiau, ac yn nghyflawnder ei

nerth; ac eto yn gwisgo y *cap* du, a'i holl ymddangosiad yn barchedig ac awdurdodol. Darllenodd yn destyn, Act. x. 43:—"I hwn y mae'r holl brophwydi yn dwyn tystiolaeth, y derbyn pawb a gredo ynddo ef faddeuant pechodau, trwy ei enw ef."—Teimlid, yn mhen ychydig iawn o funudau, fod y pregethwr mewn hwyl ragorol. Nid oedd rhyw lawer o ragoriaeth yn y bregeth, a'i golygu yn unig fel cyfansoddiad. Yr oedd ynddi ddiffyg mawr o ran undod amcan a drychfeddwl; a gormod o lawer o raniadau, ac is-raniadau, a rhaniadau drachefn, yn ddi-ddiwedd. Ond yr oedd "ysbryd y peth byw" yn treiddio trwyddi, ac yn rhoddi rhyw fywyd a nerth ynddi, nas gallasai unrhyw ardderch-awgrwydd cyfansoddiad byth eu cynnyrchu. Wrth sylwi ar "dyst-iolaeth" y "prophwydi,"—wedi gwneyd y gynnulleidfa yn rheithwyr, efe ei hunan yn ddadleuydd, Iesu Grist yn hawlydd, a'r prophwydi yn dystion,—fe ddechreuodd eu galw yn mlaen, y naill ar ol y llall, i ddwyn eu tystiolaeth; gan sylwi ychydig, wrth fyned rhagddo, ar yr hyn a ddywedid gan bob un; a'i gymhwyso, yn dra effeithiol, at ddeall a chydwybod a chalon y gwrandawwyr. Toc, fe ddaeth at gynnwysiad arbenig y dystiolaeth: "y derbyn pawb a gredo ynddo ef faddeuant pechodau, yn ei enw ef." Wrth drin am y fendith—maddeuant pechodau,—fe ddysgrifiai gyflwr y dyn oedd wedi ei chael, dan y drychfeddwl,—"*gŵr rhydd.*" "Rhydd oddiwrth gondemniad; rhydd ger bron Duw; rhydd yn ngwyneb cyfraith; rhydd 'trwy ei enw ef.' Rhydd er cystuddiau corph; rhydd er tlodi amgylchiadau; rhydd er gwawd ac erlid y byd. Rhydd er ofnau y galon; rhydd er cyhuddiad-au'r gydwybod; rhydd er edliwiadau Satan; rhydd er maint yr euogrwydd; rhydd er dyfned y pla. Rhydd yn angeu; rhydd yn y farn; rhydd byth: gwr rhydd! *gwr rhydd!* GWR RHYDD! Edrychwch arno yn myned trwy ystryd Llanerchymedd. Pa fath wisg sydd ar ei gefn e? Carpiog. Pa fath *het* sydd am ei ben e? Tyllog. Pa fath esgidiau sydd am ei draed e? Baglog. Ond na ofelwch am hyny: gwr rhydd! *gwr rhydd!* Mae ei fater yn dda. Mae ei gyflwr yn ddiogel. Mae ei berson 'yn gymmeradwy yn yr anwylyd.' 'Ni ddaw i farn.' 'Efe a aeth trwodd o farwolaeth i fywyd.' Gwr rhydd! Fe gaiff fyned trwy bob *turnpike* oddiyma i ganol y drydedd nef heb dalu dim: gwr rhydd! Fe gaiff droi i bob *Inn* ar y ffordd; galw am y peth a fyno; caiff yr ymborth goreu i'w fwyta; y gwely goreu i gysgu; dim *Bill* drannoeth: mae ei 'enw ef' wedi clirio y cwbl: gwr rhydd! *gwr*

*rhydd!* GWR RHYDD!"—Ar hyny, yn lled agos i'r fan yr oeddem ni yn sefyll, dyna ryw hen frawd, mor debyg o ran ei ymddangosiad ag oedd bosibl i'r un a ddarlunid gan y pregethwr, yn lluchio rhywbeth i fyny oedd wedi bod yn *het* rywbryd, yn neidio oddiwrth y ddaear, yn curo ei ddwylaw yn nghyd, ac yn gwaeddi â'i holl egni,—"GWR RHYDD; GWR RHYDD; GWR RHYDD; HALELUIAH! GWR RHYDD." Rhedodd hyny, fel tân gwyllt, trwy yr holl dyrfa, nes yr oedd yn waeddi cyffredinol yn mhob cŵr i'r maes. Yr ydym yn cofio fod y cyfaill oedd gydâ ni, Mr. Edward Ellis, *Ship-builder*, Bangor, yn awr o Lanfairfechan, yn troi atom ac yn dywedyd wrthym,—"Wyddoch chwi beth? Y mae nhw yn gwaeddi i gyd ond ni ein dau." Eithr yr oedd llais Mr. Richard, fel cloch arian, i'w glywed trwy y cwbl; ac mewn hwyl felly y terfynodd yr oedfa: oedfa hynod, a hynod iawn, ac i'w chofio byth!

Dyna olwg arno yn ei ogoniant. Os mynwch ei weled, ychydig yn wahanol, chwi a ellwch gael hyny yn y Gymdeithasfa hon. Yr oedd yn pregethu drachefn drannoeth, am ddeg ar y gloch. Yr oedd Mr. Henry Rees, y pryd hyny o'r Amwythig, yn llefaru o'i flaen, oddiar Esaiah lix. 19:—"Pan ddelo'r gelyn i mewn fel afon, ysbryd yr Arglwydd a'i hymlid ef ymaith." Yr oedd hono yn bregeth braidd ddigyffelyb. Nid ydym yn meddwl i ni erioed glywed hyd yn nod Mr. Rees ei hunan, gydâ mwy o ddwysder, a gafael, a grym, a dylanwad. Darluniai nerth ac ystrywiau a malais y gelyn, gydâ'r fath fywiogrwydd ac effeithiolrwydd, nes yr oedd arswyd myned yn ysglyfaeth iddo yn ei ymosodiadau yn meddiannu pob meddwl yn y gynnulleidfa; a phan y daeth at yr oruchafiaeth, a addewid yn y geiriau, yr oedd yn ymwared gwirioneddol i deimladau pawb. Mae yn gofus iawn genym, pan y daeth at y gair "ymlid" fel yn arwyddo fod y frwydr wedi ei hymladd, a'r fuddugoliaeth eisoes wedi ei hennill, fod Mr. Elias wedi codi ar ei draed, a chan sefyll yn ymyl y pregethwr, yn codi ei fraich, ac yn ysgwyd y bys blaenaf, fel pe buasai arno ef ei hunan flys cael siarad. Ond dyna Mr. Rees yn gwaeddi,—"Beth ydyw ymlid? Gwaith y blaid gryfaf yn erlid y blaid wanaf, wedi ennill y fuddugoliaeth. Bobl, y mae y fuddugoliaeth wedi ei hennill ar y groes; y mae *flag* uffern wedi ei chymmeryd rhwng y lladron. 'I ba beth y daethoch chwi i Lanerchymedd ynte?' I'w 'ymlid' o?" Ar hyny, yr oedd Mr. Elias â gwen ar ei enau, ac â'i holl galon yn mwynhau, ac yn

ymddangos fel yn teimlo fod y pregethwr wedi dywedyd yn hollol yr hyn a ddymunasai efe ddywedyd ei hunan. Nid oedd dim gwaeddi na chynhwrf dan y bregeth hon; ond yr oedd yno ryw ddwysder teimlad, annhraethol well na'r cynhwrf mwyaf; ac y mae yn anhawdd genym feddwl na wnaed argraffiadau daionus trwyddi ar feddyliau lliaws oeddent yno yn gwrando.

Wedi cyfarchiad byr gan Mr. Elias, er annog y bobl i weddeidd-dra yn ystod y Gymmanfa, gan eu cymhell, yn enwedig, i beidio rhoddi un fantais i'r "gelyn" ofnadwy, y clywsent am dano, yn ei ymosodiadau arnynt,—dyna Mr. Richard yn dyfod i'r golwg eilwaith. Yr oedd y gynnulleidfa yn lliosog iawn, a dysgwyliadau annghyffredin, ac afresymol, wrth y pregethwr, yn enwedig ar ol y bregeth effeithiol y prydnawn blaenorol. Darllenodd yn awr yn destyn, Act. x. 44:—"A Phetr eto yn llefaru y geiriau hyn, syrthiodd yr Ysbryd Glân ar bawb a oedd yn clywed y gair."—Yr oedd y bregeth hon, fel cyfansoddiad, yn rhagori llawer ar y bregeth flaenorol; yn wir, nid ydym yn meddwl i ni erioed glywed, na darllen, sylwadau gwell nag a wnaed ganddo ar gymhwysder yr efengyl mewn "gair" fel dadguddiad o feddwl Duw i ddyn; a rhagoriaeth dadguddiad mewn "gair" ar ddadguddiad mewn defodau ac arwyddion. Sylwai mai dwy ordinhad arwyddol a berthynant i grefydd dan y Testament Newydd; a bod mwy o gam-ddeall, a cham-deimlo, a cham-siarad, wedi bod yn nghylch y ddwy hyny nag yn nghylch braidd ddim arall a berthyn i Gristionogaeth. Yr oedd ganddo sylwadau rhagorol hefyd ar "nodwedd goruwchnaturiol, ac eto nid gwyrthiol, dylanwadau yr Ysbryd. Goruwchnaturiol: '*Syrthiodd yr Ysbryd Glân.*' Nid gwyrthiol: 'ar bawb a oedd yn *clywed y gair.*'" Mewn gwirionedd, yr oedd yn bregeth ardderchog. Ond nid oedd dim *myn'd* ynddi. Yr oedd y bobl mor sych a dideimlad â'r cerrig. Dichon, pe buasai yn dal yn nghyfeiriad y bregeth fel yr oedd wedi ei rhag-ddarpar, y buasai y teimlad yn newid, ac yntau, cyn y diwedd, yn cael buddugoliaeth dêg. Ond, pa un a effeithiodd dideimladrwydd y bobl arno ef, nes iddo fyned yn ddideimlad ei hunan; neu, ynte, a gollodd e y cyfeiriad a fwriedid ganddo; nis gallwn benderfynu. Pa fodd bynnag, daeth yn amlwg, yn fuan, fod y bregeth ryw fodd wedi ei gadael yn rhyw le; ac yntau yn ymddadleu, braidd yn gecrus, â rhyw wrthddadleuwr, a wadai y dylanwadau hyn yn gwbl. Gall y rhai sydd yn ei gofio (prin y gall ereill), ffurfio rhyw ddrychfeddwl am ei

ddull, pan yn myned rhagddo fel y canlyn:—"'Nid wyf fi ddim yn deall pa fodd y gall peth fel yna fod.' 'O! 'd'ych chwi ddim yn deall? Y'ch chwi yn deall pob peth sydd? Y'ch chwi yn gwybod y dirgelion oll? Rhyfedd y wybodaeth sydd yn eich clopa chwi.' 'Nid wyf fi ddim yn coelio fod dim fel yna wedi bod.' 'Oh! 'd'ych chwi ddim yn coelio? A yw eich coel chwi yn rhoi bod, neu beidio bod, i beth? Pa un ai ar y goel y mae y peth, ai ar y peth y mae y goel?' 'Nid wyf fi ddim yn meddwl, beth bynnag, fod dim fel yna yn bod yn awr, os bu peth fel yna erioed.' 'Oh! dim yn awr.' Paham nad yn awr? Ai nid yr un yw Duw yn awr? Ai nid yr un yw y 'gair' yn awr? Ai nid yr un yw y meddwl dynol yn awr? Paham, ffrynd, nad yn awr?' 'Wel, ni welais i ddim peth fel yna erioed.' 'Oh! ni welsoch chwi mo hono erioed. Yr y'ch chwi wedi gweled pob peth sydd. Ac nid oes dim yn bod ond a welsoch chwi. O'ech chwi yma neithiwr?' 'O'wn, yr o'wn i yma neithiwr.' 'A welsoch chwi rywbeth yma neithiwr? Beth oedd yma neithiwr?' 'Yr oedd yma gwrdd.' 'Oedd yma rywbeth yn y cwrdd?' 'Oedd'; yr oedd y bobl yn mwynhau.' 'O'en nhw yn mwynhau?' 'O'en'.' 'O'en nhw yn mwynhau neithiwr?' 'O'en'.' '*Neithiwr?*' 'Ië, neithiwr.' 'Wel, sut yr o'en nhw yn mwynhau neithiwr? Beth oedd yma yn peri iddynt fwynhau neithiwr?' 'Oh! y gŵr dïeithr.' 'Ah! y gŵr dïeithr! Pa fodd nad allai y gŵr dïeithr wneuthur rhywbeth o honi hi heddyw.'" Ac felly yn y blaen, am gryn enyd.—Yr oeddem yn ofni mai gydâ rhyw ymliw fel yna,—lled ddiflas a difudd,—y terfynai yr oedfa: ond fe gafodd afael, yn mhen amser, ar ei bregeth drachefn; ac fe gafwyd llygedyn tra siriol, am ychydig funudau, cyn y diwedd. O ran cyflawnder ac amrywiaeth dawn, rhagoriaeth llais, a thynerwch teimlad, yr oedd arbenigrwydd neillduol ar weinidogaeth Thomas Richard.

Un arall yr oedd y cynnulleidfäoedd yn annghyffredin o hoff o hono, ac y byddai cyrchu dirfawr ar ei ol, oedd William Morris, Tŷ Ddewi. Fe'i ganwyd ef yn Nghilgeran, yn Sir Benfro,—nid yw y dydd na'r mis genym,—yn y flwyddyn 1788. Yr oedd ei rïeni yn bobl dra chrefyddol; a'i dad, Mr. Thomas Morris, yn bregethwr gyda'r Methodistiaid. Nid oedd efe, fel ag yr ydym yn cofio yn dda, ond o ddoniau bychain fel pregethwr; eithr yr oedd ei gymeriad crefyddol yn uchel iawn: ac, er nad oedd ond crydd cyffredin o ran ei alwedigaeth, ac mewn amgylchiadau lled isel, yr oedd yn cael ei barchu yn fawr gan bob graddau,

yn Nghilgeran a'r gymmydogaeth, ar gyfrif ei dduwioldeb amlwg. Fe ddygwyd Mr. William Morris i fynu yn yr eglwys,—yr unig blentyn yn Nghilgeran, y pryd hyny, a gafodd y fraint hono;—ac fe deimlodd argraffiadau crefyddol dwysion iawn ar ei feddwl, pan yn dra ieuanc. Yr oedd yn dilyn yr un alwedigaeth â'i dad, ac yn gweithio gydag ef. Yr ydoedd, er pan oedd yn cofio dim, yn awyddus am fod yn bregethwr, ac yn teithio llawer, pan yn ieuanc, i wrando pregethau,—gan ddilyn Mr John Jones, Edeyrn, Mr. Robert Roberts, Clynog, a Mr. John Elias, am ddyddiau bwy-gilydd, pan y delent ar gyhoeddiad i'w gyrhaedd. Yr oedd hefyd yn ymroddi, yn y blynyddoedd hyny, i ddarllen llyfrau da, ac, yn enwedig, i feistroli yr iaith Saesonaeg, fel ag i allu defnyddio gwaith Awdwyr Duwinyddol ynddi. Yn niwedd y flwyddyn 1805,—ni a gawsom hyn o'i enau ef ei hunan,—efe a ddechreuodd bregethu. Dywedai wrthym nad oedd efe wedi dechreu pregethu hyd ben tua dwy flynedd a phedwar mis ar ol i Mr. Thomas Richard ddechreu; ond fod rhyw oediad wedi bod ar dderbyniad Mr. Richard yn aelod o'r Gymdeithasfa, fel mai yr un pryd y derbyniwyd hwy eu dau yno. Yr oedd Mr. Richard wedi bod fwy nag unwaith, cyn y derbyniad hwnw, ar daith yn y Gogledd; ac wedi bod yn pregethu, laweroedd o weithiau, yn Nghymdeithasfäoedd y Deheudir. Yr oedd Mr. Ebenezer Richard wedi ei dderbyn i'r Gymdeithasfa dros dair blynedd cyn hyny. Yn Nghymdeithasfa Llangeitho, yn y flwyddyn 1815, fe neillduwyd Mr. William Morris i'r holl waith: yr un pryd a Mr. David Evans, Aberaeron, a Mr. Richard Davies o Gaio. Collodd ei wraig gyntaf yn yr Hydref y flwyddyn 1832. Yn y flwyddyn 1835, efe a brïododd drachefn, â merch ieuanc o gymmydogaeth Ty Ddewi; ac, yn y flwyddyn ganlynol, efe a symmudodd i Dy Ddewi i breswylio, lle y trigiannodd am y gweddill o'i oes. Er mai corph bychan oedd ganddo, ac yn ei flynyddoedd cyntaf yn ymddangos braidd yn eiddil, eto mwynhäodd iechyd rhagorol am flynyddoedd meithion; ac yr oedd rhyw fywiogrwydd ac yni annghyffredin ynddo, a'i galluogent i fyned trwy lawer iawn o lafur. Teithiodd, laweroedd o weithiau, trwy Gymru i gyd, gan bregethu dair gwaith bob dydd; a phregethu, bob tro, gydâ'r un ymröad a nerth a phe buasai yn y Gymmanfa fawr. Pan yn gwasanaethu yn Llundain, yn y flwyddyn 1854, fe gafodd, tra yn ei wely ryw nos Sabbath, ryw fath o lewyg. Clywai y teulu, yn nhŷ y capel, lle y lletÿai, ryw sŵn o'i ystafell; ac aethant i mewn, i edrych pa beth a

allai fod arno. Cawsant ef yn y llewyg. Wedi iddynt ddysgwyl ysbaid, efe a ddadebrodd o honi, a synai eu gweled wrth ei wely; canys nid oedd yn ymwybodol o'i fod wedi cael un lewygfa. Yr oedd yn teimlo, pa fodd bynnag, yn llawer llesgach; ond erbyn trannoeth yr oedd fel arferol. Yr oedd o hyny allan, yn enwedig wedi ei ddychweliad i Gymru, yn ddarostyngedig i lewygfeydd felly; y rhai a ddelent arno braidd bob amser yn y nos, ac o'r rhai nad oedd efe ei hunan mewn un modd yn ymwybodol. Cynnyddodd ei lesgedd a'i wendid gymmaint fel ag y bu raid iddo ymgadw yn hollol i'w gartref; ac, am y ddwy flynedd olaf o'i oes, yr oedd yn analluog i bregethu o gwbl. Ond yr oedd ei ysbryd, y naill ddydd ar ol y llall, yn addfedu i'r nefoedd; ac ar nos Sabbath, Rhagfyr 8, 1861, fe'i cymmerwyd yno, pan ydoedd yn ddeunaw-mlwydd-a-thriugain oed.

Yr oedd Mr. William Morris yn bregethwr annghyffredin. Teimlad y gwrandawwyr braidd yn ddieithriad, wrth wrando arno ef, oedd, nad oedd eisiau byth bregethwr gwell. Nid oedd yn meddiannu, fe ddichon, y nerth na'r treiddgarwch meddwl, ag oedd yn hynodi y rhai enwocaf o'i gyd-oeswyr a'i gyd-lafurwyr; ac nid oedd erioed wedi talu nemawr sylw i ddeonglyddiaeth yr ysgrythyrau, nac odid ddim i'w beirniadaeth. Ond yr oedd ei wybodaeth gyffredinol am eu cynnwysiad agos yn ddihysbydd; a'i allu i wneyd defnydd o honynt, yn enwedig o'u hanesion, er eglurhau y gwahanol faterion yr ymdrinai â hwynt yn ei bregethau, braidd yn ddigyffelyb. Ac yr oedd ganddo ryw ffordd i wneuthur hyny, yn iaith a dull ac arferion cyffredin ei wrandawwyr, fel y byddai llawer o'r rhai nad oeddent hollol gyfarwydd â'u Beiblau, yn tybied mai am rywbeth a ddygwyddasai, yn ddiweddar, mewn rhyw barth o Gymru neu Loegr, y byddai yn sôn. Yr oedd ei feddwl wedi ei gyflenwi âg, a'i ysbryd wedi ei drwytho yn, ysgrifeniadau yr hen Buritaniaid, a'r Annghydffurfwyr; ac yr oedd dull pert a ffraeth amryw o honynt yn ysgrifenu, yn dygymmod yn hollol â'i ddawn ef. Nid ydym yn cofio i ni weled odid neb erioed yn mwynhau dim yn fwy nag y gwelsom ni ef, unwaith, pan yr oeddem yn darllen iddo ryw ranau o waith yr Esgob Hall. Eithr yr oedd yn gallu mwynhau Awdwyr o nodwedd hollol wahanol, ond iddynt fod yn efengylaidd, ac heb amcanu gosod rhyw wedd athronyddol ar y gwirioneddau dwyfol. Nid oedd un awdwr, yn wir, yr oedd yn hoffach o hono na Dr. Thomas Horton. Yr oedd efe ei hunan yn ystyried, ei fod wedi dysgu mwy oddiwrth

hwnw nag oddiwrth odid un arall. Yr oedd Mr. Morris, yn ei ffordd ef, yn fyfyriwr caled. Byddai ganddo bregethau newyddion yn wastadol, a'r rhai hyny o radd uchel, ac ôl llafur mawr arnynt. Ymwelai â Gogledd Cymru, bob blwyddyn, yn gyson; a byddai yr un rhai yn fynych yn gwrando arno ddeg neu ddeuddeg o weithiau; a cheid pregeth newydd gampus bob tro. Yr oeddem ni, cyn ei adnabod yn well, yn tybied mai gorchwyl hawdd iddo ef oedd cyfansoddi pregeth: ond fe dystiai ei hunan i ni, ac, yn wir, ni a gawsom brawf o hyny ein hunain, mai trwy lafur mawr y byddai efe yn cael ei bregethau. Yr ydym yn cofio pan oedd yn gwasanaethu yn Llundain, yn y flwyddyn 1850, ei fod yn parotoi pregeth ar ryw adnod. Yr oedd wedi dechreu ei pharotoi cyn gadael ei gartref; ond nid oedd yn gallu boddhau ei hunan o gwbl ynddi. Cawsom afael iddo ar amryw bregethau ar y testyn gan wahanol awdwyr. Ond yr oedd yn methu cael dim boddlonrwydd: ac, yn amlwg iawn, mewn gradd o brofedigaeth. Pan yn myned, ryw ddiwrnod, i lawr *City Road*, ni a welem gopi o *Moss's Sermons*, mewn wyth o gyfrolau, allan o flaen ffenestr *shop* Sandell *and* Smith; ac ni a sylwem fod yno amryw bregethau ar y testyn yr oedd Mr. Morris yn trafferthu gydag ef. Ni a ofynasom bris y cyfrolau, a dywedwyd wrthym, pum' swllt. Yr oedd yn hen gopi parchus yr olwg arno, a'r rhwymiad yn unig, rywbryd, wedi costio hyny bump neu chwech o weithiau drosodd. Dywedasom wrth Mr. Morris,—"Mi welais i lyfr, yn *City Road* yna, âg amryw bregethau ynddo ar y testyn yr ydych chwi gydâg ef." "Da chwi," meddai yntau, "dowch gydâ mi yno." Ac felly fu. Wedi edrych arno, fe ofnodd, wrth weled ei ymddangosiad, y byddai ei bris yn lled uchel:—"Fe gyst yr holl *volumes* yma," meddai, "bymtheg swllt neu bunt." "O na," ebem ninau, "chwi a gewch y cwbl am bum' swllt: dyna yw y pris." Yr oedd yn synu, ac fe'u prynodd ar unwaith; ac yr oedd fel un wedi cael ysglyfaeth lawer. Yr oeddem ar y pryd yn rhyfeddu at ei awydd, ac nis gallem lai na theimlo parch mawr iddo, wrth weled un oedd yn ei oedran ef, mor fyw i'w bregeth, ac mor gydwybodol i sicrhau pob peth a allai er mwyn ei heffeithiolrwydd hi. Yr oedd yn hawdd i ni ganfod un o elfenau mawrion dirgelwch ei lwyddiant ef fel pregethwr. Ond pa faint bynnag oedd ei drafferth a'i lafur i gael y bregeth, ac i ba raddau bynnag y gallai fod yn ddyledus am ei defnyddiau i'r llyfrau neillduol a ddarllenid ganddo yn arbenig gydâ golwg arni,—wedi ei chael, yr oedd yn eiddo hollol iddo ef ei

hunan, ac yn gorwedd mor naturiol ar y neillduolrwydd dawn priodol iddo, ag y bu pregeth neb erioed. Ac yr oedd y fath briodoldeb ac addasrwydd a ffraethineb yn ei sylwadau; y fath fywiogrwydd ac yni ac ystwythder yn ei ddull; y fath ireidd-dra a gwresawgrwydd yn ei ysbryd; ac, yn enwedig, y fath ffagliad gwreichionawg yn ei ddawn,—fel y byddai y gynnulleidfa, braidd bob amser, yn cael ei chodi ganddo i hwyliau uchel:—y saint yn cael eu lloni; pechaduriaid yn aml yn cael eu dychryn, ac weithiau eu cyfnewid; a phawb yn ymadael gydâ dymuniad calon am glywed y pregethwr melus a doniol yn fuan drachefn. Y mae y Pregethau o'i eiddo, sydd yn awr yn cael eu cyhoeddi gan Mr. Gee, ac o dan olygiad ei fab-yn-nghyfraith, y Parch. George Williams, Tŷ Ddewi, yn ddarluniad rhagorol o hono; ac yn ddigon o brawf na bu na segur na diffrwyth yn y weinidogaeth fawr a ymddiriedasid iddo. Y mae dawn ac arddull neillduol y pregethwr i'w canfod yn amlwg ynddynt.

Un arall o benaethiaid y pulpud yn ein gwlad, ac y telid y warogaeth uchaf iddo, yn enwedig gan ei frodyr yn y weinidogaeth, oedd WILLIAM ROBERTS, Amlwch. Fe'i ganwyd ef, Medi 19, 1784, mewn lle a elwir Aberarch, yn mhlwyf Llaneilian, yn Sir Fôn. Yr oedd ei dad, Robert Evans, yn un o Sir Gaernarfon, ac yn gefnder i Elias Jones, tad y Parch. John Elias. Yr oedd ei fam, enw morwynol yr hon oedd Elizabeth Prichard, yn hànu o un o hen deuluoedd Môn, a'i thaid hi a thaid y diweddar Arglwydd Dinorben yn ddau frawd. Nid oedd Robert Evans ond mewn amgylchiadau cyffredin, yn dal tyddyn bychan o dir, ac yn gweithio hefyd fel mwnwr yn Mynydd Parys, er ei gynnorthwyo i gynnal ei deulu. Nid oedd y tad a'r fam, yn ystod mebyd Mr. Roberts, ond rhai cwbl anllythyrenog, ac y mae yn ymddangos eu bod hefyd, y pryd hwnw, yn hollol ddigrefydd. Ni chafodd efe gymmaint a diwrnod erioed o ysgol gan ei rïeni; ac nid oeddent, dybygid, yn gofalu dim am ddiwyllio a dysgyblu ei feddwl; ond goddefid iddo ddyweyd a gwneyd a byw, braidd yn gwbl fel yr oedd yn tueddu ei hunan. Pan oedd tua deg oed, fe'i cymmerwyd gydâ'i dad i fynydd Parys, i wasanaethu ar ryw rai oeddent yn gweithio yno; ac, yn mhen amser, fe ddechreuodd lafurio yno ei hunan fel mŵnwr, gydâ'r hyn y parhäodd am rai blynyddoedd. Fe dyfodd i fyny yn dra ieuanc yn ddyn cryf, esgyrnog, o nerth cyhyrol annghyffredin, yn ymddangos yn llawer hynach nag ydoedd, ac yn nodedig am ei allu i daflu llawer iawn

o waith trwy ei ddwylaw. Parhäodd tra y bu byw yn hoff o lafur; ac nid oedd odid ddim mwy annioddefol ganddo na diogi. Ond yr oedd am flynyddoedd cyntaf ei oes yn gwbl ddifeddwl am grefydd, ac yn ymroddi i fywyd o oferedd, gan argoeli troi allan yn ben-campwr yn ngwasanaeth Satan. Eithr yr oedd gan yr Anfeidrol fwriadau gwahanol iawn gydâ golwg arno ef. Yr oedd ei chwaer, Anne, mam y Parch. Robert Hughes o'r Gaerwen, a'r hon oedd saith mlynedd hynach nag ef, wedi ei hennill, ryw fodd, pan oedd efe yn fachgenyn tua deg oed, i ymuno gydâ'r Methodistiaid; ac yr oedd cadwedigaeth ei theulu yn gorphwys yn drwm ar ei meddwl. Yn mhen rhyw bedair blynedd ar ol hyny, fe ennillwyd y fam yr un modd. Rhwng y chwaer a'r fam,—y chwaer yn enwedig,—fe'i hennillwyd yntau i wrando, yn lled gyson, cyn ei fod yn ddeuddeg oed; ac yr oedd yn cael hyfrydwch mawr yn hyny, er nad oedd y pregethau eto wedi effeithio dim er lladd ei dueddiadau annuwiol. Yr un pryd, nid ydoedd yn gwbl ddideimlad. Clywsom ef yn dywedyd i bregeth o eiddo y Parch. Peter Williams effeithio yn ddwys iawn ar ei feddwl. Nis gallai fod ond ieuanc iawn y pryd hyny, oblegyd fe fu Mr. Peter Williams farw cyn iddo ef fod yn llawn deuddeng mlwydd oed. Dywedai wrthym hefyd fod pregeth i Mr. Robert Roberts, Clynog, wedi gadael effaith annghyffredin ar ei feddwl, pan nad ydoedd ond ieuanc iawn. Ond parhau yr ydoedd, er teimlo fel hyn yn achlysurol, i fyned rhagddo mewn caledwch ac annuwioldeb, hyd ryw oedfa, pan oedd Mr. Elias yn pregethu yn hen gapel Lledrod, pryd y teimlodd y fath argraffiadau ag y penderfynodd adael ei lwybrau pechadurus o hyny allan byth, ac ymroddi yn hollol i ddilyn Iesu Grist. Yn lled fuan ar ol hyny, a phan ydoedd tua dwy-ar-bymtheg oed, efe a ymunodd â'r gymdeithas eglwysig. Yr oedd wedi bod dan argyhoeddiadau trymion iawn,—wedi ei gau i fynu, o ran ei deimladau, i ddinystr, ac ar fin anobaith; ac yr oedd yr ymwared a gafodd, yn nhrefn yr efengyl, yn beth mor wirioneddol a sylweddol yn ei brofiad, fel ag i osod gwerth tragywyddol arni yn ei feddwl, ac i'w godi am byth i sicrwydd am ei tharddiad dwyfol, a'i haddasrwydd perffaith i gyfarfod amgylchiad pechadur, yn ei golledigaeth a'i drueni. Yr oedd, erbyn hyn, yn ddyn newydd, ac yn amlwg i bawb fel un â sobrwydd yr efengyl yn hynodi ei gymeriad. Yr oedd yn awr yn dilyn moddion gras yn gyson; yn cael blas annghyffredin ar wrando pregethau; ac yn cymmeryd ei ran, yn achlysurol, er mai

trwy lawer o gymhell, yn y cyfarfodydd gweddïau a gynnhelid yn y capel, ac mewn tai annedd, yma a thraw, yn y gymmydogaeth. Yr oedd hefyd, yn awr, wedi dechreu cael hyfrydwch mawr mewn darllen llyfrau da, ac yn gwneuthur y defnydd goreu o bob un felly a fyddai yn ei gyrhaedd. Pan ydoedd rhwng deunaw a phedair-ar-bymtheg oed, fe ddaeth rhyw waeledd ar ei iechyd a'i hanalluogodd i ddilyn ei alwedigaeth yn y Mynydd. Yn y gwendid hwnw, efe a'i rhoddes ei hunan dan addysg y Parch. John Evans, yr hwn oedd yn weinidog gydâ'r Annibynwyr yn Amlwch, ac yn cadw ysgol ddyddiol yno. Bu gydâg ef dri mis; a dyna yr holl ysgol a gafodd yn ei fywyd. Tra yn yr ysgol, fe ymadnewyddodd yn hollol o ran ei iechyd. Ond nid oedd yn teimlo tuedd i fyned i weithio fel mŵnwr drachefn; ac felly efe a ymgyflogodd, gydâ gŵr o Lanerchymedd, fel gwas ar y tir; ac a symmudodd yno i drigiannu. Ymroddai yno drachefn, gydâ diwydrwydd mawr, i fywyd crefyddol; a daeth yn fuan yn adnabyddus i'r eglwys fechan oedd yno ar y pryd, fel gŵr ieuanc hynod mewn duwioldeb, ac o allu pell uwchlaw y cyffredin i wasanaethu crefydd; ond ei fod yn dra hwyrfrydig—yn boenus felly—i ymgymmeryd â phob gwaith cyhoeddus. Ac eto nis gallai fod yn guddiedig. Yr oedd y cyfeillion yn ei dynu yn mlaen. A pha bryd bynnag y ceid ef i weddïo, ac yn enwedig i ddechreu y cyfarfod a dyweyd ychydig ar y bennod cyn myned i weddi, byddai ei gyfarchiadau yn ysgwyd yr holl gynnulleidfa, ac yn cynnyrchu teimladau dwysion iawn. Wedi bod yn Llanerchymedd am flwyddyn, efe a symmudodd i Amlwch, i wasanaethu yno. Ei orchwyl yno, yn benaf, oedd gwneyd canwyllau, a gweithio mewn rhan ar y tir. Lletÿai yn awr gydâ'i rïeni, yn ei gartref ei hunan; ac yr oedd drachefn yn aelod o'r eglwys yr ymunasai yn gyntaf â hi. Ac yn bur fuan, pan nad ydoedd ond un-ar-hugain oed, fe'i dewiswyd yn flaenor yn yr eglwys hono. Pan ydoedd yn dair-ar-hugain oed, fe ddechreuodd bregethu. Cydnabyddai fod ganddo ryw feddwl am hyny er ys rhai blynyddau, ac eto trwy anhawsder mawr y cafwyd ganddo ddechreu. Ond yr oedd y fath sobrwydd yn ei ymddangosiad, y fath symledd yn ei amcan, y fath ddwysder yn ei ddull, y fath graffder a phrïodoldeb yn ei sylwadau, ac, yn neillduol, y fath awdurdod a nerth yn ei draddodiad, fel ag y cyfododd, ar unwaith, i barchedigaeth a dylanwad mawr yn mhlith ei frodyr. Yn nechreu y flwyddyn 1817, efe a ymsefydlodd mewn masnach drosto ei hunan yn Amlwch. Yn

mis Mehefin, y flwyddyn hono, fe'i neilldüwyd i'r holl waith yn Nghymdeithasfa y Bala. Yr eilfed dydd o fis Mawrth, 1818, efe a briododd â Sarah Jones, Gwernhywel, yn agos i'r Ysbytty; yr hon a fu iddo, yn holl ystyr y gair, yn "ymgeledd cymhwys." Gwnaeth ei rhan, yn ardderchog, i'w gynnorthwyo yn ei waith mawr,--trwy ei galonogi a'i gymhell i fyned i'w gyhoeddiadau, pan y byddai efe yn teimlo tuedd i lwfrhau, yn gystal a thrwy bob ymdrech a allai hi i roddi pob mantais iddo i ymbarotoi ar eu cyfer. Ganwyd iddynt naw o blant, o'r rhai nad oes ond tri yn awr yn fyw. Collodd ei anwyl brïod, Ionawr 11, 1864, yr hyn oedd iddo ef, yn yr oedran mawr yr oedd ynddo, yn brofedigaeth chwerw; ac, os nad ydym yn camgymmeryd, y mae rhai llinellau yn yr "*Alargan*," a gyfansoddwyd ganddo ar ei hôl, mor dyner a theimladol ag odid ddim sydd yn ein hiaith. Yn mhen ychydig wythnosau wedi ei chladdu hi, fe'i cymmerwyd ef ei hunan yn glaf iawn; ac wedi dioddef, am rai misoedd, arteithiau cystudd i raddau dirfawr, ar y 19eg o Orphenaf, 1864, fe'i rhyddhäwyd yntau oddiwrth faich y cnawd, ac fe gafodd, yn ddiddadl, "fynediad helaeth i mewn i'r dragywyddol deyrnas," pan nad oedd ond deufis i'r diwrnod rhyngddo a bod yn bedwar ugain mlwydd oed.

Yr oedd Mr. Roberts yn meddiannu meddwl cryf, craffus, treiddgar, a phenderfynol; y fath, fel pe cawsai y manteision angenrheidiol, ag a fuasai yn ei alluogi i ragori yn mha gangen bynnag o wybodaeth neu ddysg a gymmerasid i fynu ganddo. Er na chafodd ddim addysg yn moreu ei oes, nac, fel y gwelsom, ond rhyw dri mis erioed o ysgol, yr oedd, trwy ymroddiad dibaid a llafur caled wrtho ei hun, wedi llwyddo i feistroli yr iaith Saesonaeg yn dda o ran ei deall, ac i'w siarad yn weddol, yn gystal ag i ysgrifenu yn lled rwydd a chywir ynddi. Yr oedd hefyd wedi llwyddo i ddeall cymmaint o'r Hebraeg a'r Groeg, ag i'w alluogi, trwy gymhorth Geiriaduron, i farnu i ryw fesur, drosto ei hunan, am ystyr yr adnodau yn yr Hen Destament a'r Newydd, a ddewisid ganddo i bregethu oddiwrthynt. Ac nid yn unig hyny, ond yr oedd wedi cyfoethogi ei feddwl i raddau helaeth iawn â gwybodaeth gyffredinol, yn enwedig â phob peth a dybid ganddo yn fanteisiol iddo fel gweinidog i Iesu Grist. Yr oedd yn hynod o hoff o Fywgraffyddiaeth a Hanesyddiaeth,—cyffredin ac eglwysig,—ac yn gallu defnyddio eu ffeithiau, gydâ grym ac effeithiolrwydd mawr, er egluro y gwirioneddau neillduol a fyddent ganddo o bryd i bryd dan sylw.

Fel pregethwr, yr oedd, yn ein bryd ni, yn un o'r rhai blaenaf o holl bregethwyr Cymru; a dichon ei fod,—o ran gwreiddiolder, treiddgarwch, annibyniaeth, nerth, a difrifwch meddwl, heb gymmaint ag un yn rhagori arno. Ni bu neb erioed mwy gwreiddiol. Nis gallai prin ddywedyd dim fel dyn arall. Yr oedd yn meddwl yn hollol arno ei hunan; yn cymmeryd ei safle ei hunan i edrych ar bob mater; yn dethol, os dethol hefyd, ei eiriau ei hunan i osod allan y meddwl a fyddai ganddo; yn cysylltu y geiriau hyny wrth eu gilydd, er llunio ei frawddegau, mewn rhyw ddull priodol yn unig iddo ei hunan; ac yn eu traddodi, drachefn, mewn dull gwahanol i bawb ereill, ac na buasai yn gweddu i neb ond iddo ef. Yr oedd crafangiad ei feddwl, yn mha beth bynnag yr ymaflai, yn aruthrol o gryf; a chylch ei sylwadaeth ar bob cwestiwn yn ëang, ac ar yr un pryd yn fanwl iawn. Yr oedd rhyw ddifrifwch yn ei ymddangosiad a'i gosodai arno ei hunan yn nghanol ei holl frodyr. Yr oedd mantais fawr ganddo i hyny, y mae yn wir, yn ei wedd allanol,—yn ei aeliau trymion, a'i bryd tywyll, yn gystal ag yn ei ardymheredd naturiol; eto, pe na buasai ond hyny, fe fuasai yr olwg arno yn gibog a chuchiog a surllyd, yn hytrach na difrifol; ond, yn gymmaint a'i fod yn cymdeithasu yn wastadol â gwrthddrychau mawrion ysbrydol, ac yn ymdeimlo yn gyson â phresennoldeb a sylw yr Anfeidrol, ac, yn y cyffredin, yn obeithiol o'i fod ei hunan mewn heddwch âg ef,—yn gymmaint, yn fyr, a bod difrifwch gwirioneddol yn llanw ei feddwl, difrifwch pur a diledrith a ganfyddid yn ei ymddangosiad. Yr oedd pawb yn teimlo mai nid dim ffugiol, nid dim yn cael ei wneyd, ac nid dim yn cyfodi, ar y pryd, oddiar amgylchiadau neillduol, ond mai cynnyrch naturiol ac uniongyrchol agwedd gyffredin meddwl y dyn ydoedd. Ac yr oedd y difrifwch hwn yn elfen bwysig yn ei ddylanwad ar ei gyd-ddynion. Yr oedd yn gosod rhyw barchedigaeth ar ei wedd, yn enwedig pan ymddangosai ger bron y gynnulleidfa ar ddydd y Gymmanfa fawr, ag a barai fesur o orchwyledd yn nheimladau pawb braidd yn ei bresennoldeb. Mae un tro nodedig felly yn fyw iawn yn ein cof. Ar y nos ddiweddaf o Gymdeithasfa Caernarfon, Medi 11, 1851, yr oedd Mr. John Davies o Nerquis ac yntau yn pregethu yn nghapel Moriah. Yr oedd y capel mawr, yn mhob cwr o hono, yn orlawn. Yr oeddem ni yn dygwydd eistedd, gydâ y diweddar Mr. Hughes o Liverpool, yn y *Gallery*, gyferbyn a'r pulpud. Wedi i Mr. John Davies ddarfod preg-

ethu, dyna Mr. Roberts yn dyfod i fynu, ac yn sefyll gerbron y gynnulleidfa. Gydâ ei fod yn y golwg, meddai Mr. Hughes wrthym,—"Wel, mewn difrif, a welsoch chwi olwg mor barchedig ar ryw un erioed?" "Naddo, erioed," ebem ninau, "oddieithr, hwyrach, y Dr. Gordon o Edinburgh." "Dr. Gordon?" meddai yntau: "ni bu yr un Dr. erioed yn ymddangos mor *venerable* a hyn." Ac, yn sicr, yr oedd rhywbeth, y noswaith hono, yn ei ymddangosiad, mwy mawreddig nag a welsom ni ar odid ddyn erioed. Ond yr oedd hyny heb ddim rhwysg a hyfdra. Yn wir, yn y cyfuniad dedwydd o awdurdod a gwylder, urddas a gostyngeiddrwydd, yr oedd dirgelwch mawr dylanwad ei bresennoldeb ef yn gorwedd.

Yr oedd rhyw hynodrwydd arbenig yn ei ddull o roddi pennill allan i'w ganu. Y mae hyny, o bosibl, mor fyw am dano yn nghof ei hen wrandawwyr, a dim a berthynai iddo. Yr oedd, rywfodd, wrth roddi y pennill allan, yn creu ysbryd canu yn yr holl gynnulleidfa. Darllenai ei destyn yn gyffredin yn gynhyrfus, ac yn fynych iawn yn gnyciog a haciog; gan ail-ddechreu, weithiau, fwy nag unwaith, cyn y llwyddai i fyned trwyddo; ond eto yn wastadol braidd, os byddai mewn lle yr oedd yn adnabyddus, gydâ chryn effaith ar lawer yn y gynnulleidfa. Wedi hwyrach air o ymesgusodiad, fe daflai allan ryw sylw dwfndreiddiol, a wasanaethai yn dra naturiol i arwain meddyliau y gwrandawwyr at y testyn, yn gystal ag i roddi cyweirnod dedwydd i'r bregeth. Yna fe ddechreuai eglurhau ei destyn. Ac fe wnai hyny yn ardderchog. Yr oedd yn rhagori ar nemawr neb a glywsom am ddangos ystyr y testyn yn y cysylltiad y gorweddai ynddo, gan agor y cysylltiad hwnw yn fanwl gerbron y bobl. Nid oedd yn dyfod i fynu a Mr. Elias am esbonio geiriau neillduol testyn, nac am ei godi allan fel ag i beri iddo sefyll arno ei hunan hyd byth yn meddyliau ei wrandawwyr; ond yr oedd yn rhagori arno mewn gallu i roddi golygiad ar rediad yr holl adran y perthynai y testyn iddi, yn enwedig os byddai yn cynnwys rhyw ymresymiad, ac mewn gallu i roddi ffurf bendant,—a hollol rydd oddiwrth hualau pob Cyfundraeth,—i'r ymresymiad hwnw. Wedi penderfynu ystyr y testyn, fe ddisgynai ar y cynllun a fwriedid ganddo i'r bregeth; ac, yn y fan yma, nid oes un amheuaeth nad oedd yn rhagori, ac yn rhagori yn ddirfawr, ar bawb o'r hen bregethwyr; ac yn wir, yn hyn, nid ydym yn gwybod am odid neb i'w gystadlu âg ef. Fe fyddai yn wastadol fel yn cydio yn

hanfod y testyn, ac yn ei dynu allan, mewn dau neu dri o osodiadau mor briodol a naturiol, ag i argyhoeddi y rhai mwyaf deallus a meddylgar yn mhlith ei wrandawwyr, ei fod yn cyflwyno ger eu bron wir ystyr ysbrydoliaeth ynddo; a hyny mewn rhyw ddull mor effeithiol, ag i beri i'r rhai mwyaf diofal a difeddwl deimlo i fesur oddiwrth bwysfawrawgrwydd yr ystyr hwnw, yn ei berthynas â hwy eu hunain. Byddai yn hawdd i ni, pe caniatäi ein terfynau, nodi amryw engreifftiau o hyn. Cymerer, er esiampl, ei bregeth y noswaith y cyfeiriasom ati eisoes yn Nghymdeithasfa Caernarfon. Ei destyn ydoedd, *Ephesiaid* i. 10: "Fel yn ngoruchwyliaeth cyflawnder yr amseroedd, y gallai grynhoi yn nghyd yn Nghrist yr holl bethau sydd yn y nefoedd, ac ar y ddaear, ynddo ef." Wedi esbonio cysylltiad y testyn, a manylu mwy nag a fyddai arferol iddo ef ar ei eiriau neillduol, ac, yn enwedig, fod y gair a ddarllenir "crynhoi," yn golygu "*crynhoi yn nghyd dan un pen,*" fe gymmerodd y cynllun canlynol i'w bregeth:—"I. Fod dyfodiad pechod i'r byd wedi taflu creadigaeth Duw i annhrefn: y mae rhyw dybiaeth am wasgariad mawr yn y geiriau,—'crynhoi yn nghyd.' II. Y cynllun y syrthiodd doethineb dwyfol arno i adfer pethau i drefn oedd, codi pen newydd—gosod ei Fab yn ben: 'crynhoi yn nghyd yn Nghrist.' III. Yr adeg neillduol i ddwyn hyn oddiamgylch: 'goruchwyliaeth cyflawnder yr amseroedd.'" Yr oedd yn pregethu, y tro hwn, gydâ nerth a dylanwad mawr. Yr ydym yn cofio am dro nodedig arall, yn Nghymdeithasfa Treffynnon, Gorphenaf 24, 25, 26, 1849. Yr oedd efe yn pregethu yn y Capel, nos Fercher, y 25ain. Yr oedd y *Cholera*, y pryd hyny, yn drwm yn y dref, ac amryw wedi eu lladd ganddo. Yr oedd y diweddar Mr. John Jones o Wrexham, yn dechreu y cyfarfod. Yna Mr. Rees yn myned i weddi drachefn,—gweddi neillduol dros y dref, yn erfyn ar i'r Arglwydd attal yr haint arswydus oedd yn dinystrio yno; a gweddi ag yr oedd pawb braidd yn teimlo hyder y gwrandewid hi,—fel, mewn gwirionedd, y gwnaed; oblegyd o'r awr hono allan, fe attaliwyd yr afiechyd; ni bu neb drachefn farw o hono, ac ni tharawwyd neb o newydd ganddo. Wedi hyny, yr oedd Mr. Roberts yn pregethu; a rhwng pob peth, yr oedd y gynnulleidfa mewn tymher ragorol i wrando, ac yntau mewn hwyl dda i bregethu. Y testyn oedd, *Psalm* lxxii. 1:—"O Dduw, dod i'r Brenhin dy farnedigaethau, ac i fab y Brenhin dy gyfiawnder." Wedi profi cymeriad Messianaidd y Psalm, a dangos fod y geiriau yn arbenig i'w

deall fel gweddi yr eglwys am lwyddiant achos y Cyfryngwr mawr, fe nododd dri pheth i sylwi arnynt:—"I. Y cymeriad a roddir i Grist Iesu yn y testyn:—'Brenhin'; a 'mab Brenhin.' II. Fod Iesu Grist, yn ystâd bresennol y byd, yn frenhin ysbeiliedig,—yn frenhin heb ei hawliau. III. Fod yn nghynllun y Duw mawr, tuag at roddi ei hawliau iddo, cael ei bobl i ddymuno hyny, i weddïo am hyny: 'O Dduw, dod, &c.'" Yr oedd y sylwadau ar Grist yn cael ei ysbeilio o'i *rights*,—"gan gyfeiliornwyr crefyddol y byd," "gan erlidwyr ei achos," "a chan annghredinwyr yr efengyl," â rhyw nerth ofnadwy ynddynt; a phan y daeth at gysylltiad gweddi â hawliau y Gwaredwr, ac âg achubiaeth y byd, yr oedd yr effeithiau yn annysgrifiadwy.

Byddai gwahaniaeth dirfawr ynddo, hyd yn nod gydâ'r un testyn, ar wahanol adegau. Er y byddai cynllun y bregeth, fe allai, yr un, eto byddai sylwedd y sylwadau yn dibynu, i fesur mawr, ar yr hwyl neillduol y byddai ei feddwl ynddi ar y pryd, ac, yn enwedig, ar y graddau o gyffröad a fyddai ar ei natur. Yr oedd pwys annghyffredin yn hyny; ac, ond cael digon o hwnw, nid oedd un perygl na byddai y cyfarfod yn troi allan yn llwyddiannus. Ar y cyntaf, fe ymddangosai yn drwsgl; y geiriau fel pe yn ymguddio rhagddo; a'r frawddeg yn ymlusgo, yn anniben, i'w therfyn. Byddai yn gymmaint felly, weithiau, nes peri i rai dïeithr iddo deimlo drosto, ac ofni iddo fethu, gan dybied mai oddiar dlodi meddwl y cyfodai yr afrwyddineb. Ond i'r meddylgar,—o'r dechreu, ac hyd yn nod pan y byddai yn fwyaf trwsgl,—fe ymddangosai yn dra gwahanol; ac yr oedd y rhai mwyaf adnabyddus o hono yn mwynhau y musgrellni yn fawr; yn bur obeithiol nad ydoedd ond rhywbeth yn rhagflaenu rhaiadrau trochionawg aruthrol o hyawdledd, a ddisgynai oddiwrtho cyn y diwedd. Ac yn y cyffredin, er mai nid bob amser, felly y byddai. Wedi, fe allai, ugain munud lled hwyrdrwm, fe'i gwelid yn cyffroi; dyna ei lygaid yn tanio; ei lais yn ymgodi; dyna y penelin deheu, gydâ nerth mawr, yn taro astell y pulpud; toc, dacw y Bibl dan ei gesail,—arwydd sicr ei fod yn yr hwyl, ac wedi annghofio ei hunan; dyna dalpiau o feddyliau mawrion, trymion, yn cael eu lluchio oddiwrtho, gydâ nerth arswydus,—meddyliau y buasai un o honynt yn ddigon i wneyd *fortune* pregethwr cyffredin, ond yn ymddangos fel yn ddiddiwedd ynddo ef: y mae y gynnulleidfa yn awr i gyd wedi cyfranogi, i ryw

fesur, o ddifrifoldeb ofnadwy y pregethwr, a dwysder teimlad yn treiddio trwyddi; y mae ei lais yntau yn raddol yn lleddfu; cyn hir y mae ei dymher ar ymddryllio; dacw y dagrau gloewon yn treiglo dros ei ruddiau; dyna y gallu siarad yn darfod; a chydâg appeliadau difrifol, fel o olwg y byd tragywyddol, at y gwrandawwyr i syrthio i mewn, ar unwaith, â threfn yr efengyl am eu bywyd, y mae y bregeth yn terfynu; a phawb yn ymadael wedi teimlo rhyw gymmaint o "nerthoedd y byd a ddaw." O ran nerth a gwreiddiolder meddwl,—dyfnder ac angerddoldeb teimlad,—difrifwch ac awdurdod dull,—a symledd a phurdeb amcan,—yr oedd arbenigrwydd, i'w gofio byth, ar weinidogaeth William Roberts, Amlwch.

Un arall o urddas a pharchedigaeth mawr yn mhlith ei frodyr, ac yr oedd y wlad yn gyffredinol yn dra hoff o hono fel pregethwr, oedd John Hughes, *Liverpool.* Fe'i ganwyd ef yn Adwy'r Clawdd, yn Sir Ddinbych, Chwefror 11, 1796. Yr oedd ei dad, Hugh Hughes, yn frodor o Lanarmon-Dyffryn-Ceiriog, ond wedi symmud i'r Adwy er tua y flwyddyn 1780, ac yno yn dilyn ei alwedigaeth fel saer coed. Nid oedd efe na'i wraig yn proffesu crefydd, ac felly ni chafodd y bachgen ei ddwyn i fynu yn yr eglwys. Fe gafodd, pa fodd bynnag, pan yn dra ieuanc, ysgol ddyddiol dda, yr hon a gedwid gan ŵr crefyddol,—Mr. Thomas Evans, tad Mr. P. M. Evans, Treffynnon,—a'r hwn a gymmerai ofal neillduol am taethu y plant oeddent gydâg ef yn yr ysgol, "yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd." Pan ydoedd tua deg oed, fe'i cymhellwyd ef, a rhyw nifer o'r plant ereill, gan yr athraw, i weddïo yn gyhoeddus yn yr ysgol; ac, yn yr un flwyddyn, efe a ymunodd â rhyw fath o gyfarfod eglwysig i'r plant, a sefydlasid yn y capel, o'r hwn y bu yn aelod am bum' mlynedd. Yn y tymhor hwn, daeth crefydd yn bwnc mawr ei fywyd; ac yn y flwyddyn 1810, a phan ydoedd yn bedair-ar-ddeg oed, efe a ymunodd â'r gymdeithas eglwysig yn yr Adwy, lle y cafodd dderbyniad tra chroesawus. Ymroddai, er ieuenged ydoedd, gydâg egni mawr, i lafur crefyddol, gan gymmeryd ei ran yn y cyfarfodydd canu, y cyfarfodydd gweddïau, a chydâ'r Ysgol Sabbothol, ac yr oedd, yn enwedig, yn cael hyfrydwch mawr wrth wrando pregethau. Yn y flwyddyn 1818, a phan nad ydoedd ond dwy-flwydd-ar-bymtheg oed, efe a ddechreuodd bregethu; a chanfyddwyd, yn dra buan, fod ynddo ddefnyddiau pregethwr pell uwchlaw y cyffredin. Yr oedd, y pryd hwn, yn ystod yr wythnos,

yn ddiwyd yn dilyn ei alwedigaeth gyda'i dad megis saer, ac ar y Sabbathau yn myned allan i bregethu,—weithiau at y Cymry, ac weithiau at y Saeson, gan ranu ei amser yn lled gyfartal rhyngddynt. Pan ydoedd tua phedair-ar-bymtheg oed, efe a roddes heibio ddilyn gwaith saer, ac a symmudodd i le bychan yn y Goror, i gadw ysgol ddyddiol, lle y bu am yn agos i ddwy flynedd; ac, yn y cyfamser, yn cyfyngu ei lafur Sabbothol, gan mwyaf, i'r parthau Seisonig oeddent yn ei gyrhaedd. Pan oedd tuag un-ar-hugain oed, efe a aeth ei hunan i ysgol yn Nghaerlleon, er mwyn dysgu elfenau Lladin a Groeg, a'i gymhwyso ei hun i gadw ysgol o radd uwch na'r un oedd ganddo o'r blaen. Arosodd yn Nghaerlleon am tua blwyddyn a haner. Yn niwedd mis Gorphenaf, 1819, efe a agorodd ysgol yn Ngwrexham, yr hon a fu yn dra llwyddiannus, ac a ystyrid braidd y pryd hyny, oblegyd nifer y pregethwyr a gyrchent iddi, yn fath o Athrofa i'r Methodistiaid. Rhagfyr 26, 1820, fe'i prïodwyd, â Miss Mary Anne Jones, Tir Llannerch, Corwen. Yn Nghymdeithasfa y Bala, 1829, fe'i neillduwyd i'r holl waith. Yr oedd ei wraig, er ys amryw flynyddoedd, yn wanaidd ac yn wael ei hiechyd, a Mawrth 26, 1832, hi a fu farw. Mehefin 7, 1833, efe a brïododd yr ail waith, â Grace, merch Mr. Thomas Jones, Llawr y Bettws, gerllaw Corwen, a'r hon a fuasai, cyn ei brïodas gyntaf, yn wrthddrych arbenig ei serch. Yn niwedd y flwyddyn 1834, fe'i gorfodwyd gan ansawdd ei iechyd i roddi i fynu yr ysgol yn Ngwrexham, a'r flwyddyn ganlynol efe a symmudodd i Adwy'r Clawdd, gan ymgymmeryd â rhyw fasnach yno. Yn y flwyddyn 1838, efe a symmudodd, mewn cysylltiad â'r un fasnach, i Liverpool. Yn lled fuan, pa fodd bynnag, fe roddwyd y fasnach hòno i fynu; ac fe symmudodd yntau i swyddfa masnachwr arall, lle nad oedd y dyledswyddau ond ysgafn, a lle yr oedd yn cael oriau bob dydd at ei wasanaeth ei hun. Yr oedd yn awr yn pregethu bob Sabbath yn ngwahanol gapelau Liverpool, a'r cynnulleidfaoedd, fel y gallesid dysgwyl, yn hoff iawn o hono. Yn y flwyddyn 1839, fe gafodd alwad gan yr eglwysi yno i'w gwasanaethu hwy yn gwbl, fel cyd-lafurwr â Mr. Rees. Yn llawen iawn o'r fantais i ymryddhau oddiwrth bob galwedigaeth arall ac i ymroddi yn hollol i'r efengyl, efe a gydsyniodd â'r alwad: ac a fu yno yn llafurio, gydâ ffyddlondeb a chymmeradwyaeth a llwyddiant mawr, hyd ddiwedd ei oes. Wedi bod yn ymroddi felly am tuag ugain mlynedd, ac, yn y cyfamser, yn ysgrifenu llawer iawn, fe

ddechreuodd ei iechyd yn amlwg adfeilio, ac yr oedd yr olwg arno yn peri i'w berthynasau a'i gyfeillion fod yn dra phryderus yn ei gylch. O'r diwedd, fe gynnyddodd ei waeledd i'r fath raddau, nes y bu raid iddo roddi heibio ei waith cyhoeddus yn gwbl. Wedi pregethu am y tro diweddaf yn Nghapel Bedford Street,—a'r tro diweddaf iddo byth,—nos Sabbath, Mawrth 18, 1860, efe a aeth, yn mhen ychydig wythnosau, i Abergele, gan ddysgwyl y buasai seibiant hollol oddiwrth bob llafur, a mwynhau awyr iachusol Cymru, yn effeithio yn ddaionus arno. Ymddangosai felly am beth amser; nes creu mesur o obaith ynddo ei hunan ac yn ei deulu yr adferid ef. Ond fel arall y bu. Gwanhau yn raddol a wnaeth, hyd ddydd Mercher, Awst 8, 1860; pryd,—â'i feddwl yn ymlonyddu yn haeddiant yr Aberth Mawr, ac yn mwynhau, fel y dywedai ei hunan, "Heddwch fel afon,"—yr hunodd yn yr Iesu, yn bedair blwydd a thriugain oed. Dygwyd ei weddillion marwol i Liverpool i'w claddu; ac ar ddydd Llun, Awst 13, fe'u rhoddwyd i orphwys yn y *Cemetery* yno, yn *Smithdown Road.*

Yr ydym wedi cyfeirio eisoes (*tu dal.* 168—170), at rai nodweddau yn nghymeriad Mr. Hughes; ond y mae ei goffadwriaeth, ac yn neillduol ei gysylltiad â'r pulpud yn Nghymru, yn galw am sylwadau helaethach. Yr oedd efe, er ys amryw flynyddoedd cyn ei farwolaeth, yn un a gydnabyddid yn gyffredinol yn un o gedyrn Methodistiaeth yn Nghymru, ac nid llawer a gafodd ein Cyfundeb erioed a'i gwasanaethodd yn fwy ffyddlawn, neu a aberthodd gymmaint er ei fwyn. Fel Hanesydd Methodistiaeth, y mae yn sefyll wrtho ei hunan yn nghanol ei holl frodyr, ac yn teilyngu diolchgarwch pawb sydd yn caru coffadwriaeth ein tadau. Trwy lafur dybryd, fe gasglodd ynnghyd lïaws o adgofion difyrus a gwerthfawr, oeddent ar fyned ar ddifancoll, am gyfodiad a chynnydd y Cyfundeb yn ngwahanol barthau Cymru, ac a lwyddodd i'w dodi wrth eu gilydd yn y fath fodd ag i wneuthur llawer o'r llyfr mor ddyddorol ag unrhyw ffug-hanes, ac, ar yr un pryd, yn un nad hawdd cyfarfod â'i well er amaethu y deall a diwyllio y galon. Cyhoeddwyd amryw lyfrau ereill ganddo, oll yn arddangos teithi neillduol ei feddwl, a'r gogwydd arbenig oedd ynddo at yr hyn a wasanaethai yn uniongyrchol i lesau ei gyd-ddynion. Fel pregethwr, fe'i profwyd,—braidd o'i gychwyniad cyntaf allan gydâ'r weinidogaeth, pan nad oedd ond llencyn dwy-ar-bymtheg oed, hyd orpheniad ei yrfa yn mhen saith mlynedd a deugain ar ol hyny,—yn un a feddiannai ar

gymhwysderau tra arbenig i'r gwaith mawr yr ymgymmerasai âg ef. Yr oedd ei ddyn oddiallan yn nodedig o olygus, fel ag i roddi ar unwaith ffafr neillduol iddo yn ngolwg ei wrandaẅwyr; yr oedd ei edrychiad yn siriol a serchog, ac eto yn ddifrifol; yr oedd ei holl agweddau yn y pulpud yn brydferth a boneddigaidd; yr oedd ei lais yn gryf, yn glir, yn soniarus, ac yn hollol dan feistrolaeth ganddo, ond yn ei flynyddoedd diweddaf â rhyw gryndod ynddo, eto cryndod a ychwanegai at ei effeithiolrwydd; yr oedd ei iaith yn eglur, yn gywir, yn briodol, ac yn goeth, heb byth syrthio yn aflerw ac isel; ac yr oedd ei dymher a'i ysbryd, braidd yn ddieithriad, yn ymddangos yn y fath gywair, ag a barai i'r gwrandaẅwyr deimlo fod y pethau a draddodid ganddo yn wirioneddau byw yn ei feddwl a'i brofiad ef ei hun;—yr oedd ynddo, yn wir, y fath gyfuniad o ragoriaethau, fel, fe ddichon, mai ei hynodrwydd mwyaf ef oedd, amddifadrwydd pob hynodrwydd neillduol ac arbenig, yn mherffeithrwydd y cyfuniad hwnw. Ac os nad ydoedd yn ymddyrchafu mor uchel a rhai o'i frodyr mewn rhai rhagoriaethau, nid oedd odid un o honynt hwythau i'w gystadlu âg ef yn nghydol y rhagoriaethau a feddiennid ganddo. Os na cheid ynddo y mawredd, sydd megis yn codi ei berchen i gylch arall mewn bodolaeth; yr yni, sydd yn myned allan, yn gorchfygu ac i orchfygu, ac nas gall dim sefyll o'i flaen; y gwreiddiolder, sydd yn gwneuthur y cyffredin yn hynod a'r hen yn newydd; y treiddgarwch, sydd yn ymwthio i bob dirgelwch ac na fŷn fod dim yn guddiedig rhagddo; na'r farddoniaeth, sydd yn ysbrydoli holl natur, yn chwareu ar bob teimlad, ac yn swyno pob calon;—eto teimlid genym ni yn wastadol, ei fod yn ymylu nid ar un ond braidd ar y cwbl o'r rhai hyn, a bod ei bregethau, oblegyd cyfuniad cynnifer o ragoriaethau, ag addasrwydd arbenig ynddynt i wneuthur daioni i gorph mawr ei wrandaẅwyr. A byddai yn hawdd gweled mai hyny oedd mewn golwg ganddo ef. Yr oedd yn amcanu deall yn drwyadl yr hyn a fyddai ganddo dan sylw; yn tueddu i osgoi pob peth y gallai fod dim petrusder yn ei gylch; yn ymdrechu yn wastadol am y dull mwyaf effeithiol i wneuthur yn eglur i'w wrandaẅwyr yr hyn a ymddangosai felly iddo ef; ac ni byddai byth yn foddlawn heb wneyd yr hyn oll a allai efe, nid yn unig i ennill cydsyniad eu deall â'r gwirionedd a bregethid ganddo, ond er dwyn eu calonau yn gwbl dan ddarostyngiad iddo. Yr oedd ei feddwl, yn naturiol, o nodwedd hollol

ymarferol; a byddai pob mater a fyddai ganddo dan sylw yn sicr o ymffurfio mewn gwedd felly yn ei bregethau.*

Yr oedd ei bregethau yn wastadol yn gyfansoddiadau rheolaidd a manwl. Nid oedd yn ei gaethiwo ei hunan i unrhyw ffurf neillduol yn eu lluniad; er, am y rhan fwyaf o lawer o'i oes, eu bod braidd yn gwbl yn yr hyn a elwir y *wedd destynol,* ac mai dyna, gan mwyaf, eu nodwedd hyd y diwedd. Defnyddiai y testyn bob amser, hyd ag yr oedd efe yn ei ddeall, yn ei ystyr naturiol a llythyrenol; ond ni byddai braidd un amser yn manylu gydâ'r ystyr hwnw. A dichon mai dyna y diffyg mwyaf a deimlid yn ei bregethau, a'u golygu fel *cyfansoddiadau;* prin yr oedd ynddynt gymaint ag a allesid ddysgwyl, oddiwrth nodwedd ei feddwl ef, a natur ei efrydiau, ac, yn wir, oddiwrth amcan uniongyrchol rhai llyfrau a gyhoeddwyd ganddo, o'r elfen ddeongliadol,—"eglurhau y gair trwy bregethu." Pan y byddai yn taflu ei bregethau i ffurf osodiadol, fe fyddai yn ddedwydd iawn. Yr ydym yn ei gofio felly yn neillduol ar foreu Sabbath y Pasg, 1858, yn *Jewin Crescent* yn Llundain, oddiar 2 Chron. vi. 15.—"Fel y lleferaist â'th enau, felly y cwblheaist â'th law, megis y mae y dydd hwn." Pregeth ardderchog oedd hon. Y ddau ben oeddent:—"I. Fod geiriau Duw yn egluro ei weithredoedd. II. Fod gweithredoedd Duw yn grymuso ei eiriau." Yr ydym yn cofio am dro arall, mewn Cymdeithasfa yn Amlwch, yn y flwyddyn 1859, pan y teimlem ni fod y sylwadau yn nodedig o happus. Y testyn oedd, Ioan v. 39, 40:—"Chwiliwch yr Ysgrythyrau; canys ynddynt hwy yr ydych chwi yn meddwl cael bywyd tragywyddol: a hwynt-hwy yw y rhai sydd yn tystiolaethu am danaf fi. Ond ni fynwch chwi ddyfod ataf fi, fel y caffoch fywyd."—Y gosodiadau y pryd hwnw oeddent:—"I. Fod dysgwyliad cyffredinol mewn dynion am fywyd tragywyddol: 'Yr ydych chwi yn meddwl cael bywyd tragywyddol.' II. Fod gwrthwynebiad ynddynt i dderbyn y bywyd hwnw yn nhrefn Duw:—'Ond ni fynwch chwi ddyfod ataf fi, fel y caffoch fywyd.'" Yr oedd ganddo lawer o bregethau wedi eu llunio yn gyffelyb, a'r cynllun yn cael ei weithio allan yn llwyddiannus iawn trwy yr holl gyfansoddiad. Yn wir, yr oedd hyny yn nodwedd amlwg ar ei bregethau ef, pa beth bynnag fyddai eu cynllun: yr oeddent oll yn ymddangos â'u holl aelodau yn eu lle eu hunain, ac yn gwbl ddianaf,

* Cymmerwyd rhai brawddegau o'r sylwadau uchod, allan o Nodiad a ysgrifenwyd genym i'r *Traethodydd*, am Gorphenaf, 1864, *tu dal.* 380, 381, ar "*Gofiant a Detholion o Bregethau Mr. Hughes.*"

ac wedi tyfu i'w cyflawn faintioli. Gallesid wrth ei wrando ef, pe na buasai ond am unwaith, ffurfio syniad lled gywir am ei ddull, a nodwedd ei ddawn, a chymeriad ei bregethau, braidd bob amser; er y buasai raid ei wrando laweroedd o weithiau, a goreu po amlaf, er cael syniad teg am amrywiaeth y testynau y traethai arnynt, a chyflawnder y cyfoeth meddyliol a arddangosid ganddo yn ei ymdriniaeth â hwynt.

Yn ei allu i gasglu ei feddyliau yn nghyd, ac i siarad ar unrhyw fater gydâ byrfyfyr, neu, os mynir, yn ddiragfyfyr, yr oedd yn rhagori ar neb a adnabuom ni erioed, oddieithr, fe allai, Mr. Ebenezer Richard. Yr oedd, yn hyny, yn hynod iawn. Ni a dybygem fod nodwedd ei feddwl ef y fath, fel, yn y cyffredin, na buasai y cyfansoddiad yn llawer rhagorach pe buasai ganddo fwy o amser i'w barotoi. Yr ydym yn cofio fod Mr. Jay o *Bath (Autobiography, page* 124, *second edition),* yn dywedyd am dano ei hun, y byddai efe bob amser yn cyfansoddi yn *gyflym.* "Os llwyddwn," meddai, "o gwbl i'm boddhau fy hunan, byddai hyny yn gyffredin ar unwaith." Ni a dybiem mai lled debyg oedd meddwl Mr. Hughes. Pa fodd bynnag, yr ydym yn gwybod fod rhai o'r Annerchiadau galluocaf a mwyaf effeithiol a draddodwyd ganddo ef erioed, wedi eu traddodi dan amgylchiadau a barent nas gallasai fod ganddo ond ychydig iawn o amser i feddwl am danynt. Gwelsom ef, fwy nag unwaith, mewn Cymdeithasfa, yn absennoldeb annysgwyliadwy rhyw frawd a bennodasid i draddodi araeth ar ryw fater neillduol, yn cael ei alw yn ddirybudd i gymmeryd ei le, ac yn gwneuthur hyny mor rwydd ac mor gyflawn ac mor effeithiol, a phe buasai wedi cael wythnosau i barotoi ar gyfer yr amgylchiad. Cawsom esiampl neillduol o hyny yn Nghyfarfod Ordeiniad Mr. Thomas Jones, y Cenhadwr cyntaf i Fryniau Cassia, yr hwn a gynhaliwyd yn y Bala, Ionawr 1, 1840. Yr oedd Mr. Elias wedi ei bennodi, ac yn cael ei ddysgwyl yno, i roddi y "*Cynghor*" i'r Cenadwr. Ond yn foreu ar ddydd yr Ordeiniad, daeth cenadwri o'r Fron-heulog i'r Bala, at Mr. Jacob Jones, nad oedd Mr. Elias wedi dyfod, nac yn dyfod, a bod eisiau trefnu rhyw un i gymmeryd ei le. Aeth Mr. Jacob Jones yn ddioed i'r tŷ y lletyai Mr. Hughes ynddo, i'w hysbysu nad oedd Mr. Elias yn dyfod, a bod yn rhaid iddo ef draddodi y *charge;* ac ymaith âg ef, yn ddioedi, cyn i Mr. Hughes gael dim amser i ymliw âg ef. Ond neidiodd y geiriau yn 1 Tim. vi. 11,—"Tydi, ŵr Duw,"—ar unwaith i'w feddwl gydâ'r fath rym, fel y traddododd oddiwrthynt,

yn mhen tua dwy awr, un o'r Cynghorion mwyaf effeithiol a wrandawwyd genym erioed. Clywsom lawer o son am Annerchiad nodedig arall o'i eiddo, yn lle Mr. Elias, a draddodwyd ganddo yn nghapel *Pall Mall, Liverpool*, Ebrill 19, 1839, er cyfarch Mr Rees a Mr. Moses Parry, ar yr achlysur o'u hymadawiad i ymweled âg America. Wedi myned i'r capel yr hysbyswyd iddo y dysgwylid y fath gyfarchiad oddiwrtho; ond fe'i traddodwyd ganddo gydâ'r fath briodoldeb a rhwyddineb ac effeithiolrwydd, fel y mae lliaws o'i hen gyfeillion yn tybied yn gryf, hyd y dydd heddyw, mai dyna y peth goreu a glywsant ganddo erioed.

Byddai yn llafurio yn ddiwyd ac yn gydwybodol gydâ'i bregethau, ac, yn y cyffredin, yn eu rhagbarotoi mor ofalus, fel nad oedd dim sail i'r dybiaeth a goleddid gan lawer nad oedd ei bregethau yn trafferthu dim arno. Eto fe fyddai weithiau, yn eu cael yn hynod o ddisymwth. Clywsom am dano ar daith, er ys dros ddeugain mlynedd bellach, trwy ranau o Siroedd Caernarfon a Môn, a brawd o bregethwr gydâg ef fel cyfaill. Yr oeddent yn pregethu ryw foreu ddydd gwaith, am ddeg ar y gloch, yn Llanrug, ac yn cymmeryd ciniaw yn nhŷ y capel. Yr oedd yno ryw eneth fechan, o saith i naw oed, wedi dyfod gydâ'i thad i dŷ'r capel, i ysgwyd llaw â'r pregethwyr, y rhai a gymhellwyd i aros yno i giniaw. Cymmerodd Mr. Hughes, ar unwaith, sylw o'r eneth, a dechreuodd holi ychydig gwestiynau iddi. "Pwy a'ch gwnaeth chwi, 'ngeneth i?" "Duw." "Pwy a wnaeth y byd yma?" "Duw." "Ydych chwi yn gweled y mynyddoedd yna? Pwy a wnaeth y rhai yna?" "Duw." "O ba beth y gwnaeth efe y cwbl?" "O ddim." "Oedd ganddo fo *ddim* pridd i wneyd y ddaear yma?" "Nag oedd." "Oedd ganddo fo *ddim* cerrig i ddechreu gwneyd y mynyddoedd yna?" "Nag oedd." "Wel, sut yr oedd o yn gallu gwneyd y cwbl fel yna heb ddim defnydd?" Safai yr eneth fach yn ddistaw ac fel wedi ei dyrysu, ond yn edrych yn dra meddylgar. Wedi dysgwyl ychydig, meddai Mr. Hughes eilwaith,—"A all dyn wneyd rhywbeth o ddim?" "Na all." "Wel, sut yr ydych chwi yn dweyd fod Duw wedi gwneyd y cwbl, ac heb ddim defnydd ganddo?" O'r diwedd, dyna hithau yn ateb,—"*On'd oes deunydd pob peth ynddo fo'i hunan.*" Yr oedd Mr. Hughes, a'r lleill oeddent yn yr ystafell, wedi synu. Ond, gydâ'r atebiad, fe fflachiodd yr adnod,—"Yr Arglwydd yw fy rhan i, medd fy enaid; am hyny y gobeithiaf ynddo,"—

gydâ'r fath danbeidrwydd ac awch i'w feddwl, fel y pregethodd oddiwrthi, gydâ nerth mawr, yn un o'r capelau cyfagos, yn yr oedfa nesaf am ddau ar y gloch, ar "Gymhwysder yr Arglwydd fel rhan i'r enaid, gan fod defnydd pob peth ynddo;"—pregeth a fu yn un o'r rhai hoffaf ganddo am amser maith, ac y credai ei hunan fod llaweroedd wedi cael lles mawr trwyddi.

Yr oedd o ran ei ddull o draddodi yn hynod o iraidd a serchiadol, a'i lais, pan y cyfodai i ychydig hwyl, yn ymdoddi i ryw dynerwch oedd yn nodedig o effeithiol. Pan yn y gwres hwn, efe a gydiai, weithiau, mewn rhyw air neillduol yn ei destyn neu mewn rhyw adnod neu gilydd a ddefnyddid ganddo yn nghorph y bregeth, ac a'i gwaeddai dair neu bedair o weithiau drosodd, os nad yn uwch, *uwch*, UWCH, fel Mr. Ebenezer Morris, eto gydâ rhyw amrywiaeth peroriaethus a swynol yn yr oslef, a effeithiai braidd yn ddieithriad yn ddwys iawn ar deimladau ei wrandawwyr, ac yn fynych a gynnyrchai gawodydd tyner a hyfryd o ddagrau. Gallem ymdroi llawer gydâ'r "brawd anwyl, a'r gweinidog ffyddlon;" ond y mae yn rhaid i ni dalfyru. O ran cydbwysedd galluoedd meddyliol, a chydgyfarfyddiad yr amrywiol ddoniau, naturiol a grasol, angenrheidiol ar "weinidogion cymhwys y Testament Newydd," mewn helaethrwydd mawr ac mewn cymmesuriaeth odiaeth a phrydferth,—a'r rhai hyny wedi eu cysegru yn drwyadl i wasanaeth yr efengyl ac er iachawdwriaeth eneidiau dynion, y mae i JOHN HUGHES le uchel a lle anrhydeddus iawn yn mhlith *Pregethwyr Cymru.*

Yn y nesaf sydd yn dyfod dan ein sylw,—HENRY REES,—y cyrhaeddodd y pulpud, yn ein bryd ni, y perffeithrwydd uchaf a gyrhaeddwyd ganddo erioed yn ein gwlad, ac nid ydym ni yn gwybod am neb, mewn unrhyw wlad nac oes, ag y byddem yn barod i gydnabod ei bregethau, a'u golygu yn unig fel cyfansoddiadau, yn rhagori ar yr eiddo ef. Fe'i ganwyd Chwefror 15, 1798, mewn lle a elwir Chwibren Isaf, yn mhlwyf Llansanan, yn sir Ddinbych. Yr oedd ei rieni yn rhai nodedig o grefyddol, a'i dad, er ys rhai blynyddoedd cyn ei eni ef, yn flaenor gydâ'r Methodistiaid yn hen gapel Tan-y-fron. Cafodd yntau ei ddwyn i fynu yn yr eglwys o'i febyd, ac yr oedd rhyw argraffiadau crefyddol ar ei feddwl er pan oedd braidd yn cofio dim. Er yn blentyn, yr oedd yn hynod o hoff o neillduaeth ac unigedd, er mwyn cael hamdden i fyfyrio ac i weddio; a byddai y pryd hyny yn pregethu

llawer wrtho ei hun. Fel yr oedd yn tyfu i fynu, yr oedd ei deimladau crefyddol yn dwyshau. Pan oedd tua phedair ar ddeg oed, fe'i derbyniwyd i gymundeb cyflawn. Ymroddai, ar ol hyny, gydâ mwy o ddyfalwch nag erioed i grefydd. Cymmerai yn awr ran gyhoeddus yn y cyfarfodydd gweddiau, a gwelwyd yn fuan fod doniau gweddi hynod ganddo. Yr oedd yn cael hyfrydwch neillduol mewn gwrando pregethau, ac yn fynych yn teimlo yn ddirfawr tanynt. Gwelwyd ef rai prydiau, yn ngwres tanbaid y dyddiau hyny, yn gorfod ymollwng gydâ'i deimladau, ac yn annghofio ei hunan yn hollol mewn mwynhad o orfoledd yr iachawdwriaeth. Sonir am un tro yn arbenig felly, pan oedd Mr. Elias yn pregethu yn agoriad capel y Bettws, gerllaw Abergele, ac yntau yn sefyll ar risiau y pulpud i wrando. Yr oedd y pryd hwnw dan ddylanwadau mor nerthol fel y torodd allan mewn hwyl orfoleddus i foliannu a bendithio Duw; ac fe ddywedir fod y fath arucheledd a gogoniant yn y pethau a draethid ganddo, ac, yn enwedig, fod y fath eneinniad ar ei ysbryd ef ei hunan, fel yr oedd pawb o'i amgylch mewn syndod, a rhai yn dywedyd wrth eu gilydd, y byddai y llanc hwnw yn fuan yn gystal pregethwr a John Elias;—yr hyn, y pryd hwnw, yn y meddwl cyffredin, oedd y clod uchaf a ellid roddi i bregethwr. Yn lled ddiweddar yn Ngwanwyn y flwyddyn 1819, tua diwedd mis Mawrth neu ddechreu Ebrill,—fe ddechreuodd bregethu. Yn Llanelian, pentref bychan rhwng y Bettws a Chonwy, ar ryw nos Sabbath y bu hyny. Yr oedd, er ys rhai blynyddoedd cyn hyny, wedi gadael tŷ ei dad, ac wedi myned i wasanaeth fel llafurwr; a'r pryd hwnw yn aros gydâg amaethwr cyfrifol gerllaw y Bettws. Nid oedd ei amgylchiadau, gan hyny, fel y mae yn hawdd gweled, ond hollol anfanteisiol iddo gydâ golwg ar y gwaith mawr yr ymgymmerasai âg ef. Torodd allan, pa fodd bynnag, ar unwaith, yn bregethwr annghyffredin, a hynod o boblogaidd. Yr oedd, o'r dechreuad, yn cymeryd golwg mor ëang a chynnwysfawr ar drefn yr efengyl, ac yn gosod y fath arbenigrwydd ar ei gwirioneddau neillduol hi,—yr oedd ei gymhariaethau mor briodol a naturiol a phrydferth, a'r defnydd, yn enwedig, a wnelid ganddo o'r amgylchiadau a'r dygwyddiadau a gofnodir yn yr ysgrythyrau mor ddeheuig a dedwydd,—ac, yn arbenig, yr oedd y fath wresawgrwydd yn ei dymher a'i ysbryd, fel y teimlid, i ba le bynnag yr elai, fod pregethwr newydd, braidd digyffelyb, wedi codi yn y wlad. Fel y crybwyllasom eisoes (*tu dal.* 58, 59), dygwyddodd

i Mr. John Jones gael cyfleusdra i wrando arno, yn mhen ychydig wythnosau wedi iddo ddechreu pregethu; a chlywsom ef, fwy nag unwaith, yn sôn am yr effeithiau hynod a gafodd y bregeth ar ei feddwl, a'r parch a deimlid ganddo, o hyny allan byth, i'r pregethwr. Yn mis Mai, 1819, efe a adawodd wasanaeth yr amaethwr yr oedd gydâg ef, ac a ddychwelodd adref at ei rieni, lle yr arhosodd dros yr haf hwnw. Y gauaf canlynol, efe a aeth i Abergele, i'r ysgol, at y Parch. Thomas Lloyd. Nid ydym yn gwybod pa hyd y bu gydâ Mr. Lloyd; ond yr ydym yn gwybod iddo, tra y bu yno, ymroddi yn egnïol i ddysgu y Saesonaeg, ac iddo lwyddo i ddysgu cymmaint o honi ag i'w alluogi i wneuthur defnydd lled rwydd o Awdwyr Duwinyddol ynddi. Wedi darfod â'r ysgol, fe barhäodd, am beth amser, i gartrefu yn Abergele neu yn y gymmydogaeth, gan ymroddi i bregethu ar y Sabbathau, a chan fyned ar ambell gyhoeddiad trwy rai o siroedd y Gogledd, ond heb ddim neillduol mewn llaw ganddo at fyw. Ryw bryd cyn diwedd y flwyddyn 1821, fe symmudodd i'r Amwythig. Ei amcan cyntaf yn myned yno oedd dysgu y gelfyddyd o rwymo llyfrau, er mwyn cael rhywbeth at ei gynhaliaeth, yn unol â'r syniad a ffynai yn gyffredinol, y pryd hyny, yn mhlith y Methodistiaid, nad oedd neb i ddibynu yn unig ar y weinidogaeth am hyny. Wedi bod am ryw gymmaint o amser yn dysgu rhwymo llyfrau, cyn gadael yr Amwythig a dychwelyd i Gymru, er mwyn ei berffeithio ei hunan yn yr iaith Saesonaeg, fe'i rhoddes ei hunan drachefn mewn ysgol, gydâg un o weinidogion yr Annibynwyr,—Cymro o'r enw Mr. Beynon,—oedd yn preswylio gerllaw y dref. Y mae yn hen *Oleuad Cymru*, am fis Gorphenaf, 1822, *Llyfr* ii., *tudal.* 474, lythyr o'i eiddo, dyddiedig Mai 22, 1822, a ysgrifenwyd ganddo pan yn yr ysgol hono. Tra gydâ'r rhwymwr llyfrau, ac yn yr ysgol, yr oedd, gan amlaf, yn pregethu i'r Cymry yn yr Amwythig ar y Sabbathau, ond yn myned, yn achlysurol, i Groesyswallt, ac i rai lleoedd ar gyrau siroedd Dinbych a Threfaldwyn. Ei amcan, wedi darfod â'r ysgol, can belled ag yr oedd wedi ei ffurfio yn ei feddwl ef, oedd symmud i Abergele, ac ymsefydlu yno gydâ'r alwedigaeth o rwymo llyfrau; ac ymroddi i bregethu yn deithiol, yn ol y dull cyffredin y pryd hyny yn mhlith y Methodistiaid. Ond fe ddeallodd y cyfeillion yn yr Amwythig nad oedd ganddo nemawr flas ar na thuedd at ddim heblaw pregethu; ac, felly, fe'i cymhellasant i wneyd ei gartref yn eu plith hwy, a phregethu iddynt dri Sabbath yn y mis,

oddi eithr pan y byddai ar gyhoeddiad, a gofalu, hyd y gallai, am yr achos yn ystod yr wythnos; ac addawsant iddo, os arhosai gydâ hwynt, y rhoddent ei *fwyd* iddo am ei wasanaeth. *Dyna y cwbl a addewid iddo.* Yr oedd y cynnygiad, pa fodd bynnag, mor gydnaws â'i dueddfryd ef, fel y cydsyniodd â'u gwahoddiad, ac yr ymsefydlodd yno. Y mae yn anmhosibl dychymygu y golled a fu hyny i sir Ddinbych; ond y mae yn sicr iddo droi allan, yn y canlyniad, yn ennill dirfawr i Fethodistiaeth Cymru. Bu am ryw gymmaint o amser yn rhwymo ambell i lyfr, ac yn ennill ychydig sylltau felly. Ond ni chyrhaeddodd unrhyw ragoriaeth yn hyny. Gwelsom, ychydig flynyddoedd yn ol, mewn tŷ yn Llanrhaiadr Mochnant, rai llyfrau a rwymesid ganddo ef; ac er nad oedd eu hymddangosiad ond lled anolygus, eto nid ychydig y dyddordeb a deimlid genym ni ynddynt, fel rhai wedi bod tan ddwylaw y fath un. Yn mhen ychydig flynyddoedd, rhoddodd heibio yn hollol yr alwedigaeth hono, ac ymroddodd yn gyfan-gwbl i'r gwaith mawr yr oedd ei galon yn gymmaint arno, ac yr oedd y fath gymhwysder ynddo iddo. Ac, er na addewid iddo gan y cyfeillion yn yr Amwythig ond ei *fwyd* yn unig am ei lafur, ac nad ydym yn meddwl iddo gael ganddynt, mewn gwedd arianol, tra y bu yno, nemawr heblaw hyny, eto fe gafodd yno rywbeth annhraethol werthfawrocach na dim arian a allasai gael,—hamdden a chalon i fyfyrio ar wirioneddau mawrion yr efengyl, a chynnulleidfa fechan yn ei werthfawrogi yn gymmaint, ag i foddloni iddo ei gwasanaethu yn hollol yn y modd y gwelid yn oreu ganddo ei hunan. Yr oedd yno yn feistr perffaith ar ei amser, ac ar ei lafur. Pregethai ran o'r bregeth y boreu, a rhan arall y nos; rhan drachefn y boreu Sabbath canlynol, ac un arall y nos; ac felly, fe allai, am dri neu bedwar o Sabbathau. Yna, yn mhen ychydig Sabbathau, caent y bregeth yn gyflawn; a hyny drachefn a thrachefn, yn achlysurol, cyn iddo gychwyn i ryw Gymdeithasfa, neu i un o'i deithiau i rai o siroedd Cymru. Yn Nghymdeithasfa y Bala, Mehefin 13, 1827, fe'i hordeiniwyd i holl waith y weinidogaeth. Pregethodd, yn yr un Gymdeithasfa, am ddau ar y gloch, y dydd canlynol, oddiar *Heb.* iii. 14, o flaen Mr. Ebenezer Richard. Yn mis Hydref, 1830, efe a briododd, âg un a'i profodd ei hunan, yn holl ystyr y gair, yn "ymgeledd cymhwys" iddo, ac sydd yn awr, wedi ei golli, yn nghanol pob llawnder, mewn unigedd a galar ar ei ol. Ganwyd iddynt, os nad ydym yn camgymmeryd, dri o blant;

ond ni chaniatäwyd iddynt fagu onid un,—ei hoffusaf Anne,—prïod Richard Davies, Ysw., yr Aelod Seneddol dros sir Fôn. Yn y Nadolig, 1836, efe a symmudodd i Liverpool, lle y bu, hyd ddiwedd ei oes, yn llafurio gydâ ffyddlondeb a gallu a pharchedigaeth, braidd annghydmarol, a lle, y mae yn ddiammheuol, y bydd ei enw yn beraroglaidd hyd farwolaeth y diweddaf o'r rhai sydd yn ei gofio, a thrwy y sôn am dano, am amser maith wedi hyny.

Er ei fod yn ymddangos yn iach a chryf, eto yr oedd ei iechyd, yn achlysurol, yn lled anmharus er ys rhai blynyddoedd, a theimlai, yn enwedig pan yn annerch cynnulleidfa fawr oddicartref, ac yn neillduol pan yn pregethu allan, oddiwrth ryw wendid tufewnol, na byddai ei gyfeillion, wrth sylwi ar ei ymddangosiad, a'r nerth, dybygent hwy, a feddiennid ganddo, prin yn gallu cyfrif am dano. Yn ystod y ddwy flynedd diweddaf o'i oes, yr oedd ei iechyd yn ymddangos yn llawer mwy sefydlog nag y buasai er ys amryw flynyddoedd cyn hyny, a choleddid gobaith cryf gan bawb, ond ganddo ef ei hunan, yr estynid ei ddyddiau am flynyddoedd lawer. Ond trwy ryw ymdroi ar y *Landing Stage*, pan yn cychwyn o Liverpool i gladdedigaeth ei hen gyfaill y Parch. Hugh Hughes, Abergele, fe deimlodd ei hunan yn oeri yn ddirfawr, ac ofnai ei fod yn cymmeryd anwyd trwm. Wedi cyrhaedd Tanyrallt, Abergele, a chymmeryd rhyw beth er gwrthweithio yr anwyd, fe'i teimlai ei hunan dranoeth gymaint yn well fel yr aeth rhagddo i Lanrwst i'r angladd. Cymmerodd ei ran yno drachefn, gydâ'r doethineb a'r teimlad a'i hynodent, yn yr annerchiadau a draddodid ar yr achlysur; ac ymddangosai yn hynod o ddedwydd yn mhlith ei gyfeillion. Er nad heb deimlo i raddau oddiwrth yr anwyd, efe a aeth o Lanrwst i Wrexham, at y Sabbath, Chwefror 7, 1869; lle y pregethodd ddwy waith, gydâ'i ymröad a'i nerth arferol, a'r naill dro a'r llall dan raddau helaeth annghyffredin o'r eneinniad dwyfol. Bu gydâ'r cyfeillion yno drachefn, nos Lun, mewn cyfarfod a gynhelid ganddynt mewn cysylltiad âg ymdrech a wneid ganddynt i dalu dyled eu capel newydd. Ddydd Mawrth, yn lle dychwelyd i Liverpool, cychwynodd tua sir Fôn, i gladdedigaeth Mrs. Evans o'r Frongoch. Ond teimlodd ei hunan yn rhy wael i fyned rhagddo; a throes i'r Benarth, gerllaw Conwy, lle, y pryd hyny, y preswyliai ei ferch a'i thad-yn-nghyfraith. Ni feddylid, ar y cyntaf, fod dim difrifol yn ei afiechyd, ond mai rhyw anwyd cyffredin ydoedd. Yr oedd, pa fodd

bynnag, wedi ymaflyd yn ddwfn yn ei gyfansoddiad; ac wedi troi, erbyn hyn, yn ennynfa yn yr ysgyfaint, a hwnw mor gryf fel yr ofnid nas gellid ei ddarostwng. Ac, fel yr ofnid, felly fu. Ar nos Iau, Chwefror 18, 1869, er colled annhraethol i Gymru, ac yn enwedig i'r Methodistiaid, ond er ennill tragywyddol iddo ef ei hunan, fe hunodd yn dawel yn yr Iesu, pan nad oedd ond tri diwrnod uwchlaw unmlwydd-ar-ddeg a thriugain oed. Fe'i claddwyd y dydd Mercher canlynol, Chwefror 24, yn mynwent Llantysilio, gerllaw Pont Menai, yn sir Fôn. Yr oedd yr hîn, ar ddydd ei gladdedigaeth, yn hynod o anfanteisiol; y gwlaw yn disgyn yn gawodydd aruthrol; ond, er gerwined y tywydd, yr oedd yno filoedd wedi cyrchu i'r Angladd, ac yn eu plith dros chwe' chant o Liverpool yn unig.

Yr oedd Mr. Rees yn meddiannu lle mor gysegredig yn ein meddyliau, ac y mae ei ymadawiad yn ymddangos i ni eto yn beth mor newydd a diweddar, fel yr ydym yn teimlo gwir anhawsder i edrych arno gydâ'r amcan o roddi un darluniad o hono, ac yn enwedig i sefyll mewn un modd yn feirniadol uwchben ei gymeriad gweinidogaethol. Ond yr oedd braidd holl ragoriaethau pregethwr, o'r radd uchaf, yn cydgyfarfod ynddo, a hyny mewn helaethrwydd hollol annghyffredin. Mewn un peth yr oedd yn rhagori ar bawb a adnabuom ni erioed,—hyny yw, can belled ag y cawsom ni gyfleusdra i sylwi,—*cysondeb ei feddylfryd ar bethau ysbrydol a thragywyddol.* Yr oedd, fel Enoch, yn "rhodio gyda Duw." Yr oedd crefydd wedi meddiannu ei holl enaid; ac yr oedd yn ymddangos yn byw yn wastadol, nid yn unig dan ei dylanwad, ond mewn cymundeb uniongychol â'i gwrthddrychau. Yr oedd ei "ewyllys yn nghyfraith yr Arglwydd, ac yn myfyrio yn ei gyfraith ef ddydd a nos." Parai hyny fod ei eiriau bob amser yn rasol, a'i gyfeillach nid yn unig yn ddilwgr i bawb, ond yn ddieithriad o duedd sanctaidd, ac yn hollol naturiol yn tynu at bethau dwyfol. Yr oedd, yn arbenig, yn ŵr mawr gydâ Duw mewn gweddi. Cymdeithasai lawer â'i Dad yn y dirgel, a thalai yntau iddo yn yr amlwg. Er ei fod yn annhraethol uwchlaw rhodresu y fath ddefosiwn, yr oedd yn anmhosibl bod gydâg ef am ychydig amser yn yr un tŷ, heb ddeall ac heb deimlo oddiwrtho. Darfu i ni ein hunain, fwy nag unwaith, pan yn dygwydd cyd-letya âg ef, neu pan arosai dan ein cronglwyd, yn gwbl ddiarwybod iddo ef, yn ddisymwth ei ddal ar ei liniau, mewn ymdrech enaid gydâ Duw. Adroddwyd hanesyn i ni gan Mr. Roberts,

*Hope Street*, Liverpool, a wasanaetha er prawf o'i ymroddiad i weddi. Un tro, pan oedd Mr. Elias yn dygwydd bod yn Liverpool, ac i bregethu y boreu Sabbath yn nghapel *Burlington Street*, yn y pen gogleddol i'r dref, efe a aeth y nos Sadwrn i gysgu i dŷ Mr. Rees, yr hwn oedd y pryd hyny yn byw yn *Virgil Street*. Yr oedd Mr. Elias, y nos Sabbath, yn pregethu yn nghapel *Bedford Street*, ac yn cysgu yn ei letty arferol. Wedi swpper y noswaith hono, meddai wrth Mr. Roberts,—"Wel, nid ydyw o ryfeddod yn y byd fod Mr. Henry Rees yma yn pregethu mor hynod ag y mae. Y mae o yn tynu ei nerth oddiwrth yr Hollalluog. Yr oeddwn i heddyw, heb iddo ef feddwl dim, yn ei glywed, rhwng pedwar a phump yn y boreu, mewn ymbiliau dwysion gydâ'i Dad nefol, am gael ei ysbryd i hwyl briodol at waith y dydd, ac am ei wyneb gydâg ef ynddo." Yr un modd y tystiolaetha pawb a gawsant unrhyw fantais i ddyfod i adnabyddiaeth neillduol o hono.

Yr oedd y duwioldeb hwn yr oedd mor hynod ynddo, yn ffrwyth ymdrech a llafur, caled a chyson, am flynyddoedd lawer, yn erbyn rhai anfanteision yn ei gyfansoddiad a'i dymherau naturiol, ac, yn enwedig, yn erbyn llygredigaeth cyffredinol ein holl natur. Yr oedd ei wrandawwyr mwyaf meddylgar yn fynych yn teimlo wrth ei wrando, ac yn neillduol wrth sylwi ar ei fanylder a'i fedrusrwydd yn olrhain gweithrediadau llygredigaeth i'w gwreiddiau yn nyfnderoedd yr ysbryd, ei fod yn llefaru am yr hyn yr oedd yn bersonol yn ymwybodol o hono; a byddai llawer o honynt yn synu fod un ag yr oedd eu cydwybodau hwy yn dwyn tystiolaeth mor bendant i'w dduwioldeb, yn ymddangos mor gynefin âg ystrywiau calon lygredig, ac â dichellion Satan. Yr oedd y darluniadau byw a dynid ganddo, weithiau, o'n hannhueddrwydd i weddio, ac o ddyfeisiau y galon i osgoi y ddyledswydd, yn amlwg yn profi, pa mor fawr bynnag a allai efe fod mewn gweddi, ei fod felly, nid oblegyd ei fod yn anymwybodol o annhueddrwydd at hyny, ond oblegyd ei fod, trwy ras, yn cael ei gadw i ymdrech yn ei erbyn, ac, wrth ymdrech felly, yn derbyn nerth i'w orchfygu.

*Yr oedd ei dduwioldeb yn gadael argraff arbenig ar ei bregethu ef.* Nid ydym yn meddwl i ni wrando ar neb erioed ag y byddem yn teimlo fod ei grefydd yn gymmaint o ddawn iddo. Ar ryw ystyr nid oedd ei bregethu ond ffurf gyhoeddus ar ei dduwioldeb. Yr oedd nodwedd neillduol ei weinidogaeth, i raddau helaeth, yn cyfodi oddiar nodwedd

ei grefydd. Yr oedd hyny yn amlwg yn llywodraethu ei feddwl yn wastad yn netholiad ei faterion. Nid oedd efe byth yn meddwl am ddim i'w bregethu ond a ystyrid ganddo yn tueddu yn uniongyrchol i roddi bod i ac i feithrin crefydd ysbrydol yn meddyliau dynion. Nid dim i foddio eu cywreinrwydd; nid dim i oglais eu tymherau; nid dim i gyffroi eu teimladau; ac nid dim hyd yn nod i ychwanegu at eu gwybodaeth, ond fel y byddai y cymhwysder goreu ynddo, fel moddion, i'w hachub. Nid oedd byth yn boddloni ar yr hyn fyddai hawddaf iddo ef ei hunan; i'r gwrthwyneb, ymboenai, am ddyddiau ac wythnosau, gydâ'r peth anhawddaf; ac nid arbedai unrhyw draul na thrafferth, tuag at sicrhau yr hyn a ymddangosai iddo ef fel y peth cyfaddasaf i gyfarfod amgylchiadau neillduol y rhai a annerchid ganddo.

*Yr oedd yr un peth yn gosod gwedd neillduol ar gyfansoddiad ei bregeth.* Dan ei ddylanwad, ymgadwai yn ofalus rhag dwyn dim i mewn iddi yn unig er mwyn boddio y chwaeth, os na byddai o duedd i buro y galon, neu yn unig i gynhyrfu y teimladau, os na byddai yn gyfaddas i argyhoeddi y gydwybod. Anaml, os erioed, y clywsom neb yn pregethu ag y byddem yn teimlo fod yr effeithiau i'w weinidogaeth yn rhai mor dêg, mor bur, mor rydd oddi wrth bob peth dynol, pob dylanwad areithyddol,—yn ddim ond effeithiau y gwirionedd dwyfol,—yn ei noethder a'i symledd, eto yn ei ardderchawgrwydd ei hunan,—wedi ei ddwyn i gyfarfyddiad byw â chydwydodau ac â chalonau dynion. Yr oedd, yn enwedig yn ei flynyddoedd diweddaf, fel pe buasai yn ofni rhag iddo, trwy na chymhariaeth brydferth, neu ehediad barddonol uchel, neu unrhyw ffraethineb gogleisiol, neu, yn wir, trwy unrhyw gyffroad arno ei hunan, neu ddyrchafiad ar y llais, wneuthur mwy o niwed nac o les iddo ef ei hunan ac i'w wrandawwyr. Ofnai ar y naill law, rhag myned ar draws neu y tu hwnt i'w deimlad crefyddol ei hunan; ac ar y llaw arall, rhag rhoddi y bobl, unrhyw ffordd, mewn perygl i gamgymmeryd rhyw effeithiau arwynebol ar eu teimladau a'u tymherau, yn lle argraffiadau sancteiddiol ac achubol y gwirionedd ar eu calonau. Yn wir, yr oedd braidd wedi myned yn amheus o bob peth bendithiol, lle y byddai unrhyw gyffröad. Nid oes ynom un amheuaeth nad oedd efe yn cario hyn i eithafion gormodol o lawer. Yr oedd fel pe buasai yn cymmeryd yn ganiatäol fod meddyliau ei holl wrandawwyr mor ddyrchafedig, a'u chwaeth mor goeth ac mor bur a'r eiddo ef ei hunan; heblaw ei fod, ar y pryd, fel yn annghofio fod

yr efengyl yn ei chyfeirio ei hunan at holl natur dyn, ac, ond i bethau ereill fod yn gyfatebol, mai y cyflwyniad o honi felly sydd debycaf o fod yn fwyaf effeithiol er sicrhau ei hamcan mawr.

Pan y trown drachefn at ei alluoedd meddyliol, yr oedd y rhai hyny o nodwedd uchel annghyffredin. *Yr oedd y cyfuniad* y cyfeiriasom ato (*tu dal.* 856), yn ein sylwadau ar Mr. Elias, *o ddychymyg ffrwythlawn a rheswm cryf,—y bardd a'r athronydd,—yn hynod ynddo ef.* Yr oedd ei ddychymyg, yn ystyr uchaf y gair, yn nodedig o gyfoethog. Esgynai i'r nefoedd, disgynai i'r dyfnder, ymwibiai trwy'r greadigaeth, ymdaflai yn ol i dragywyddoldeb diddechreu, ymestynai yn mlaen i dragywyddoldeb diddiwedd, ac, â dim ond cyffyrddiad, fe gyfnewidiai pa beth bynnag y cydiai ynddo yn ddelwedd brydferth, er arddangos gydâ mwy o eglurder, neu wisgo gydà mwy o degwch, y gwirionedd ysbrydol a ddygid allan ganddo ger bron ei wrandawwyr. Yr oedd ei gymhariaethau yn wastadol mor naturiol a phriodol, fel yr oedd corff cyffredin ei wrandawwyr yn gallu eu mwynhau, a chanfod i ryw raddau y gwirionedd a ddangosid ganddo drwyddynt; tra ar y llaw arall, yr oeddent mor brydferth a choeth, fel mai pa fwyaf meddylgar y byddai ei wrandawwyr, a pha uchaf a phuraf eu chwaeth, mwyaf oll y boddhâd a deimlent ynddynt.

Yr oedd ei reswm drachefn â nerth annghyffredin ynddo, yn enwedig yn yr ystyr a roddir genym i'r gair fel gallu i edrych ar unrhyw wirionedd yn eangder ei gynnwysiad, ac yn ei amrywiol gysylltiadau, ac, yn neillduol, fel gallu i ganfod ac i ddosbarthu y gwahanol brofion ar y rhai y mae yn gorphwys. Yr oedd yn hyn yn hynod iawn. Mae John Foster (*Life and Correspondence, first edition, vol.* i., *pages* 176, 177) yn cwyno fod diffyg mawr yn yr hyn a ellir alw yn ysgrifenu neu yn siarad penderfynol. "Mor anfynych," meddai, "yr ydym yn teimlo, yn niwedd adran neu bregeth, fod rhyw beth wedi ei *sefydlu fel nad oes ail siarad i fod arno.* Y mae ein dull o feddwl a theimlo yn cael ei adael braidd yn hollol fel yr oedd o'r blaen." Ond nid felly y teimlid wedi gwrando Mr. Rees. I'r gwrthwyneb, fe'n gorfodid wedi gwrando arno ef, a defnyddio geiriau Foster, i ddywedyd wrthym ein hunain yn ddifrifol,—"Ië, fel yna y mae! rhaid mai fel yna y mae; y mae hynyna wedi ei benderfynu am dragywyddoldeb!" Y mae yn ddiddadl genym fod ei hen wrandawwyr wedi bod yn teimlo felly gannoedd o weithiau ar ol *gwrando* arno ef, ac ni a dybiem y

byddai yn rhy anhawdd i neb *ddarllen* ei bregethau argraffedig heb deimlo graddau helaeth o'r un peth. Er nad ydym yn tybied iddo erioed astudio Rhesymeg nac Areitheg fel celfyddyd, eto yr oedd egwyddorion mawrion y naill a'r llall megis yn gynnwynol a naturiol i'w feddwl, ac ni cheid mo hono byth yn troseddu eu rheolau. Pwy erioed a'i clywodd ef yn gau-resymu? Pa bryd—o leiaf yn ystod yr ugain mlynedd diweddaf o'i oes—y gwelwyd cymhariaeth yn tori dan ei ddwylaw? Mewn un peth, yn enwedig, yn ol rheolau manylaf Rhesymeg ac i amcan uchaf Areithyddiaeth,—*trefn cyflead ei sylwadau,*—yr oedd yn anmhosibl i neb ragori arno. Yr oedd trefnusrwydd ei feddwl yn gosod ei nodwedd yn wastadol ar ei holl bregethau. Yr oeddent yn gyfansoddiadau rheolaidd a manwl, wedi eu meddwl yn drwyadl, a'u hysgrifenu yn ofalus, ac yn fynych wedi eu hail a'u trydydd ysgrifenu, fel ag i berffeithio y cyfansoddiad i'r graddau uchaf oedd yn bosibl iddo. Yr oedd yr arweiniad i mewn mor naturiol; y rhaniadau mor syml a pherthynasol; y cysylltiadau mor fanwl a dibynol; y cyntaf a'r ail a'r trydydd o ran trefn natur, bob amser felly o ran cyflëad; yr ymdriniaeth a'r naill yn arwain i, ac yn parotoi meddyliau y gwrandawwyr ar gyfer y llall, a'r un a ddilynai yn wastadol yn cyflenwi y sawl a flaenorai; yr holl gyfansoddiad, yn fyr, mor gymmesur a dillyn, fel nas gallasai y Rhesymegwr perffeithiaf a chywiraf ganfod un gwall ynddo.

*Yr oedd yn nodedig o ofalus, ac yn myned yn fwy fwy felly at ei ddiwedd, am ystyr y testyn y pregethai arno, ac arddangosai, bob amser, lawer iawn o allu deongliadol.* Safai yn gyntaf ei hunan, yn bwyllog ac yn onest uwch ben y geiriau, gan gymharu, hyd y gallai, y gwahanol gyfieithiadau o honynt. Wedi ffurfio ei feddwl am eu hystyr, ymgynghorai â'r amrywiol esbonwyr yn ei gyrhaedd, er ei gadarnhau ei hunan yn y golygiad a gymmerasai arnynt, neu er gweled a deflid ganddynt ryw oleuni ar y geiriau annghydweddol â'r athrawiaeth yr amcanai efe ei seilio arnynt. Ar ryw destynau a fyddent amheus ganddo, fe deithiai braidd o'r naill ben i'r dref i'r llall, naill ai i ymgynghori â chyfaill, neu er cael golwg ar ryw esboniad nad oedd yn ei feddiant ei hunan. Yr ydym yn cofio yn neillduol ei fod, nid rhyw lawer iawn o amser cyn ei farwolaeth, gan fethu cael boddlonrwydd hollol iddo ei hunan mewn un esboniad oedd yn ei gyrhaedd, wedi mynu cael y rhan gyntaf o *Dr. Pusey's Commentary on the Minor Prophets,* er mwyn gweled a

deflid rhyw oleuni newydd ganddo ef, ar yr hyn a ymddangosai yn ddyrys iddo yn *Hos.* xiii. 9,—adnod yr ydoedd, ar y pryd, yn parotoi pregeth arni.

*Yr oedd ei ragoriaeth arbenig ef fel cyfansoddwr, yn hytrach yn y dull y gweithid y cynllun allan ganddo, nag yn y cynllun ei hunan.* Anaml, mewn cymhariaeth, y byddai dim hynodrwydd yn hwnw. Nid yn fynych y byddai yn crynhoi ei sylwadau oddiamgylch i ryw un drychfeddwl, a hwnw yn gorwedd yn naturiol yn y testyn. Yn hytrach, y rhan amlaf o lawer, fe fyddai y rhaniadau heb ddim annghyffredin ynddynt, dim, o leiaf, i ragargoeli y rhagoriaeth annghydmarol a berthynai i gydol y cyfansoddiad. Mae yn wir y byddai amryw o'i bregethau yn ardderchog yn eu drychfeddwl. Mae ein cof yn awr yn disgyn ar rai nodedig felly a glywsom ganddo :—"Ystyr gallu Duw i achub,"—"Iachawdwriaeth trwy Faddeuant,"—"Cadw trwy ddinystrio,"—"Grym cariad Crist fel cymhelliad i fywyd duwiol," &c., y rhai oeddent, o ran eu drychfeddwl, mor ddedwydd fel y buasai yn anhawdd meddwl am ddim yn fwy felly. Nid oedd efe o gwbl yn ei gyfyngu ei hunan i ryw un ffurf neillduol ar ei bregethau ; a pha beth bynnag a fyddai y cynllun, nid arbedai unrhyw lafur i'w weithio allan, gyda'r defnyddiau goreu, mor fanwl a chywrain a chelfydd, fel mai braidd yr unig berygl a deimlid oedd, i ryw rai foddloni yn unig ar synu at ardderchawgrwydd a gogoniant yr adeilad, yn lle ei ddefnyddio i'r amcan y cyfodasid ef ganddo.

*Yr oedd ei bregethau yn hynod, uwchlaw i odid neb a glywsom ni erioed,* oddieithr, fe allai, y diweddar Mr. Jenkin Davies o'r Twrgwyn, *am y nodwedd Fiblaidd oedd arnynt.* Nid ydym yn awr yn cyfeirio yn gymmaint at yr athrawiaeth a ddysgid ganddo, ag at y defnydd awdurol, os gallwn lefaru felly, a wnelid ganddo o'r Ysgrythyrau sanctaidd yn nghyfansoddiad ei bregethau. Byddai eu ffeithiau hanesyddol, yn y modd mwyaf naturiol, yn cael eu troi yn ddrychau ganddo i edrych trwyddynt ar wirioneddau ysbrydol a thragywyddol, a byddai eu geiriau yn cael eu plethu a'u cyd-ieuo ganddo â'i eiriau ei hunan, yn y modd mwyaf cymharus a destlus, yn ffurfiad ei frawddegau. Ni byddai odid ymadrodd o'i eiddo nad awgrymai i'r gwrandawr meddylgar, cydnabyddus â'i Fibl, ryw adnod neu arall o'r Dadguddiad Dwyfol: yn arwyddo fod geiriau ysbrydoliaeth wedi ymgyfrodeddu â'i feddwl, nes gwneuthur yn hollol naturiol iddo eu defnyddio, a dichon, weithiau,

yn anymwybodol, er cyfoethogi ac addurno ei arddull ei hun. Fe allai fod ei astudiaeth fanwl o ysgrifeniadau Dr. Owen, ac yn arbenig, yn hyn, yr eiddo Dr. Goodwin, wedi bod yn foddion i gryfhau y tuedd hwn: ond y mae yn dra sicr genym ei fod wedi dechreu yn gynarach, ac wedi gwreiddio yn ei gydnabyddiaeth bersonol â'r Bibl, a'i ddarlleniad dyfal o hono, pan nad oedd ganddo ond ychydig o lyfrau ereill i droi atynt.

*Yr oedd gallu annghyffredin ganddo i ymryddhau oddi wrth y naturiol, ac i ddilyn, ymaflyd yn, a dablygu yr ysbrydol, yn ei bregethau.* Nid ydym yn meddwl i ni erioed wrando ar neb a allai ddwyn meddyliau ei wrandawwyr *mor uniongyrchol* i gyfarfyddiad â phethau anweledig a thragywyddol. Er holl nerth ei ddychymyg i bortreadu gwrthddrychau a theimladau ysbrydol trwy bethau gweledig ac elfenol, ni bu odid neb erioed mwy annibynol ar y fath gynnorthwyon er cynnyrchu darluniau o honynt, yn enwedig os tybiai y gallai fod unrhyw berygl i'w wrandawwyr gamgymmeryd y cyffrous neu y prydferth am y difrifol neu y sanctaidd. Byddem ni yn neillduol yn cael ein taro â syndod at y gallu hwn o'i eiddo, yn ei ddysgrifiadau o gospedigaeth uffern, â phoenau y trueiniaid annedwydd yno. Byddai ryw fodd yn eu darlunio mor hollol yn eu hysbrydolrwydd,—gan ddiosg y drychfeddyliau o'u delweddau naturiol, hyd yn nod o'u cymhariaethau Biblaidd,—fel ag i adael y gwirioneddau yn sylweddau byw, presennol, ac ofnadwy, yn meddyliau ei wrandawwyr. Yr oedd yr un peth, ac yr un mor amlwg, i'w ganfod yn ei ddysgrifiadau o ddedwyddwch y nefoedd.

*Yr oedd ei chwaeth, yn enwedig yn ei flynyddoedd diweddaf, yn goeth ac yn bur hyd at lymdra.* Rhwng lledneisrwydd naturiol ei feddwl, purdeb ei deimladau moesol, cymdeithas wastadol, yn neillduol am y deng mlynedd ar hugain diweddaf o'i oes, â'r cynlluniau goreu yn yr awdwyr puraf, ac yn arbenig ei arferiad cyson, ar hyd ei oes, o graffu ar a diwygio ei wallau ei hunan,—rhwng pob peth, yr oedd wedi codi i'r fath goethder, fel yr oedd yn ymwrthod yn naturiol â pha beth bynnag a allai anafu neu anurddo neu lychwino y cyfansoddiad, pa un bynnag ai mewn syniad, mewn cymhariaeth, mewn ieithwedd, neu mewn gair. Parai y coethder hwn iddo, yn ei flynyddoedd diweddaf, wneuthur llawer iawn llai o ddefnydd o gymhariaethau tlysion, ac o addurniadau ceinwych, nag a arferid ganddo gynt. Mae Carlylo (*Works, vol.* viii., *page* 336) yn son am ryw hen Feirniad, a gynghorai

ei ddysgybl i ofalu am ddileu pob brawddeg a ymddangosai iddo yn nodedig o brydferth; am y rheswm, mai yr afiachus sydd yn wastadol yn cael ei deimlo. Gallesid braidd meddwl fod Mr. Rees yn synio yn gyffelyb. Yr oeddem, ychydig wythnosau cyn ei farwolaeth, yn ymddyddan âg ef ac yn cyfeirio at hyn. "Yr ydych," meddem wrtho, gan nodi rhyw esiamplau, "yn myned yn llymach yn eich chwaeth o ddydd i ddydd." "Wel," ebai yntau, "fe allai fod rhywbeth yn yr hyn yr ydych yn ei ddyweyd. Mi a feddyliais fy hunan, ychydig ddyddiau yn ol, am yr un peth. Yr oedd ar Mr. Roger Edwards eisiau pregeth genyf, i'w chyhoeddi yn y *Drysorfa*, ddechreu y flwyddyn nesaf; ac yr ydwyf wedi anfon rhyw hen un iddo. Yr ydwyf ynddi, wrth wneyd sylw fod ein heinioes yn y byd yma yn dal perthynas â thragwyddoldeb, yn dyweyd rhywbeth felly:—'Os blodeuyn yw ein bywyd yn y byd hwn, blodeuyn ydyw â rhyw wreiddyn yn perthyn iddo, yr hwn wedi cysgu yn y ddaear dros auaf marwolaeth, a ddeffry drachefn yn yr adgyfodiad.' 'A ddeffry drachefn yn *ngwanwyn* yr adgyfodiad,' a fyddwn i yn arfer ddyweyd pan yn ei phregethu; ond ni allaswn i yn fy myw adael i'r '*gwanwyn*' fyned i'r Wasg." Yr oeddem ni yn ceisio ymliw âg ef, ei fod, trwy adael y gair allan, yn peri i'r ffugyr ymddangos yn llai cyflawn, ac yn hytrach yn gwanhau nerth y frawddeg. Ond nid oedd dim modd ei ddarbwyllo. Yr oedd ei chwaeth ef yn ei wrthod.

*Nid oedd y coethder tyner hwn, pa fodd bynnag, yn lleihau dim ar ffrwythlonedd ei feddwl.* Y mae yn bosibl i chwaeth dyn droi yn anfantais iddo, pan na byddo ei allu i ymddyrchafu i'r safon a goder ganddo yn cynnyddu yn gyfatebol. Yr ydym yn tybied i ni adnabod rhai pregethwyr ag oeddent felly wedi eu diffrwytho yn hollol yn eu hymdrechiadau. Nid oedd, mewn cymhariaeth, ond ychydig drafferth iddynt unwaith i gyfansoddi pregethau, o'r fath ag oeddent; ond trwy ymollwng i esgeuluso llafurio, a'u meddyliau yn y cyfamser yn cynnyddu mewn dirnadaeth o'r hyn a ddylai pregeth fod, aethant, yn raddol, yn hollol analluog i gynnyrchu dim newydd, ac nid yn unig hyny, ond aethant yn gwbl ddiymdrech at bob peth o'r fath. Eithr pell oedd Mr. Rees oddiwrth hyny. Yr oedd, o ddydd i ddydd, yn myned yn goethach, goethach; ond fe'i cadwyd ar hyd ei oes yn llawn llafur; ac, i'r diwedd, er mai trwy drafferth fawr, yr oedd yn gallu cynnyrchu cyfansoddiadau yn cyfateb i gynnydd ei chwaeth. "Trwy

drafferth fawr," a ddywedasom: ac felly yr ydoedd. Nid oedd, mewn un modd, yn gallu cyfansoddi yn brysur. Nid ydym yn tybied fod ei feddwl, yn naturiol, yn un o'r rhai mwyaf cyflym. Nid yn fuan y canfyddai syniad newydd, yn enwedig os dygwyddai fod yn troi mewn cylch ychydig yn wahanol i'r hwn oedd fwyaf cynnefin iddo ef. Dywedai y diweddar Mr. Morgan, mewn ychydig ddigrifwch, am dano, pan yr oedd yn ei gael yn lled hwyrfrydig i dderbyn rhyw gynllun newydd y dadleuai efe drosto:—"Ni welais i erioed y fath beth: y mae meddwl Mr. Rees yna yn union fel gwlad Canaan, yn llifeirio o laeth a mêl ond i chwi unwaith gael i mewn iddo; ond y mae yn rhaid i chwi deithio trwy anialwch mawr ac ofnadwy, cyn byth y gellwch chwi wneyd hyny." Adroddai Dr. Edwards hyn iddo mewn rhyw ymson cyfeillgar ar fater arall:—"Ië," meddai Mr. Rees, "ond eich annghrediniaeth chwi, fel yr hen genedl gynt, sydd yn peri hyny; dyna paham yr ydych chwi yn methu myned i mewn." Ond, os nad oedd yn gyflym, yr oedd ynddo ddyfal-barhad, nad oedd dim gorchfygu arno. Ac os, fel y dywed Carlyle, mai y peth cyntaf mewn athrylith ydyw gallu anarferol i ymboeni,—"*a transcendent capacity of taking trouble*," yn sicr yr oedd ganddo ef un o brif elfenau athrylith i raddau mawr iawn. Ond nid ydym, yn y diwedd, mor sicr, nad oedd yr anmharodrwydd a ddangosid ganddo, weithiau, i gymmeryd rhywbeth i mewn i'w feddwl, yn cyfodi oddiar y gofal a'r gochelgarwch yr arferasai ei hunan iddynt, i beidio a chaniatau dim fel gwirionedd, heb edrych arno yn fanwl ac yn ei holl gysylltiadau, yn gystal ag ar y modd y cydweddai â gwirioneddau ereill a dderbyniasid ganddo yn flaenorol ac yr oedd yn gwbl sicr o honynt,—yn llawn cymmaint ag oddiar unrhyw hwyrfrydigrwydd meddyliol, neu amddifadrwydd o gyflymdra naturiol i'w ganfod; a'r un modd, nid ydym mor sicr nad oedd ei arafwch yn cyfansoddi, ond peth oedd yn cyfodi mor naturiol oddiar y safon uchel, os nad annghyrhaeddadwy, a godasid ganddo iddo ei hunan. Dichon, pe buasai yn foddlawn ar wneuthur ond yn unig fel ereill, y gallasai wneuthur yn llawn can gynted ag ereill.

Yr oedd ei bregethau yn arbenig yn rhagori *yn nghyflawnder a chyfoeth yr eglurhad a roddid ganddo ynddynt ar wirioneddau gogoneddus yr efengyl, yn eu hamrywiol gysylltiadau, ac yn y gallu nodedig a ddangosai i'w cymhwyso at amgylchiadau neillduol y gwahanol gymmeriadau a annerchid ganddo.* Ymddiriedasid iddo am yr efengyl; ac fe'i dygai hi allan

yn ei holl oludoedd ger bron ei wrandawwyr. Nid oedd un perygl i'w hudgorn hi roddi "sain anhynod" pan wrth ei enau ef. Yr oedd wedi cael digon am byth ynddi iddo ei hunan, ac yr oedd yn gwbl hyderus fod ynddi ddigon ar gyfer pawb ereill. Nid oedd arno eisiau efengyl arall, nac eisiau un gwirionedd, yn ei ymwneyd â dynion gydâ golwg ar eu hachos tragywyddol, ond a ganfyddai ynddi hi. Ac yr oedd ganddo ryw fedrusrwydd, prïodol yn unig iddo ei hunan, i ddwyn hanfod yr efengyl i gyfarfod â phob amgylchiad a ddygid dan ei sylw: pa beth bynnag a amcenid ganddo, ai rhybuddio y drygionus, cyffroi y difraw, deffro y cysglyd, cysuro y trallodedig, gwroli yr ofnus,—pa un bynnag ai er symbyliad i waith, parotöad i ddioddef, boddlonrwydd i farw,—yr oedd ganddo ryw allu rhyfedd i ddwyn allan yr holl efengyl,—nid rhyw ran o honi, neu ryw un gwirionedd ynddi, ond hi ei hunan, yn ei holl gyfoeth,—tuag at sicrhau hyny.

Ond dichon, wedi y cwbl, mai yr hynodrwydd mwyaf ynddo oedd, *yr eneinniad dwyfol a fyddai braidd yn wastadol ar ei ysbryd ei hunan yn y gwaith, ac a ddiferai, oddi arno ef, yn dynerwch sanctaidd ar yr holl gynnulleidfa.* Yn hyny, yn sicr, yr ydoedd yn hollol ddigyffelyb. Sylwch arno yn y pulpud. Y mae yn ŵr tàl, tua phum troedfedd ac un modfedd ar ddeg o uchder, a rhyw beth angylaidd braidd yn ei ymddangosiad. Y mae yn darllen y testyn yn bwyllog, ac mewn cywair digon uchel i'w glywed gan yr holl gynnulleidfa. Y mae golwg ddifrifol arno, ond tra serchiadol. Y mae yn dechreu llefaru yn arafaidd, ac yn hytrach yn drymaidd;—ei lais yn rhyw ymlusgo, a'i dôn braidd yn gwynfanus. Ond, fel y mae yn myned rhagddo, ac yn twymno, y mae yn siarad yn fwy bywiog a naturiol; y mae y llusgiad yn cilio o'r llais, ac yntau yn ymddangos â'i holl enaid wedi ei feddiannu gan ei fater. Nid yw yn arwyddo unrhyw frys. Er fod yr amgylchiadau yn dra anfanteisiol, y pregethwr blaenorol wedi bod yn llawer rhy faith, a chasgliad wedi ei wneuthur a siarad ar hyny rhwng y ddwy bregeth, ac felly yn ddiweddar iawn arno ef yn cael dechreu, eto y mae yn cymmeryd hamdden yn bwyllog i eglurhau, gydâ manylder a gofal, yr athrawiaeth sydd ganddo dan sylw. A hynod mor berffaith y cyfansoddiad. Y mae pob gair yn ei le ei hun; ac, er nad oes arno arwydd unrhyw gaethiwed, y mae yn hawdd canfod fod y cwbl yn cael ei draddodi ganddo o'i gôf, fel yr oedd yn flaenorol wedi ei ddarpar. Y mae ôl, nid yn unig parotöad gofalus, ond perffeithiad hollol, ar bob

brawddeg. Y mae difrifwch arswydol yn y rhan yma o'r bregeth. Y mae ei sylwadau yn rhwymo meddyliau ei wrandawwyr mwyaf deallus yn gwbl gydā'u hachos eu hunain, fel nad oes ganddynt prin hamdden i feddwl am ddim arall; er fod ei eiriau detholedig, ei gymhariaethau prydferth, a'i frawddegau destlus, yn hytrach yn cydymgais â'r pethau am raddau o sylw. Ond, arhoswch: y mae y *pethau* yn raddol yn ennill meistrolaeth. Y maent, erbyn hyn, wedi cael buddugoliaeth hollol. Y mae yma yn awr le ofnadwy. Y mae y bobl yn methu braidd cymmeryd eu hanadl. Y mae difrifwch ar bob wyneb, pryder yn mhob meddwl, ocheneidiau trwmlwythog yn cael eu gollwng allan o bob mynwes, a'r gwirionedd dwyfol o enau y pregethwr yn gafael yn ddwfn ac yn gryf yn nghydwybod a chalon y gynnulleidfa. Y mae ei ddysgrifiadau, mewn gwirionedd, yn annioddefol i gnawd. "Pechaduriaid a ofnasant yn Sion, dychryn a ddaliodd y rhagrithwyr; pwy o honom a drig gydā'r tân ysol? pwy o honom a breswylia gydā llosgfeydd tragywyddol?" Ond wedi gwasgu y bobl i gyfyngdra, a'u dwyn o ran eu teimladau i fin anobaith, y mae yn troi ac yn cymmeryd cyfeiriad newydd. Dyna radd o gyffōad arno ef ei hunan. Y mae ei lais yn ymddyrchafu, ond yn hollol ddigynhwrf, a chydā'r codiad yn lleddfu ac yn mwyneiddio. Y mae yn awr â rhyw swyn rhyfeddol ynddo, ac yn cyffwrdd â llinynau tyneraf pob calon. Edrychwch ar ei wyneb, dyna nefoleidd-dra! Gwelwch ei lygaid, y mae sirioldeb yr efengyl yn serenu ynddynt! Y mae yn dwyn allan ddarpariaeth gras gydā'r fath oleuni a grym ac effeithiolrwydd, ger bron y bobl, fel y mae megis bywyd iddynt o feirw:—"Ië, Sina, tarana; Ebal, melldithia; Orsedd Duw, melltena; Satan, cyhudda; Gydwybod euog, condemnia: ond, yn nghanol taranau Sina, yn swn melldition Ebal, ger bron tanbeidrwydd dysgleirdeb yr orsedd, er holl ddannodiadau y gelyn, ac yn ngwyneb holl edliwiadau y galon,—Bechadur colledig, gobeithia! gobeithia!! 'Crist yw yr hwn a fu farw.'" Y mae ei dymher a'i ysbryd ef ei hunan yn y fath gydnawsedd bendigedig â'r pethau a draddodir ganddo, a'r dylanwad trwyddo ar y dorf y fath, fel y mae teimladau pawb wedi eu mwydo yn hollol; "dagrau melus iawn" yn treiglo dros bob grudd; a dyna rai yn tori allan, mewn hwyliau gorfoleddus, i foliannu a bendithio Duw. Onid oes yma le anwyl? Onid oes yma awel hyfryd? Onid oes yma arogl esmwyth? Onid yw Duw yn wir yn y lle hwn? Ai nid rhywbeth fel

yn ei holl oludoedd ger bron ei wrandawwyr. Nid oedd un perygl i'w hudgorn hi roddi "sain anhynod" pan wrth ei enau ef. Yr oedd wedi cael digon am byth ynddi iddo ei hunan, ac yr oedd yn gwbl hyderus fod ynddi ddigon ar gyfer pawb ereill. Nid oedd arno eisiau efengyl arall, nac eisiau un gwirionedd, yn ei ymwneyd â dynion gydâ golwg ar eu hachos tragywyddol, ond a ganfyddai ynddi hi. Ac yr oedd ganddo ryw fedrusrwydd, prïodol yn unig iddo ei hunan, i ddwyn hanfod yr efengyl i gyfarfod â phob amgylchiad a ddygid dan ei sylw: pa beth bynnag a amcenid ganddo, ai rhybuddio y drygionus, cyffroi y difraw, deffro y cysglyd, cysuro y trallodedig, gwroli yr ofnus,—pa un bynnag ai er symbyliad i waith, parotöad i ddioddef, boddlonrwydd i farw,—yr oedd ganddo ryw allu rhyfedd i ddwyn allan yr holl efengyl,—nid rhyw ran o honi, neu ryw un gwirionedd ynddi, ond hi ei hunan, yn ei holl gyfoeth,—tuag at sicrhau hyny.

Ond dichon, wedi y cwbl, mai yr hynodrwydd mwyaf ynddo oedd, *yr eneinniad dwyfol a fyddai braidd yn wastadol ar ei ysbryd ei hunan yn y gwaith, ac a ddiferai, oddi arno ef, yn dynerwch sanctaidd ar yr holl gynnulleidfa.* Yn hyny, yn sicr, yr ydoedd yn hollol ddigyffelyb. Sylwch arno yn y pulpud. Y mae yn ŵr tàl, tua phum troedfedd ac un modfedd ar ddeg o uchder, a rhyw beth angylaidd braidd yn ei ymddangosiad. Y mae yn darllen y testyn yn bwyllog, ac mewn cywair digon uchel i'w glywed gan yr holl gynnulleidfa. Y mae golwg ddifrifol arno, ond tra serchiadol. Y mae yn dechreu llefaru yn arafaidd, ac yn hytrach yn drymaidd;—ei lais yn rhyw ymlusgo, a'i dôn braidd yn gwynfanus. Ond, fel y mae yn myned rhagddo, ac yn twymno, y mae yn siarad yn fwy bywiog a naturiol; y mae y llusgiad yn cilio o'r llais, ac yntau yn ymddangos â'i holl enaid wedi ei feddiannu gan ei fater. Nid yw yn arwyddo unrhyw frys. Er fod yr amgylchiadau yn dra anfanteisiol, y pregethwr blaenorol wedi bod yn llawer rhy faith, a chasgliad wedi ei wneuthur a siarad ar hyny rhwng y ddwy bregeth, ac felly yn ddiweddar iawn arno ef yn cael dechreu, eto y mae yn cymmeryd hamdden yn bwyllog i eglurhau, gydâ manylder a gofal, yr athrawiaeth sydd ganddo dan sylw. A hynod mor berffaith y cyfansoddiad. Y mae pob gair yn ei le ei hun; ac, er nad oes arno arwydd unrhyw gaethiwed, y mae yn hawdd canfod fod y cwbl yn cael ei draddodi ganddo o'i gôf, fel yr oedd yn flaenorol wedi ei ddarpar. Y mae ôl, nid yn unig parotöad gofalus, ond perffeithiad hollol, ar bob

brawddeg. Y mae difrifwch arswydol yn y rhan yma o'r bregeth. Y mae ei sylwadau yn rhwymo meddyliau ei wrandawwyr mwyaf deallus yn gwbl gydâ'u hachos eu hunain, fel nad oes ganddynt prin hamdden i feddwl am ddim arall; er fod ei eiriau detholedig, ei gymhariaethau prydferth, a'i frawddegau destlus, yn hytrach yn cydymgais â'r pethau am raddau o sylw. Ond, arhoswch : y mae y *pethau* yn raddol yn ennill meistrolaeth. Y maent, erbyn hyn, wedi cael buddugoliaeth hollol. Y mae yma yn awr le ofnadwy. Y mae y bobl yn methu braidd cymmeryd eu hanadl. Y mae difrifwch ar bob wyneb, pryder yn mhob meddwl, ocheneidiau trwmlwythog yn cael eu gollwng allan o bob mynwes, a'r gwirionedd dwyfol o enau y pregethwr yn gafael yn ddwfn ac yn gryf yn nghydwybod a chalon y gynnulleidfa. Y mae ei ddysgrifiadau, mewn gwirionedd, yn annioddefol i gnawd. "Pechaduriaid a ofnasant yn Sion, dychryn a ddaliodd y rhagrithwyr ; pwy o honom a drig gydâ'r tân ysol ? pwy o honom a breswylia gydâ llosgfeydd tragywyddol ?" Ond wedi gwasgu y bobl i gyfyngdra, a'u dwyn o ran eu teimladau i fin anobaith, y mae yn troi ac yn cymmeryd cyfeiriad newydd. Dyna radd o gyffröad arno ef ei hunan. Y mae ei lais yn ymddyrchafu, ond yn hollol ddigynhwrf, a chydâ'r codiad yn lleddfu ac yn mwyneiddio. Y mae yn awr â rhyw swyn rhyfeddol ynddo, ac yn cyffwrdd â llinynau tyneraf pob calon. Edrychwch ar ei wyneb, dyna nefoleidd-dra ! Gwelwch ei lygaid, y mae sirioldeb yr efengyl yn serenu ynddynt ! Y mae yn dwyn allan ddarpariaeth gras gydâ'r fath oleuni a grym ac effeithiolrwydd, ger bron y bobl, fel y mae megis bywyd iddynt o feirw :—" Ië, Sina, tarana ; Ebal, melldithia ; Orsedd Duw, melltena ; Satan, cyhudda ; Gydwybod euog, condemnia : ond, yn nghanol taranau Sina, yn swn melldition Ebal, ger bron tanbeidrwydd dysgleirdeb yr orsedd, er holl ddannodiadau y gelyn, ac yn ngwyneb holl edliwiadau y galon,—Bechadur colledig, gobeithia ! gobeithia ! ! 'Crist yw yr hwn a fu farw.'" Y mae ei dymher a'i ysbryd ef ei hunan yn y fath gydnawsedd bendigedig â'r pethau a draddodir ganddo, a'r dylanwad trwyddo ar y dorf y fath, fel y mae teimladau pawb wedi eu mwydo yn hollol ; "dagrau melus iawn" yn treiglo dros bob grudd ; a dyna rai yn tori allan, mewn hwyliau gorfoleddus, i foliannu a bendithio Duw. Onid oes yma le anwyl ? Onid oes yma awel hyfryd ? Onid oes yma arogl esmwyth ? Onid yw Duw yn wir yn y lle hwn ? Ai nid rhywbeth fel

hyn yw y nefoedd ei hunan? Onid dechreu nefoedd ydyw hyn? Oh! yr hen amseroedd dedwydd! Yr oeddem, wrth eu hadgofio, braidd yn dychymygu eu bod eto yn parhau. Pa bryd y cawn weled eu cyffelyb?

Pe buasem mewn tymher i feirniadu y fath bregethwr, hwyrach y buasem yn dywedyd ei fod yntau, er ardderchoced ydoedd, yn rhy fynych yn cymmeryd coflaid oedd yn llawer iawn rhy fawr,—nid yn gymmaint iddo ef ei hunan i'w dwyn, er y byddai weithiau ymddangosiad gormodol o lafur,—ag i'w gynnulleidfa ei derbyn; a'i fod, felly, yn trethu cymmaint ar y sylw ag i wneuthur yn rhy anhawdd i gorph ei wrandawwyr ei ddilyn yn fanwl, ac yn orchest mor fawr i'r rhai mwyaf craffus ac astud wneuthur hyny, ag i filwrio cryn lawer yn erbyn yr effeithiau ar eu meddyliau, tra yr oedd yn fynych yn peri i'r rhai difeddwl fyned braidd yn gwbl ddisylw. Yr oedd hefyd yn rhy dueddol, yn ei hoffder o'r prydferth a'r llednais, i lyfnhau ac i gaboli cymmaint ar ei frawddegau, ag i beri iddynt fod yn llawer llai miniog a bachog a gafaelgar, yn nghôf ac yn nheimladau ei wrandawwyr, nag y buasent pe yn llai llathraidd ac heb eu coethi mor fawr. Yn ei orbryder i sicrhau tlysni a cheinder ieithwedd, byddai yn fynych yn colli mewn nerth. Dyna, o bosibl, ddiffyg penaf ei arddull. Dichon hefyd, y byddai nodwedd ei ymdriniaeth, yn achlysurol, yn enwedig mewn cyfansoddiad llafaredig, mewn gwedd ac mewn geiriau rhy gyffredinol (*abstract*), i adael yr argraff fywiog, arosol, ar y meddwl, oedd deilwng iddi, ac a allasai gael, pe buasai yn defnyddio geiriau mwy pendant a neillduol. Ond y mae ein hiraeth am dano yn attal ein hysgrifell: ac y mae y meddwl i ni yn annioddefol, fod y dyn sancteiddiaf y daethom ni erioed i gyfarfyddiad âg ef, a'r pregethwr perffeithiaf a glywsom erioed, yn ei fedd; ac nad oes obaith i ni eto byth mwy, yn y fuchedd bresennol, weled na chlywed HENRY REES.

Wele ni, yn awr, wedi rhoddi golygiad byr ar hanes a nodweddau y prif bregethwyr yn mhlith y Methodistiaid, o'u cychwyniad cyntaf, hyd yr amser yr ymddangosodd Mr. John Jones ar y maes; yn enwedig ar y rhai ag y gwyddom y byddai efe yn cymmeryd dyddordeb neillduol ynddynt, yr hoffai ymholi ac ymddyddan yn eu cylch, ac yr oedd, y mae yn ddiddadl, wedi meddwl llawer am eu dull a'u rhagoriaethau, er ennill cymmaint ag a allai o fantais iddo ei hunan oddi wrthynt, yn y cyflawniad o'r gwaith mawr yr ymgymmerasai âg ef. Pe buasai ein terfynau a'n hamser yn caniatau, buasai yn dda genym gyfeirio at

amryw ereill oeddent hynod yn eu dydd, a rhai o honynt yn gyfryw ag y bydd ein gwlad a'n cenedl dan ddyled dragywyddol iddynt. Dyna HOWELL DAVIES,—un o'r Tadau Methodistaidd cyntaf; yr hwn a dorodd allan fel Diwygiwr tua'r un pryd â, ond yn gwbl annibynol ar Daniel Rowland, ac a ystyrid, dybygid, yn ei amser, agos yn gyfartal hyd yn nod âg ef o ran doniau poblogaidd ac ennillgar; PETER WILLIAMS,—un arall o'r Diwygwyr cyntaf,—gwr cadarn o ran corph, a gwrol o ran meddwl; un y cyfoethogwyd Cymru drwyddo â Llyfr Duw, ac y mae ei Fibl yn adnabyddus braidd yn mhob teulu yn ein gwlad; ac un, y mae yn ddiammheuol, ag y bu ei bregethu argyhoeddiadol a nerthol mor fendithiol a'r eiddo odid neb o'i gydlafurwyr er cyfnewid agwedd foesol ein cenedl; WILLIAM DAVIES, Castellnedd,—un nas gwyddom nemawr ddim am dano, ond y golygid ef, gan yr hen bobl, yn un o'r dynion duwiolaf a harddaf ei ymarweddiad yn ei oes; ac y dywedir na byddai braidd byth yn pregethu heb fod dan ryw eneinniad annghyffredin, ac arwyddion fod dynion yn cael eu hachub trwyddo; WILLIAM LLWYD o Gaio,—un o'r pregethwyr mwyaf poblogaidd yn Nghymru yn ei amser, a'i weinidogaeth braidd yn wastadol mor wlithog ac iraidd ag i gynnyrchu effeithiau dwysion ar deimladau ei wrandawwyr; DAVID GRIFFITHS o Nefern,—un o brif arweinwyr y Methodistiaid ar ol marwolaeth Daniel Rowland, hyd y neilldüad cyntaf, yn y flwyddyn 1811, ar bregethwyr heb dderbyn urddau esgobol i weinyddu yr ordinhadau, pryd y gadawodd hwynt,—ac un a ystyrid, pan yn nghyflawnder ei nerth, yn tynu, yn ei bregethu, yn agos iawn at awdurdod ac effeithiolrwydd Rowland ei hunan; THOMAS CHARLES,—"*Rhodd yr Arglwydd i'r Gogledd*"—a ragorai ar ei holl frodyr mewn dysgeidiaeth gyffredinol ac ysgrythyrol, yn gystal ag mewn gallu i gydymdeimlo âg anghenion neillduol ei oes, ac i ddarpar yn ei drefniadau ar eu cyfer. Fel Duwinydd, yr oedd, yn nghynnadleddau y Gymdeithasfa, yn Athraw yn mhlith athrawon; ac, er nad ystyrid ef yn areithiwr mawr, yr oedd yn bregethwr serchiadol a gwlithog, ac yn fynych mor flasus ac effeithiol, fel y byddai ei holl wrandawwyr yn ymdoddi tano i'r tynerwch dwysaf; megis, yn y Dinas yn Llëyn, pryd y bu ei bregeth yn foddion cychwyn diwygiad grymus trwy yr holl wlad hono; ei bregeth hynod mewn Cymdeithasfa yn y Bontuchel, yn sir Ddinbych, pryd yr oedd pawb yn ymddangos fel wedi eu hannghofio eu hunain yn hollol, ac wedi ymollwng i hwyliau

gorfoleddus; yr oedfa nerthol yn Nghymdeithasfa Pwllheli, ar "rodio yn ol y rheol hon," pryd yr oedd yr effeithiau yn gyffelyb; ac, yn enwedig, y tro hynod, a hynod iawn, a gafodd mewn Cymdeithasfa yn Aberystwyth, pryd yr oedd y dylanwadau sanctaidd mor rymus ac effeithiol trwyddo, fel y tybiai y bobl, am wythnosau wedi i'r Gymdeithasfa fyned heibio, fod rhyw arogledd paradwysaidd a nefol yn parhau hyd yn nod ar y maes lle y cynhelid hi, wedi y fath arwyddion o'r presennoldeb dwyfol arno; Thomas Jones o Ddinbych,—yr hwn, er fod ei ddull yn drymaidd, a'i lais heb fod yn rhyw soniarus iawn, oedd â'i bregethau yn wastadol yn gyfansoddiadau galluog, ac, ond ei ddodi mewn lle digon cyhoeddus i gyffroi ei deimladau ei hunan, y byddai effeithiau dirfawr trwyddo, ar deimladau ei wrandawwyr; John Roberts o Langwm,—ëang a manwl yn ei gydnabyddiaeth âg athrawiaeth yr efengyl, ac un a anrhydeddid braidd bob amser, am flynyddoedd lawer, â'r lle mwyaf cyhoeddus yn ein Cymdeithasfäoedd; Dafydd Parry o Langammarch,—un o'r rhai mwyaf toddedig ac effeithiol o'r holl hen bregethwyr, ac y dywedai Mr. Ebenezer Morris unwaith am dano,—"Mae yr Arglwydd fel pe byddai yn rhwym o arddel-yr hyn a ddywed Dafydd Parry;" Dafydd Rees, Llanfynydd,—un o'r gwŷr parchedicaf yn mhlith ei frodyr; a'i bregethau, yn y cyfuniad o eglurhad manwl a gofalus ar wahanol ganghenau athrawiaeth yr efengyl, darluniadau o wahanol deimladau ac ymdrechiadau y credadyn, a rhybuddion difrifol ac argyhoeddiadol i'r annuwiol, yn gyfryw ag nad oedd ond ychydig o'i gydoeswyr a allasent gynnyrchu eu cyffelyb; Dafydd Cadwaladr,—yr hwn, er ei ymddangosiad gwledig a'i ddull cyffredin, oedd yn meddu medrusrwydd tra *annghyffredin* i weithio ei ffordd at ddeall y rhai tywyllaf, ac at gydwybodau y rhai caletaf, yn mhlith ei wrandawwyr; John Thomas, Aberteifi,—yr oedd ei bregethau yn arbenig yn cynnwys "ymadrodd iachus nas gellid beio arno;" ac wedi eu cyfansoddi mor fanwl a rheolaidd a destlus, nes oeddent yn ymddangos "megis afalau aur mewn gwaith arian cerfiedig;" Thomas Jones o Gaerfyrddin,—yr hwn a wnaeth ei ran yn fwy nag odid un o'i frodyr, trwy ei ysgrifeniadau, dan lawer o anfanteision, i gynnorthwyo ei gydwladwyr i ddeall ystyr yr ysgrythyrau sanctaidd, ac y byddai ei bregethau bob amser yn gyfoethog o efengyl, ac yn cael eu traddodi gydâ graddau helaeth o nerth a theimlad; Thomas Jones, Llanwnog, sir Drefaldwyn,—yr hwn, er nad oedd

llawer o eangder na dyfnder na nerth yn ei feddyliau, oedd, o ran pereidd-dra ac ystwythder llais, ireidd-dra tymher a theimlad, rhwydd-ineb a melusdra dawn, a'r hwyl hyfryd a fyddai braidd yn wastadol ar ei ysbryd wrth draddodi, yn un yr oedd yr holl wlad yn dyheu am ei wrando, a'r effeithiau ar y bobl, yr unig dro y clywsom ni ef, yn an-nysgrifiadwy; RICHARD JAMES, Pont-rhyd-y-fen,—oedd â'i dymher fel wedi ei mwydo yn yr efengyl, a'i lais yn un o'r pethau pereiddiaf a ddisgynodd erioed ar ein clustiau, ac wylo, iddo ef wrth bregethu, ac i'r bobl wrth wrandaw arno, yn ymddangos mor naturiol fel yr oedd yn llawer haws nag ymattal; EVAN EVANS o'r Waenfawr,—yr hwn ni chafodd fyw ond rhyw dair blynedd wedi iddo ddechreu pregethu, eithr a wnaeth, yn yr amser byr hwnw, y fath argraff ar Gymru, fel mai syniad y rhai callaf o'r hen bobl ydoedd, fod y fath gyflawnder o ragoriaethau gweinidogaethol ynddo, ag a fuasent yn ei godi, pe cawsai fyw a'i gynnal, i'r dosbarth uchaf o ran poblogrwydd a dylan-wad yn mhlith pregethwyr ein gwlad; RICHARD LLOYD, Beaumaris,—yr hwn yr oedd ei wynebpryd hardd, ei ddawn naturiol a serchiadol, ei dymher hawddgar ac ennillgar, ei ddull agos a chyfeillgar, a'i sylw-adau deheuig ac eglur, yn rhwymo ei gynnulleidfa i'w wrandaw, a rhyw eneinniad nefol yn fynych ar ei ysbryd, ac yn disgyn oddiwrtho ar y bobl, nes y byddai pawb braidd yn y lle mewn hwyl hyfryd, ac yn ymadael yn llawn awydd am ei glywed drachefn; RICHARD JONES o'r Wern,—yr hwn, er holl afrwyddineb a hwyrdrymedd ei ddawn, a dynai ddysgrifiadau mor fywiog a naturiol o'r amgylchiadau neu y dygwydd-iadau ysgrythyrol a fyddent ganddo dan sylw, nes eu gwneuthur yn hollol bresennol ger bron ei wrandawwyr, a gwefreiddio eu meddyliau yn gwbl ganddynt; fel y gwelsom ef, laweroedd o weithiau, yn cael buddugoliaeth mor deg, mor lwyr, ac mor gyffredinol, ar deimladau ei gynnulleidfa ag un pregethwr a glywsom erioed; DAVID EVANS, Aberaeron,—yr hwn yr oedd ei lais fel cloch arian, a'i weinidogaeth bob amser "yn gymmeradwy gan y saint;" DAVID GRIFFITH, Llan-twd,—yr hwn oedd o ddoniau dysglaer a phoblogaidd, ac a gyd-nabyddid yn un o "feistriaid y gynnulleidfa;" JOHN HUGHES o Bont Robert,—"gŵr cadarn yn yr ysgrythyrau," helaeth a manwl yn ei wybodaeth yn yr "athrawiaeth sydd yn ol duwioldeb," ac yn gallu ei "dysgu fel un âg awdurdod ganddo;" WILLIAM JONES o Ruddlan,—un o'r siaradwyr mwyaf rhydd a rhwydd a naturiol a wrandawsom

erioed, ac un y bu yr efengyl trwyddo, i laweroedd, yn "allu Duw er iachawdwriaeth;" EVAN HARRIS,—yr hwn y byddai llymdra ei edrychiad, sydynrwydd ei ddull, a pharodrwydd ac awch ei ffraethineb, yn peri fod pob clust o'r dechreu cyntaf yn fyw i wrandaw arno, a llawer o'i sylwadau mor finiog a bachog, fel ag i beri iddynt gydio dros byth yn nghôf a theimladau ei wrandawwyr; MORGAN HOWEL,—yr hwn, gan fywiogrwydd a nerth ei ddychymyg, tanbeidrwydd ei deimlad, a ffagliad hynod ei ddawn, a gynneuai yn fynych y fath dân yn y gynnulleidfa, nes y byddai yn ymddangos megys yn llosgi yn un eirias fflamllyd o gariad at y Gwaredwr bendigedig—"Iesu Grist, a hwnw wedi ei groeshoelio,"—y traethai mor ogoneddus am dano; a * * * * ond gwell i ni, hwyrach, ymattal; oblegyd rhaid ini roddi heibio yn rhywle, a dichon mai dyma y lle goreu i hyny. Nid oes genym, yn awr, ond gadael y rhai hyn, ac amryw ereill a allasem enwi, yn unig gan ddatgan ein dymuniad, gydâ golwg ar y rhai o honynt nad oes dim wedi ei wneuthur tuag at gadw yn fyw eu coffadwriaeth, ar i ryw un ymgymmeryd â'r gorchwyl hwnw, â hyny bellach ar frys, cyn eu myned *oll*, fel yr ydym yn ofni fod rhai o honynt eisoes *wedi* myned, mor ddieithr i'r byd, ag i beri i bob ymdrech at ddim o'r fath, fod braidd os nad yn gwbl aflwyddiannus.

Yn ol y cynllun a dynwyd genym i ni ein hunain, i'r amcan neillduol yn ein golwg, yr ydym wedi cyfyngu ein sylwadau yn y golygiad blaenorol ar Bregethu Cymru i gylch y Methodistiaid; ond byddai yn ddrwg iawn genym i neb gymmeryd achlysur oddiwrth hyny i dybied ein bod yn dychymygu mai yn eu plith hwy yn unig, yn y cyfnod a fu dan ein sylw, yr oedd pregethwyr â dim ardderchawgrwydd arbenig ynddynt. I'r gwrthwyneb, yr ydym yn gwybod, ac y mae ein cenedl yn gyffredinol yn gwybod, fod amryw bregethwyr o'r dosbarth cyntaf, a rhai o honynt yn mhlith y rhai uchaf yn y dosbarth hwnw, mewn cysylltiad â'r enwadau ymneillduol ereill yn y Dywysogaeth; megys DAVID JONES o Bontypŵl, JOHN HERRING o Aberteifi, SAMUEL BREESE o'r Castellnewydd, FRANCIS HILEY o Lanwenarth, JOHN JENKINS, Hengoed, JOHN JONES o'r Drefnewydd, EVAN JONES o'r Casbach, THOMAS REES DAVIES, ac, yn enwedig, CHRISTMAS EVANS, yn mhlith y Bedyddwyr; a DAVID DAVIES o Abertawe, MORGAN JONES o Drelech, THOMAS PHILLIPS o'r Neuaddlwyd, GRIFFITH HUGHES o'r Groeswen, THOMAS GRIFFITHS o Hawen, ac, yn arbenig, WILLIAM WILLIAMS o'r Wern, yn mhlith yr

Annibynwyr. Ni oddef ein terfynau i ni ymhelaethu yn ein crybwylliadau am y rhai hyn oll, ac nid oes genym ychwaith y defnyddiau angenrheidiol i wneuthur hyny ond yn dra anmherffaith, ac felly ni a gyfyngwn ein hunain at ddau neu dri o'r rhai hynotaf o honynt, y rhai hefyd ag y buom ni nid yn unig mor ffodus a chael cyfleusdra i'w gwrandaw amrywiol weithiau, ond y cawsom raddau o gydnabyddiaeth bersonol â hwynt, fel nad rhaid i ni ddibynu yn gwbl ar dystiolaethau rhai ereill o berthynas iddynt.

Un o'r rhai hyny, ac a gydnabyddir fel y pregethwr mwyaf poblogaidd a dylanwadol a fu erioed yn mhlith y Bedyddwyr yn Nghymru, ac oedd, yn ddiddadl, yn un o'r rhai mwyaf felly a fuant erioed yn mhlith ein cenedl, oedd CHRISTMAS EVANS. Fe'i ganwyd ef ar ddydd y Nadolig, yn y flwyddyn 1766, mewn lle a elwir Esgairwen, yn mhlwyf Llandysil, yn sir Aberteifi. Enw ei dad oedd Samuel Evans. Crydd ydoedd wrth ei alwedigaeth ac mewn amgylchiadau tra isel. Bu farw pan nad oedd ei fab ond naw mlwydd oed. Wedi marwolaeth ei dad, fe'i cymmerwyd ef, ond braidd fel bachgenyn plwyf, gan amaethwr, yr hwn oedd yn ewythr iddo o du ei fam, yr hwn a addawai fwyd a dillad iddo am y gwasanaeth a allai wneuthur. Lle truenus o galed oedd hwn iddo. Ni chafodd ynddo ond yr esiamplau gwaethaf a ellid gael; a thrinid ef gan ei ewythr creulawn a meddw yn atgas ac yn ddigydwybod. Arosodd yno, pa fodd bynnag, am tua chwe' blynedd. Ni chafodd gymmaint a diwrnod o ysgol pan yn blentyn, ac yr oedd yn ddeunaw mlwydd oed cyn medru gair ar lyfr. Pan oedd yn yr oedran hwnw bu cryn adfywiad ar grefydd yn y gymydogaeth lle yr arhosai, ac fe deimlodd yntau oddiwrtho ac a ymunodd â'r eglwys yn Llwynrhydowen. Mae yr eglwys hono erbyn hyn, ac er ys rhai blynyddoedd bellach, yn Socinaidd hollol, ond y pryd hyny Arminaidd ydoedd, ac o dan ofal y Parch. David Davies, Castellhywel, yr hwn hefyd a gadwai ysgol enwog yn y gymmydogaeth. Tan ddylanwad ei deimladau crefyddol ar y pryd, yr ymroddodd i ddysgu darllen, yn yr hyn y llwyddodd mewn tua mis o amser. Wedi dysgu darllen, yr oedd yn cael pleser mawr yn hyny, ac un o'r llyfrau cyntaf a ddaethant i'w ddwylaw, heblaw y Bibl, oedd "*Taith y Pererin*" gan John Bunyan, o'r hwn y bu ar hyd ei oes yn annghyffredin o hoff, ac o'r hwn y gwnaeth ddefnydd llwyddiannus gannoedd o weithiau yn ei bregethau. Wedi dysgu darllen Cymraeg, efe a fenthycodd lyfrau, ac

a ymroddodd a'i holl egni i ddysgu Saesonaeg. Yn lled fuan wedi iddo ymuno â'r eglwys daeth awydd cryf arno i ddechreu pregethu; ac, er fod rheol yn yr eglwys yr oedd yn aelod o honi nad oedd neb i ddechreu pregethu ynddi os na byddai wedi cael addysg athrofäol, fe'i hannogwyd ef gan rai o'r brodyr i ddechreu, yr hyn a wnaeth cyn bod yn llawn pedair mlwydd ar bymtheg oed. Nid oedd ei bregeth gyntaf, a rhai o'i bregethau canlynol, ond lladrad hollol; ac felly ei weddiau yr yr un modd. Yr oedd eto heb adnabod ei ddawn na deall ei nerth ei hunan, ac eto yn llawn awydd am bregethu, ac yn credu yn ei galon mai pregethwr oedd i fod ac nid dim arall. Yn mhen ychydig wedi iddo ddechreu pregethu, a chan ddeall ei fod yn awyddus am ddysgeidiaeth, fe ddarfu i'w weinidog, Mr. Davies, ei wahodd ato ef i'r ysgol, gan addaw rhoddi ei ddysg iddo yn rhad, os gallai ei gynnal ei hunan yno. Aeth ato a bu gydâg ef am tua chwe' mis. Er mwyn ei gynnal ei hunan yn yr ysgol, efe a aeth, yn ol arferiad llafurwyr yn y wlad hono y pryd hyny, i sir Henffordd i'r cynhauaf, gan fwriadu felly ennill digon i'w gadw ei hunan am rai misoedd. Ond tra yno, neu yn fuan wedi dychwelyd yn ol, efe a syrthiodd yn mhell o ran ei ysbryd i wrthgiliad, yn gymmaint felly nes penderfynu rhoddi heibio bregethu, a rhoddi y meddwl am yr ysgol i fynu hefyd. Yn y teimlad hwnw, efe a aeth i ryw ffair ofer oedd yn y wlad hòno; ac yno, rywfodd, fe ymosodwyd arno gan bump neu chwech o ddyhirod drygionus, un o'r rhai a roddodd ddyrnod iddo uwchlaw ei lygad deheu â rhyw bren, nes y collodd ei lygad yn y fan. Tarawwyd ef drachefn yn ei ben gan hwnw, neu un o'r lleill, fel y syrthiodd ar y llawr, ac y bu yn gorwedd yno fel un marw am ryw hyd. Y noswaith hono, efe a freuddwydiodd ei fod yn gweled Iesu yn dyfod ar y cymylau, a bod dydd y farn wedi dyfod, a'r byd yn myned ar dân. A phan y tröai yn ei freuddwyd mewn taerni at yr Iesu i geisio ei heddwch, efe a'i clywai ef yn ateb,—"Yr oeddit ti yn meddwl myned yn bregethwr, ond pa beth a wnei yn awr? y mae y byd ar dân, ac y mae yn rhy ddiweddar." Effeithiodd hyn yn ddwys ar ei feddwl: a rhwng y brofedigaeth fawr y cyfarfuasai â hi, a'r breuddwyd difrifol a gawsai, fe'i hadferwyd yn hollol o'i wrthgiliad, ac fe ymroddodd gydâ mwy o egni nag erioed i grefydd, yn gystal ag i'w wersi yn yr ysgol, er mwyn ei barotoi ei hunan i'r weinidogaeth fawr.

Yn mhen rhyw ysbaid ar ol hyn, fe gymmerodd cyfnewidiad le yn

ei olygiadau ar Fedydd; ac yn y flwyddyn 1786, pan oedd yn agos i ddwy ar hugain oed, ac wedi bod eisoes yn pregethu yn agos i dair blynedd a haner, efe a ymunodd â'r Bedyddwyr yn Aberduar. Yn y flwyddyn 1789, efe a gafodd wahoddiad i ymweled â'r Gogledd, ac a ymsefydlodd yn Llëyn, yn sir Gaernarfon. Yn y flwyddyn ganlynol, 1790, fe'i hordeiniwyd fel gweinidog yn Llëyn; ac yn yr un flwyddyn, fe'i priodwyd â Katharine Jones, merch ieuanc oedd yn aelod o'r eglwys lle y gweinidogaethai, a'r hon a droes allan yn fendith fawr iddo. Yn lled fuan wedi iddo ymsefydlu yn Llëyn,—ni a gawsom hyn o'i enau ef ei hunan,—efe a gafodd gyfleusdra i wrando Mr. John Jones, Edeyrn, Mr. Evan Richardson o Gaernarfon, a Mr. Robert Roberts o Glynog, yn pregethu, gweinidogaeth y rhai a adawsant effeithiau annghyffredin ar ei feddwl. Effeithiodd pregethu Robert Roberts yn enwedig arno, yn fwy na dim a glywsai erioed. Rywfodd, wrth ei wrando ef, efe a gafodd agoriad i'w ddawn neillduol ac arbenig ei hunan, fel ag i'w wneuthur yn bregethwr gwahanol o hyny allan byth. Achubai wedi hyny, tra y bu Robert Roberts byw, bob cyfle a gaffai i wrandaw arno, a chymmerodd ef, can belled ag y gallai heb ei ddynwared, yn gynllun iddo ei hunan fel pregethwr. Wedi bod yn Llëyn am ryw ychydig gydâ dwy flynedd, efe a symmudodd yn y Nadolig, 1791, i sir Fôn, gan wneuthur ei drigfan yn Llangefni. Gwedd dlodaidd iawn oedd ar achos y Bedyddwyr yn Môn pan yr aeth efe yno, heb ond dau gapel yn yr holl ynys, er y pregethid, mewn tai annedd, mewn wyth o leoedd ereill, a bod rhai brodyr yn mhob un o'r lleoedd, ond ystyrid y cwbl yn aelodau o'r un eglwys, cartref neillduol yr hon oedd yn Llangefni. Yr oedd efe, gan hyny, yn weinidog i'r holl sir. Bu yno yn llafurio yn nodedig o galed a ffyddlawn, a chydâ llwyddiant mawr am yn agos i 35 o flynyddoedd. Nid oedd ei gyflog am ei holl wasanaeth yn y sir, am yr ugain mlynedd cyntaf, ond £17 yn y flwyddyn; ac am y gweddill, hyd nes ymadawodd, yn 1826, ond £21 yn y flwyddyn. Trwy gyhoeddi ychydig lyfrau a myned oddi cartref ar deithiau pregethwrol i'w gwerthu, efe a ychwanegai, ambell flwyddyn, o £10 i £15 atynt. O angenrheidrwydd, nid oedd yn gallu byw ond yn isel a thlodaidd; y tŷ yn fychan a gwael; y dodrefn yn ychydig ac yn gyffredin; y bwrdd yn gul a chartrefol; a'i ddillad yn aml â'u gwedd yn henaidd a llwydaidd; ac oni buasai fod ei wraig yn nodedig am ei chynildeb a'i darbodaeth, y mae yn rhaid y buasai yn

galed arnynt yn fynych am ddefnyddiau cynnaliaeth, gydâ'r swm bychan a ddelai i mewn iddo. Ac eto yr oedd efe nid yn unig yn gwbl ddibryder, ond yn hollol ddiofal, ac ymddangosai, bob amser, fel pe buasai yn nghanol y llawnder mwyaf. Gwahoddai ddieithriaid yn wastadol i'w dŷ i gael pryd o fwyd; cyfranai ei bunt yn flynyddol at Gymdeithas y Biblau, a deg swllt at Gymdeithas Genhadol y Bedyddwyr, a deg swllt at Athrofa y Fenni; a phe na buasai y wraig yno, yr hon oedd, mewn gwirionedd, mor haelionus ac yntau, ond ei bod gryn lawer yn ddoethach yn ei haelioni, buasai yn rhoddi cymmaint o ymborth ag a gawsai yn y tŷ i'r tlodion, neu, yn hytrach, i grwydriaid anonest, a gymmerent arnynt eu bod yn dlodion, a ddelent yno i gardota. Ar ddydd Mercher, Hydref 22, 1823, efe a gollodd ei briod, ac yr oedd hyny iddo ef, mewn mwy nag un ystyr, yn golled ddirfawr. Yr oedd hi yn wraig nodedig o ddoeth, yn adnabod dynion yn dda, a dylanwad annghyffredin ganddi arno ef, a hwnw bob amser yn cael ei ddefnyddio yn y modd goreu, fel, tra y bu hi byw, yr oedd yr achos oedd dan ei ofal yn sir Fôn yn myned rhagddo yn hollol gysurus iddo ef, ac, ar y cwbl, yn esmwyth i'r amrywiol aelodau yn ngwahanol barthau yr ynys. Ond, gydâ'i marwolaeth hi, fe ddechreuodd ymrysonau blinion ac annedwydd iawn yno, a derfynasant yn mis Medi, yn y flwyddyn 1826,—ac yntau yn awr ar fin triugain oed,—yn ei ymadawiad â'r wlad, a'i symmudiad i Gaerffili yn sir Forganwg. Yn lled fuan wedi ymsefydlu yn Nghaerffili, efe a briododd yr ail waith, â Mary Evans, yr hon a fuasai, wedi marwolaeth ei wraig gyntaf, yn cadw ei dŷ hyd nes yr ymadawodd â sir Fôn. Bu llwyddiant mawr ar ei weinidogaeth yn Nghaerphili, ac ychwanegwyd tra y bu yno saith ugain at yr eglwys. Ond cyn hir fe ddechreuodd graddau o annghydweleddiad ac annghydfod ac ymryson yno, ac yn mhen tua dwy flynedd, yn mis Hydref, 1828, efe a symmudodd oddiyno ac a ymsefydlodd yn Nghaerdydd. Yr oedd lliaws o'i gyfeillion goreu yn tybied mai annoeth ynddo oedd myned i Gaerdydd, oblegyd yr oedd amgylchiadau yr eglwys yno, ar y pryd, yn dra annghysurus. Efe a ymroddodd, pa fodd bynnag i gyflawni ei weinidogaeth yno, ac yno y dechreuodd barotoi ei bregethau i'r Wasg, o'r rhai yr argraffwyd un gyfrol dan ei olygiad ef ei hunan, a chyfrol arall allan o'i ysgrifeniadau wedi ei farwolaeth. Ychydig lwyddiant fu ar ei lafur yn Nghaerdydd; ac, fel yr ofnai ei gyfeillion, ni chafodd lawer o gysur yno. Yn mhen tua thair blynedd,

neu lai, efe a ymryddhäodd oddiwrth ei gysylltiad gweinidogaethol, ac a fu am beth amser yn rhydd i fyned i bregethu yma a thraw lle y gelwid arno. Yn y flwyddyn 1832, efe a symmudodd i Gaernarfon, i gymmeryd gofal yr eglwys yno. Nid rhyw lawer o gysur a gafodd oddiwrth yr achos yno drachefn. Yr oedd dyled drom ar y capel, a hyny yn cael ei deimlo yn rhwystr mawr i'r gwaith. Ymgymmerodd yntau, mewn cryn wendid, a chasglu yr arian angenrheidiol er symmud ymaith y ddyled. Aeth, i'r amcan hwnw, ar daith trwy siroedd y Gogledd yn y flwyddyn 1837; ac yn niwedd Ebrill, 1838, efe a gychwynodd, gydâ'i wraig a chyfaill, ar daith trwy siroedd y Deheudir i'r un amcan. Nid oedd ei iechyd y pryd hyn ond tra anmharus, ac eto yr oedd yn pregethu yn nodedig o nerthol ac effeithiol. Daeth ar ei daith at y Sabbath, Gorphenaf 15, i Abertawe, lle y pregethodd ddwy waith. Y nos Lun canlynol, pregethodd drachefn yn y Saesonaeg, yn y capel lle yr oedd y diweddar Mr. David Rhys Stephen yn gweinidogaethu. Dyna ei bregeth ddiweddaf. Y noswaith hono fe'i cymmerwyd yn glaf, ac yr oedd yn llesg iawn dranoeth. Erbyn dydd Iau yr oedd yn teimlo yn llawer gwell. Cododd rhwng naw a deg yn y boreu, ac aeth allan rywbryd i'r ardd i roi tro; a bu ar ei draed trwy y dydd. Gwaethygodd, pa fodd bynnag, y noswaith hono; a thua dau ar y gloch yn y boreu, galwyd ar y Parch. Daniel Davies,—yn nhŷ yr hwn y lletyai,—a Mr. John Hughes, y brawd a weinyddai fel cyfaill iddo ar ei daith, at ei wely. Diolchai i Mr. Davies am ei garedigrwydd iddo, a dywedai,—"Yr wyf fi ar ymadael; yr wyf wedi llafurio yn y cysegr er ys tair ar ddeg a deugain o flynyddoedd, a dyma yw fy nghysur a'm hyder yn y bwlch yma, nad ydwyf wedi llafurio yno heb waed yn y cawg. Pregethwch Grist i'r bobl, frodyr anwyl. Os edrychwch arnaf fi yn fy mhregethu, nid wyf well na darn o golledigaeth, ond edrychwch arnaf yn Nghrist, yr wyf yn nefoedd ac yn gadwedigaeth." Yna efe a adroddodd, gydâ llais gorfoleddus, yr hen bennill o eiddo Williams o Bantycelyn :—

"O gyfiawnder pur tragwyddol! o gyfiawnder maith didrai!
Rhaid i'm henaid noeth newynllyd, gael yn fuan dy fwynhau;
Dyma'r wisg ddysgleirwen oleu, guddia'm noethni hyd y llawr,
Fel nad ofnwyf mwy ymddangos fyth o flaen dy orsedd fawr."

Yn mhen ychydig ymddangosai fel yn dyrysu, a chan daflu ei law allan, efe a waeddodd,—"*Good bye; drive on;*" a dyna ei eiriau

diweddaf. Syrthiodd megys i gwsg esmwyth; ac yn y cwsg hwnw, mewn tawelwch perffaith, ehedodd ei enaid mawr i'r trigfanau nefol, tua phedwar ar y gloch, boreu Gwener, Gorph. 20, 1838, yn ddeuddeng mlwydd a thriugain oed.

Yr oedd Mr. Christmas Evans yn bregethwr i'w gofio byth. Yn y nodweddion a'r rhagoriaethau neillduol a berthynent iddo yr ydoedd yn sicr yn annghydmarol. Mae genym ni gôf da am dano cyn ei ymadawiad â Môn; ond wedi ei ddychweliad o'r Deheudir, a'i ymsefydliad yn Nghaernarfon, y clywsom ni ef amlaf, a phan yr oedd wedi colli llawer o'r nerth a'r bywiogrwydd a fuasent yn eiddo iddo unwaith, ei gôf yn enwedig wedi gwanhau cryn lawer, a'i lais wedi myned yn fwy eiddil a gwichlyd; er, fe ddichon, ei fod wedi cynnyddu mewn ireidddra ysbryd, a thynerwch teimlad, a bod ei dymher, yn sicr, yn fwy drylliog nag ydoedd pan yn nghyflawnder ei nerth, a chyn y profedigaethau llymion y cyfarfuasai â hwynt, yn ystod y naw neu y deng mlynedd blaenorol. Ond pe gallem ni roddi darluniad o hono, megis ag yr ydym ni yn ei gofio, byddai yn rhyw fantais i'n darllenwyr i ffurfio syniad lled gywir am dano, er ei fod ef yn arbenig yn un o'r rhai hyny, nas gall un dysgrifiad byth a rodder o honynt alluogi y rhai nas clywsant hwynt eu hunain, i'w hadnabod ond yn dra anmherffaith. Nid oedd ei ymddangosiad allanol ef yn fantais fawr iddo; yn hytrach, oblegyd yr anffawd a ddygwyddasai i'w lygad, a rhywbeth hynod o afrosgo oedd yn ei ddull, yr oedd yn milwrio cryn lawer yn ei erbyn. Ac eto yr oedd yr olwg arno, ar unwaith, yn ddigon i beri i'r meddylgar deimlo nad oedd yn mhresennoldeb dyn cyffredin. Yr oedd yn ŵr tâl,—pum' troedfedd ac un modfedd ar ddeg o uchder,—cadarn iawn ei wneuthuriad, ac, yn ein cof cyntaf ni am dano, yn dra chorphol; ond yn ei flynyddoedd diweddaf wedi teneuo llawer, yr ysgwyddau yn crymu ychydig ac yn edrych wedi culhau, a'r croen, yn enwedig ar y gwyneb, yn ymddangos yn llac ac yn rhychlyd. Yr oedd y pen yn fawr anarferol, un o'r rhai mwyaf a welsom erioed; y talcen yn llydan, ac yn hytrach yn uchel, ond nid yn llawn yn mlaen; yr aeliau yn fwäog, ac, er braidd yn drymaidd, yn brydferth iawn; y llygad deheu wedi ei golli; y llall yn fawr a thanbaid a threiddgar,—llygad iawn,—ac yn sefyll allan ar wyneb y croen; y trwyn heb ddim neillduol ynddo, ond ei fod yn edrych fel pe buasai, ryw bryd, wedi cael cryn lawer o gam gan y trewlwch a dynid iddo; ac yr oedd rhywbeth yn y

genau, yn dynodi mesur annghyffredin o'r chwareus a'r digrifol. Yr oedd yr olwg arno, yn y fan, yn ddigon i gynhyrfu sylw; a phan y cyfodai ar ei draed ger bron cynnulleidfa, yr oedd yn naturiol yn cynnyrchu dysgwyliadau uchel. Yr oedd wedi gwneuthur pregethu yn orchwyl mawr ei oes, ac yn gydwybodol yn defnyddio ei holl amser, a phob mantais oedd yn ei gyrhaedd, er ymgymhwyso yn fwyfwy i'r gwaith mawr. Yr oedd yn nodedig o gydnabyddus â'r Ysgrythyrau Sanctaidd, ac wedi ymdrechu i feistroli cymmaint ar yr ieithoedd yn y rhai yr ysgrifenwyd hwynt yn wreiddiol, ag i allu, trwy gymhorth Geiriaduron, eu darllen ynddynt. Yr oedd wedi llafurio llawer hefyd i ddarllen ac i astudio ysgrifeniadau lliaws o'r Awdwyr Duwinyddol goreu, yn enwedig Dr. Owen, Dr. Goodwin, John Bunyan, Dr. Gill, John Brine, Jonathan Edwards, heblaw awdwyr diweddarach, megis, Abraham Booth, Andrew Fuller, Archibald M'Lean, ac ereill. Ond ei hoff awdwr mewn Duwinyddiaeth oedd Dr. Owen. Ni flinai byth ar ei ganmol. Yr oedd hefyd yn dra chydnabyddus â gweithiau barddonol Milton ac Young, ac yn enwedig â Hymnau ac â Chaniadau ereill Williams o Bantycelyn. Yr oedd hefyd wedi darllen llawer ar bethau cyffredin, yn enwedig ar hanesyddiaeth yr hen oesoedd. Yn wir, nid oedd modd gwrandaw arno yn pregethu am ychydig droion, heb dderbyn argyhoeddiad fod ei wybodaeth gyffredinol yn helaeth iawn, ac, yn neillduol, fod ganddo allu mawr i droi y cwbl er mantais iddo ei hunan yn y pulpud. Yr oedd ei athrawiaeth yn hollol efengylaidd; a'i weinidogaeth, mewn modd arbenig, yn troi o amgylch Person a Swyddau y Cyfryngwr, yn enwedig ei Offeiriadaeth a'i Frenhiniaeth. "Iesu Grist, a hwnw wedi ei groeshoelio," oedd ei destyn mawr. Yr oedd o olygiadau Calvinaidd lled uchel; ac nid oedd byth yn petruso dwyn neillduolrwydd ei Gyfundraeth ger bron ei wrandäwwyr, a hyny yn y modd mwyaf diammwys. Safai yn gyffredin, a braidd yn gwbl, ar ochr a gwaith Duw yn nhrefn cadw, heb gyfeirio, mewn cymhariaeth, ond yn dra anfynych at ddyledswydd a chyfrifoldeb dyn. Yr un pryd, yr oedd yn ddifloesgni yn codi Crist Iesu ger bron ei wrandäwwyr, fel Ceidwad digonol ac addas a pharod i bwy bynnag a wnelai dderbyniad o hono; gan gwbl gredu mai y cyflwyniad o hono felly ger eu bron, ac nid unrhyw draethu o'i eiddo ef ar eu rhwymedigaethau i hyny, oedd y moddion mwyaf effeithiol i'w dwyn i wneuthur y derbyniad hwnw.

Yr hynodrwydd mawr ac arbenig ynddo ef fel pregethwr, oedd *bywiogrwydd a chyfoeth a nerth ei ddychymyg.* Yr oedd hwnw, yn ddiddadl, yn un o'r rhai mwyaf ffrwythlon a fu yn eiddo i ddyn erioed. Yr oedd ynddo ef mor gryf nes llethu y galluoedd ereill braidd yn hollol. Nid oedd ond ychydig graffder yn ei ddirnadaeth, nac eangder na manylwch yn ei amgyffredion; prin ddim addfedrwydd na sefydlogrwydd yn ei farn; ac nid oedd ond plentyn braidd mewn ymresymu. Ond yr oedd ei ddychymyg yn hollol dywysogaidd,—yn frenhinol. Yr oedd trwyddo, ar darawiad, yn cyfnewid pob gwrthddrych a welai, neu y clywai am dano, yn ddrych i edrych trwyddo ar ryw wirionedd ysbrydol; ac yr oedd pob gwirionedd a gyfodid i'w sylw, mewn munud yn ymddangos ger ei fron mewn rhyw wisg naturiol, a hono yn gweddu mor gymhwys iddo, fel pe buasai y naill yn wreiddiol wedi ei fwriadu ar gyfer y llall,—y naturiol i ddatguddio ac i ddilladu yr ysbrydol, a'r ysbrydol i roddi bywyd a nerth a gogoniant i'r naturiol.

Gydâ ffrwythlonedd dychymyg, *yr oedd angerddoldeb cyfatebol yn e deimlad.* Heb hyny ni buasai y dychymyg cryfaf a chyfoethocaf ond o ychydig iawn o fantais iddo fel pregethwr. Ond yr oedd y naill a'r llall ganddo ef i'r graddau helaethaf; ac, yn y cyfuniad o'r ddau, yr oedd yn meddiannu nerth a dylanwad diderfyn. Fel na buom yn gwrandaw ar neb erioed â dychymyg mor oludog ganddo, felly nid ydym yn tybied i ni wrandaw ar neb erioed, yn ymddangos i ni yn cael ei lyncu yn llwyrach gan ei deimladau. Yr oedd yn llosgi megis ffwrn. Byddai ei holl natur yn un eirias danllyd, nes ffaglu pawb o'i amgylch. Yr oedd yn teimlo yn ddwys ei hunan, ac felly yn peri i ereill deimlo. Nid dadblygu y rhol y byddai, fel y dyn wrth yr olwyn yn y *Panorama*, er mwyn i ereill gael gweled y golygfeydd, heb gael un drem arnynt ei hunan; ond yr oedd yn edrych ei hunan ar yr hyn a ddangosai i ereill: ac, yn gymmaint a bod y cwbl yn ddarluniau byw, sylweddol, ger bron ei feddwl ef ei hun, yr oeddent yn enyn ynddo y teimladau mwyaf tanllyd, a thrwyddo ef yn cynneu y gynnulleidfa i gŷd yn un goelcerth.

Mae yn rhaid addef nad oedd ond ychydig goethder yn ei chwaeth, a'i fod yn fyr iawn o allu i lywodraethu ei ddychymyg; ac, yn ganlynol, y byddai yn rhedeg yn wyllt ac yn afreolaidd, ac yn peryglu, weithiau, gwneuthur llawer iawn mwy o niwed nag o les. Byddai y cymhariaethau yn cael eu dryllio ganddo yn ddibaid; y naill yn

fynych yn rhedeg i'r llall, ac yn cael ei chymysgu a'r llall, fel ag i dywyllu, yn lle egluro, y gwirionedd yr oeddent wedi eu hamcanu i daflu goleuni arno. Rhaid cydnabod y byddai felly yn fynych iawn. Ond fe geid ganddo braidd yn mhob pregeth amryw o rai cyflawn a gogyhyd, nas gallai y chwaeth buraf lai na'u cymmeradwyo, ac yn ateb yn brydferth i'r amcanion a fwriedid iddynt. Ac, yn y cyffredin, pan na fyddent felly, fe fyddai angerddoldeb ei deimlad, a'r hwyl fawr y byddai efe ei hunan a'r holl gynnulleidfa ynddi, yn cuddio pob anmherffeithrwydd o olwg y lliaws; a'r darnau cymhariaethau, yn ei ddwylaw ef, yn gwneuthur gwrolwaith nas gallai rhai cyfanaf a pherffeithiaf odid neb arall prin byth ei gyflawni.

A ddaw y darllenydd gyda ni i'w wrando am unwaith? Y tro, y cyfeiriwn ato, oedd y pryd y clywsom ni ef yn ei hwyl uchaf erioed. Yr oedd yn pregethu yn ein capel ni yn Mangor, mewn Cymmanfa i'r Bedyddwyr, a gynhelid yno ar y dyddiau Mawrth a Mercher, Mehefin 30, a Gorph. 1, 1835. Yr oedd efe yn pregethu yn olaf am ddeg boreu ddydd Mercher. Y testyn oedd *Rhuf.* x. 5,—9. Mae y bregeth, neu yn hytrach pregeth ar yr un testyn, wedi ei chyhoeddi yn y gyfrol o'i bregethau a ddygwyd allan cyn ei farwolaeth (*tu dal.* 230—235); ond nid oes ond ychydig iawn o gyffelybrwydd rhyngddi, megis y mae yn argraffedig yno, a'r bregeth a draddodwyd ganddo y pryd hwn. Wedi pregeth fywiog a blasus gan ryw un o'i flaen, dyna yr hen wron yn codi. Y mae yn edrych wedi heneiddio cryn lawer er pan y gwelsom ac y clywsom ef ddiweddaf, mewn llai na haner blwyddyn yn ol. Y mae gwên ar bob gwyneb wrth ei weled yn codi; ac y mae yr holl bregethwyr, yn enwedig, yn amlwg yn dysgwyl gwledd annghyffredin. Y mae yn darllen y testyn â llais eglur, ond heb amcanu at roddi allan yr ystyr. Buasai athraw gofalus, mewn dosbarth yn yr Ysgol Sabbothol, yn gwneyd iddo ei ail ddarllen. Ah! y mae yn gwneyd hyny ei hunan. Ond nid yw yn ddim gwell, os cystal, yr ail dro. Y mae yn troi at y geiriau a ddyfynir, megis ag y maent yn llyfrau Moses, yn Lefiticus ac yn Deuteronium, ac yn gwneuthur ychydig sylwadau ar y gwahaniaeth rhyngddynt yn nyfyniad Paul ac yn nhestyn Moses; ond sylwadau rhy gyffredinol ac anmhennodol i egluro unrhyw anhawsder, nac i adael argraff arosol ar feddwl y gwrandawwyr. Hawdd gweled mai nid mewn esbonio y mae ei ragoriaeth ef. Ond, wedi rhagymadrodd byr a lled egwan, ac yn cael ei

draddodi yn lled drwsgl, ac mewn dull yn hytrach yn tueddu, os nad wedi ei fwriadu, i gymmedroli dysgwyliadau ei wrandawwyr wrtho, y y mae yn dyfod at ei raniadau. Y ddau gyfiawnder y cyfeirir atynt yn y testyn; 'y cyfiawnder sydd o'r ddeddf' a'r 'cyfiawnder sydd o ffydd;' Iaith wahanol y ddau gyfiawnder at y byd; Cymhwysder 'y cyfiawnder sydd o ffydd' i ateb cwestiynau ac ofnau y galon." Ni cheir dim hynodrwydd un amser yn nghynllun ei bregeth ef, ac nid oes dim o hyny heddyw. Y mae yn rhedeg yn brysur dros y pen cyntaf, ac yn hytrach yn ddidrefn. Nid oes odid prin frawddeg yn cael ei gorphen yn gyflawn. Ond y mae yn awr yn symmud at yr ail ben. Dyna gyfnewidiad amlwg, gydâ'r symmudiad, arno ef ei hunan. Y mae yn awr yn llawer mwy hunan-feddiannol; yn llefaru yn rhwyddach; y brawddegau yn fwy cyfan a destlus; ac y mae athrylith neillduol y pregethwr yn gwreichioni allan braidd yn mhob brawddeg. Ei bwnc yn awr ydyw, "Cyfiawnder y Ddeddf yn gofyn a Chyfiawnder Ffydd yn ateb." Er gosod y mater allan, y mae yn ein harwain i lys barn, lle y mae pechadur wedi ei wysio i sefyll ei brawf fel troseddwr yn erbyn hawliau y "Cyfiawnder sydd o'r Ddeddf." Dyna yr orsedd wedi ei chodi; dyna y llys urddasol; dyna y carcharor druan a golwg resynol arno; dyna y dadleuwyr yn ei erbyn. Yn awr y mae y prawf yn dechreu; y cyhuddiad yn cael ei ddwyn yn erbyn y carcharor; y *Cyfreithiwr Cyffredinol* yn gwneyd araeth ddoniol, a'r carcharor yn gwelwi trwyddo yn ngwyneb pob brawddeg o honi; y mae y tystion yn cael eu holi; yr euogrwydd yn cael ei brofi; y cyhuddedig tlawd yn ofni ac yn crynu; a'r ddedfryd yn cael ei dwyn yn ei erbyn, —*Euog*. Cyn i'r Barnwr gyhoeddi y gollfarn, dyna ryw gynhwrf tua drws y llys, ac y mae gwynebau pawb tuag yno, ac fe glywir rhyw un yn gweiddi,—"*a Message from the King*"—"Cenadwri oddi wrth y Brenhin." Tra yn dysgwyl am y genadwri hon, dyna ryw rai yn ymddangos yn y llys i geisio perswadio y carcharor i ymddiried ei achos i'w dwylaw hwy;—*Mr. Diofalwch, Mr. Gwneyd y Goreu*, a *Mr. Edifeirwch*. Nid yw *Diofalwch*, na *Gwneyd y Goreu*, yn cael dim gwrandawiad ganddo; oblegyd y mae ei bechadurusrwydd a'i berygl a'i ddiffyg yn ngwyneb y "Cyfiawnder sydd o'r Ddeddf" wedi dyfod yn argyhoeddiad llwyr yn ei feddwl, trwy y drych yna sydd wedi ei daflu o'i amgylch; yn yr hwn y mae yn gweled ei berygl mor fawr fel nas gall fod yn ddiofal, ac yn yr hwn hefyd y mae yn gweled ei lygaid gwammal,

ei ddwylaw gwaedlyd, ei draed duon, ïe, ei galon aflan, fel y mae yn teimlo mai ofer iddo ddadleu ei fod wedi *Gwneyd ei Oreu*. Ond y mae yn teimlo yn wahanol wrth wrando ar *Mr. Edifeirwch*; y mae yn tybied ei fod ef yn dadleu yn fwy rhesymol, ac y mae yn tueddu i roddi ei achos yn ei ddwylaw ef. Ond, pan ar wneyd hyny, dyna y "Cyfiawnder sydd o'r Ddeddf" yn gwaeddi yn ei glustiau,—"Y dyn a wnel y pethau hyny a fydd byw trwyddynt,"—nes y mae yn teimlo, nid yn unig fod *Edifeirwch* yn annigonol er ymwared iddo, ond ei fod ef heb un duedd i edifarhau, nad oes ganddo un ewyllys i ymadael â'i bechod; eithr, yn hytrach, er gwybod fod pechod yn ei ddinystrio, y mae yn cael ei galon yn gylymedig wrtho. Y mae golwg ryfedd ar y carcharor yn awr. Y mae anobaith a gelyniaeth i'w canfod yn ei wyneb; y mae yn ymddangos yn un darn o drueni digymmysg. Ond arhoswch: dyna ryw gyffröad eto tua phorth y llys; a dyna foneddiges hardd, y brydferthaf a'r fwyaf serchogaidd y tremiodd llygad arni erioed,—un o Bendefigesau palas y Brenhin,—a'i henw *Trugaredd*, yn cerdded i fynu at yr orsedd, yn cyfarch y Barnwr, ac yn dadleu yn y modd taeraf am arbediad i'r carcharor:—"Dyn ydyw," meddai; "y mae ganddo enaid; y mae i fyw byth; y mae tragywyddoldeb yn hir iawn; y mae fflamau uffern yn boeth iawn; nid ydwyf yn gwadu ei ddrwg, nac yn gwadu ei haeddiant, ond yr wyf, yn ol fy enw, yn dadleu, yn ymbil, am drugaredd iddo." Ond y mae y *Cyfreithiwr Cyffredinol* yn ei hateb,—"Y mae Trugaredd, gydâ'r amcanion goreu yn ddiammeu, eto yn cam-gymmeryd ei lle yn gwbl. Llys Barn ydyw hwn; cyfiawnder sydd i'w weinyddu yma; ac y mae y troseddwr wedi ei brofi yn euog, ac yn haeddu marw. Ac oni buasai fod dylanwad mawr gan *Amynedd* a *Dioddefgarwch* a *Hirymaros* ar feddwl y Brenhin, fe fuasai wedi ei ddienyddio cyn hyn." Ar hyny dyna *Drugaredd* yn tori allan i wylo dros y llys; yn gadael y llys dan wylo; ac y mae y pregethwr ei hunan a lliaws yn y capel yn cydwylo â hi. Y mae meddwl pawb yn y lle yn awr yn fyw i'r prawf sydd ar y carcharor, ac yn llawn pryder pa fodd y terfyna. Ond, yn fuan, dyna y Bendefiges yn dyfod i'r llys eilwaith, a golwg siriol arni. Y mae yn awr yn cerdded yn mraich gŵr ieuanc, "tecach na meibion dynion." Y maent yn cyd-gerdded, mewn gwedd urddasol, i fynu at yr orsedd. Dyna y gŵr ieuanc yn awr yn cyfarch y Barnwr, ac yn dadleu am arbediad a bywyd a rhyddid i'r carcharor, a'r Bendefiges yn gwenu wrth ei

wrandaw. Ond dyna y *Cyfreithiwr Cyffredinol* i fynu drachefn, ac yn dywedyd,—"Y mae wedi tori y gyfraith; wedi gwrthryfela yn erbyn y Brenhin; y mae wedi ei brofi yn euog; y mae yn haeddu marw. Y ddeddf ydyw, 'y dyn a wnel y pethau hyn a fydd byw trwyddynt.'" "Ydyw, ydyw," meddai y gŵr ieuanc, gydag accenau bendigedig; "ond," gan ddangos y pen fu dan y drain, estyn allan ei freichiau, a dangos y dwylaw fu dan hoelion, agor ei fynwes a dangos ôl y waywffon, y mae yn gwaeddi,—"*A ydyw hyn yn haeddu dim!*" "*A ydyw Calfaria yn haeddu dim?*" Ar hyny, dyna fanllef o'r orsedd,—"Gollwng ef yn rhydd, myfi a gefais iawn." / Ac yn y fan, yr oedd Trugaredd yn ymaflyd yn y carcharor, ac yn dechreu ei ymgeleddu; ac yntau yn bloeddio,—"Diolch! Diolch!! Diolch!!!" ac yn rhedeg at draed y gŵr ieuanc, ac yn gofyn iddo, "A gaf fi fod am byth yn dy wasanaeth, 'treulio 'mywyd, f' unig fywyd i dy glod?'" Y mae yr holl dyrfa yn awr mewn teimlad hyfryd; a dyna rai yn y *Gallery* wedi tori allan, yn yr hen ddull Cymreig, i foliannu a bendithio Duw; ac y mae y pregethwr yn terfynu yn frysiog; yn gweddïo am lai na munud; ac, mewn hwyl fawr, yn rhoddi allan i'w ganu yr hen bennill o eiddo Williams o Bantycelyn:—

"Ar Galfari, yn ngwres y dydd,
Y caed y gwystl mawr yn rhydd,
Trwy golli gwaed yn lli';
'Nawr dim heb dalu, rhoddwyd iawn,
Nes clirio llyfrau'r nef yn llawn,
Heb ofyn dim i mi."

Dyma, fel yr awgrymasom, y tro y clywsom ni ef yn yr hwyl fwyaf erioed. Dichon na ddaliai y bregeth, mewn odid un ystyr, feirniadaeth fanwl iawn. Ond byddem ni yn fwy na boddlawn i weled mil o fân reolau yn cael eu tori, pe byddai hyny yn ammod y fath hyfrydwch a budd ag a fwynheid genym ni wrth ei wrando y boreu hwnw, fel, laweroedd o weithiau, cyn ac wedi hyny. O ran nerth a bywiogrwydd dychymyg, a dyfnder a dwysder teimlad, yr oedd arbenigrwydd annghydmarol ar weinidogaeth CHRISTMAS EVANS.

Un arall, y mae nid yn unig ei enwad ei hunan, ond yr holl genedl, yn mynu ei anrhydeddu fel un o brif bregethwyr Cymru, oedd WILLIAM WILLIAMS o'r Wern. Fe'i ganwyd ef yn y flwyddyn 1781,—nid ydym yn gwybod y dydd na'r mis,—mewn lle o'r enw Cymhyswn, yn

mhlwyf Llanfachreth yn sir Feirionydd. Ei rieni oeddent William a Jane Probert, y rhai oeddent yn dal tyddyn bychan o dir, a gair da iddynt yn mhlith eu cymmydogion. Yr oedd ei fam yn proffesu crefydd gydâ'r Methodistiaid. Ni bu ei dad erioed gydag un blaid grefyddol, er yr arferai wrando yr efengyl yn gyson, a'i fod yn cynnal addoliad teuluaidd yn rheolaidd. Pan oedd y mab yn dra ieuanc, tua thair-ar-ddeg oed, teimlodd argraffiadau dwysion ar ei feddwl, wrth wrando ar bregethwr tra chyffredin, a elwid Rhys Davies, gŵr â dim ond un goes ganddo, ac a adnabyddid yn gyffredin wrth yr enw, Rhys Davies y goes bren. Ond, pa mor isel bynnag yr edrychid ar y pregethwr cloff gan ereill, fe'i perchid byth gan Mr. Williams fel ei dad ef yn yr efengyl. Cyn bod yn llawn pedair-ar-ddeg oed, fe ymunodd â'r eglwys Annibynol, yn Mhen-y-stryd, Trawsfynydd; a derbyniwyd ef yno yn gyflawn aelod cyn ei fod yn bymtheg oed. Pan oedd rhwng pedair-ar-bymtheg ac ugain oed fe ddechreuodd bregethu. Wedi bod yn pregethu tua'i gartref am yn agos i ddwy flynedd, efe a aeth i ysgol i le a elwir Aberhafesp, yn agos i'r Drefnewydd, yn sir Drefaldwyn. Bu yno am tuag wyth neu naw mis. Dychwelodd oddi yno i'w gartref; ac, yn mhen ychydig, fe'i derbyniwyd i'r Athrofa, yn Ngwrexham, yr hon oedd, y pryd hyny, dan ofal Mr. Jenkin Lewis. Yr oedd hyny yn y flwyddyn 1803, a chyn ei fod ef yn llawn dwy-ar-hugain oed. Yr ydym yn tybied na wnaeth ond ychydig gynnydd tra y bu yn yr ysgol, yn Aberhafesp, yn parotoi ei hunan am dderbyniad i'r Athrofa; oblegyd pan y cyrhaeddodd Wrexham, nis gallai mewn un modd roddi ar ddeall i Mrs. Lewis, gwraig yr Athraw, a'r hon nid oedd yn deall Cymraeg, pa beth oedd ei neges yno; ac, oblegyd fod Mr. Lewis ar y pryd oddicartref, bu raid anfon allan am ryw un i gyfieithu rhyngddynt. Arhosodd yn yr Athrofa am bedair blynedd. Nid rhyw lawer o gynnydd, wedi dyfod i Wrexham drachefn, a wnaeth mewn dysgeidiaeth, yn neillduol yn yr ieithoedd dysgedig, fel y gelwir hwynt. Yr oedd diffyg hollol manteision boreuol yn rheswm mawr am hyny. Yr oedd raid iddo ef roddi y rhan fwyaf o'i amser i ddysgu pethau ag yr oedd amryw o'i gyd-efrydwyr wedi eu gwreiddio ynddynt pan yn blant; fel yr oeddent hwy, er nad oedd un cymhariaeth rhwng nerth eu meddyliau â'r eiddo ef, yn cael y fantais hòno arno ef, ac yn ymddangos yn myned heibio iddo yn yr Athrofa. Ond y mae yn ddiammeu mai y rheswm mwyaf paham na wnaeth y cynnydd

a allasai, ac a ddysgwylid oddi wrtho, mewn dysgeidiaeth, oedd, fod ei feddwl eisoes wedi ei lyncu i fynu yn gymmaint gan bregethu, fel nad oedd ganddo flas ar ddim arall. Ni a'i clywsom ef ei hunan yn cyfeirio at hyny fel peth oedd wedi troi yn anfantais iddo. Yr oedd am i wŷr ieuainc, tra yn yr Athrofa, gael digon o gyfleusderau i arfer eu dawn fel pregwyr; ac, oblegyd hyny, yn golygu y drefn gyffredin yn mhlith yr amrywiol enwadau ymneillduol, yn rhagori yn ddirfawr, er sicrhau pregwyr effeithiol, ar y drefn arferol yn yr eglwys wladol; ond yr oedd, yr un pryd, yn ystyried mai cam-gymeriad mawr oedd i wŷr ieuainc dybied mai pregethu oedd eu gwaith penaf hwy tra yno, ac nid ymroddi i'w gwersi, er mwyn eu parotoi eu hunain ar ei gyfer yn y dyfodol. Dywedai ei fod ef, braidd ar hyd ei oes weinidogaethol, wedi bod yn golledwr, i raddau mwy neu lai, oblegyd na buasai, pan yn yr ysgol, yn ymroddi yn fwy llafurus ac uniongyrchol i'w dyledswyddau neillduol hi. Yr un pryd, yr oedd efe yn mhell o fod yn segur yno. Ymroddodd i ddysgu y Saesonaeg, fel ag i allu ei deall yn hollol, er na ddaeth, hyd ar ol prïodi, i allu ei siarad yn rhwydd. Dysgodd hefyd gymmaint o'r iaith Roeg, ag a'i galluogai i edrych i mewn i destyn gwreiddiol y Testament Newydd, gydâ golwg ar ystyr yr adnodau y pregethai arnynt; ac, yn arbenig, fe ddechreuodd yno gael blas ar ymgydnabyddu âg egwyddorion mawrion athroniaeth naturiol, feddyliol, a moesol, y rhai a ddaethant, tra y bu byw, yn hoff destynau ei astudiaeth, a'i wybodaeth o'r rhai a ddefnyddid ganddo mor gampus, ac eto mor ddirodres, yn y pulpud. Wedi bod yn yr Athrofa am bedair blynedd, fe dderbyniodd alwad oddi wrth eglwysi bychain y Wern a Harwd, i ymsefydlu yn eu plith, â'r hon y cydsyniodd, ac a aeth yno yn y flwyddyn 1807. Wedi bod yn llafurio yno ar brawf am tua blwyddyn, fe'i hordeiniwyd i waith cyflawn y weinidogaeth, Hydref 29, 1808. Nid oedd yr eglwysi hyny ond gweiniaid iawn pan ymgymmerodd efe â'u bugeiliaeth. Pump oedd y nifer, yn y Wern, yn y cymundeb cyntaf a weinyddwyd ganddo yno; ac nid ydym yn sicr a oedd cynnifer a hyny yn Harwd. Nid oedd y cyflog a addewid iddo gan yr eglwysi, os ydym yn cofio yn iawn, ond £15 yn y flwyddyn; er y sicrheid iddo gan ŵr haelionus o Gaerlleon, ac ar gais yr hwn yn benaf yr ymgymerasai â'r lleoedd, na chai fod arno eisiau dim. Yn mhen rhyw ddwy flynedd wedi ei ordeinio, fe sefydlwyd eglwys yn Rhosllanerchrugog, yr hon hefyd a gymmerwyd ganddo ef o dan ei ofal. Yn y flwyddyn

1817, fe'i prïodwyd â Miss Rebecca Williams, o Gaerlleon, boneddiges ieuanc dra chrefyddol, ac yn meddiannu cryn gyfoeth; a'r hon a droes allan yn wraig dda odiaeth iddo, yn mhob ystyr yn "goron i'w gŵr." Yr oedd yn hynod boblogaidd a dylanwadol fel pregethwr y blynyddoedd hyn, a'r eglwysi oeddent dan ei ofal yn barhaus yn cynnyddu mewn rhifedi, oddieithr Harwd. Yn Harwd, er ei holl ffyddlondeb a'i ymröad, ac er ei ddoniau poblogaidd, "yr oedd yr achos," meddai ei Fywgraffydd, "yn gwywo, ac yn marw dan ei ddwylaw; ychydig iawn a ddeuent i'w wrando yno. Dywedai fod Harwd wedi bod o fwy o les iddo ef, nag a fuasai efe i Harwd; ei bod yn swmbwl yn ei gnawd fel na'i tra dyrchefid, gan fawredd ei boblogrwydd cyffredinol mewn manau ereill; os byddai yn teimlo tuedd i ymchwyddo wrth weled tyrfäoedd mawrion yn ymgasglu i'w wrando, byddai cofio am Harwd, yn foddion i roddi attalfa arni." Yn y flwyddyn 1828, efe a roddes Harwd i fynu, ac a gyfyngodd ei lafur gweinidogaethol i'r Wern a'r Rhos. Mawrth 8, 1836, efe a gollodd ei brïod, yr hyn a effeithiodd yn ddirfawr ar ei feddwl ac ar ei iechyd. Bu agos iddo, yn wir, ag ymollwng yn hollol yn ei brofedigaeth. Yn awyddus yn awr, er mwyn ei iechyd a thawelwch ei feddwl ei hunan, am adael y lle ag yr oedd pob peth ynddo yn ei adgofio o honi hi, efe a gydsyniodd â galwad yr eglwys yn y Tabernacl, *Great Crosshall Street*, *Liverpool*, i'w gwasanaethu yn yr efengyl; ac yn nechreu Hydref, 1837, efe a symmudodd yno. Dygwyddodd i ni, yn nechreu y flwyddyn 1838, gael cryn lawer o'i gyfeillach yn Liverpool; yr hyn a olygir genym byth yn rhagorfraint fawr. Anfynych y cyfarfuasom â neb ag yr oedd ei sylwadau, ar ba destyn bynnag a ddygid ger bron, yn ymddangos mor naturiol a chywir; ac, yn sicr, ni chyfarfuasom â neb erioed llednëisiach ei feddwl, tynerach ei deimlad, nac o ysbryd mwy gostyngedig a hunanymwadol. Yr oedd hefyd yn un nodedig o rydd a diragfarn; heb wybod dim, can belled ag y gallem ni ganfod, am deimlad sectol. Yr oedd llawer iawn o ddigrifwch diniwed ynddo, er y cymmerai ofal mawr nad âi yn rhy bell yn y cyfeiriad hwnw; ac yr oedd ganddo fedrusrwydd annghyffredin i arwain yr ymddyddan at destynau crefyddol, hyd yn nod yn eu gwedd mwyaf ysbrydol a phrofiadol, heb i hyny mewn un modd ymddangos yn rhodresol, hyd yn nod o ganol gradd o ysgafnder. Yn wir, nid ydym yn hollol sicr nad oedd yn amcanu i'r digrifol ei gynnorthwyo i ddwyn i mewn y difrifol. Yr oedd buddioldeb, y mae yn ddiddadl

genym, yn amcan ganddo bob amser. Gallem nodi amryw enghreifftiau o hyny. Yr oedd nifer o honom un prydnawn yn nhŷ cyfaill wrth y bwrdd, a'r diweddar Mr. Morgan o Fachynlleth, ond y pryd hyny o *Fanchester*, yn un o honom. Darfu i ryw frawd, oedd yn ddiacon yn y Tabernacl, mewn ychydig ddigrifwch, wneyd rhyw gyfeiriad at lais Mr. Morgan, gan ei gymharu â llais gweinidog arall, yr hwn sydd eto yn fyw. Cymmerodd Mr. Williams y peth i fynu, gan gario yn mlaen y digrifwch yn lled bell, nes yr oeddem ni yn dechreu ofni i Mr. Morgan deimlo yn annghysurus. Ond, ar hyny, dyna Mr. Williams yn cymmeryd cyfeiriad arall: ac yn dywedyd fod llais Mr. Morgan wedi bod o fantais fawr iddo fel pregethwr; a phe buasai ganddo lais fel eiddo y gwr y cyfeiriasid ato, na buasai, fe allai, ond pregethwr mor gyffredin ag yntau. Ac yna, fe droes atom ni, ac a ofynodd,—"A glywsoch chwi erioed bregethwr da, â llais da ganddo?" "Wel," ebem ninau, "prin y mae yn dêg i chwi fy nhynu i i'r ddadl, yn enwedig gan y rhaid i'm hatebiad i beri i mi ymddangos megis yn erbyn Mr. Morgan, yr hwn sydd eisoes wedi cael gosod braidd or mod arno. Ond, yn sicr, yr wyf fi yn meddwl i mi glywed llawer o bregethwyr da â lleisiau da ganddynt." "Wel, gadewch i ni glywed, pwy oedden' nhw?" "Wel pwy? Y mae yn ddrwg genyf nad ydwyf fi mor gydnabyddus â'ch pregethwyr chwi, ag i gael esiamplau o'u plith hwy, ac felly rhaid i mi fyned at fy mhobl fy hunan; yn mha le y clywsoch chwi well llais siarad erioed na llais Mr. Elias?" "Oh! nid ydym i'w gyfrif o: y mae o yn cael ei adael allan bob amser o bob siarad fel hyn. Ac, heblaw hyny, nid oes dim peroriaeth yn ei lais yntau. Nid elai y bobl byth i wrando arno ef er mwyn ei lais." "Wel, dyna Mr. Henry Rees; onid oes llais rhagorol ganddo ef?" "Na prin; nid oes dim llais naturiol da ganddo fo; crefydd Rhys" (fel yna yr oedd e yn ei swnio) "sydd wedi gwneyd ei lais o." "Wel, beth ddywedwch chwi am lais Mr. John Jones, Talsarn?" "Ydyw; ydyw; y mae e yn sicr yn eithriad. *There is no rule without an exception*" Yr oedd yn dra thueddol i droi i'r Saesonaeg. "Y mae o yn bregethwr da, a llais da ganddo hefyd. Llais, ydwy'n feddwl, a rydd ddifyrwch i'r bobl, pan na byddo dim arall gan y pregethwr i syrthio arno. Profedigaeth ddirfawr ydyw llais felly i bregethwr. Mi a welais lawer pregethwr wedi ei ddifetha yn hollol ganddo. Y mae yn debyg i wyneb tlws iawn gan ferch ieuanc. Y

mae hono yn rhy dueddol i ymddiried yn gwbl i hwnw, ac esgeuluso diwyllio ei meddwl. Ni fyddaf fi yn gweled dim harddach yn y byd, na geneth ieuanc brydweddol, ac eto â digon o synwyr ganddi i gofio, fod ychydig synwyr a thipyn o grefydd, yn fil mwy ei werth nag ef." Yr oedd yno ddwy neu dair o ferched ieuainc yn y cwmpeini; ac yr oedd y sylw olaf, yn sicr, wedi ei fwriadu er eu mwyn hwy. "Naturioldeb," meddai, "ydyw camp fawr siaradwr. Yn wir, nid ydyw areithyddiaeth yn ddim byd ond medru chwareu telyn natur. Y peth mwyaf poenus genyf fi o bob peth ydyw pregethwr a dau lais ganddo. Y mae rhai felly. Ni ddychymygech chwi byth, pe baech chwi heb weled y dyn yn y pulpud, mai yr un un ydyw ag oedd yn ymddyddan â chwi yn y tŷ. Mi fum i fy hunan, unwaith, yn ddychrynllyd o annaturiol, ac fel pe buaswn yn meddwl fod eisiau llais capel; ond, o drugaredd, mi gollais hyny yn bur fuan." Gwnaed crybwylliad am ryw eglwys Annibynol, ag oedd y pryd hyny wedi ymranu, a myned yn ddwy eglwys, pan nad oeddent, gyda'u gilydd, prin yn ddigon cryf i fyned a'r achos rhagddo. Darfu i ninau, er mwyn tynu Mr. Williams allan, wneyd y sylw,—"Ai nid yw hyny yn ddiffyg yn eich trefn chwi? Ai nid ydyw yn rhoddi gormod o fantais i ymraniadau?" Dechreuodd Mr. Morgan ddadleu nad ydoedd. "Na, Mr. Morgan," meddai Mr. Williams, "y mae yn rhaid cydnabod fod hyna yn anfantais yn ein trefn ni. Y mae yn haws, yn sicr, gwneyd ymraniadau yn ein plith ni nag yn mhlith y Methodistiaid. Ond fel hyn y mae," gan droi atom ni, "pan y gwelai i ymryson ac ymraniad yn un o'n heglwysi ni, mi fyddaf yn dywedyd, 'Dyna *dŷ* yn myned ar dân.' Ond pe gwelwn i ymraniad yn eich plith chwi, mi a ddywedwn, 'Dyna *dref* yn myned ar dân.'" Ni a allem roddi amryw adgofion cyffelyb, ond rhaid i ni dalfyru. Yn lled fuan wedi yr wythnosau ag y buom ni mor ffodus a chael cymmaint o'i gymdeithas, fe gymmerodd anwyd trwm, a ymaflodd yn ddwfn yn ei gyfansoddiad; yr hwn, er graddau o welliant am dymhor, a gynnyddodd arno, fel y cynghorwyd ef gan y meddyg, er ei fwyn ei hunan a'i ferch hynaf, yr hon oedd hithau yn wanaidd iawn, i adael Liverpool; yr hyn a wnaeth yr wythnos ar ol y Sabbath, Hydref 20, 1839. Symmudodd i'w hen gymmydogaeth, ac i gymmeryd gofal, megis cynt, yr eglwysi yn y Wern a'r Rhos. Ond nid *megis cynt* ychwaith. Parodd y cyfnewidiad, ar y cyntaf, les

mawr iddo. Ymddangosai yn gwellhau yn gyflym. Yr oedd efe ei hunan yn teimlo felly. Ond Rhagfyr 20, wrth besychu, fe dorodd llestr gwaed o'i fewn. O hyny, hyd y diwedd, gwanhau a wnaeth. Chwefror 21, 1840, bu farw ei ferch. Prysurodd yntau yn gyflym ar ei hol, hyd ddydd Mawrth, Mawrth 17, 1840, pan yr hunodd yn dawel yn yr Iesu, yn 58 mlwydd oed.

Yr oedd Mr. Williams, yn ddiddadl, yn un o brif bregethwyr ei oes. Nid oedd dim nodedig iawn yn ei ymddangosiad allanol. Yr oedd, ni a dybiem, tua phum' troedfedd ac wyth modfedd o daldra; ei gorph yn llunaidd, ac o wneuthuriad cadarn, ond yn lled deneu; yn ei ieuenctyd yn wridgoch a theg yr olwg, ond er ys blynyddoedd lawer wedi colli y gwrid yn gwbl o'i wynebpryd. Yr oedd ganddo dalcen lled uchel a llawn, ond nid llydan; trwyn ag ychydig bach o godiad ar ei ganol ac yn camu ychydig at yr ochr dde; genau prydferth annghyffredin; a'r llygaid mwyaf barddonol ac awgrymiadol a welsom ni odid erioed. Yr oedd rhywbeth yn ei olwg yn dynodi dyn â mesur annghyffredin o chwareugarwch ynddo. Ac yr ydym yn tybied mai un felly yn arbenig ydoedd yn naturiol. Yr ydym yn darllen ei fod "er yn blentyn, yn hynod o ran ei dymher lawen, fywiog, a chwareus; fel yr arferai ei dad ddywedyd yn aml am dano, na wyddai yn y byd pa beth i'w feddwl o hono, a'i fod yn ofni y byddai yn *od* ar holl blant y gymmydogaeth." Dywedai ei hunan, medd Mr. Richard Parry, Llandudno, ei fod, pan yn ddyn ieuanc, yn agored i ysgafnder; ac i ryw hen wraig rywbryd ei gyfarch, ar ol ei bregeth, a dywedyd wrtho,—"Yr ydych yn bregethwr da, ond y mae yn rhaid i chwi roddi heibio y cellwair yna, onidê, ni wnewch fawr o les." Ac, yn ol y diweddar Mr. Cadwaladr Jones, Dolgellau,—"Yr oedd ei ddull a'i agwedd, pan y dechreuodd bregethu, yn lled annerbyniol gan lawer. ... ..... Golwg hyf, a lled ysgafn a chellweirus oedd arno pan y dechreuoedd bregethu; a byddai yn dueddol i ddywedyd lliaws o ymadroddion a dueddent i yru ei wrandawwyr yn ysgafn a chwerthinllyd." Nid ydym yn ammeu dim nad hyny oedd y mwyaf naturiol i'w ddawn ef. Yr oedd y bregeth gyntaf erioed a glywsom ni ganddo, yr hyn oedd yn ein capel ni yn Nghaergybi, tua y flwyddyn 1821, oddiar *Weledigaeth yr esgyrn sychion*, yn un dra difrifol. Yr ail dro i ni ei glywed, yr oedd yn dra gwahanol. Yr oedd hyny drachefn yn Nghaergybi, ar yr achos Cenhadol, yn y flwydd-

yn 1825, pryd, ar ol pregeth nodedig o ddifrifol gan y diweddar Mr. Roberts, Llanbrynmair, oddiar *Zechariah* iv. 6, y pregethodd Mr. Williams, *Esther* iv. 14: "O herwydd os tewi â son a wnai di y pryd hyn, esmwythdra ac ymwared a gyfyd i'r Iuddewon o le arall, tithau a thŷ dy dad a gyfrgollir: a phwy sydd yn gwybod ai o herwydd y fath amser a hwn y daethost ti i'r frenhiniaeth?" Yn y rhan gyntaf o'r bregeth hon, tra ond yn myned dros yr hanes megis y mae yn llyfr Esther, gan wneuthur rhai sylwadau arno, nid ydym yn gwybod i ni erioed, beth bynnag mewn capel, weled y fath olygfa. Yr oedd y pregethwr ei hunan yn hollol sobr; ond yr oedd y bobl yn methu ymattal, ac yn ymollwng gydâ'u teimladau i chwerthin allan dros y capel, heb feddwl dim yn mha le yr oeddent. Parhaodd hyny, ni a dybiem, am tuag ugain munud. Ond wedi dyfod at y testyn, ac at y mater neillduol oedd ganddo oddiwrtho,—"*Gofal am achos Duw yn mylchau ei gyfyngder,*"—yr oedd yno le pur wahanol. Nid yn fynych y gwelsom gynnulleidfa wedi ei dwyn i fwy o ddifrifwch nag oedd hono, yn y rhan olaf o'r bregeth. Dyma yr unig dro erioed i ni ei glywed yn tueddu at ddim a allasai yru y bobl yn ysgafn; ac yr ydym yn meddwl mai dyma y tro diweddaf iddo wneyd hyny. Ni a glywsom, o leiaf, fod Mr. Roberts, Llanbrynmair, wedi siarad yn ddifrifol iawn âg ef ar ol yr oedfa, y pryd hwnw; a bod Mr. Williams wedi addef iddo, ei fod ef ei hunan wedi teimlo, pan y canfu y fath ysgafnder ar y bobl, ac wedi addaw iddo hefyd na chymmerai y fath gyfeiriad byth ar ol hyny. Pa fodd bynnag, yn ystod y blynyddoedd diweddaf o'i oes, yr oedd ei weinidogaeth o nodwedd hollol wahanol; yr oedd, yn wir, mor ddifrifol, ac felly bob amser, ag odid ddim a glywsom ni erioed, a chymhwysder arbenig ynddi i ddwyn ei holl wrandawwyr i deimlo yn gyffelyb.

*Yr oedd ei feddwl o nodwedd hollol athronyddol.* Ymhoffai mewn "chwilio o'r naill beth i'r llall i gael allan y rheswm;" ac ni byddai yn teimlo ei hunan yn dawel, gydâ golwg ar unrhyw adnod yn y Bibl a ddygid i'w sylw, ac yn enwedig a gymmerid ganddo yn destyn pregeth, hyd oni byddai wedi cael allan, neu dybied ei fod wedi cael allan, yr egwyddor neillduol, neu y gwirionedd mawr, a ddysgir ynddi. Yr oedd nid yn unig yn credu yn ddiysgog fod natur a dadguddiad wedi dyfod oddiwrth yr un awdwr, ond fod yr un egwyddorion yn rhedeg trwy, ac i'w canfod yn y naill ag sydd yn y llall; a bod pob cyn-

nydd ar ein hadnabyddiaeth o'r naill, yn fantais wirioneddol i ni i ddeall ac i egluro y llall. Yr oedd cyffelybrwydd nodedig rhyngddo, yn hyn, â'r diweddar Barch. RICHARD HUMPHREYS o'r Dyffryn; sylwadau yr hwn oeddent o'r un nodwedd athronyddol a'r eiddo yntau, ac yn hytrach mewn ffurf fwy arwireddol (*aphoristic*); er nad oedd un gymhariaeth rhwng Mr. Humphreys âg ef yn nerth ei ddychymyg, nac, yn enwedig, yn ei allu areithyddol. Ond yr oedd y ddau yn nodedig o debyg am eu hymchwil i'r egwyddor a orweddai yn eu testyn, yn gystal ag yn eu hamcan i ddangos fel yr oedd eu gwrandawwyr yn deall ac yn cydnabod yr egwyddor hono mewn cysylltiadau ereill. Fe fyddai gan Mr. Williams, yn arbenig, braidd yn mhob pregeth, ryw un egwyddor fawr yn cael ei chodi ger bron ei wrandawwyr; ac fe gymmerai y fath drafferth i'w hegluro, i ddangos ei phwysigrwydd, ac i roddi enghreifftiau o honi,—yn ngwahanol ddosbarthiadau natur neu o fewn cylch y gymdeithas ddynol,—nes ei gwneuthur mor amlwg, fel nid yn unig y *gallai pawb* ddeall, ond y gallesid meddwl y buasai yn anmhosibl i neb *beidio* deall. Er esiampl: yr ydym yn ei gofio yn pregethu ar foreu ddydd gwaith, yn Mangor, yn haf y flwyddyn 1835, oddiar 2 *Tim.* iii. 13,—"Eithr drwg-ddynion a thwyllwyr a ânt rhagddynt waethwaeth, gan dwyllo, a chael eu twyllo." Nid oedd y gynnulleidfa ond bechan wrth ystyried pwy oedd yn y pulpud, ac eto yr oedd yn weddol a chofio mai boreu ddydd gwaith ydoedd. Darllenai y testyn yn hytrach yn afrwydd, ond yn dra difrifol. Siaradai y tro hwn, yn y rhagymadrodd, yn rhwyddach ac yn gywirach nag y byddai braidd un amser yn gwneyd yn y rhan hono o'r bregeth. Wedi sylwi ar y geiriau yn y cysylltiad y dygir hwynt i mewn gan yr Apostol, a'u golygu megis awgrym i Timothëus y gallai fod erlidiau mwy yn ei aros yntau, a'r pwys iddo gan hyny fod yn benderfynol i fod yn ffyddlon i'r efengyl, ac aros yn y pethau y dysgwyd ef ynddynt,—fe ddisgynodd ar y gwirionedd y dymunai ei ddwyn i'n sylw oddiwrthynt, "*Fod egwyddor ddrwg, tra yn y llywodraeth, yn enill nerth mwy yn meddwl dyn.*" Yna fe ddangosodd mai dyma y ddeddf fawr gyffredinol trwy yr holl greadigaeth, gan nodi amryw engreifftiau; yna dangosodd fod yr un peth yn perthyn i'r meddwl dynol,—yn ei arferion deallawl ac yn ei dueddiadau moesol,—gan egluro yr egwyddor, yn arbenig, yn ei pherthynas a chynnydd gras a sancteiddrwydd yn y dyn duwiol, a hyny mor ddeheuig ac effeithiol, nes yr oedd teimlad hyfryd yn medd-

iannu y gynnulleidfa i gyd. Yna, yn y modd mwyaf difrifol, fe droes i gymhwyso yr egwyddor at ddynion drwg: y meddwyn, yr aflan, y cybydd, y balch, &c., gan adrodd y testyn, gydâ llais difrifol, yn niwedd ei ymdriniaeth â phob cymeriad,—"drwg-ddynion a thwyllwŷr a ânt rhagddynt waethwaeth." Wedi dangos cynnydd nerth y drwg yn y byd hwn, fe aeth rhagddo i ddangos, gan mai dyna natur yr egwyddor, y bydd yr un briodoledd yn perthyn iddi yn y byd a ddaw; ac felly y bydd y dyn drwg yno,—byth, byth, byth,—yn myned "yn waethwaeth!" Yr oedd rhyw sobrwydd ofnadwy, pan gydâ hyn, yn ei edrychiad, ac yn ei lais, yn gystal ag yn y pethau a draddodid ganddo. "Mae yna ddyn yn eistedd yn y *seat* yna yrŵan. Y mae yn annuwiol y boreu yma. Er y bregeth hon, a channoedd o bregethau o'r blaen, nid oes ynddo un meddwl difrifol i adael ei annuwioldeb. Parhau yn annuwiol a wna. Ryw ddiwrnod, fe fydd marw yn annuwiol. Ac wrth farw, fe â, â'i holl annuwioldeb yn y byd hwn gydâg ef i'r byd hwnw. Ac mi a welaf ryw bwynt, draw, draw, draw, yn y tragwyddoldeb pell, pan y bydd y dyn yna wedi casglu i'w galon ei hunan fwy o elyniaeth at Dduw nag sydd heddyw yn nghrëadigaeth Duw i gyd! 'Drwg-ddynion a thwyllwŷr a ânt rhagddynt waethwaeth.'" Terfynodd gydâg appeliad dwys at ei wrandawwyr i edifarhau a dychwelyd ar unwaith.—Wedi y fath bregeth, nid oedd ryfedd i lawer o honom fyned i Beaumaris y noswaith hono i wrandaw arno drachefn; lle y pregethodd, oddiar *Hosea* xiii. 13; ac o'r hon y mae crynöad gwerthfawr yn ei Gofiant.

Yr oedd y nodwedd meddyliol, y cyfeiriasom ato uchod, *hyd yn nod ar ei ddychymyg ef.* Yr oedd ei ddychymyg yn gryf ac yn gyfoethog iawn. Ond dychymyg yr athronydd ydoedd yn hytrach na dychymyg y bardd; dychymyg Bacon ac nid Milton; nid gallu i roddi bod i greadigaethau o'i eiddo ei hunan, trwy ac eto uwchlaw tiriogaethau ffeithiau y synwyrau corphorol, yn gymmaint a gallu i ganfod cyffelybrwydd, yn y ffeithiau hyny, i'r gwirioneddau moesol ac ysbrydol a ddygid ganddo ger bron ei wrandawwyr. Dychymyg y gymhariaeth yn arbenig ydoedd. Yr oedd yn nodedig o happus yn ei gymhariaethau; y rhai a gymmerid ganddo, braidd yn ddieithriad, oddiwrth bethau ag yr oedd y cyffredin o'i wrandawwyr yn hollol gynnefin â hwynt, ac oll yn amlwg wedi eu bwriadu, nid i addurno y cyfansoddiad, ond i ddwyn y gwirionedd y traethai arno yn nes atynt ac yn

fwy eglur iddynt. Ac felly y cymmerid hwynt yn wastadol ganddynt. Er y byddai yn dywedyd llawer o bethau a fuasent yn cael edrych arnynt yn bethau *tlysion* iawn, pe dywedasid hwynt gan ereill; eto, yryw fodd, nid ar eu tlysni y sylwid *gydâg ef*, ond ar bwysfawrawgrwydd y materion a eglurid drwyddynt. Ni ogoneddid y gymhariaeth, o'i enau ef, oblegyd gogoniant mwy rhagorol y gwirionedd a wasanaethid ganddi. Dodi hwnw yn neall ac yn nghydwybod a chalon y bobl oedd ei amcan mawr. Dygai bob peth dan ddarostyngiad i hyny. Aberthai bob peth er mwyn cyrhaedd hyny. Ac nid llawer erioed a fuant yn fwy llwyddiannus yn y cyfeiriad hwnw. O ran symledd, eglurder, naturiolder, ac effeithiolrwydd, yr oedd arbenigrwydd nas annghofir yn ngweinidogaeth WILLIAM WILLIAMS o'r Wern.

Un arall a adawodd argraff annghyffredin ar ein meddwl ni, fel pregethwr, a hyny pan oeddem yn ieuanc iawn, oedd THOMAS REES DAVIES. Fe'i ganwyd ef yn Nghilgeran, yn sir Benfro, Mai 19, 1790. Pan oedd yn un-mlwydd-ar-bymtheg oed, fe ymunodd ag eglwys y Bedyddwyr yn Nghilfowyr; a'r gauaf canlynol, cyn bod yn ddwy-ar-bymtheg oed, fe ddechreuodd bregethu. Yn y flwyddyn 1811, cymmerodd daith, gydâ chyfaill ieuanc o'r enw Simon James, i Ogledd Cymru. Pregethodd tra ar y daith hono, mewn Cymmanfa yn Amlwch, a syrthiodd Mr. Christmas Evans i'r fath hoffder o hono ef a'i gyfaill, fel y cymhellodd hwynt i ymsefydlu yn y Gogledd. Ac felly y gwnaethant: Simon James yn Llëyn, a Thomas Rees Davies yn nyffryn Conwy. Yn mis Mawrth, 1814, fe'i hordeiniwyd i'r weinidogaeth; a hyny, nid yn yr un o'r eglwysi a wasanaethid ganddo, ond yn Nghilfowyr, yr eglwys y derbyniasid ef gyntaf yn aelod o honi. Yn yr un flwyddyn fe'i priodwyd, âg un a fu yn wraig rinweddol ac yn gydymaith hawddgar iddo hyd derfyn ei ddyddiau. Wedi bod yn llafurio yn galed, a chydâ graddau helaeth o lwyddiant, yn Nyffryn Conwy, cyfododd ymrafael rhyngddo â rhai o'r bobl oeddent dan ei ofal, yn nghylch gweithredoedd un o'r capeli. Dygwyd y mater ganddo ef ei hunan ger bron y brodyr mewn Cymmanfa yn Rhuthyn, yn y flwyddyn 1818; ond aeth y penderfyniad yno yn ei erbyn, a diarddelwyd ef o Gyfundeb y Bedyddwyr. Addefir yn awr, yn gyffredin, mai camgymmeriad oedd y cyfan; camgymmeriad oedd y cyhuddiad a ddygid ganddo ef yn erbyn un o'r brodyr, a chamgymmeriad mwy oedd ei ddiarddel yntau. Wedi hyny, efe a ymunodd â'r Wesleyaid; bu yn pregethu gydâ hwynt am tua saith

mlynedd; ac yr oedd yn dra phoblogaidd yn eu plith. Ond, er iddo newid ei blaid nid oes un lle i feddwl iddo newid llawer ar ei egwyddorion; ac y mae yn sicr ei fod o hyd yn dymuno dychwelyd at ei hen frodyr. Yn y flwyddyn 1826, addfedodd pethau i hyny, a derbyniwyd ef drachefn yn bregethwr rheolaidd yn eu plith. Y flwyddyn ganlynol, ymsefydlodd yn weinidog yn Nglynceiriog, lle y bu am ddwy flynedd. Oddiyno efe a symmudodd i gymmeryd gofal eglwys fechan yn Liverpool, lle y bu am bum' blynedd, ac yn llwyddiannus iawn. Yr oedd yn awr, er cryfed ydoedd, eto gan mor fawr fuasai ei lafur, yn teimlo ei hunan yn gwanychu; ac yn y flwyddyn 1834, efe a symmudodd i'w fro enedigol, ac a ymgymerodd a gwasanaethu eglwys y Bedyddwyr yn Nghilgeran, ac un arall yn y gymmydogaeth. Prynodd hefyd dyddyn yn yr ardal, gan lawn fwriadu cartrefu yno am weddill ei oes. Ond wedi bod yno yn llafurio, a chydâ mesur helaeth o lwyddiant, am wyth mlynedd, efe a wynebodd eilwaith tua'r Gogledd, ac i hen faes ei lafur yn Nyffryn Conwy. Nid ymgymmerodd y pryd hwnw, na byth ar ol hyn, â gofal unrhyw eglwys neillduol, eithr teithiai o hyny hyd ddiwedd ei oes, trwy yr amrywiol siroedd, yn ol fel y byddai galwad am dano, gydâ'r weinidogaeth fawr. A byddai galwadau arno yn barhaus. Nid ystyrid odid gyfarfod pregethu, gan y Bedyddwyr, mewn un parth o'r Gogledd, yn gwbl gyflawn, os na byddai efe ynddo. Y flwyddyn cyn ei farwolaeth, bu yn Llundain, yn Nghyfarfod Blynyddol y Bedyddwyr yno; pryd y clywsom ef yn pregethu amrywiol weithiau, a chydâ ei egni a'i nerth arferol. Yn niwedd mis Mai, 1859, cychwynodd ar daith i'r Deheudir, yn benaf i sir Forganwg. Pan ar y daith hono, pregethodd y nos Iau, Mehefin 22, mewn Cymmanfa gerllaw Abertawe, a chafodd y noswaith hono anwyd trwm iawn. Daeth drannoeth i Abertawe, yn glaf iawn, a'i feddwl yn gwbl argyhoeddedig y byddai y cystudd yn angeuol iddo. Yr oedd yn awyddus iawn am gael myned i orwedd i'r gwely y buasai Mr. Christmas Evans farw arno, er mwyn iddo yntau gael marw yn yr un man. Ond nid oedd hyny yn gyfleus. Cynnyddodd ei afiechyd yn gyflym iawn; a'r Sabbath canlynol, Mehefin 25, 1859, efe a fu farw, yn 69 mlwydd oed. Dodwyd ei gorph i orwedd yn yr un bedd â chorph Mr. Christmas Evans, lle yr hunant yn dawel hyd foreu yr adgyfodiad mawr.

Yr oedd Mr. Thomas Rees Davies yn bregethwr tra annghyffredin. Mae yn wir na chyrhaeddodd i enwogrwydd y rhai sydd wedi bod eis-

oes dan ein sylw, ac nad ydyw odid un amser yn cael ei restru yn mhlith pregethwyr mawr Cymru; ond, a chymmeryd yn ganiatäol, fel yr ydym yn tybied y gallwn, fod ei bregethau, y troion y clywsom ni ef, yn enghreifftiau têg o'i bregethau cyffredin, yr oedd yn sicr yn hollol deilwng o gael ei olygu fel y cyfryw; a phan y cofiwn mor bobl-ogaidd ydoedd tra y bu byw, y mae yn ymddangos i ni yn syn na byddai ei goffadwriaeth yn llawer iawn uwch yn ein plith wedi ei farw. Yr oedd ei ymddangosiad allanol ef yn nodedig o fanteisiol iddo. Yr oedd yn ŵr tal iawn, rai modfeddi dros ddwy lath o uchder, ac o nerth cyfatebol. Yr oedd ganddo wyneb hardd, a gwrid iachus arno; a'i edrychiad, yn y pulpud, yn siriol a bywiog, ac fel dyn ar ymroddi â'i holl egni i'r amcan oedd ganddo yn esgyn yno. Yr oedd ei lais yn gryf a chyrhaeddgar a soniarus; ac er fod ychydig bach o attal dywed-yd arno, eto nid oedd yn un anfantais iddo, ond, yn hytrach, yn ychwanegu at effeithiolrwydd ei draddodiad. Yr oedd yn nodedig o ffraeth; a chan ei ffraethineb yn cael ei demtio, fe allai, yn rhy fynych, i ddywedyd pethau yn tueddu i arwain y bobl i ormod ysgafnder; ond ymattaliai yn y fan; ac mewn munud, o ganol gwenau, a hwyrach ambell chwerthiniad, gwelid y dagrau yn treiglo dros ruddiau pawb. Yr oedd ganddo, mewn gwirionedd, ddylanwad dirfawr ar deimladau ei wrandawwyr. Y tro cyntaf y clywsom ni ef yn pregethu gwnaeth argraff arbenig ar ein meddwl ni. Yr oedd hyny pan ydoedd gydâ'r Wesleyaid, ac yn pregethu mewn cyfarfod a gynhelid yn eu capel hwy, yn Nghaergybi, yn y flwyddyn 1823, a phan nad oeddem ni ond deg oed. Ond y mae ei ymddangosiad, ei lais, ei ddull, a'i bregeth, yn fyw eto yn ein meddwl; ac yr ydym yn cofio yn dda am ein teimlad-au ein hunain wrth ei wrando, a'r effeithiau a gynnyrchai ar yr holl gynnulleidfa. Yr oedd yn pregethu yn ddiweddaf, ar y noson olaf i'r cyfarfod. Ei destyn oedd *Ioan* ix. 27:—"A ydych chwithau yn ewyllysio bod yn ddysgyblion iddo ef?"—Wedi myned dros hanes y wyrth ar y dyn a anesid yn ddall, ac ymddyddanion y Phariseaid â'r rhieni ac â'r dyn ei hunan, fel y maent wedi eu rhoddi yn y bennod, gan wneuthur y sylwadau mwyaf difyrus a naturiol arnynt, fe ddisgyn-odd ar y testyn,—"A ydych chwithau yn ewyllysio bod yn ddysgybl-ion iddo ef?" Dywedai fod Jonah wedi bod yn Ninefeh daith diwr-nod, yn pregethu i'r trigolion, ac mai y bregeth i gyd oedd,—"Deu-gain niwrnod fydd eto, a Ninefeh a gwympir." "Pe bawn innau,"

meddai, "yn gwneyd dim ond gofyn y testyn hwn, drosodd a throsodd, ac yn gallu ei ofyn mewn ysbryd priodol, fe fyddai yn llawn ddigon o bregeth." Ac yna, gan droi at amrywiol gyrau y capel i fynu ac i lawr, fe aeth dros y geiriau naw neu ddeg o weithiau, a thôn y llais ac edrychiad y llygad yn cyfateb,—"A ydych chwithiau yn ewyllysio bod yn ddysgyblion iddo ef?" Yna fe ddaeth at hanfod ei bregeth:—"I. Yr hyn a gynnwysir mewn bod yn ddysgyblion iddo ef. II. Nad ydyw Iesu Grist am i neb fod yn ddysgyblion iddo ef, heb iddynt ewyllysio hyny. III. Y rhesymau paham y dylai pawb ewyllysio bod yn ddysgyblion iddo ef." Yr oedd yn llefaru yn oleu, yn rymus, a chydâ dylanwad mawr ar y bobl. Pan y daeth at y trydydd pen,—yn mhlith pethau ereill, fe ddywedodd, "'A ydych chwithiau yn ewyllysio bod yn ddysgyblion iddo ef?'—Y mae yn barod i'ch derbyn, i'ch derbyn i gŷd; nid yw yn gwrthod neb; ni wrthododd efe neb erioed. Pan oeddwn i yn dyfod tuag yma, tu draw i *Durnpike* Bangor, mi a welwn uwchben rhyw ddrws yno y geiriau,—'*Caernarvonshire and Anglesea Loyal Dispensary.*' 'Ho! ho!' meddwn i wrthyf fy hun, 'nid oes yma ddim ynot ti i bobl sir Ddinbych! ni waeth i mi heb droi i mewn yma!' Ond, beth a feddyliech chwi, 'mhobl i, a welais i uwch ben *Dispensary* Calfaria?" Yna efe a droai ei wyneb at gefn y pulud, ac a ymddangosai fel yn darllen, â llais uchel ac mewn tôn dra gwahoddiadol:—"'O Deuwch i'r dyfroedd, bob un y mae syched arno;' 'Od oes ar neb syched, deued ataf fi ac yfed;' 'Y mae yr Ysbryd a'r briodasferch yn dywedyd, Tyred. A'r hwn sydd yn clywed, dyweded, Tyred. A'r hwn sydd â syched arno, deued; a'r hwn sydd yn ewyllysio, cymmered o ddwfr y bywyd yn rhad;' 'Yr hwn a ddel ataf fi, nis bwriaf ef allan ddim;' 'Trowch eich wynebau ataf fi, holl gyrau'r ddaear, fel y'ch achuber;' 'Deuwch ataf fi bawb a'r y sydd yn flinderog ac yn llwythog, a mi a esmwythâf arnoch.' Fe fum i," meddai, gan droi yn awr at y bobl, "flynyddoedd lawer yn methu silliadu y gair '*pawb*:' p. a. w. b. = *rhai* (chwerthin mawr); p. a. w. b. = *llawer* (chwerthin eto); p. a. w. b. = *pob graddau* (chwerthin eto); p. a. w. b. = *Iuddewon a Chenhedloedd* (chwerthin yn parhau). Ond, yn awr, yr ydwyf wedi dysgu ei silliadu o yn iawn: p. a. w. b. = pawb; *pawb*; PAWB; PAWB; pawb heb adael neb allan; pawb heb geisio ei wyrdroi o yn rhywbeth arall; pawb yn onest a dihoced fel gwirionedd Duw ei hun." Rhyfedd yr effeithiau

ar deimladau y bobl a gynnyrchid gan y sylwadau diweddaf yma! Nid ydym yn gwneuthur unrhyw sylw ar y camddarluniad a roddid ganddo ar yr athrawiaeth Galvinaidd,—a bregethasid ganddo ef ei hunan unwaith ac a bregethwyd ganddo am flynyddoedd lawer ar ol hyn,—fel pe buasai rhyw gyfyngiad ynddi ar alwad yr efengyl, mewn cymhariaeth ag eangder yr alwad, yn ol Arminiaeth; ond, a chau llygad ar y camddarluniad yna, y mae yn rhaid i bawb gydnabod fod yma enghraifft hynod o hyawdledd poblogaidd, cyfaddas i effeithio ar gynnulleidfa gyffredin, na byddai yn hawdd iawn cyfarfod â'i chyffelyb. Nid oes un amheuaeth nad oedd rhai o brif elfenau pregethwr grymus ac effeithiol, a hyny i raddau helaeth iawn, yn cyfarfod yn Thomas Rees Davies.

Mae y golygiad a gymmerwyd genym ar y pregethu Cymreig, yn hanes a nodweddau ein prif bregethwyr, sydd yn awr wedi ei ddwyn i derfyniad, wedi dwyn ger ein bron, fwy nag unwaith, yr elfenau arbenig a berthynant iddo. Er yr amrywiaeth diddiwedd o ran doniau, a geir mewn cysylltiad â'r weinidogaeth efengylaidd yn mhlith gwahanol genhedloedd, eto y mae yn sicr fod rhyw nodweddau neillduol ar bregethu pob cenedl, ag sydd, ar y cwbl, yn ei wahaniaethu, yn dra phendant, oddiwrth bregethu pob cenedl arall. Buasai yn dda genym pe buasai ein terfynau yn caniatau i ni ddangos hyny yn lled helaeth, gyda golwg ar Gymru, mewn cymhariaeth â Lloegr, Scotland, yr Iwerddon, a Ffrainc, yn gystal ag â hanes y pulpud Cristionogol, yn yr oesoedd cyntaf a'r canol oesau. Yr ydym yn tybied y buasai cymhariaeth felly, yn ein galluogi i ddangos, nid yn unig fod nodweddau neillduol, ond fod rhagoriaethau neillduol ac arbenig yn perthyn i bregethu Cymru, sydd yn rhoddi cyfrif, o leiaf fel moddion, am y safle uwch sydd i'r pulpud yn ein gwlad, a'r dylanwad cryfach sydd ganddo ar feddwl ein cenedl, nag a gafodd, hyd ag yr ydym ni yn deall, mewn unrhyw wlad arall, am gyhyd o amser, yn holl hanes yr Eglwys Gristionogol. Eithr nis gallwn yn awr gymmeryd y fath gyfeiriad. Ond, yn y crybwylliadau a wnaed genym am ein hen dadau, fe ellir canfod yn eglur yr elfenau canlynol, fel rhai sydd yn arbenig yn hynodi y pregethu Cymreig:—Amcan têg i osod allan feddwl gwirioneddol ac uniongyrchol yr Ysbryd, yn y rhan o'r ysgrythyr a ddarllenir fel testyn;—Eglurhad helaeth a gofalus ar wahanol ganghenau yr "athrawiaeth sydd yn ol duwioldeb," yn ol y testyn neillduol a fyddo

ar y pryd dan sylw; a hwnw yn eglurhad llawer mwy manwl a dwfn nag sydd yn gyffredin yn mhregethu Lloegr, ac mewn dull mwy poblogaidd, a llawer llai pynciol, nag a arferir yn Scotland;—Defnydd rhydd o gymhariaethau agos, naturiol, a chyffredin, ac yn hollol yn iaith y bobl, er egluro yr amrywiol wirioneddau a fyddont dan sylw, a hyny, ar y cwbl, heb ddarostwng dim ar urddas y pulpud yn nheimlad y rhai coethaf a phuraf eu chwaeth yn mhlith y gwrandẅwyr;—Difrifwch a dwysder dull, fel ag i adael argraff ar feddwl y bobl fod y pwysfawrawgrwydd mwyaf yn nghynnwysiad y genadwri, a mesur helaeth, ar yr un pryd, o gyd-ddealltwriaeth a chydymdeimlad dedwydd rhyngddynt a'r pregethwr,—yn caniatau iddo ef fod yn rhydd iawn gydâ hwynt, ac yn peri iddynt hwythau deimlo fel pe byddent yn cael eu gollwng i mewn i'w holl gyfrinach yntau;—Cyfeiriad uniongyrchol at y gydwybod a'r galon, cyfaddas i adael argyhoeddiad yn meddyliau y gwrandaẅwyr, fod neges neillduol ac arbenig gan yr efengyl atynt hwy yn bersonol;—ac, yn enwedig, Teimlad gwresog ac angerddol, yn codi y pregethwr weithiau i'r fath hwyl, nes y mae yn dyrchafu ei lais megis udgorn, ac yn ymddangos yn ei annghofio ei hunan yn gwbl, yn y pethau gogoneddus a draddodir ganddo. Yr oedd rhai o'r hen bregethwyr yn hynod yn y nodwedd olaf hwn. Dichon, yr un pryd, mai yn rhyw le yn nghyffiniau y neillduolrwydd hwn, yr oedd, ac y mae eto, un o ddiffygion mwyaf y pregethu Cymreig. Y mae siarad naturiol weithiau yn colli; a'r pregethwr yn syrthio i ryw oslef a thôn dra annaturiol a gwrthun; tôn mor arwyddol o ddiffyg teimlad dwfn yn y pregethwr, ag ydyw o annghyfaddas megis cyfrwng trosglwyddiad unrhyw addysg fuddiol i'r gwrandaẅwyr. Ond eithriad ydyw hyn. Ar y cwbl, y mae y pregethu Cymreig yn lled rydd oddiwrth yr anaf hwn; ac y mae y fath ragoriaethau gwirioneddol yn perthynu iddo, megis moddion cyflwyniad o'r efengyl yn y wedd fwyaf effeithiol ger bron y meddwl cyffredin, ag y goddef, dybygem ni, ei gystadlu â phregethu unrhyw wlad yn y byd.

Yr oeddem yn meddwl unwaith am dynu cymhariaeth rhwng hen bregethwyr Cymru â'u gilydd, a cheisio rhoddi i bob un y gyfran neillduol a dybiem yn eiddo iddo yn ffurfiad y nodweddau arbenig a berthynant i bregethu ein gwlad. Ond yr ydym yn gweled yr arweiniai hyny ni i ormod meithder, a dichon i dir na byddai y darllenydd a ninnau bob amser yn gallu cytuno â'n gilydd. Nid oedd yr un o'r

rhai a fuant dan sylw genym heb iddo ei neillduolrwydd ei hunan; nac yr un o honynt na wnaeth ei ran, a hyny yn dra llwyddiannus, i roddi i'r pulpud yn ein plith y nodweddau neillduol a berthynant iddo, ac i osod arno yr arbenigrwydd a'r urddas a gydnabyddir sydd eiddo iddo yn ein gwlad; ond dichon mai DANIEL ROWLAND, ROBERT ROBERTS, EBENEZER MORRIS, JOHN ELIAS, a HENRY REES a JOHN JONES mewn blynyddoedd diweddarach, a fuant yn benaf yn offerynol i hyny yn mhlith y Methodistiaid; a CHRISTMAS EVANS a WILLIAM WILLIAMS o'r Wern, yn neillduol felly, yn mhlith y Bedyddwyr a'r Annibynwyr. Yn llawer diweddarach na'r cyfnod sydd wedi bod dan ein sylw, y cyfodwyd THOMAS AUBREY, a ROWLAND HUGHES, ac un arall sydd eto yn fyw, i roddi arbenigrwydd neillduol ar y pulpud yn mhlith ein brodyr y Wesleyaid yn ein gwlad.

Fe genfydd y darllenydd, oddiwrth y crybwylliadau a wnaethom, fod gwedd ogoneddus ar weinidogaeth yr efengyl yn ein gwlad y pryd y dechreuodd Mr. John Jones ar ei lafur mewn cysylltiad â hi. Nid ydym yn tybied ei bod erioed wedi bod mor rymus. Yr oedd amryw o'r pregethwyr galluocaf a gafodd Cymru erioed yn fyw y pryd hyny, ac yn nghyflawnder eu nerth, ac yn rhoddi y nerth hwnw ar ei holl eithaf yn y cyflawniad o'u gweinidogaeth fawr. Yr oedd efe yn cael felly, yn eu rhagoriaeth hwy, y symbyliad cryfaf i lafur, yn gystal a'r cynlluniau uchaf i'w hastudio er ymdrechu rhagori ei hunan; tra, rhyngddynt, yr oedd y fath amrywiaeth dawn a gwahaniaeth dull, fel ag i wneyd yn anhawdd iddo osgoi ymddangos yn ymdebygu i ryw un o honynt; ac yn fwy o hynodrwydd ynddo, ac yn fwy clodfawr iddo, ymddangos, fel y gwnaeth, ger bron y wlad, yn bregethwr hollol *newydd*.

# PENNOD XVI.

## EI GYSYLLTIAD A'R WEINIDOGAETH GYMREIG, A'I GYMERIAD FEL PREGETHWR.

### RHAN II.

### EI NODWEDDAU NEILLDUOL EF FEL PREGETHWR.

BYWYD GWEINIDOGAETHOL HYNOD—POBLOGAIDD GYDA PHOB DOSBARTH—TRA LLWYDDIANNUS—YMDDANGOSIAD ALLANOL MANTEISIOL—GWYBODAETH EANG, FEIBLAIDD A CHYFFREDINOL—GALLU MAWR I DROI POB PETH YN EIDDO IDDO EI HUN—YMRODDEDIG A PHENDERFYNOL EI FEDDWL—TUEDDOL I YMGOLLI MEWN MYFYRDOD—NERTH DIRFAWR YN EI HOLL ALLUOEDD—COF CRYF—RHESWM TREIDDGAR A MANWL—DYCHYMYG CYFOETHOG AC ARDDUNOL—CYMHARIAETHAU PRYDFERTH A CHYFLAWN—SYLWEDDOLI YR YSBRYDOL—TEIMLADAU DWYS AC ANGERDDOL—IAITH RYMUS A PHRYDFERTH—LLAIS NERTHOL, YSTWYTH, A PHERAIDD—EI OSLEF NEILLDUOL—EI YSTUM YN Y PULPUD GOSOD GWEDD YMARFEROL AR BOB GWIRIONEDD—NODWEDD Y CYMHELLIADAU A DDEFNYDDIAI—PREGETHU BOB AMSER YN GYFEIRIADOL—CYMMYSGU BYR-WEDDIAU A'I ANNOGAETHAU—DYFAL I'W WELLA A'I BERFFEITHIO EI HUNAN—HYFRYDWCH MAWR WRTH BREGETHU—GOSOD TON NEWYDD AR Y WEINIDOGAETH YN MHLITH Y METHODISTIAID—ENGHRAIFFT YMADAWOL O UN O'I BREGETHAU—TERFYNIAD.

MAE y darllenydd sydd wedi ein dilyn yn yr hanes a roddwyd genym am Mr. John Jones, wedi gweled fod ei fywyd gweinidogaethol, o'r pryd y traddododd ei bregeth gyntaf, yn y Garnedd yn Nolyddelen, ar nos Sabbath y Sulgwyn, Mehefin 10, 1821, hyd ei bregeth ddiweddaf, yn Nghapel Moriah yn Nghaernarfon, ar nos Sabbath, Mawrth 22, 1857, yn un yspaid o ymröad a llafur a llwyddiant, na welwyd ond yn dra anfynych eu cyffelyb. Yr ydym yn tueddu i feddwl, iddo, yn ystod y blynyddoedd hyny, wneuthur lle dyfnach iddo ei hunan yn serchiadau ei gydwladwyr, nag a wnaeth odid un o'r gwyr enwog a'i

blaenorasent neu a gydoesent âg ef,—lle mor ddwfn, yn wir, fel y mae yr hiraeth am dano, yn meddyliau cannoedd o'i hen wrandaẅyr, hyd y dydd heddyw, mor fyw ac mor gryf a phe na buasai ei farwolaeth ond peth newydd a diweddar. "*Pregethwr y Bobl*" yn arbenig ydoedd. Edrychent arno megis un o honynt eu hunain, ac mewn modd neillduol yn eiddo iddynt eu hunain. Torodd allan ar unwaith, ar ei gychwyniad cyntaf, yn un o'r rhai mwyaf poblogaidd yn eu plith, a pharhäodd felly hyd y diwedd. Ac nid gydâ'r werin gyffredin, yn unig, yr oedd efe felly, ond gydâ phob dosbarth yn ddiwahaniaeth, hyd yn nod y rhai coethaf a mwyaf dysgedig. Pa ëangaf, yn wir, fyddai gwybodaeth, a pha uchaf fyddai chwaeth ei wrandaẅyr, mwyaf oll y gwerthfawrogid ef ganddynt. Nid oedd efe, fel y gwelwyd ambell un, yn cael ei barchu gan y rhai mwyaf meddylgar, oblegyd ei boblogrwydd gydâ a'i ddylanwad daionus ar y llïaws; nac, fel y gwelwyd gydâg ereill, yn cael ei anrhydeddu gan y llïaws, oblegyd eu bod yn canfod y rhai callaf a mwyaf gwybodus yn talu gwarogaeth iddo; ond yr oedd rhyw neillduolrwydd ynddo ef â barai ei fod mor swynol i'r naill ddosbarth a'r llall, a hyny yn gwbl annibynol ar eu gilydd. Ac heblaw ac uwchlaw hyn oll, y mae yn ddiddadl fod ei weinidogaeth wedi bod o fendith annghyffredin yn ein gwlad. Fe'i coronwyd â llwyddiant mawr. Trowyd llawer i gyfiawnder trwyddo. Fe'i hanrhydeddwyd, mewn modd arbenig, fel offeryn dychweliad pechaduriaid at Dduw. Nis gall fod un ammheuaeth na bydd iddo eneidiau lawer, "yn llawenydd ac yn goron gorfoledd, yn nydd yr Arglwydd Iesu." Y mae yn briodol i ni, gan hyny, yn ychwanegol at y defnyddiau a ddodwyd genym eisoes ger bron ein darllenwyr, ymgais er mwyn y rhai nad ydynt yn ei gofio, ac, yn enwedig, er mwyn ein brodyr ieuainc yn y weinidogaeth, at roddi darluniad manylach a helaethach o'r Nodweddau Neillduol a berthynent iddo fel Pregethwr.

*Yr oedd mantais fawr ganddo ef i hyny yn ei ymddangosiad allanol.* Yr oedd golwg dywysogaidd arno. Ni a dybiem y buasai yn anmhosibl i neb ei weled hyd yn nod ar ddamwain, pe na buasai ond am unwaith, heb yn y fan gasglu fod rhyw beth annghyffredin ynddo. Yr ydym wedi cyfeirio eisoes (*tu dal.* 158), at yr effaith a gafodd yr olwg gyntaf arno ar ein meddwl ni, ac ni a dybiem nad oedd hyny ond enghraifft o'r hyn a ddygwyddodd i gannoedd fel ninau. Yr oedd yn ŵr tal, pum' troedfedd a deng modfedd o uchder,—yr un daldra a

Mr. Elias, ac îs o fodfedd na Mr. Rees. Yr oedd ei gorph yn nodedig o luniaidd, ac yn syth a chymmesur. Yr oedd ei ben o faintioli cyffredin, ond heb ddim hynodrwydd neillduol yn ei ffurf; a'i wallt, pan yn ieuanc, yn wineuddu. Yr oedd y talcen yn llydan, ac yn llawn iäwn yn mlaen, uwchben y llygaid. Yr oedd yr aeliau yn fawrion, a braidd yn drymaidd, fel ag i beri i'r llygaid ymddangos, oddiar y tu uchaf, yn lled ddwfn yn y pen. Yr oedd y llygaid yn las-dywyll, ac yn nodedig o dreiddgar, a phan y cyffroid ef yn y pulpud yn gwreichioni yn danllyd, neu ynte yn pelydru tynerwch yr efengyl ei hunan. Yr oedd y trwyn yn lled hir ac yn dra lluniaidd, ond yn hytrach yn gwyro ychydigyn bach, at y tu deheu. Yr oedd y genau yn brydferth iawn; y gwefusau yn deneuon ac yn gochion, ond yr isaf yn cael ei gollwng i lawr pan y byddai rhywbeth yn ei gythruddo. Yr oedd ffurf y wyneb yn hytrach yn hir, ac yn hynod o hardd; a phan oedd yn ieuanc, ïe, hyd o fewn ychydig o flynyddoedd i'w ddiwedd, byddai gwrid rhosynaidd, tlws ac iachus, i'w ganfod yn wastadol arno. Yr oedd ei holl ymddangosiad, ar unwaith yn arwyddo treiddgarwch ac yni a phenderfyniäd meddwl annghyffredin; gydâ rhyw onestrwydd, a gwylder, a serchawgrwydd teimlad, a sicrhäent iddo bob amser gydymdeimlad llwyraf ei holl wrandawŷr.

*Yr oedd wedi llwyddo i gasglu gwybodaeth helaeth, er ei gyfaddasu i'r gwaith mawr yr ymgymmerasai âg ef.* Nid ydoedd, fel y gwelsom yn ei hanes, wedi cael dim mantais i gyrhaedd dysgeidiaeth yn moreu ei oes. Ni bu am gymmaint a diwrnod erioed mewn un ysgol, ond yr Ysgol Sabbothol; ac yr ydoedd hyd ei ddiwedd, yn holl ystyr y gair, yn *Gymro uniaith*. Meddyliodd unwaith, fel y gwelsom (*tu dal.* 149), am ddysgu yr iaith Saesonaeg, a gwnaeth ychydig barotoadau tuag at hyny; ond lluddiwyd ef gan ofalon teuluaidd a llafur gweinidogaethol i weithio allan yr amcan hwnw, yn ddim pellach nag i fedru darllen ychydig ar ei Fibl ynddi,—cymmaint ag i'w alluogi i ddefnyddio "Mynegeiriau" Cruden a Crutwell ac ereill, er mwyn gweled yr amrywiol leoedd yn yr ysgrythyrau, y defnyddid yr un geiriau ynddynt, ag a arferid yn yr adnod neillduol a fyddai ganddo ef ar y pryd dan sylw. Ond camgymmeriad mawr a fyddai i neb dybied ei fod, oblegyd ei fod heb ddeall y Saesonaeg, yn ddyn anwybodus. I'r gwrthwyneb, yr oedd ei wybodaeth yn helaeth, ac yn fanwl iawn; ac yn ymestyn i gyfeiriadau nas gallesid prin ddychymygu ei fod ef erioed wedi sangu arnynt. Yr oedd,

yn enwedig, yn dra chyfarwydd mewn Daearyddiaeth, ac elfenau Seryddiaeth; ac â phrif Egwyddorion Athroniaeth Naturiol, yn ei gwahanol ganghenau. Nid oedd odid lyfr o ddim gwerth, yn yr iaith Gymraeg, nad oedd wedi ei ddarllen yn fanwl, ac wedi gwneyd ei gynnwysiad yn feddiant hollol iddo ei hunan. Byddai llawer pan y gwelent ei lyfrau, a chanfod y fath gasgliad o honynt, a chlywed mai Cymraeg oeddent bron oll, yn synu fod cynnifer o honynt yn ein hiaith. Ond heblaw llyfrau Cymraeg, yr oedd ganddo wybodaeth helaeth am amcan a chynnwysiad lliaws mawr o'r llyfrau goreu, yn enwedig mewn Duwinyddiaeth, yn y Saesonaeg. Fel y gwelsom (*tu dal.* 280) fod cyfaill wedi cyfieithu iddo ranau o Esboniad Mr. Scott ar lyfr y prophwyd Esaiah, flynyddoedd cyn i ddim o'r Esboniad hwnw gael ei gyhoeddi yn y Gymraeg, felly y gwneid iddo hefyd gydâ llyfrau ereill. Gwnaethom ni ein hunain hyny iddo amrywiol weithiau. Yr ydym yn cofio fod rhyw ddernyn o'r fath, a ganmolesid wrtho gan ryw un, allan o Gorph Duwinyddiaeth Mr. Thomas Watson,—yr adran ar Sancteiddhâd—a anfonwyd genym felly iddo, ryw fodd wedi cyrhaedd y Wasg, yn ddiarwybod i ni, a'i gyhoeddi a'n henw wrtho. Yn wir, am rai blynyddoedd, ni a fyddem yn teimlo wrth ddarllen braidd pob llyfr, angenrheidrwydd newydd arnom, yn ein cyfeillach âg ef, i'w ddarllen yn drwyadl, gan y gwyddem y byddai raid i ni, pan y cyfarfyddem, geisio rhoddi y sylwedd o hono iddo ef. Cafodd felly, trwyddom ni, olygiad ar gynnwysiad yr Awduron goreu a ddarllenid genym yn y blynyddoedd hyny; yn cynnwys rhai o brif draethodau John Howe, Jonathan Edwards, ac Andrew Fuller; rhanau helaeth o Gorph Duwinyddiaeth Dr. Dwight; Dr. Chalmers's *Natural Theology* a rhai o'i bregethau; amryw o bregethau Saurin a Maclaurin a Robert Hall; Archbishop Magee *on the Atonement;* Dr. Pye Smith's *Scripture Testimony* ac *on the Sacrifice of Christ;* Dr. Wardlaw *on the Socinian Controversy* a'i *Christian Ethics;* Dr. Payne's *Lectures on Sovereignty;* Dr. Leonard Wood's *Letters to Unitarians and Reply to Dr. Ware;* ac eraill. Yr ydym yn hyderu yr esgusodir ni am gyfeirio at hyn, gan na allem wneuthur tegwch hollol â gwybodaeth Mr. John Jones trwy ei adael allan. Fe dynodd, yn yr un modd, beth dirfawr o wybodaeth am lyfrau Seisonig oddiwrth ei frawd, Mr. David Jones, yn gystal ag oddiwrth amryw gyfeillion ereill. Ac fe gyfrifa hyn am y dull hunanfeddiannol a phenderfynol a arferid ganddo, yn achlysurol,

pan yn cyfeirio at ryw syniadau a daenid yn Lloegr neu Scotland neu yr America; ac am yr hyder a ddangosai pan yn cadarnhau ei olygiadau ei hunan, trwy appelio at awdwyr, nad oedd prin linell o'u hysgrifeniadau wedi ymddangos yn argraffedig yn yr iaith Gymraeg.

*Yr oedd ganddo allu annghyffredin, uwchlaw i odid neb a adnabuom ni erioed, i berchenogi yr hyn a ddarllenai neu a ddywedid wrtho, fel ag i beri iddo ymsylweddu megis â'i feddwl ef ei hunan, a dyfod yn rhan hanfodol o hono.* Ac nid yn unig hyny, ond fe fyddai pob sylw newydd y cyfarfyddai âg ef, yn casglu o'i amgylch yn ei feddwl ef, y fath gyflawnder o egluriadau mor briodol a naturiol a phrydferth, ag i beri iddo braidd yn wastadol ymddangos nid yn unig yn eiddo iddo ei hunan, ond yn llawer mwy ardderchog, fel y byddai efe yn ei ddefnyddio, nag ydoedd gan yr hwn y perthynai yn wreiddiol iddo. Yr oedd ffrwythlonedd annhraethol yn ei feddwl yn y golygiad hwn. Ni byddai raid ond crybwyll wrtho ryw nodiad gwreiddiol ar adnod, neu ryw sylw athrawiaethol hynod allan o ryw awdwr duwinyddol,—os byddai hedyn gwirionedd newydd iddo ef ynddo,—na byddai, cyn pen ond ychydig amser, wedi tyfu yn ei feddwl ef, yn bregeth fawr yn parhau am ddwy awr; a'r un gwirionedd hwnw yn cael ei egluro ynddi, yn ei amrywiol gysylltiadau, gydâ'r fath fanylwch a helaethrwydd, ag i synu, yn enwedig, y sawl a awgrymasai y syniad iddo. Gallem roddi amryw engreifftiau o hyny. Er esiampl: yr ydym yn cofio ein bod, ryw nos Sadwrn, yn cyd-letya âg ef yn nhŷ y diweddar Mr. Richard Roberts, yn y Castell, Llanddeiniolen, a lle y mae Mrs. Roberts eto. Yn ein hymddyddan, ni a ddaethom ar draws pregeth Mr. Robert Hall ar *Modern Infidelity*. Ni a adroddem iddo, hyd y gallem gofio, gynnwysiad y bregeth. Boreu drannoeth, meddai wrthym,—"A wyddoch chwi beth? pregethwr annghyffredin oedd Robert Hall hefyd. Yr ydwyf fi wedi meddwl llawer am y dylanwad ofnadwy a nodasoch o hono sydd i Anffyddiaeth,—ei fod yn dadymchwel sylfeini moesoldeb, yn agor y drws i gyflawniad yr ysgelerderau mwyaf anferth, ac yn dinystrio yn gwbl y cymhelliadau i rinweddau mawrion a dysglaer."

Yr oeddem ni ac yntau yn myned i deithiau gwahanol y Sabbath, fel nas gwyddom a bregethodd efe ar hyny y diwrnod hwnw; ond, yn mhen tair wythnos wedi hyny, yr oedd yn dygwydd bod yn Mangor, ac yr oeddem ninau gartref; ac nid oedd ei bregeth y boreu Sabbath ond ymhelaethiad, am ddwy awr o amser, ar y syniad y cyfeiriasom

ato, a hyny gyda'r goleuni a'r teimlad a'r nerth a'r effeithiolrwydd, a'i hynodent ef pan yn ei hwyliau goreu. Yr oedd y gallu hwn o'i eiddo, i ddefnyddio yn y fath fodd yr awdwyr a ddarllenid ganddo neu yr adroddid rhyw gymmaint o'u sylwadau iddo, yn peri i ni yn wastadol resynu yn ddirfawr na buasai wedi cael manteision dysgeidiaeth yn moreu ei oes, fel ag i'w alluogi i ymgydnabyddu â chynnyrchion prif feddylwyr y byd, yn y llyfrau gwerthfawr nad ydynt i'w cael yn yr unig iaith a ddeallid ganddo ef.

*Yr oedd yn nodedig o benderfynol ac ymroddedig a dyfalbarhaus, yn ei ymgais i feistroli yr hyn a fyddai ganddo ar y pryd dan ei sylw.* Byddem ni, weithiau, yn tybied mai dyna ei brif neillduolrwydd. Y mae yn anhawdd, pa fodd bynag, meddwl am neb yn fwy felly nag oedd efe. Yr oedd rywfodd yn gallu ymdaflu i'r mater neillduol a fyddai ganddo, fel ag i'w wneuthur, i raddau mawr, yn ddisylw o bob peth arall. Arosai gydag ef; myfyriai arno ddydd a nos; edrychai arno o bob cyfeiriad; nid yn unig ni orphwysai, ond ni chaniatai prin ddim seibiant iddo ei hunan, hyd nes y câi ryw foddlonrwydd o berthynas iddo. Am flynyddoedd lawer wedi ei ymsefydliad yn Nhalysarn, yr oedd ganddo lwybr mewn rhyw goed yn gyfagos i'w dŷ, lle, os byddai gartref, y canfyddid ef, am oriau bwygilydd, ac weithiau hyd eithafoedd y nos, a rhai prydiau hyd doriad y wawr dranoeth, yn cerdded yn ol ac yn mlaen, gan fyfyrio ar y gwirioneddau dwyfol yr amcanai eu cyflwyno ger bron ei wrandawwyr. Yr oedd y nerth corphorol annghyffredin oedd yn eiddo iddo, a'r iechyd rhagorol a fwynheid ganddo am agos y cwbl o'i oes, yn dra manteisiol iddo tuag at yr ymröad a'r dyfalwch yr oedd mor hynod ynddynt. Ar ol diwrnod o'r llafur caletaf, efe a allai ddal drachefn, am oriau, mewn myfyrdod llwyr ar ryw fater a fyddai ar ei feddwl. Gallem nodi amryw enghreifftiau o hyn a ddaeth dan ein sylw ni, ond ni a foddlonwn yn awr ar hanesyn a gawsom, yr wythnos hon, gan Mr. Roberts, *Hope Street, Liverpool.* Yr oedd Mr. John Jones, ryw flwyddyn, wedi myned i Lundain at y Pasg, ac yn dychwelyd oddiyno at Gymmanfa y Sulgwyn yn *Liverpool.* Yr oedd yn naw ar y gloch, neu ychwaneg, arno, y nos Wener cyn y Sulgwyn, yn cyrhaedd *Liverpool,* wedi teithio o Lundain y diwrnod hwnw. Tuag unarddeg ar y gloch, fe aeth e, a'r pregethwyr ereill a letyent yn nhŷ Mr. Roberts, i'w hystafelloedd i orphwys dros y nos. Arhosodd Mr. Roberts, pa fodd bynag, i lawr,

gyda rhyw orchwylion, hyd nes oedd wedi un ar y gloch yn y boreu. Wrth fyned i'r ystafell y cysgai ynddi, yr oedd yn gallu canfod ffenestr yr ystafell yr oedd Mr. John Jones ynddi, ac fe sylwai fod goleuni yn hono; a thrwy ais y *Venetian Blinds*, efe a'i gwelai ef, wedi dïosg ei wisg uchaf ac yn llewys ei grys, yn cerdded yn ol ac yn mlaen ar hyd yr ystafell. Ofnodd Mr. Roberts fod rhyw anhwyledd arno, a dywedodd ei ofnau wrth Mrs. Roberts. Pa fodd bynag, yn lle myned ato ar unwaith, efe a aeth i lawr drachefn, ac a arhosodd yno am awr neu ychwaneg. Aeth tua'i ystafell ei hunan eilwaith; ac fe'i gwelai ef yn amlwg, fel o'r blaen, yn cerdded yr ystafell. O'r diwedd, efe a aeth ac a gurodd yn y drws, gan ymofyn âg ef, a oedd rhyw anhwyledd arno? "O nag oes," meddai yntau: "pob peth yn dda;" a dyna lle yr ydoedd, a'i freichiau dros ei ddwyfronau, a'i ddwylaw o dan ei geseiliau, yn cerdded yn ol ac yn mlaen; a'i feddwl, yn ddiammheuol, mewn myfyrdod dwys ar y pregethau a fwriadai draddodi yn y Gymmanfa hono. Aeth Mr. Roberts, mewn syndod at ei ymroddiad, i'w wely, gan ei adael ef felly; ond nid oes wybod pa bryd yr aeth efe.

Byddai, weithiau, pan yn y fath fyfyrdod, yn ei golli ei hunan yn gwbl yn y pwnc fyddai ganddo ar ei feddwl, ac yn ymddangos yn hollol anymwybodol o'r hyn a fyddai o'i amgylch. Adroddir rhai hanesion o'r fath lled ddigrifol am dano. Yn nghanol y gauaf, ychydig flynyddoedd cyn ei farwolaeth, yr oedd ganddo gyhoeddiad Sabbothol yn y Waenfawr. Yr oedd efe, ar y pryd, yn lled wanaidd ei iechyd, ac yn hytrach yn gloff, wedi y niwed a gawsai yn y gloddfa, y darfu i ni eisoes (*tu dal.* 697, 698) gyfeirio ato. Yr oedd yr hin yn hynod o oer, a thrwch tew o eira ar y ddaear. Arhosodd gartref nos Sadwrn; ac ymdrechai ei wraig, o herwydd oerder yr hin a gwendid ei iechyd yntau, ei berswadio i beidio myned oddicartref am y Sabbath hwnw. Ond pan ddaeth boreu Sabbath, efe a aeth yn dra anesmwyth oblegyd ei gyhoeddiad, am nad oedd yn teimlo fod ganddo reswm digonol dros esgeuluso myned iddo. Mynai fyned. Cymerodd ei ferlen, a chroesodd y mynydd, pryd yr oedd yr eira mewn amryw fanau yn droedfedd neu ychwaneg o drwch. Tua'r prydnawn, fe aeth Mrs. Jones mor anesmwyth yn ei gylch, fel y dymunodd ar ŵr ieuanc o'r gymmydogaeth, fyned gydâ'i mab, Thomas, ar ei ol i'r Waenfawr, er mwyn gwybod a gyrhaeddasai efe yno yn ddiogel. Ac felly yr aethant. Erbyn iddynt gyrhaedd yno yr oedd efe wedi dechreu

pregethu. Ar ol yr oedfa, aeth ei fab at ei dad i Dŷ y Capel, gan ofyn iddo pa fodd yr oedd ? "Symol," ebai yntau: "sut yr ydych chwi machgen i ?"—ond yn amlwg heb sylwi pwy oedd yn gyfarch. Eisteddodd y bachgen yn agos ato, ac o flaen ei wyneb. Ond nid oedd efe yn gwneyd un sylw o hono, ac yr oedd ei feddwl yn eglur yn rhywle yn ddigon pell oddiwrth yr hyn oedd o'i amgylch. Wrth ganfod nad oedd yn sylwi dim ar ei fab ei hunan, gwenai y cyfeillion oeddent yn yr ystafell, a gofynodd un o honynt iddo,—"Pa faint o blant sydd genych chwi, John Jones ?" "Naw," ebai yntau. "A ydych chwi yn eu hadwaen hwy i gyd ?" "Eu hadwaen ? ydwyf y mae yn debyg," ebai yntau. "Wel," meddai y brawd, "yr oeddem ni yn rhyw gasglu nad oeddech, gan nad ydych yn ymddangos yn adwaen y gwr ieuanc hwn, sydd yn y fan yma o flaen eich llygaid." Ar hyny, cododd ei ben, ac edrychodd arno, a dywedodd,—"Thomas, o ba le y daethost ti ? A ydyw pawb yn iach acw ?" Wedi cael yr eglurhad, paham y daethai yno, yr oedd yn foddlawn, ond yn ymddangos yn lled gywilyddus na buasai wedi sylwi arno yn gynt. Dygwyddodd tro hynod, yn dangos yr un peth ynddo, ar yr adeg y bedyddiwyd ei fab ieuengaf. Y Parch. John Owen, y pryd hyny o'r Gwindŷ, oedd yn gweinyddu ar yr achlysur. Yn ei gyfarchiad, cyn bedyddio, fe wnaeth Mr. Owen ryw sylwadau, a gydiasant mor ddwfn yn meddwl Mr. John Jones, nes yr oedd wedi anghofio a myned yn ddisylw o bob peth arall. Toc dyna y plentyn yn mreichiau y gweinidog. "Beth ydyw ei enw ?" meddai Mr. Owen. "John," ebai y tad. "*Beth* ydyw enw y plentyn ?" meddai Mr. Owen drachefn. "John," ebai yntau eilwaith. "Arhoswch chwi," meddai Mr. Owen, "onid oes acw '*John*' arall?" Ar hyny, fe ddychwelodd yntau o'i wibdaith feddyliol; ac meddai,—"Oes yn siwr: Dafydd, ïe, *Dafydd* ydyw enw y plentyn." Y mae amryw chwedlau i'r un ystyr yn cael eu hadrodd am dano, yn profi y byddai ei feddwl yn fynych yn cael ei lyngcu gan ei fyfyrdodau i ebargofiant hollol o bob peth o'i amgylch. Yr oedd y gallu hwn oedd ganddo, i ymollwng yn gwbl i'r pwnc neillduol a fyddai ar y pryd dan ei sylw, ac i ymryddhau oddiwrth bob peth arall er mwyn edrych arno a threiddio i mewn iddo, yn enwedig yn gysylltiedig â'r nerth mawr meddyliol yr oedd yn berchen arno, yn fantais annhraethol iddo tuag at sicrhau dirnadaeth eglur am y gwirioneddau y byddai yn ymwneyd â hwynt, a thuag at iddynt adael yr argraff ddwysaf ar ei

deimladau ef ei hunan, ac felly o wasanaeth dirfawr iddo fel pregethwr.

*Yr oedd ei bregethau o nodwedd hollol ysgrythyrol, ac o ran eu defnyddiau ac yn eu holl gynnwysiad yn cael eu hamcanu i orwedd yn gwbl ar y tystiolaethau dwyfol.* Yr oedd yn efrydydd manwl a gofalus ar yr ysgrythyrau sanctaidd. Nid oedd yr un gwirionedd ag yr oedd yn fwy argyhoeddedig o hono na'u hysbrydoliaeth dwyfol, ac mai hwynthwy yw unig reol ein ffydd a'n hymarweddiad. Ac yr oedd, fel y gwelsom (*tu dal.* 755) ei fod yn tystio pan yn ymyl marw, yn gydwybodol yn sefyll uwch ben y Bibl, i ymgynghori â'i ystyr, ac i dynu ei gredo, a defnyddiau ei bregethau, yn uniongyrchol allan o hono. Ei gwestiwn mawr gydâ golwg ar bob pwnc oedd,—"Pa beth a ddywed yr ysgrythyr?" Yr oedd yn parchu golygiadau awdwyr duwinyddol, credöau a chyffesiadau eglwysi, a phenderfyniadau Cymmanfäoedd; ond yr oedd yn eu prisio yn benaf, fel cynnorthwy iddo i gael gafael, neu i roddi ffurf mwy pendant iddo, ar feddwl Duw ei hunan. Yr oedd ei ddull cyffredin o astudio unrhyw fater, yn dangos mai awdurdod yr ysgrythyrau oedd uchaf yn ei feddwl ef. Y dull hwnw oedd,—casglu yn nghŷd, trwy gymhorth Mynegeiriau, yr holl adnodau yn yr Hen Destament a'r Newydd, ag y byddai y gair neillduol i'w osod allan yn cael ei ddefnyddio ynddynt; ac yna yr holl adnodau ag y byddai y mater yn cael ei ddysgu, ei awgrymu, neu yn cael cyfeirio ato, mewn ymadroddion ereill; yna, wedi sefyll yn fanwl ac yn ofalus uwch ben ystyr yr amrywiol adnodau, fe amcanai ddosbarthu y cwbl o dan eu penau priodol; yr hyn, yn y cyffredin, yn enwedig am yr ugain mlynedd cyntaf o'i weinidogaeth, a fyddai yn penderfynu ffurf a nodwedd ei ymdriniaeth. Os rhyw ddyledswydd neillduol a fyddai ganddo dan sylw, dangosid ei natur; ei seiliau; ei rhesymoldeb; ei pherthynas â dyledswyddau ereill; y modd i'w chyflawni; y rhwystrau i'w chyflawni; y perygl o'i hesgeuluso; esgusodion dynion dros hyny; &c. Os rhyw bwnc o athrawiaeth a fyddai ganddo, fe geid eglurhâd ar ei natur; prawf o'i wirionedd; ei berthynas â gwirioneddau ereill; camolygiadau dynion yn ei gylch; dylanwad crediniaeth o hono ar y galon a'r fuchedd; gwrthddadleuon dynion yn ei erbyn; &c. Yr oedd, fel hyn, yn cymeryd golwg ëang iawn ar bob peth a ddygid dan ei sylw, hyny yw, ëangder yr ysgrythyrau sanctaidd eu hunain. Mae yn wir y byddai yn cael ei arwain felly i feithder dirfawr yn ei bregethau,

—meithder a fuasai yn annïoddefol yn mhawb ond ynddo ef,—ond, er yr holl feithder, fe fyddai braidd bob amser yn gorfod gadael y cynllun a dynasid ganddo iddo ei hunan heb ei lanw i fyny yn gyflawn, tra yr oedd yn wastadol yn gadael argraff ar feddyliau ei wrandaẅwyr, fod rhyw gyflawnder yn aros ganddo ar ol, nad oedd yn ymddangos, hyd yn nod pan y byddai feithaf, wedi cyffwrdd dim âg ef. Yr oedd y dull neillduol a arferid ganddo, yn ei flynyddoedd cyntaf, i barotoi ei bregethau, yn ei arwain yn fynych i lïosogi penau,—rhaniadau, is-raniadau, a rhaniadau drachefn o dan y rhai hyny,—fel nad oedd ond ychydig o'i wrandaẅwyr yn alluog i gydio yn yr unoliaeth oedd yn y cyfansoddiad, megis ag yr oedd yn ei feddwl ef; ac y mae yn sicr fod y ganmoliaeth a roddid iddynt y pryd hyny, gan nid yn unig y llïaws ond llawer o rai mwy deallus, yn cyfodi yn fwy oddiwrth y rhagoriaeth a deimlid ganddynt a berthynai i'w gwahanol ranau, nag i unrhyw ddirnadaeth o'r eiddynt o'u rhagoriaeth fel cyfansoddiadiadau cyfain. Ond, yn ei flynyddoedd diweddaf, yr oedd wedi gadael heibio, agos yn hollol, y dull cyntaf a arferid ganddo; ac, yn y cyffredin, yn ei gyfyngu ei hunan i un meddylddrych arbenig, ar yr hwn y disgynai yn uniongyrchol, a chydâ'r hwn yr arhosai hyd y diwedd; gan ddefnyddio yr holl bregeth i'w sefydlu yn ei wirionedd, ei bwysfawrawgrwydd, a'i awdurdod, yn meddyliau y bobl.

YR OEDD POB GALLU MEDDYLIOL YN YMDDANGOS YNDDO EF MEWN NERTH MAWR. *Yr oedd ei gôf yn gryf anarferol.* Yr oedd pa beth bynag a welai, neu a glywai, neu a ddarllenai, yn aros yn eiddo iddo byth. Cawsom ni brofion, laweroedd o weithiau, o hyny. Yr oedd, mewn cysylltiad â'r pethau y cymerai efe ryw ddyddordeb ynddynt, yn gallu cofio manylion bychain, a ymddangosent braidd yn ddibwys, yr un fath a'r pethau mawrion a dynent sylw pawb. Byddai rhai o'i bregethau mor gyflawn o fân fanylion, yn gofyn y fath nerth côf i'w cyflwyno yn gywir ger bron y cynnulleidfäoedd, ond yn cael eu traddodi ganddo ef mor uniawn a diwall a rhwydd, fel y byddem yn gorfod synu at y gallu a ddangosai yn y gynneddf hon. Y mae yn anhawdd genym feddwl fod odid neb a'i gwrandawodd yn pregethu ar "*Wyl y Cymmod,*" ar "*Fesur y deml, a'r allor, a'r rhai a addolant ynddi,*" ar "*Ddymuniant yr holl genhedloedd,*" a llïaws o'i bregethau ereill, heb deimlo mesur o'r un peth. Fe ymddangosai nerth ei gôf hefyd, yn y modd y byddai yn cyfansoddi ac yn cofio ei bregethau. Clywsom ef yn dywedyd, y byddai

yn meddwl ei bregeth drwyddi, agos air am air, hyd yn nod pan na byddai yn ysgrifenu dim o honi; ac y gallai ei thraddodi i'r llythyren, oddiar y meddwl hwnw, oddieithr pan y byddai yn ychwanegu rhyw-beth newydd a ddigwyddai gyflwyno ei hunan iddo pan yn pregethu. Ac, yn ganlynol, nid peth poenus, nac annghyffredin iddo ef, oedd traddodi y bregeth am y tro cyntaf erioed yn y lle mwyaf cyhoeddus. Gwnaeth hyny fwy nag unwaith, hyd yn nod mewn Cymmanfa. Ond yr oedd ei gôf mor ffyddlawn iddo fel nad ydym yn gwybod iddo ei siomi erioed.

*Yn arbenig, yr oedd nerth a threiddgarwch annghyffredin yn ei reswm.* Dyma nodwedd neillduol dyn fel creadur. Hyn sydd yn ei wahaniaethu oddiwrth bob creadur arall yn y byd hwn; yn ei wneuthur yn ddelw Duw yn y greadigaeth; yn arglwydd arni; yn un y mae "holl natur gwylltfilod, ac adar, ac ymlusgiaid, a'r pethau sydd yn y môr," trwyddo, yn cael eu dofi ganddo, a'u dwyn dan ddarostyniad iddo. Ac, megis ag mai dyma elfen fawr rhagoriaeth dyn ar yr holl greaduriaid eraill a geir ar y ddaear hon, felly, yn ol graddau grym y gallu hwn, y mae rhagoriaeth naturiol y naill ddyn ar y llall. Ac yn fynych y mae dynion bychain, eiddil, a digon diolwg o ran eu cyrph, ac wedi eu dwyn i fynu mewn amgylchiadau isel, ac heb ddim mawredd allanol o'u hamgylch, ond, oblegyd meddu mesur helaeth o'r gallu hwn, yn ymddyrchafu i ddylanwad dirfawr ar eu cyd-ddynion. Yn awr, yr oedd nerth annghyffredin yn meddwl Mr. John Jones yn hyn. Dichon mai dyma oedd ei brif allu. Yr oedd yn anmhosibl gwrandaw arno braidd un amser heb ganfod graddau o hono, ac ar adegau fe fyddai yn ymddangos fel yn ymloddestu yn hollol ynddo.

Yr oedd y gallu hwn yn gryf ynddo ef, yn y ddau gyfeiriad gwahanol yn y rhai y mae yn cael ei arddangos mewn meddyliau athronyddol o'r dosbarth uchaf:—hyny yw, megis gallu i elfenu neu ddadansoddi unrhyw beth, er mwyn cael allan yr amrywiol ranau a berthynant iddo, neu o'r rhai y mae yn gynnwysedig; ac hefyd, megis gallu cyfosodiadol, neu allu i ddwyn ynghyd yr amrywiol elfenau angenrheidiol tuag at gyfansoddi unrhyw beth, a'u dodi wrth eu gilydd yn y fath fodd, ag i ffurfio, un corph cyflawn, cymmesur, a phrydferth, allan o honynt. Y mae y naill yn olrhain ac yn casglu y ffeithiau neillduol, y llall yn canfod yr egwyddor gyffredinol; y mae y naill yn ymwneyd â'r amrywiaeth, y llall yn gweled yr unol-

iaeth; y mae y naill yn ymgyfodi o, a thrwy y dygwyddiadau, nes cael gafael ar y deddfau mwyaf sefydlog, y llall yn cychwyn gydâ'r deddfau, ac yn disgyn i lawr oddiwrthynt i esbonio y dygwyddiadau,—yn eu perthynas â'u gilydd, eu tebygolrwydd i'w gilydd, a'r elfenau yn y rhai y cytunant neu yn y rhai y gwahaniaethant; gan eu dosbarthu, yn ol eu teithi neillduol a'u priodoliaethau cyffredin, er ffurfiad trefniant rheolaidd a chyson. Fe geid lliaws o engreifftiau o'r ddau ffurf yma ar reswm yn mhregethau Mr. John Jones, yn enwedig o'r math cyntaf, yr hwn yn sicr oedd yn benaf ei allu ef; o'r hyn y ceir amryw esiamplau yn y gyfrol o'i Bregethau a gyhoeddwyd gan Mr. Gee: megis ei bregeth ar "*Weddio o'r galon*," a'i bregeth ar "*Weddi Ddirgel*;" yn gystal ag amryw ereill, yma a thraw yn y gyfrol.

*Yr oedd ei allu ymresymiadol yn ymddangos yn neillduol, yn y modd y byddai yn profi gwirionedd unrhyw osodiad a gyflwynid ganddo ger bron ei wrandawwyr.* Wedi dodi y mater i lawr yn y geiriau symlaf, ac mewn dull hollol ddirodres, nesâi yn raddol at y profion a ddygid ganddo yn ei blaid; gan ddechreu gydâ'r rhai gwanaf, a myned rhagddo yn gryfach gryfach, a chan siarad gydâ rhwyddineb a hyawdledd a theimlad a nerth mawr, nes dwyn argyhoeddiad i bob meddwl o wirionedd yr hyn y dadleuai drosto. Ond nid digon ganddo ef oedd profi ei bwnc; eithr, pan y byddai wedi gwneuthur hyny yn hollol, mynai ei attegu a'i adgyfnerthu o bob cyfeiriad; fel pe buasai wedi penderfynu boddloni ei wrandawwyr, nid yn unig fod yr hyn oedd ganddo dan sylw yn wirionedd, ond fod anmhosiblrwydd hollol iddo beidio bod felly,—ac nid yn unig hyny, ond ei fod yn wirionedd nas gallent ei wrthod heb fod yn agored i'r canlyniadau mwyaf ofnadwy.

*Ond wrth ateb y gwrthddadleuon a dybid ganddo yn cael eu codi yn erbyn yr hyn a ddysgid ganddo, y byddai ei nerth mawr ef fel ymresymydd yn arbenig yn dyfod i'r golwg.* Ni byddai byth yn gwneyd annhegwch â'r wrthddadl; ond gosodai hi i lawr yn oleu ac yn rymus, heb arwyddo un tuedd i beri iddo ymddangos yn wanach nag ydoedd. Ac fe'i cyfarfyddai yr un mor deg. Dadleuai, weithiau, fod yr wrthddadl yn sylfaenedig ar gamgymmeriad hollol am ystyr yr athrawiaeth a ddysgid ganddo ef; brydiau ereill, fod y gwrthddadleuwr yn cydnabod, mewn cysylltiadau ereill, yr egwyddor y dadleuai yn awr yn ei herbyn; ac yna âi rhagddo i ddangos fod yr wrthddadl, yn ei llawn ystyr, yn annghyson â synwyr cyffredin; yn groes i egwyddorion angenrheidiol

rheswm; yn annghydweddol â phrofiad duwiolion trwy yr holl oesoedd; ac, yn enwedig, yn gwrthwynebu ysbryd ac ystyr tystiolaethau pendant a diammwys y dadguddiad dwyfol. Ac nid digon ganddo oedd dangos fod yr wrthddadl yn hollol ddirym, ond byddai ei holl natur foesol yn ymgynhyrfu yn ei herbyn, yn y twyll a lechai ynddi i eneidiau dynion, a'r perygl ofnadwy o'i chofleidio; a chan deimlo felly, fe daranai yn ei herbyn gyda'r fath ddifrifwch a grym, nes peri i'w wrandawwyr arswydo drwyddynt rhag byth ei choledd.

*Yr oedd y rheswm cryf hwn oedd yn eiddo iddo, mewn cyfuniad â dychymyg o gyfoeth a nerth cyfatebol.* Yr oedd y ddau allu ynddo ef, yn y fath gyfartaledd, fel, er i ni ddywedyd uchod y dichon mai rheswm oedd ei brif allu, eto nid hawdd penderfynu pa un oedd gryfaf. Ac yr oedd y naill a'r llall o'r radd uchaf. Yr oedd y gwasanaeth y cysegrasai ei oes iddo, a'r amcan mawr oedd yn wastadol ganddo mewn golwg—"perswadio dynion,"—yn peri ei fod yn gwneyd mwy o lawer o ddefnydd o'i reswm; ond ni byddai byth yn traddodi un bregeth, na cheid profion ynddi ei fod hefyd yn berchen y dychymyg mwyaf ffrwythlawn, yr hwn a ddygid ganddo bob amser dan deyrnged i'w amcan mawr. Yr oedd ei ddychymyg ef yn gyfryw, yn ystyr briodol ac uchaf y gair, ar wahan oddiwrth y rhywogaeth îs o hono, a elwir darfelydd (*fancy*),—os dyna y gair Cymraeg iawn am dano. Yr oedd mwy o lawer o *fancy* gan ei frawd, Mr. David Jones. Yn wir, prin y gallai efe agor ei enau i draethu ar ddim, na byddai y syniadau yn ymwisgo mewn rhyw gymhariaeth, yr hon a chwareuai yn esmwyth ac yn ddifyrus ar deimladau ei wrandawwyr. Ac fe fyddai y cymhariaethau yn dilyn eu gilydd mor gyflym; y naill yn lluchedenu agos yn ngoleu y llall, fel y byddai llygaid y bobl braidd yn teryllu wrth edrych arnynt. Ond nid felly y byddai Mr. John Jones. Gellid gwrando arno ef am ddeng munud neu ychwaneg, yn traethu yn oleu ac yn rymus ar y mater a fyddai ganddo dan sylw, yn yr iaith symlaf a choethaf, ond hollol rydd oddiwrth bob tlysni barddonol; ac yna, er perffeithio yr eglurhad, efe a âi ar aden ei ddychymyg nerthol, ac a gydiai mewn rhyw gymhariaeth fawr a phrydferth a chyflawn, o nodwedd hollol Filtonaidd,—ac mor gyfaddas i'r amcan uniongyrchol y defnyddid hi erddo, ag i wneyd lle iddi ei hunan dros byth yn meddyliau ei wrandawwyr. Yr oedd, trwy nerth ei ddychymyg, yn gallu ysbrydoli holl anian, ac â'i gyffyrddiad yn cyfnewid ei hamrywiol

wrthddrychau yn ddelweddau byw, er portreadu y gwirioneddau dwyfol a bregethid ganddo; ac ar yr un pryd, i'w godi ei hunan a'i gynnulleidfa, uwchlaw y gweledig a'r daearol, i ganol purdeb a gogoniant ac arddunedd pethau anweledig a thragywyddol. Fe fyddai cyfoeth a nerth ei ddychymyg yn ymddangos i ni, yn arbenig, yn nghyfanrwydd y cymhariaethau a ddefnyddid ganddo. Fe fyddai y ffugyr bob amser ganddo yn hollol gyflawn. Yr oedd felly yn gwneyd argraff annilëadwy ar feddyliau ei wrandawŵyr, fel delwedd o'r gwirionedd. Clywsom ef yn pregethu yn hen gapel Amlwch, Medi 13, 1858, yn y Cyfarfod y cyfeiriasom ato eisoes (*tu dal.* 700, 701), oddiar y geiriau, —"Gan brynu yr amser." Pa beth a allai fod yn fwy cyflawn, na'i bortrëad o amser, yn y bregeth hono,—"megis cwmmwl bychan, ar awyr las lachar y byd tragywyddol, yn ymddangos dros ychydig, i wlawio amcanion y Goruchaf, ac yna yn diflanu?" Eithr nid at y ddelwedd yna, er mor brydferth a chyflawn a dysgrifiadol ydyw, yr oeddem ni yn awr am alw sylw, wrth gyfeirio at y bregeth hono, ond at gymhariaeth arall oedd ganddo ynddi. Yr oedd tân dychrynllyd wedi bod yn *Liverpool*, y mis Mai cyn hyny, ac wedi llosgi *Factory* fawr i'r llawr, a pheri colled am werth dros gan' mil o bunnau. Yn y bregeth hono, pan yn cymhell ei wrandawŵyr i "brynu yr amser," dywedai fod o bwys annhraethol gwneuthur peth yn yr adeg briodol i hyny; fod llawer peth hollol hawdd ei wneyd yn yr adeg, ond yn mhen pum' munud wedi i'r adeg fyned heibio, yn myned yn anmhosiblrwydd am byth. "Y tân ofnadwy," meddai, "y clywsoch, y mae yn ddiammeu am dano, a fu ychydig fisoedd yn ol yn *Liverpool*, pan y llosgwyd y *Factory* fawr hono, gydâ ei holl gynnwysiad yn lludw, ac y bu colled am werth rhai ugeiniau o filoedd o bunnau; nid oedd hwnw, yn y dechreu, ond gwreichionen fechan, y gallasai plentyn bychan, âg ychydig ddefnynau o ddwfr, yn hawdd ei ddiffodd. Ond wedi iddo gael amser i gryfhau, a chael ei faethu gan ddigon o ddefnyddiau, ac, yn enwedig, wedi i'r gwynt oddiallan ddechreu chwythu arno, fe gynnyddodd i'r fath rym, fel nad oedd digon o nerth yn holl beiriannau *Liverpool*, a'r rhai hyny yn cael eu gweithio gan y rhai mwyaf medrus a ffyddlawn, i'w roddi allan. Ah! bechadur! y mae yna dân y munud yma wedi dechreu llosgi yn dy gydwybod di; ti a fuost yn teimlo ychydig oddiwrtho rai prydiau cyn hyn; hwyrach dy fod yn teimlo rhyw gymmaint yn awr. Ond un diferyn o waed y

groes arno heddyw, a'i diffoddai ar unwaith. Y mae yma rai wedi cael cymhorth i'w dderbyn trwy ffydd i'w cydwybodau, ac y mae y llosgfa dan y fron wedi darfod am byth. Ond gwrando, enaid anwyl, —os gadewi di iddo losgi am ychydig eto, fe fydd yn anobeithiol am danat. Os cei di dy hunan yn angeu, a'r gwaed heb ei daenellu ar dy gydwybod, fe fydd y tân yna, ar ol cael oes gyfan mewn pechod yn ymborth iddo, ac awelon cryfion tragywyddoldeb i chwythu arno, wedi cynnyddu yn eirias mor ofnadwy, fel na bydd digon o nerth hyd yn nod yn mheiriant mawr yr iachawdwriaeth ei hunan i'w ddiffodd byth."

Ni a allem roddi amryw enghreifftiau, sydd yn fyw iawn yn ein cof, o'r gallu hwn o'i eiddo; ond digoned yr un ganlynol. Yn Nghymdeithasfa Dolgelleu, yn y flwyddyn 1839, yr oedd yn pregethu am ddeg ar y gloch, ar ol y Parch. Robert Hughes, o'r Gaerwen. Ei destyn oedd, Jeremiah xiii. 16:—"Rhoddwch ogoniant i'r Arglwydd eich Duw, &c." Wrth sylwi mai wrth ogoneddu Duw y mae i ni ddeall, nid ei wneuthur ef yn fwy gogoneddus, ond ei amlygu, ei egluro, dangos pa fath un ydyw, rhoddi mantais i'r gogoniant gwreiddiol sydd yn hanfodol iddo ddyfod i'r golwg ger bron y byd, fe ddywedai,—"A dyna hefyd yr ystyr sydd i'r gair hwnw, a geiriau cyffelyb, yn eu cysylltiad â Iesu Grist:—'Pan ddêl efe i'w ogoneddu yn ei saint.' Nid ydym i feddwl y bydd Iesu Grist y dydd hwnw yn cael ei wneuthur yn fwy gogoneddus ynddo ei hun; ond yr hyn sydd i'w ddeall yw, y bydd y gogoniant gwirioneddol a berthyn iddo, ac sydd hanfodol i'w berson, yn dyfod i'r golwg y pryd hyny yn fwy dysglaer, nag y gwelwyd ef erioed o'r blaen. Yr oedd gogoniant anfeidrol ynddo, ac yn eiddo iddo ef, hyd yn nod pan oedd yma yn y byd, mewn iselder a thlodi, yn nyddiau ei ymddarostyngiad; fe welodd y dysgyblion ei ogoniant y pryd hyny,—'gogoniant megis yr uniganedig oddiwrth y Tad, yn llawn gras a gwirionedd,'—nes yr oeddent yn gadael pob peth i fyned ar ei ol, ac yn foddlawn i fyned i garchar ac i angeu er ei fwyn. Ond i'r nifer mwyaf o lawer, yr oedd y 'dirmygedig a'r diystyraf o'r gwŷr,' 'mab y saer,' 'Samaritan â chythraul ganddo.' Yr oedd ei ogoniant yn cael ei guddio gan y llen o gnawd oedd am dano, a'r amgylchiadau isel yr ydoedd ynddynt, fel nad oedd ei eiddo ei hun yn ei dderbyn; ond yn ei wrthod, yn ei wawdio, yn poeri yn ei wyneb, yn ei goroni â drain, yn ei fflangellu,

ac, yn y diwedd, yn ei ladd. Ond," meddai, ac ni a ddymunem i'n darllenwyr sylwi ar gyfanrwydd y ffugyr, "yn y dydd hwnw, yn nydd mawr y farn a ddaw, fe fydd ffenestri nefoedd ei natur yn ymagor, a ffynhonau dyfnder mawr ei briodoliaethau yn ymrwygo, a diluw o ogoniant yn cael ei ollwng oddiwrtho, nes y bydd pob cnawd yn boddi byth mewn amlygiadau o hono!"

*Yr oedd yn meddiannu gallu dirfawr i ymaflyd yn, ac i sylweddoli yr ysbrydol yn ei bregethau.* Yr oedd gan y byd anweledig afael ddofn a chref ar ei feddwl; ac yr oedd, ryw fodd, yn medru ymddyrchafu yn ei syniadau am dano, gymmaint uwchlaw cylch yr elfenol a'r teimladwy, ac i'r fath gydnawsedd ymddangosiadol â'i natur ryfedd ac anamgyffredadwy,ac yn medru ei ddarlunio mewn iaith mor annaearol ac eto mor bendant, fel y byddai ei wrandawwyr yn fynych megis yn teimlo eu hunain yn cael eu cipio allan o'r corph, i ryw fyd oedd newydd a dïeithr ac ofnadwy iawn iddynt. Mae ein darllenwyr sydd yn cofio ei bregethau ar "*Amser*," ar yr "*Ysbrydion yn Ngharchar*," ar y "*Bywyd Tragywyddol*," ar y "*Nefoedd yn myned heibio fel mwg*," a llïaws o'i bregethau ereill, yn gallu deall yn dda yr hyn y cyfeiriwn ato. Yr oedd, yn enwedig yn ei flynyddoedd diweddaf, yn byw llawer o ran ei fyfyrdodau, nid yn unig gydâ phethau tragywyddol, ond gydâ thragywyddoldeb ei hun; ac yr oedd yr argyhoeddiad dwfn oedd yn ei feddwl o fodolaeth y byd hwnw; yn nghŷd â'r ddirnadaeth eglur a feddiannai o'r gwahaniaeth angenrheidiol, ac eto anadnabyddus i ni, rhwng dull ein hanfodiad ynddo, a'r hyn sydd briodol i ni yn y fuchedd bresennol; ac, yn arbenig, y cysylltiad agos a sicr a phwysig a ganfyddai rhwng y ddwy sefyllfa a'u gilydd;—yr oedd y pethau hyn yn cael lle mawr yn ei bregethau, a phob amser gydâ'r fath ddwysder ag i adael yr argraffiadau mwyaf difrifol ar feddyliau ei wrandawwyr.

*Yr oedd braidd bob amser dan ddylanwad y teimladau dwysaf a mwyaf angerddol.* Yr oedd yn naturiol yn fyw o deimlad. Yr oedd ei serchiadau teuluaidd a pherthynasol yn nodedig o gryfion. Nid yn fynych y bu neb yr oeddent ynddo yn fwy felly. Ac yr oedd y teimladau cryfion oeddent yn naturiol yn eiddo iddo, ar ol eu cysegru i grefydd, yn fflamio mewn cariad at y Gwaredwr, mewn eiddigedd dros y gogoniant dwyfol, ac mewn awydd am gadwedigaeth eneidiau dynion. Byddai angerddoldeb ei deimlad yn eangu ac yn awchlymu ei ddirnadaeth; yn cryfhau ei reswm; yn bywiocau ei ddychymyg; yn gloywi

ei iaith; yn cyweirio ei lais; yn tanio ei lygaid; yn treiddio trwy ei holl natur; ac yn dwyn y dyn i gyd dan ddarostyngiad hollol i'r un amcan mawr ag yr oedd ei feddwl wedi ei feddiannu ganddo. Pa beth bynnag fyddai y pwnc neillduol a fyddai ganddo dan sylw, byddai arwyddion amlwg fod ei galon mewn cydymdeimlad hollol âg ef; nes y byddai yn raddol yn llosgi megis ffwrn, a'r gwreichion poethion yn cael eu lluchio oddiwrtho yn mhob cyfeiriad, fel ag yn fynych i wneuthur yr holl gynnulleidfa yn un oddaith danllyd.

*Yr oedd ei feistrolaeth ar iaith yn ymddangos yn berffaith, a'i ddullwedd yn Gymreig hollol.* Y mae yn ammheus genym a fu rhyw un erioed yn rhagori arno yn hyn. Yr oedd ei ddoniau ymadroddi yn ymddangos yn anhysbyddadwy. O'r munud cyntaf yr agorai ei enau, byddai yn siarad mor rwydd a naturiol a chywir, y geiriau mor ddetholedig a phriodol a dysgrifiadol, a'r brawddegau mor eglur a dillyn a destlus, fel nas gallasai y gwrandawwr manylaf a mwyaf beirniadol ganfod un gwall ynddo; tra, yr un pryd, yr oedd mor syml a gwerinol, fel, o ran yr iaith, nad oedd bosibl braidd i'r rhai mwyaf anwybodus fethu ei ddeall. Fel yr elai rhagddo, byddai y teimlad yn gwresogi ac yn dwyshau; y drychfeddyliau yn bywiogi ac yn ymddyrchafu; yr iaith yn ymgyfoethogi ac yn ymloywi; ffrwd ei hyawdledd yn ymchwyddo, yn ymledu, ac yn ymgryfhau, nes dyfod yn llifeiriant aruthrol, ac yn ysgubo pob peth o'i flaen. Gwelsom ef, ugeiniau o weithiau, wedi codi mor uchel, ac yn rhedeg mor nerthol, fel nas gallasai dim ei wrthsefyll; a'r holl gynnulleidfa, fel wedi colli pob meddiant arni ei hunan, yn ymollwng i gael ei chario ymaith, i be le bynnag y dygid hi gan y llif.

*Yr oedd ganddo lais yn cyfuno nerth, ystwythder, a phereidd-dra, i raddau mwy nag a glywsom ni mewn un llais arall erioed.* Nid oedd mor glochaidd a llais Mr. Thomas Richard, ond yr oedd llawer mwy o gylch ynddo; nid oedd mor dreiddiol a llais Mr. Michael Roberts, ond yr oedd llawer mwy o nerth ynddo; nid oedd mor doddedig a llais Mr. Ebenezer Richard, ond yr oedd llawer mwy o ystwythder ynddo; ac nid oedd mor uchel a llais Mr. Elias, ond yr oedd annhraethol fwy o beroriaeth ynddo. Yr oedd yn cyfuno *nerth* llais y Gogledd, gydâ *thynerwch* a *mwyneidd-dra* ac *ystwythder* llais y Deheudir. Yr oedd yn llais dwfn, cryf, a chylch dirfawr iddo; ac, mewn rhai o'i nodau, â rhyw bereidd-dra ynddo na chlywsom ni erioed ei gyffelyb, ac nad

ydym yn dysgwyl clywed ei gyffelyb byth. Y tebycaf iddo yn hyny, yn ein bryd ni, a chymmeryd côf plentyn i farnu, oedd yr hen bregethwr, Mr. Richard James, Pontrhydyfen, Sir Forganwg. Yr oedd cywair naturiol llais Mr. John Jones yn isel iawn; ac yr oedd hyny yn peri fod yn dra anhawdd ei glywed, yn nechreu ei bregeth, os mewn cryn bellder oddiwrtho, hyd yn nod mewn capel ëang; ac, ar faes agored, ar adeg Cymmanfa, byddai hyny i'r rhai pellaf oddiwrtho, am gryn ysbaid, yn hollol anmhosibl. Yr oedd yn hyny yn wahanol iawn i Mr. Elias. Yr oedd cywair naturiol ei lais ef y fath, fel y gallai pymtheg neu ugain mil ei glywed yn rhwydd, o'r dechreu cyntaf; er nad oedd un gymhariaeth rhwng cylch ac amrywiaeth, ac yn enwedig rhwng pereidd-dra ei lais ef, a'r eiddo Mr. John Jones. Ond byddai llais Mr. John Jones, er cychwyn yn isel, yn raddol yn codi ac yn cryfhau, nes y gellid ei glywed yn hawdd o bellder dirfawr; ac yr oedd y fath swyn ynddo, ag i'w wneyd yn elfen arbenig er cyfrif am ei boblogrwydd, a'r dylanwad rhyfedd a gâi ei bregethu ar ei wrandaŵwyr. Oblegyd, gydâ'r nerth mawr a berthynai iddo, yr oedd ynddo ryw hyblygrwydd ac ystwythder, a'i galluogai i'w amrywio yn ddiddiwedd, i gydweddiad â'r gwahanol deimladau y byddai ynddynt, neu a ddarlunid ganddo; gan esgyn a disgyn, yn ol ac yn mlaen,—yma, draw, ac acw,—ar amrywiol lithriadau graddeg seiniau, a hyny, dybygid, iddo ef mor naturiol a rhwydd a didrafferth ag anadlu. Yr oedd yn hynod hefyd yn yr amseriad gwahanol a roddid ganddo i eiriau neillduol, neu i'r un gair mewn gwahanol gysylltiadau, yn ol yr amcan a fyddai ganddo ar y pryd mewn golwg. Ar adegau felly, os gallwn ddefnyddio y fath air, rhoddai ddigon o râff i sŵn; estynai y llafariaid allan, cyhŷd ag y caniatai ei anadl, yn y geiriau yr amcanai ddodi pwyslais arbenig arnynt; cadwai y llais i fyny yn gryf hyd y sill olaf i'r gair, a'r gair olaf i'r frawddeg; ac fel y gorphenai yr ymadrodd, byddai yr awyr yn clecian, a'r syniad yn cael ei ddwyn i gyfarfyddiad â meddyliau y gwrandaŵwyr, gydâ'r fantais oreu a allasai byth gael gan lais, er peri iddo ddylanwadu ar eu teimladau. Pan y cyfodai i'w hwyliau uchaf, fe fyddai ei lais yn cymmeryd rhyw dôn, gyffelyb i'r rhywogaeth o beroriaeth a elwir *Recitativo*,—math o Draeth-gân,—rhywbeth rhwng siarad a chanu, ond yn nes o lawer at siarad. Ac eto nid siarad cyffredin ydoedd; oblegyd ni a dybiem y gallesid dilyn pob nodyn, a phob amrywiad ar y llais, â'r un sŵn yn hollol, gydâg

offeryn cerdd cyfaddas i hyny, megis crŵth neu delyn. A byddai hefyd, yn fynych, yn newid y cywair, yn ol nodwedd gwahanol y syniadau a draethid ganddo. Y mae rhywbeth o'r un natur yn gyffredin yn mhlith pregethwyr Cymru; ac fel y nodasom eisoes (*tu dal.* 969), dichon mai yn rhywle yn y cyfeiriad hwn, y mae un o ddiffygion penaf pregethu ein gwlad. Ond yr oedd gòslef Mr. John Jones mor hyfryd, a'i lywodraeth ar ei lais mor berffaith, fel yr oedd ei dôn ef yn ychwanegiad dirfawr at nerth a dylanwad ei weinidogaeth. Yr ydym yn hyderu y gallwn ddodi i mewn, yn ein Hattodiad, mewn nodau cerdd, ryw gymmaint o honi, er galluogi y sawl a ddeallant y rhai hyny, er heb ei gofio ef, i ffurfio rhyw ddirnadaeth am dani. Y mae yn ymddangos yn lled sicr, mai mewn rhyw dôn gyffelyb y byddai Cicero, penareithiwr Rhufain, ac un o brif areithwyr y byd, yn traddodi rhai rhanau o'i areithiau. Y mae rhai, yn wir, yn tybied y byddai efe yn defnyddio offeryn, o'r fath ag a ddefnyddir gan gantorion er taro y cywair, er mwyn ei gynnorthwyo i gymmeryd y cywair neillduol, yn yr hwn y traddodai ei areithiau, ac er mwyn symmud, yn yr un araeth, o'r naill gywair i'r llall. Dyna y golygiad a gymmerir gan *Lord Brougham* (*Contributions to the Edinburgh Review; Vol. I. page* 22, London, 1856) ar eiriau Cicero ei hunan, yn y *De Oratore, Lib. iii. cap.* 60. Eithr prin, ni a dybiem, y mae geiriau Cicero yn caniatâu y defnydd o'r fath offeryn, ond yn unig i'r areithiwr yn ei gartref, pan yn ei barotoi ei hunan ar gyfer ei ymddangosiad cyhoeddus; gan ei fod yn bendant, yn nu o'r pennodau canlynol, yn gwahardd iddo gymmeryd y fath offeryn gydâg ef i'r dadleudŷ. Pa fodd bynnag, pan y byddai Mr. John Jones wedi gwresogi yn ei bregeth, mewn tôn o'r fath y siaradai efe, ac yr oedd yn dôn nodedig o effeithiol. Byddai yn treiddio trwy deimladau y y gynnulleidfa, fel ag i'w swyno yn hollol. Yr oedd dylanwad rhai o'r nodau yn annysgrifiadwy. Nis gallwn ddychymygu am ddim mwy alaethus a thor-calonus na'i "*Ow! Ow!*" pan yn darlunio rhyw alanas ofnadwy, wedi dygwydd trwy ryw ddïofalwch ac esgeulusdra. O'r tu arall, pan yn darlunio teimlad y credadyn, yn yr olwg ar raslonrwydd anfeidrol y ddarpariaeth trwy Iesu Grist ar ei gyfer, yn ei euogrwydd a'i aflendid a'i drueni, ac mewn profiad o'i hymgeledd a'i heffeithiau ar ei ysbryd ei hun, yr oedd rhyw bereidd-dra nefolaidd yn ei lais, a fyddai yn gwefreiddio y gynnulleidfa drwyddi. Gall ein darllenwyr

sydd yn cofio ei bregeth ar Gal. ii. 20, a'i sŵn pan, yn tynu yn agos at ei diwedd, yr adroddai y geiriau,—"*Yr hwn a'm carodd, ac a'i dodes ei hun drosof fi,*"—fyned i mewn i ystyr yr hyn y cyfeiriwn ato. Ond y mae hyny yn anmhosibl byth i'r rhai nas clywsant ef ei hunan. O ran dylanwad llais, yr oedd yn sicr, yn ein meddwl ni, yn ddigyffelyb.

Yr un pryd, ni byddai odid ddim ynddo yn peri i ni feddwl mwy o hono fel pregethwr, na'i annibyniaeth ar ei lais, a'r defnydd bychan, mewn cymhariaeth, a wnelid ganddo o hono. Pe buasai ei lais ef gan ambell un, prin y gallesid gobeithio am ddim heblaw llais. Ond nid felly yr oedd efe. Nid oedd yn pwyso dim arno, nac un amser yn ei roddi yn gyfnewid neu yn lle rhywbeth arall. Yn wir, os na byddai y bregeth ei hunan yn gyfryw ag i'w dynu allan, ni châi y gynnulleidfa prin byth ddeall fod unrhyw ragoriaeth neillduol ynddo, yn ddim pellach nag y deuai hyny i'r golwg yn ei ddull cyffredin o draddodi.

*Nid oedd yn derbyn unrhyw fantais, fel pregethwr, oddiwrth ei ystum a'i ysgogiadau yn y pulpud.* Yr ydoedd yn hyny yn nodedig o ddiffygiol. Ac y mae rywfodd yn anesboniadwy i ni, pa fodd yr oedd un, yr hwn yr oedd ei weinidogaeth bob amser o ran ei mater mor hynod o gyfeiriol, yn esgeuluso y gwasanaeth mawr a allasai gael gan y fraich, y llaw, a'r llygaid, er ei gynorthwyo i gyrhaedd meddyliau ei wrandawwyr. Yr oedd hyny yn fwy gresynol gydâ golwg arno ef, pan y cofiwn am ei gorph tàl a lluniaidd, a'i lygaid bywiog a threiddgar ac mor ddynodiadol o'r teimladau a fyddent yn ei fynwes. Pa fodd bynnag, ni byddai efe byth yn gwneuthur un defnydd o honynt. Yn ei flynyddoedd cyntaf, efe a safai yn ei unfan yn hollol am awr a hanner neu ddwy awr; a'i lygaid yn ymddangos fel pe wedi eu sefydlu yn rhywle tua chanol llawr y capel; a'i ddwylaw yn cydio, un yn mhob pen i'r astell dan y Bibl, fel pe buasai yn dal hono rhagiddi fyned i lawr. Yn ystod yr ugain mlynedd diweddaf, byddai ei draed yn ysgwyd cryn lawer, ond yn hollol yn yr un man; a'r llygaid, megis cynt, yn sefydlog yn yr un cyfeiriad, oddieithr y taflai gil un o honynt, yn achlysurol, ychydig y naill ochr; ac, yn awr ac eilwaith, efe a godai ei ddwylaw, ac a ymddangosai fel yn rhoddi rhyw fath o hŵth iddynt, gydâ'u gilydd, yn nghyfeiriad y Bibl a fyddai yn agored o'i flaen. Ond yr oedd y llaw, a'r llygaid hefyd, oddieithr i'r rhai a fyddent yn uniongyrchol gyferbyn âg ef, ac megis odditano, i bob amcan areithyddol yn hollol ddiddefnydd.

*Yr oedd yn arbenig yn rhagori yn y wedd ymarferol a roddid ganddo yn wastadol ar y gwirioneddau dwyfol.* Dichon, wedi y cwbl, mai hyn a roddai y neillduolrwydd mwyaf ar ei weinidogaeth, ac mai yn hyn, can belled ag yr oedd a wnelai efe â hyny, yr oedd prif elfen ei dylanwad a'i llwyddiant. Yr oedd amcan mawr pregethu—cadwedigaeth ei wrandawwyr—yn wastadol ger bron ei feddwl; ac y mae yn ddiddadl fod hyny yn ei arwain i'r wedd ymarferol a roddid ganddo ar bob gwirionedd, fel yr addasai, yn ei fryd ef, tuag at sicrhau yr amcan hwnw. Yn wir, yr oedd efe yn prisio yr hyn a allwn alw yn *werth gweinidogaethol gwirionedd*, yn ol y gwasanaeth y gallai ei droi iddo; a hwyrach, oherwydd hyny, yn tueddu i esgeuluso yn ormodol rai gwirioneddau, a gydnabyddid ganddo yn gyfryw, am nad oedd yn canfod yn hollol y modd i wneuthur defnydd ymarferol o honynt. Yr ydym ni hefyd yn tueddu i feddwl, ei fod yn cyfyngu ei olygiad am yr hyn sydd ymarferol yn ormodol i un cylch neillduol; heb gofio fod y gwirioneddau a ddygont y meddwl i ymdeimlo á'i eiddilwch yn nwylaw yr Anfeidrol, neu i ymostyngiad i drefniadau Penarglwyddiaeth, neu i syndod sanctaidd yn ngwyneb dirgeledigaethau y cynghor a'r goruchwyliaethau dwyfol, mor *ymarferol* yn eu natur, a'r gwirioneddau a ymddangosont yn ffurfio cymhelliad mwy uniongyrchol ar feddwl pechadur, i ymdrechu am iachawdwriaeth ei enaid. Pa fodd bynnag, anfynych, mewn cymhariaeth, y byddai efe yn ymdrin â'r gwirioneddau mawrion am hanfod, a chynghor, a bwriadau y Goruchaf, a gwirioneddau cyffelyb; ac, hyd yn nod pan y deuai at ochr Duw yn nhrefn cadw, yr oedd yn arddangos braidd ormod o ofal am ei chyflwyno yn y fath fodd, ag i beidio rhoddi unrhyw achlysur i'w wrandawwyr i dynu cam-gasgliadau oddiwrthi, fel ag i esgeuluso eu dyledswyddau eu hunain. Yr oedd wedi sylwi fod dynion mor dueddol i wneuthur cam-ddefnydd o rai o athrawiaethau gras, nes yr oedd yn hynod o ochelgar yn y cyhoeddiad o honynt; a phan y byddai yn eu gosod allan, byddai yn gwarchae cymmaint arnynt ar bob llaw rhag hyny, fel y byddai rhai yn cam-gymmeryd ei amcan yn gwbl, ac yn myned yn ammheus o'i iachusrwydd ef ei hunan yn y ffydd. Ond ni pharai dim iddo ef newid ei gyfeiriad. Yr oedd yn gosod pwys mawr ar yr hyn a ddywedir gan Moses:—"Y dirgeledigaethau sydd eiddo yr Arglwydd ein Duw, a'r pethau amlwg a roddwyd i ni, ac i'n plant hyd byth; fel y gwnelom holl eiriau'r gyfraith hon"

(*Deut.* xxix. 29). Yr oedd efe yn addef ac yn credu y dirgeledigaethau; ond mynai i'r bobl gredu mai "eiddo yr Arglwydd ydynt,"—rheol iddo ef ei hunan ac nid rheol i ni.—"A'r pethau amlwg, fy mhobl i, y pethau sydd wedi eu dadguddio, y mae a wnelom ni. Gadewch chwi y dirgeledigaethau iddo ef. Y mae efe yn eu deall. Fe all e' eu trin nhw i gyd. Y mae nhw yn rhy fawrion, yn rhy ddyfnion, i ni allu gwneyd dim o honynt. Yn wir, y mae digon, a mwy na digon, yn y pethau amlwg, i'n meddyliau bychain ni am dragywyddoldeb. Ac heblaw hyny, 'mhobl i, chwi a ellwch fod yn eithaf sicr nad oes yn y dirgeledigaethau i gyd ddim sydd yn groes i'r pethau amlwg; dim sydd yn groes i'r annogaethau, i'r tystiolaethau, ac i'r addewidion dwyfol. Beth bynnag sydd yn arfaeth Duw, yn etholedigaeth gras, yn meichnïaeth y Gwaredwr, ti elli fod yn sicr, enaid anwyl, nad oes yno ddim croes i,—'Gofynwch, a rhoddir i chwi; ceisiwch, a chwi a gewch; curwch, ac fe agorir i chwi;' dim croes i—'Cred yn yr Arglwydd Iesu Grist, a chadwedig a fyddi.' Da chwi, 'mhobl anwyl i, ymeflwch yn eich pethau eich hunain. Eich pethau chwi ydynt. Ni chafodd y cythreuliaid erioed gynnyg arnynt; ond y maent wedi eu rhoddi i ni, ac i'n plant hyd byth." Yr oedd yn bwnc mawr yn ei gredo, ac yn ei bregethau ef, fod yr efengyl nid yn unig yn ddadguddiad o iachawdwriaeth, ond, yn ei gwirioneddau mawrion, ac yn yr ordinhadau cysylltiedig â hi, yn ol trefniad y Goruchaf, yn foddion i ddwyn dynion yn feddiannol ar yr iachawdwriaeth hono. Ac, yn y golygiad yna, yr oedd yn canfod iachawdwriaeth yn nghyraedd pob pechadur, fel y cyfryw, yn ngwlad efengyl; ac na bydd neb yn golledig ond trwy ei hesgeuluso. Eithr yr oedd yn ymdrechu cael y pechadur i wneyd defnydd o'r iachawdwriaeth sydd fel hyn trwy ei moddion yn ei gyrhaedd, nid gan bwyso ar ei allu naturiol ei hunan, i edifarhau a chredu a charu Duw a byw yn dduwiol, ond gan ddibynu ar y cynnorthwyon dwyfol, y rhai sydd i'w dysgwyl yn sicr yn nhrefn, ac yn ol addewid yr Anfeidrol, yn yr ymarferiad â'r moddion a sefydlwyd ganddo. Nid oedd dim yn ei flino yn fwy na chlywed gosod yr iachawdwriaeth allan, yn y fath fodd ag a dueddai i arwain dynion i dybied ei bod yn waith Duw yn annibynol ar, ac yn gwbl allan o gyrhaedd y dyn ei hunan; ac nid llawer mwy goddefol ganddo oedd clywed cymhell pechadur i edifeirwch a ffydd a bywyd duwiol, gan appelio yn unig at ei allu naturiol i hyny. Yr oedd yn addef y gallu

naturiol; ac yr oedd yn ystyried fod rhwymedigaeth a chyfrifoldeb y pechadur yn gorphwys ar ei allu naturiol; ond yr oedd yn credu yn llygredigaeth cyffredinol ein natur; a bod y llygredigaeth hwnw wedi ein dwyn i afael anallu mor wirioneddol, er o nodwedd wahanol ac ynddo ei hunan yn bechadurus, a phe buasai yn anallu naturiol; ac, felly, nid oedd e yn canfod un gobaith o'n blaen, yn gydweddol â'n cyfrifoldeb, ond yn y cynnorthwyon dwyfol,—y dylanwadau sanctaidd, —cysylltiedig â'r moddion a sefydlwyd gan yr Anfeidrol ei hunan, ac yn ein cyrhaedd yr hyn ydym, fel pechaduriaid, i ymarfer â hwynt. Yn ganlynol, yr oedd yn edrych ar ac yn amcanu pregethu pob gwirionedd, nid yn unig fel pwnc i'w gredu, ond, yn ei berthynas â'r holl efengyl, fel moddion iachawdwriaeth. Pan yn pregethu etholedigaeth gras, amcanai gadw sylw y gwrandawwyr yn arbenig ar y gwirioneddau, nad yw bwriadau yr Anfeidrol yn cynnwys dim a all wneyd amgylchiad un pechadur yn waeth na phe na buasai heb fwriadu o gwbl; y rhaid fod bwriadau yr Anfeidrol yn gyson â'i air, ac felly nad ydynt yn cau allan, ond yn sicrhau, cadwedigaeth pob pechadur a edifarhao ac a ddychwelo; ac, yn enwedig, eu bod i'w cyflawni trwy foddion, ac felly yn cyfansoddi cymhelliad newydd i ymarfer â'r moddion hwnw, er sicrhau y daioni annhraethol oedd mewn golwg ynddynt. Yr un modd yr edrychai efe ar yr Iawn. Yr oedd yn golygu ei fod, o du y Mab, yn gyflawniad yr ammod yr oedd tano i'w Dad yn y Cyfammod Tragywyddol, ac felly, yn ol yr ymrwymiad rhwng y Personau Dwyfol a'u gilydd, yn sicrhau iddo, fel gwobr fawr, iachawdwriaeth tyrfa na ddichon neb ei rhifo; ond, tra yn addef ac yn credu hyn, yr oedd hefyd yn edrych arno âg anfeidrol ddigonolrwydd ynddo, yn ei natur ei hunan, ar gyfer holl ddynolryw yn ddiwahaniaeth; ac, yn gymmaint a bod dibenion yr iawn i'w cyrhaedd trwy foddion, hyny yw, na chedwir neb, er yr iawn, yn annibynol ar ffydd, a bod sicrwydd gwerth yr iawn ei hunan, yn nghydâ thystiolaeth bendant y gwirionedd genym, y cedwir pwy bynnag a gredo,—yr oedd yn gweled ac yn teimlo mai y peth mawr i ni ydyw credu ynddo er ein cadwedigaeth ein hunain, ac ymarfer â'r moddion a derfyno yn sicr yn hyny. A'r un modd, drachefn, gydâ golwg ar Waith yr Yspryd Glan, yn aileni ac yn sancteiddio pechaduriaid. Yr oedd yn credu yn ddiysgog yn y gwirionedd hwn, ac yn gosod pwys mawr arno. Ni a gyfeiriasom eisoes (*tu dal.* 258) at bregeth hynod o'i eiddo ar y mater hwn, yn Nghymdeithasfa

Dolgellau, yn y flwyddyn 1840, pryd yr esmwythawyd teimladau Mr. Elias gydâ golwg arno. Ond nis gallai mewn un modd gymmeradwyo dull rhai yn gosod y mater allan, megys trwy ddywedyd,—"Nis gallwn ni wneyd dim hyd nes y caffom ni yr Ysbryd;" neu,—"Ofer i ni feddwl y gwnawn ni ddim hyd oni anfonir yr Ysbryd," &c. Tra yr addefai y gallai fod rhyw gymmaint o wirionedd yn y fath ddywediadau, fel y deallid hwynt gan y rhai a'u defnyddient, yr oeddent, oherwydd hyny, yn ei feddwl ef, yn tueddu i fod yn fwy niweidiol i'r byd yn gyffredin, na phe na buasai cysgod gwirionedd iddynt. Yn lle dywedyd nas gallwn wneyd dim heb yr Ysbryd, mynai efe, yn hytrach, i weinidogion yr efengyl annog eu gwrandaẅwyr i'w geisio; eu cyfarwyddo pa fodd i'w geisio; a'u cymhell i ymroddi i'r ymarferiad â phob moddion gan ddibynu arno a dysgwyl am dano. Yr oedd efe, er credu fod yr Ysbryd Glân yn gweithredu yn benarglwyddiaethol, eto yn credu nad yw yn gweithredu yn fympwyol, ond yn ol trefn a thrwy foddion gosodedig ganddo ef ei hun; fod y moddion hwnw yn nghyraedd y pechadur; ac, ond iddo ymarfer yn gydwybodol ac yn ddyfal âg ef, fod addewid Duw yn sicrhau y fendith iddo. Yr oedd yn hoffi edrych ar ymarferiad âg ordinhadau yr efengyl, nid yn unig fel addoliad i Dduw, neu megis cyflawniad dyledswydd o eiddo dynion tuag ato, ond yn arbenig fel moddion gras, moddion o drefniad Duw ei hunan er cyfnewid a sancteiddio eu calonau.

*Yr oedd, yn y cyffredin, ac agos bob amser, yn codi ei gymhelliad mawr at grefydd o'r byd tragywyddol,—o'r trueni ofnadwy sydd yno yn aros y rhai a'i hesgeulusant, ac o'r gwynfyd digymysg a diddiwedd sydd yno yn nghadw i'w pherchenogion hi.* Yr oedd yn rhoddi cymmaint o bwys ar hyn, ag i beri i lawer dybied ei fod yr hyn a elwir Llesolydd (*Utilitarian*) hollol mewn Moesddysg; hyny yw, ei fod yn gosod hanfod uniondeb teimladau a gweithredoedd i orwedd yn y daioni a gynnyrchir drwyddynt; a bod ein rhwymedigaeth i osgoi yr hyn sydd ddrwg, ac i ddilyn yr hyn sydd dda, yn cyfodi yn unig oddiar eu canlyniadau, gan wadu eu nodwedd foesol, yn annibynol ar hyny. Nid ydym yn ammeu na byddai efe, weithiau, er na chlywsom ni ein hunain mo hono felly erioed, yn defnyddio iaith rhy anochelgar, yn y cyfeiriad yna, ac yn tueddu i adael argraff o'r fath ar feddyliau ei wrandaẅwyr. Eto nid ydym yn petruso dywedyd, mai cam dirfawr âg ef, fyddai ei ddarlunio fel un yn gosod hanfod moesoldeb yn nghanlyniadau gweithredoedd, gan

wadu rhwymedigaeth dynion i sancteiddrwydd oddiar yr ystyriaeth o'r hyn ydyw pechod a sancteiddrwydd ynddynt eu hunain. Ond, yn gymmaint a'i fod yn credu yn mhechadurusrwydd cyffredinol y ddynoliaeth, a'i gwrthwynebiad greddfol a gwreiddiol i sancteiddrwydd, yr oedd yn hollol anobeithiol am lwyddiant pob ymdrech a ellir wneyd gydâ dynion i dderbyn crefydd yn unig trwy gymhell arnynt y rhagoriaeth a'r prydferthwch naturiol a berthyn iddi; neu trwy sefyll ar hawliau tragywyddol ac annghyfnewidiol y Goruchaf yn eu gwasanaeth, a'u rhwymedigaeth i ufudd-dod i'r ewyllys Ddwyfol; neu trwy ddangos y priodoldeb a'r rhesymoldeb o hyny, yn ol tystiolaeth eu cydwybodau eu hunain; neu trwy ymresymu ar yr urddas a'r dyrchafiad a ddygid trwy hyny i'w natur hwy eu hunain; neu, hyd yn nod trwy geisio eu perswadio o'r hyfrydwch uwch, a'r mwyniant purach, sydd yn gysylltiedig â chrefydd yn unig yn y byd hwn. Nid oedd yn credu yn effeithiolrwydd yr un o'r rhai hyn, nac o'r cwbl o honynt gydâ'u gilydd, i ennill meddwl cymmaint ag un pechadur byth i fywyd duwiol. Eithr yr oedd yn golygu fod yr efengyl, trwy ddwyn byd arall i ddylanwadu ar y meddwl, a chysylltu hapusrwydd uchaf tragywyddol y creadur â'i ddyledswydd,—ac felly appelio at ei hunanles,—yn dwyn yn mlaen gymhelliad â chymhwysder uniongyrchol ynddo i beri i *bechadur*, fel y cyfryw, deimlo oddiwrtho, ac o'r fath ag y gellid gobeithio iddo derfynu yn ei edifeirwch. Ond, tra yr oedd fel hyn yn golygu fod crefydd yn gweithio ei ffordd i'r meddwl, ac yn cael ei hattegu yn y meddwl, gan gymhelliadau oddiar y dedwyddwch cysylltiedig â hi, yr oedd hefyd yn ystyried ei bod, o'i dechreu cyntaf yn y meddwl, yn cyfodi ei pherchen uwchlaw iddo ei hunan, at yr Anfeidrol fel ei gwrthddrych mawr; ac, yn raddol, fel y byddo yn ennill ar y meddwl, yn peri i'r dyn ei golli ei hunan braidd yn hollol, mewn ymddyhëad am dano ef a mwynhâd o hono. Mae yn dêg i ni roddi rhai dyfyniadau o'i "*Bregethau*," er prawf nad ydoedd yn Llesolydd mewn Moesddysg; ac y mae yn ymddangos i ni fod y rhai canlynol yn bendant felly:—

"Natur Duw ydyw y rheol fawr wreiddiol sydd yn penderfynu y gwahaniaeth rhwng da a drwg moesol. Pa beth bynnag sydd ynom ni yn annghydweddol â natur Duw, y mae yn ddrwg; a pha agwedd bynnag sydd arnom ni yn gydweddol â natur Duw y mae yn dda. Nid oes neb wedi adnabod drwg pechod, ond y rhai a argyhoeddwyd o

ddrwg mawr ei gyfeiriad atgas yn erbyn Duw. Gallai yr ystyriaeth o niwed pechod a'i ganlyniadau iddo ei hun beri dychryn o'i blegid, a rhyw fath o gasineb ato yn y pechadur; ond argyhoeddiad o'i ddrwg mawr fel y mae yn ddirmyg ar Dduw a effeithia edifeirwch sanctaidd a gwir gasineb ato. Oddiar yr ystyriaeth hon yr oedd y Salmydd yn galaru am ei bechod:—'Yn dy erbyn di, tydi dy hunan, y pechais, ac y gwneuthum y drwg hwn yn dy olwg.' Cariad at Dduw ydyw gwreiddyn edifeirwch sanctaidd am bechod: oddiar fod yr enaid yn caru Duw, y mae yn galaru oherwydd iddo ei ddirmygu yn annghyfiawn. Oni buasai ei fod yn caru Duw, ni buasai y dirmyg a daflodd arno yn ofid iddo—ni buasai yn colli deigryn byth oherwydd ei ymddygiadau annheilwng tuag ato. Y mae cariad yn anrhydeddu ei wrthddrych, ac yn eiddigeddu dros ei anrhydedd a'i iawnderau, yn ol ei radd a'i nerth. Cariad at Dduw a eiddigedda dros ogoniant Duw, ac a ofidia am bob dirmyg a roddir arno o fewn ei wybyddiaeth ef, ac a ymofidia ac a alara oherwydd iddo ef ei hun fod yn euog o ddianrhydeddu yr hwn sydd yn awr yn dwyn ei holl galon ef ar ei ol, a'r hwn y mae ei ogoniant yn brif ddyben i'w holl ymdrechiadau. Y rheswm mawr a ddefnyddir gan y gwir edifeiriol yn erbyn pechod ydyw ei fawr ddrwg yn erbyn Duw! Pan osodir temtasiwn ger ei fron i unrhyw bechod, efe a ymwisga i fynu yn y fan o fewn y rheswm mawr hwn fel ei gyflawn arfogaeth:—'Pa fodd y gwnaf y mawr ddrwg hwn a phechu yn erbyn Duw?' Fe ymddengys na buasai ganddo reswm yn erbyn cydsynio â'r demtasiwn, oni buasai fod hwn ganddo, 'pechu yn erbyn Duw.' Crediniaeth o ddrwg pechod yn erbyn Duw ydyw yr unig arfogaeth gymhwys a galluog i wrthsefyll temtasiynau pechod. Dichon i ystyriaeth o ganlyniadau pechod effeithio dros amser i orchfygu y demtasiwn, ond ystyriaeth egwan ydyw, a sigledig a hunanol; gan hyny, nis gellir dysgwyl iddi barhau yn hir yn y fuddugoliaeth." (PREGETHAU: *tu dal.* 148, 149.)

Mae y dyfyniadau uchod, ni a dybiem, yn brawf digonol o'r hyn a ddywedwyd genym. Ac mewn cydweddiad â hwynt, y mae yn amlwg, os mynem wneyd tegwch âg ef, y dylem ddeall ymadroddion fel y rhai canlynol a'u cyffelyb, a gawn ni yn fynych yn ei bregethau:—"Rhaid i obaith orwedd wrth wraidd bywyd sanctaidd yn ein byd ni, i wrteithio ymdrechion y Cristion. Y mae y credadyn yn cael ei adgenhedlu i obaith bywiol trwy adgyfodiad Iesu Grist oddiwrth y

meirw. Pe gofynech paham yr oedd Paul yn tynu arno ei hun ŵg awdurdodau y byd hwn, ac yn anturio i'r fath beryglon—pa beth oedd yn cymmhell ei feddwl? Y mae yr ateb yn barod o'i enau ef ei hun:—'Am obaith ac adgyfodiad y meirw,' yr oedd efe yn myned trwy yr holl orthrymderau hyn: Act. xxiii. 6. Nid dim a allasai ddysgwyl oddiwrth ei grefydd yn y byd hwn oedd yn ei dynu yn mlaen; nid oedd addewid am ddim gwell iddo yma na'i erlid, a gras i'w gynnal dan erledigaeth: ond edrychai draw at 'obaith ac adgyfodiad y meirw' am wobr ei ymdrechion celyd. Gorfoledda y Cristion mewn gorthrymderau, nid am nad ydyw yn teimlo gorthrymderau fel ereill, ond oddiar 'obaith gogoniant Duw.'" (PREGETHAU: *tu dal.* 801).

*Yr oedd ei weinidogaeth, bob amser, a chyfeiriad uniongyrchol ynddi at gydwybodau a chalonau ei wrandaŵwyr.* Byddai o'r dechreu i'r diwedd yn siarad â'r bobl. Yr oedd nid yn unig yn llefaru yn eu clyw, ond yn llefaru wrthynt, ac yn ymliw â hwynt. Nid oedd ganddo un dychymmyg am adael y cymhwysiad hyd y diwedd. Yr oedd yr holl bregeth, ganddo ef, yn gymhwysiad. Pan yn eglurhau unrhyw fater fe fyddai yn gwneyd hyny yn gwbl gyfeiriadol. Byddai nid yn unig yn dywedyd am y peth ond yn ei ddangos i'w wrandaŵwyr. Ni byddai y bregeth, o'i enau ef, byth yn myned yn draethawd. Pan yn profi unrhyw wirionedd yn bynciol, ac fe fyddai yn gwneyd hyny braidd yn mhob pregeth, yr oedd yn hawdd canfod ei fod yn gwneuthur hyny, nid yn gymmaint er ei gadarnhau megis pwnc mewn cyfundraeth yn neall, ag er ei sefydlu yn ei bwys ymarferol yn nghalonau ei wrandaŵwyr. Ei amcan mawr oedd ennill y bobl i adael eu pechodau, a'u cael at Iesu Grist am fywyd tragywyddol. Er mwyn hyny byddai yn annog; yn cymmhell; yn galw; yn gwahodd; yn bygwth; yn addaw; yn gwasgu eu mater mawr yn ei holl bwys ar eu cydwybodau; yn eu hymlid o'r naill loches i'r llall; dangos geudeb pob esgus a godid ganddynt; a'u gadael, yn eu teimladau eu hunain, yn gwbl ddiymwared byth, oddieithr iddynt dderbyn trefn Duw yn yr efengyl, trwy Iesu Grist. Byddai, yn enwedig, yn gosod ar ei wrandaŵwyr yr angenrheidrwydd a'r pwysfawrawgrwydd o ymroddi i fywyd crefyddol, heb oedi dim, a'r perygl ofnadwy o golli yr adeg oedd yn eu meddiant i hyny. Byddai yn eu cymhell i hyny â phob math o ystyriaethau: oddiwrth eu natur eu hunain; natur pechod; natur crefydd; natur goruchwyliaeth yr Ysbryd; byrder

amser; ansicrwydd einioes;—pob peth y tybiai y byddai unrhyw gymhwysder ynddo er dylanwadu ar eu meddyliau i benderfynu, heb oedi dim, myned ar ol yr Arglwydd.

*Yr oedd yn hynod yn yr erfyniadau a'r byr-weddïau, a ollyngid allan ganddo, megis rhwng cromfachau, ar ei ran ei hunan a'i wrandawwyr, gydâ golwg ar y pethau neillduol a fyddent ganddo dan sylw.* Nid ydym ni yn gwybod i ni glywed neb erioed yr un fath âg ef yn hyn. Byddai lawer gwaith yn ystod y bregeth yn troi megis oddiwrth y bobl at Dduw, ac yna, yn ol drachefn at y bobl. Nid digon ganddo ef oedd gweddïo yn ddistaw, rhyngddo ef ei hunan a'r Arglwydd, am lwyddiant. Ac yn lle dywedyd—"Yr Arglwydd grasol a dosturio wrthym," neu ryw ddull cyffelyb, fel yr arferir gan y nifer mwyaf o bregethwyr, yr oedd ganddo ef yn erfyniad uniongyrchol:—"O Arglwydd tosturia wrthym; ac agor ein llygaid i weled gwagedd a diddymdra pob peth yn rhan i'r ysbryd anfarwol yma sydd o'n mewn, ond tydi yr Anfeidrol dy hunan!" Os rhyw fendith fyddai pwnc y bregeth, byddai anadliadau i'r nefoedd am dani, ar ei ran ef a'r bobl, yn dyfod dros ei wefusau megis bob yn ail a'i chanmawl. Os rhyw ddyledswydd fyddai yn cael ei chymhell ganddo, esgynai gweddi tua'r nefoedd, laweroedd o weithiau yn ystod y bregeth, ar i'r bobl gael eu hennill i'w chyflawni. Ac felly gydâ golwg ar bob mater arall. Yn ymwybodol o onestrwydd ei amcan, a chan ymdeimlo yn ddwys â phwys y gwirioneddau a draddodid ganddo, ac yn llwyr argyhoeddedig y byddai pob egni o'i eiddo ef yn hollol annigonol heb fendith ddwyfol, yr oedd yn teimlo ymwared gwirioneddol i'w feddwl mewn cael troi, ar ganol yr ymdrech, at yr hwn a allai beri y llwyddiant, a gadael yr achos yn ei ddwylaw ef. Ac nid oedd neb yn dychymygu mai rhyw ffurf ddiystyr oedd hyny ganddo ef. I'r gwrthwyneb, fe deimlid braidd yn ddieithriad, fod yr erfyniau dwys a thaer a gwresog, a ddiferent felly dros ei wefusau, yn mhlith y pethau mwyaf effeithiol yn ei bregethau.

*Yr oedd yn ymroddi, ar hyd ei oes, i'w wella a'i berffeithio ei hunan fel pregethwr.* Fel y gwelsom, yr oedd ei holl fryd, er pan oedd yn blentyn bychan, ar bregethu, a hyny, y pryd hwnw, oedd ei hyfrydwch penaf. Ac ar ol iddo dyfu i fynu ac ymuno â chrefydd, ac i'r peth ddyfod yn fwy difrifol at ei feddwl, y mae yn amlwg iddo ei wneuthur yn amcan mawr ei fywyd. Ac er na chafodd ond ychydig iawn o fanteision uniongyrchol oddiwrth ereill, er ei gynnorthwyo yn y gwaith, eto efe

a ymroddodd gydâg egni a dyfalwch i lafur personol dirfawr er ei berffeithio ei hunan ynddo; ac fe wnaeth felly gynnydd annghyffredin. Arferai sylwi llawer iawn ar bregethwyr ereill, yn neillduol ar y rhai mwyaf galluog a phoblogaidd; gan graffu ar gynlluniau eu pregethau, nodwedd eu hymdriniaeth â'u hamrywiol faterion, y dull y rheoleiddient eu lleisiau,—pob peth ynddynt a effeithiai yn arbenig er ennill sylw a dylanwadu ar deimladau eu gwrandawwyr. Ac yr oedd nid yn unig wedi sylwi ar y rhai a wrandawsai ei hunan, ond wedi holi ac ymofyn a meddwl llawer am yr hen bregethwyr, nad oedd efe ei hunan yn cofio dim am danynt; ac yr oedd wedi casglu yn nghŷd bob peth oedd adnabyddus i'r rhai yr ymofynasai efe â hwynt, yn nghylch y dulliau a arferid ganddynt, yn gystal a phob sylw o'r eiddynt y gallai efe gael gafael arno. Yr oedd, yn enwedig, wedi casglu llawer iawn o adgofion am ROBERT ROBERTS o Glynnog. Ac yr oedd felly, weithiau, yn gallu olrhain ambell nodwedd yn null rhai pregethwyr oeddent hynach nag ef, i ryw neillduolrwydd yn null rhai o'r hen bregethwyr oeddent gynnefin iddynt hwy, ond nad oedd efe wedi eu clywed erioed. Yr ydym yn cofio un enghraifft nodedig o'i graffder yn hyny, mewn cysylltiad â Mr. Elias. "Yr ydwy' i yn tybied," meddai rywbryd wrthym, "fod Mr. Elias wedi cael rhywbeth o'r glec afaelgar yna sydd ganddo yn ei lais, oddiwrth yr hen bregethwr, John Jones, Bodynolwyn." "Ai e?" meddem ninau; "Ydych chwi ddim yn meddwl ei bod hi yn hollol naturiol iddo?" "O ydyw," meddai yntau, "yn berffaith naturiol; ond yr ydwy' i yn meddwl, yr un pryd, mai John Jones oedd pïa hi yn wreiddiol; neu, hwyrach y dylwn i ddyweyd, rhywbeth a'i hawgrymodd hi i Elias. Mi glywais i, beth bynnag, fod ganddo ef ryw floedd fel yna; a synwn i ddim na ddarfu i Mr. Elias ddeall y medrai efe wneyd mwy o honi nag a wnaethai John Jones erioed, ac felly iddo ei chymmeryd hi iddo ei hun." Yn mhen ychydig wythnosau ar ol yr ymddyddan yna, yr oedd Cyfarfod Misol yn Nghaernarfon, a Mr. Elias ynddo. Yn un o gynnadleddau y Cyfarfod hwnw, yr oeddid yn ymddyddan â rhyw flaenoriaid i'w derbyn i'w swydd. Yr oedd Mr. Elias yn cymmeryd rhan arbenig yn yr ymddyddan hwnw. Ac, yn mhlith pethau ereill, fe'u cymhellai i feithrin cariad at yr Arglwydd Iesu Grist, a chariad at yr holl saint, yn eu perthynas âg ef ac megis eiddo iddo, fel un o'r cymhwysderau penaf angenrheidiol tuag at eu codi i ofalu am yr

achos, ac i borthi praidd Crist. "Ni bydd," meddai, "y mwyaf ei wybodaeth a'r helaethaf ei ddoniau, os yn amddifad o'r cariad hwn, ond cwbl ddiwerth i fugeilio eglwys Dduw. Ond lle byddo y cariad yma, fe gynnyrcha hwnw ymdrech yn y blaenor i chwilio yr Ysgrythyrau, i ddarllen llyfrau da, i gadw ei fyfyrdodau ar bethau sanctaidd, ac i gymdeithasu llawer â Duw yn y dirgel, er mwyn cael defnyddiau magwraeth ac ymgeledd ysbrydol i'r rhai y mae eu gofal arno yn yr Arglwydd. Fel y clywais i yr hen bregethwr, John Jones, Bodynolwyn, yn dywedyd unwaith wrth siarad ar y mater hwn,—yn y floedd hynod oedd ganddo, weithiau, na chlywais i mo honi gan neb arall erioed :—'Cariad' [ac yn y fan yma, yr oedd Mr. Elias, wrth adrodd ei sylw, ac amcanu, dybygid, dynwared ei waedd ef, yn amlwg yn dwyn allan, ond gydâg ychydig fwy o ysgrech, ei waedd ei hunan]: 'y mae y fam yn caru ei phlentyn sugno mor angerddol, nes y mae y gwaed sydd yn rhedeg trwy ei gwythienau yn cael ei droi ganddo yn llaeth yn ei bronau, er maeth a chynhaliaeth iddo.' Dichon," meddai Mr. Elias, "nad ydyw y peth yn wirionedd hollol mewn ystyr naturiol; ond y mae yn wirionedd pwysig yn yr ystyr yr oedd yr hen bregethwr yn ei gymhwyso." Ar ddiwedd y Cyfarfod, meddai Mr. John Jones wrthym :—"Wel, a ydych chwi yn credu yrŵan, y peth oeddwn i yn ddyweyd wrthych, am y lle y cafodd Elias y floedd yna? Yr oeddwn i wedi meddwl o'r blaen; ond yr ydwy' i yn hollol sicr yrŵan mai John Jones, Bodynolwyn, oedd pïa hi."

Ond arno ef ei hunan y byddai efe yn sylwi yn fanylaf, gan gymmeryd pob gofal a thrafferth, ag a allai, er diwygio a gwellhau yr hyn a ganfyddai ynddo ei hunan yn ddiffygiol. Ni a'i clywsom ef fwy nag unwaith yn dywedyd, mai ei arfer ef bob amser, wrth ddychwelyd adref, ddydd Llun, o'i gyhoeddiad y Sabbath, oedd adolygu ei bregethau y dydd o'r blaen, er mantais iddo ei hunan i'w gwella rhagllaw. Er mwyn hyny byddai yn ymofyn,—A oedd addasrwydd neillduol yn eu materion i amgylchiadau y bobl? A oedd eu cynllun yr un goreu? A oedd y prif osodiadau a'r holl ymdriniaeth yn ddigon eglur? A oedd yr ymresymiad yn hollol dêg ac heb ddim gwendid ynddo? A oedd trefniad y profion yn naturiol, a'r cyfaddasaf i weithio argyhoeddiad yn meddyliau y bobl? A oedd rhyw anmherffeithrwydd neu gloffni yn y cymhariaethau? A oedd cyfartaledd prïodol yn mesur yr ymdriniaeth â'r gwahanol ranau, heb aros gormod ar un peth, a rhy

fychan ar beth arall? A oedd wedi defnyddio y geiriau goreu? A fuasai rhyw rai ereill yn fwy prïodol mewn rhyw gysylltiad neillduol, yn gryfach eu hystyr, neu yn fwy cyfaddas, oblegyd eu sŵn, i beri i'r gwirionedd fyned yn ddyfnach i ddirnadaeth, a gadael argraffiadau dwysach ar deimladau y gwrandawwyr? Ac, yn enwedig, pa ddiffygion a allent fod yn y traddodiad? A oedd wedi peidio a chodi y llais yn rhy uchel? A oedd wedi peidio a'i godi yn rhy fuan? A oedd wedi ei gydweddu, yn mhob rhan o'i bregeth, âg ystyr yr hyn a draddodid ganddo? a phob cwestiwn o'r fath y gallai feddwl am dano. Ac yna byddai yn gofalu, y cyfleusdra cyntaf a gaffai i draddodi y bregeth drachefn, am ddiwygio pob gwall ac i gyflenwi pob diffyg a nodasid ganddo yn ei adolygiad. Ac y mae yn ddiammheu fod y sylw manwl, a delid ganddo fel hyn arno ei hunan, ar hyd ei oes, wedi ei gadw rhag gorphwys yn dawel ar un cynnydd a allasai fod wedi ei wneuthur, ac i ymdrechu, hyd y diwedd, am ragori bob tro arno ei hunan.

*Yr oedd wrth fodd ei galon yn y gwaith mawr, ac yn ymddangos yn cael hyfrydwch annhraethol ynddo.* Y mae yn ddiammeu ei fod yn teimlo y rhwymedigaeth uchaf arno i'r weinidogaeth a ymddiriedasid iddo, ac y gallasai ddywedyd yn hollol fel yr Apostol Paul,—"Angenrhaid a osodwyd arnaf; a gwae fydd i mi, oni phregethaf yr efengyl;" yr un pryd, yr ydym yn tybied mai nid angenrheidrwydd dyledswydd oedd y cymhelliad cryfaf a deimlid ganddo ef, ond angenrheidrwydd hyfrydwch; ac na buasai bywyd ond hollol annïoddefol iddo, pe na chawsai bregethu. Yr ydym yn cofio yn dda mai un o'r pethau cyntaf a ddywedodd wrthym, ar ein hymweliad âg ef yn ei gystudd diweddaf, at yr hwn y cyfeiriasom eisoes (*tu dal.* 740, 741), oedd, —"Y mae hi yn braf arnoch chwi, yn cael myn'd o gwmpas y wlad i bregethu Iesu Grist; y mae arnaf finnau hiraeth annghyffredin am bregethu; mi a ddymunwn yn fawr gael byw eto i hyny. Yr ydwy' i yn y gwely yma yn edrych dros rai o fy hen bregethau, ac yn cael rhyw gymmaint o hyfrydwch, ond hyfrydwch pruddaidd wrth hyny; gan yr ofn sydd arnaf, yn aml, na chaf fi ddim treio eto byth." Nid ydym yn tybied i ni weled neb erioed ag y byddem yn teimlo fod pregethu y fath fwyniant iddo. Yr oedd, y mae yn ddiammheuol, fel pob areithiwr, yn mwynhau hyfrydwch naturiol siarad â'i gyd-ddynion, a dwyn allan ger eu bron y golygiadau a goleddai, cymhell arnynt yr amcanion pwysicaf

yn ei olwg, a chanmawl iddynt yr hyn a garai yn oruchaf; ac yr oedd gweled, fel y byddai efe mor fynych yn gweled, yr effeithiau a gynnyrchid trwy hyny ar ei wrandaẅwyr, yn rhwym o ychwanegu at y mwynhâd hwnw. Ond, heblaw hyny, y mae yn ddiammeu y byddai efe yn y pulpud, yn cael ei godi yn fynych ei hunan i olwg ar ryfeddodau trefn Duw, ac i brofiad enaid o'i bendithion hi, ac felly i fwynhad o hyfrydwch annhraethol uwch na dim a allasai gael ei gynnyrchu gan unrhyw achosion naturiol. Fe ddygai dystiolaeth gyhoeddus, weithiau, o'r pulpud, i'r pleser a gai wrth bregethu. "Nid oes dim gwaith ar wyneb y ddaear yma i'w gymharu o ran hyfrydwch â phregethu Iesu Grist yn Geidwad i bechaduriaid, a'i ail godi ger bron credinwyr er eu dwyn i gredu o'r newydd ynddo, ac i ymdebygu yn fwy-fwy iddo. Yr oedd yr hen John Brown o Haddington yn dywedyd y buasai efe yn foddlawn, pe buasai raid, cardota ei fara, o ddrws i ddrws, ar hyd yr wythnos, er mwyn cael pregethu Iesu Grist i bechaduriaid ar y Sabbath. Yn wirionedd i, mi fuaswn innau yn foddlawn i'r un peth. Yr ydwy' i yn aml yn cael y fath bleser ynddo, fel na wn i yn y byd pa fodd y bydda' i yn ddedwydd yn y nefoedd heb bregethu. O ran hyny nid rhaid i mi. Yr ydwy' i yn credu y bydd yno lawer iawn o bregethu. O! ni a gawn Gymmanfaoedd heb rifedi yno, na chawsom ni na neb arall ar y ddaear yma rai tebyg iddyn' nhw erioed. Bydd Enoch y seithfed o Adda, y pregethwr cyntaf y clywsom ni am dano, yno; Esaiah, pregethwr mwyaf yr hen Destament; Paul, yr ymadroddwr penaf yn mhlith yr Apostolion; yr hen Awstin, y mwyaf o'r tadau; Martin Luther, y diwygiwr mawr; George Whitefield; Daniel Rowland; John Elias; a lluoedd ereill gydâ hwy;—byddant i gyd yno, ac mewn hwyliau annhraethol uwch nag y buont erioed yn y byd yma, yn traethu am ryfeddodau darpariaeth gras, ac yn canmol rhinweddau yr Aberth mawr. Ac yn wirionedd i, yr ydwy' innau yn gobeithio y caf fi ei threio hi weithiau. Bendigedig fyddo ei enw, beth bynnag, am i mi gael ymddiried i mi am y gorchwyl yn y byd hwn, ac am yr hyfrydwch calon ydwy' i yn gael ynddo."—Yr ydym yn cael ein temtio yma i ddodi i mewn ychydig linellau o'r llythyr a dderbyniasom oddiwrth ein brawd ieuengaf, y Parch. Josiah Thomas, pan y clywodd am ei farwolaeth:—"Wel! Wel! Dyma yr hen bregethwr digymhar wedi ei gymmeryd ymaith! Y mae yn chwithig meddwl fod y byd heb John Jones,

Talysarn, ac na chawn ei weled na'i glywed byth mwy ar y ddaear hon! Ond yr wyf yn gobeithio cael ei glywed ef yn y nefoedd. Oblegyd, os yw y nefoedd yn debyg i'r hyn y byddai efe yn fynych yn hoffi ei darlunio,—â llawer iawn o bregethu ynddi,—ni a allwn fod yn eithaf sicr y bydd efe yn cael ei gyhoeddi yno yn bur aml."

*Fe fu ei bregethu yn effeithiol i gynnyrchu cyfnewidiad mawr yn nhôn y weinidogaeth yn ein gwlad, yn neillduol yn y Cyfundeb y perthynai efe ei hunan iddo.* Yr ydym yn cofio fod y diweddar Barch. Morris Hughes o'r Felinheli, wedi gosod arbenigrwydd neillduol ar hyn, yn y Gymdeithasfa gyntaf yn Nghaernarfon wedi marwolaeth Mr. John Jones, yn yr ymddyddan yno am dano. Fel y crybwyllasom eisoes (*tu dal.* 540, 541), y mae yn ddiammheuol fod dyfodiad y Wesleyaid i Gymru, a'r ymosodiadau a wneid ganddynt ar yr athrawiaeth Galvinaidd, wedi peri i lawer o'r hen bregethwyr fyned i eithafion o'r tu arall, ac i sefyll yn ormodol, a rhai o honynt braidd yn hollol, ar neillduolrwydd eu Cyfundraeth eu hunain, fel pe buasai hanfod yr efengyl yn gynnwysedig yn y neillduolrwydd hwnw. Arfaeth Duw ac Etholedigaeth, Prynedigaeth Neillduol, y Cyfammod Gweithredoedd a'r Pechod Gwreiddiol, Anallu dyn, Effeithiolrwydd Gwaith yr Ysbryd, a phynciau cyffelyb, oeddent y rhai y rhoddent yn wastadol arbenigrwydd arnynt; y rhai hefyd a drinid ganddynt, braidd bob amser, yn eu cysylltiad â Duw, heb sefyll, mewn cymhariaeth, ond ychydig arnynt yn eu perthynas â chyfrifoldeb ac â dyledswydd dyn. Nid am eu bod yn gwadu y berthynas hono, nac heb gydnabod ei phwysigrwydd, ac nid na byddai rhai o honynt yn ei phregethu yn eglur ac yn rymus, ond oblegyd eu bod yn ystyried fod amgylchiadau eu hamseroedd yn galw arnynt i gadw golwg neillduol ar yr ochr arall, ac i amddiffyn y gwirioneddau ag y golygent hwy fod Arminiaeth yn amcanu eu dadymchwelyd. Y mae yn sicr fod rhai o honynt wedi myned felly i bregethu braidd yn wastadol mewn gwedd ddadleugar, ac i gyflwyno eu golygiadau yn y fath fodd, ag a dueddai i arwain eu gwrandawwyr i dybied, fod yr iachawdwriaeth mor hollol yn waith Duw, ag i gau allan bob ymdrech o eiddo dyn; ac i beri iddynt edrych ar eu hamgylchiad fel pechaduriaid, a'u colledigaeth yn y diwedd, os colledig fyddent, yn hytrach yn fwy fel anffawd iddynt nag fel bai arnynt. Ni a allem enwi, pe byddai yn angenrheidiol, y rhai a ystyrid yn myned i'r fath eithafion; a'r rhai a barent, hyd yn nod pan oedd y dadleuon

yn erbyn Arminiaeth yn fwyaf poethlyd, gryn raddau o flinder i'w brodyr. Nid oeddent ond ychydig o ran nifer, ac nid oedd yr un o'r prif bregethwyr yn eu plith. Ni a glywsom rai ag y gallwn roddi yr ymddiried llwyraf yn eu barn, yn tystio fod corph mawr gweinidogion a phregethwyr y Methodistiaid, hyd yn nod pan oedd rhai yn myned i'r eithafion y cyfeiriasom atynt, yn cyflwyno yr efengyl yn ddiammwys ger bron eu gwrandawŵyr, fel dadguddiad o ddarpariaeth ddigonol ac addas ar eu cyfer yn eu holl drueni, ac yn eu cymmhell gydâ'r difrifwch a'r taerineb mwyaf i'w derbyn a'i defnyddio. Eithr prin, hwyrach, y gellir dywedyd, fod yr un o honynt yn gosod arbenigrwydd neillduol yn ei weinidogaeth, ar y cysylltiad sydd rhwng ymarferiad â moddion gras a mwynhad o'r dylanwadau dwyfol, angenrheidiol tuag at ddwyn pechaduriaid i wneuthur derbyniad a defnydd o'r ddarpariaeth a gyhoeddid ganddynt. Cymhellent eu gwrandawŵyr i gredu; dangosent yn oleu ac yn rymus eu rhwymedigaeth i hyny; dadleuent yn y modd mwyaf pendant nad oedd ganddynt un esgus dros eu hannghrediniaeth; a phregethent yn ddifloesgni y demnid hwynt byth os parhaent yn annghrediniol. Ond, o'r tu arall, pregethent eu hanallu i gredu; mai rhodd Duw ydyw ffydd; ac na ddaw yr un pechadur byth i gredu, heb i Ysbryd Duw ei hunan ei weithio i hyny. Ac yn y fan yma y teimlid, gan lawer, fod rhyw ddiffyg yn eu hathrawiaeth. Nid oeddent yn amcanu dangos, o leiaf yn ddigon pendant, a oedd rhywbeth i'w wneuthur gan y pechadur ei hunan, a chan bechadur fel y cyfryw, tuag at etifeddu y ffydd hono; neu, mewn geiriau ereill, tuag at sicrhau y dylanwadau grasol, angenrheidiol er ei chynnyrchu. Y mae yn wir fod yr hen Fethodistiaid yn dysgu yn arbenig fod Ysbryd Duw yn gweithio trwy foddion,—trwy y gair; ond nid ydym yn sicr a oeddent oll yn myned i mewn i ystyr eu hathrawiaeth eu hunain ar y pwnc. Edrychid, y mae yn sicr, gan lawer o honynt, ar y moddion yn hytrach yn ei gysylltiad â Duw, er ei wneuthur yn effeithiol, nag yn ei gysylltiad â dyn, i ymarfer âg ef; ac, nag, yn enwedig, ar y cysylltiad, yn ordeiniad yr Anfeidrol, rhwng yr ymarferiad a'r fendith. Nid oedd digon o arbenigrwydd yn cael ei roddi ar yr ymarferiad *gan y dyn*, yn sicrhau yr effeithiolrwydd *oddiwrth Dduw*. Edrychid yn ormodol ar y moddion, fel pe buasai, os gallwn eirio felly, yn foddion i Dduw. Y drychfeddwl cyffredin, yn wir, oedd,—y gair yn llaw yr Ysbryd: y gair megis gordd, ond rhaid cael yr Hollalluog i'w

chodi; y gair megis cleddyf, ond rhaid cael braich yr Anfeidrol ei hunan i'w drin. Yn ganlynol, nid oedd yr annogaethau i ymarfer â'r moddion ond cyffredin: megis "dyfod," fel y dywedid, "at lan llyn y moddion i ddysgwyl am gynhyrfiad y dwfr;" ac nid fel peth yr oedd bywyd tragywyddol eu gwrandawwyr yn dibynu arno, ac yn sicr iddynt ond ymroddi iddo. Eithr wedi i'r syniad am gysylltiad y dylanwadau dwyfol â'r ymarferfad â'r moddion, feddiannu meddwl Mr. John Jones, yr oedd yn llawen o hono "fel un wedi cael ysglyfaeth lawer." Ymddangosai iddo ef megis allwedd, â'r hwn y gallai agor braidd bob dirgelwch. Yr oedd yn teimlo fod ganddo ynddo fantais i nesau at ei wrandawwyr fel yr oeddent, yn eu holl wendid pechadurus, gydâ gwirionedd oedd yn berffaith gyfaddas i'w hamgylchiad. Yn ganlynol, fe ddaeth hyn i arbenigrwydd neillduol yn ei weinidogaeth. Edrychai arno ynddo ei hunan; eglurai ef yn fanwl yn ei berthynas â gwirioneddau ereill; dangosai, yn enwedig, y graslonrwydd dwyfol ynddo; gwasgai ei bwysfawrawgrwydd at gydwybodau a chalonau ei wrandawwyr; a hyn oll, gydâ y fath deimlad a nerth ac effeithiolrwydd, ag na byddai yn bosibl eu gwrthsefyll. Yr oedd yn cymhwyso y syniad, yn enwedig, pan yn ymwneyd â phechaduriaid yn eu tuedd i ymesgusodi, oblegyd eu hanallu, am eu bywyd digrefydd. Tra yn dadleu â hwynt, yn y modd mwyaf pendant, nad oedd eu hanallu yn cyfodi oddiar ddiffyg dim ynddynt ag oedd yn hanfodol i'w cyfrifoldeb, ac felly eu bod heb un esgus drosto, fe ddangosai iddynt fel yr oedd trefn yr efengyl, megis darpariaeth gras, yn nesau atynt, ac yn cyfarfod â hwynt, yn eu pechadurusrwydd; ac ni adawai lonydd iddynt, ond dilynai ar eu hôl, ac ymlidiai hwynt o bob lloches, nes eu gadael yn y diwedd, yn eu cydwybodau eu hunain, heb unrhyw esgus dros eu hymddygiad ond drygioni eu calonau. Nid oes un ammheuaeth, fel y nodasom eisoes (*tu dal.* 598), na byddai ei bregethau, yn y cyfeiriad hwn, yn fynych iawn yn llawer rhy unochrog, ac yn arwain lliaws i dybied ac i haeru ei fod yn gwadu rhai gwirioneddau pwysig, a gyfrifid ganddynt hwy yn hanfodol i athrawiaeth iachus. Y mae yn rhaid cydnabod hefyd y byddai, weithiau, megis o wir ddireidi, yn ymosod ar olygiadau neu ragfarnau y rhai, yma a thraw ar hyd y wlad, a'u gosodent eu hunain i fynu fel gwylwyr y pulpud; ac y byddai yn gwneyd hyny mewn dull a ymddangosai yn hytrach wedi ei fwriadu i wneyd gwawd o honynt hwy yn

meddyliau y bobl, nag i'w hennill hwynt drosodd i'w olygiadau ef. Dichon, pe gallasai ymgadw rhag hyny, y buasai mewn ambell fan yn fwy llwyddiannus: y mae, pa fodd bynnag, yn sicr y buasai llawer yn llai drwg-dybus o hono, ac ysywaeth! y buasai y gydnabyddiaeth a delid iddo, mewn ambell fan, yn llawer helaethach. Eithr ni thyciai dim i'w dynu ef oddiar y llwybr a dorasid ganddo iddo ei hunan: a thrwy barhau i ymroddi i alw a chymhell ac annog a gwahodd; i ymliw a bygwth ac addaw; i ymbil a deisyf ac erfyn; cyfeirio ei hunan yn uniongyrchol at ei wrandawwyr; dal gafael ynddynt trwy yr holl bregeth, ac yn mhob pregeth; gwneuthur yn amcan iddo ei hunan, a mynu, can belled ag yr oedd hyny ar ei law ef, cael buddugoliaeth hollol arnynt yn yr efengyl;—trwy barhau felly, fe gafodd fyw nid yn unig i weled y gwrthwynebiad a wneid unwaith iddo ei hunan wedi diflanu agos yn hollol, ond hefyd i weled yr hen bregethu pynciol, dadleugar, wedi darfod yn gwbl; a'i frodyr yn gyffredin, pob un yn ol ei ddawn ei hunan, yn pregethu gydâg amcan mor gyfeiriadol ag yntau; a'r hyn oedd, ar ryw ystyr, yn fwy dymunol i'w deimladau ef na'r cwbl, eu gweinidogaeth, fel y cyfryw, yn derbyn cymmeradwyaeth cyffredinol gan y wlad.

Cyfeiriasom, ychydig linellau yn ôl, at y gydnabyddiaeth a delid iddo am ei lafur. Nid oeddem, pan yn ysgrifenu cynnwysiad y rhan yma o'r bennod, yn bwriadu crybwyll dim am hyny, yn wir yr oeddem wedi bwriadu peidio; gan y gwyddem yn dda mai nid un meddwl am yr hyn a dderbyniai am ei wasanaeth a'i cymhellasai ef ar y cyntaf at y gwaith, ac mai nid un meddwl am hyny oedd yn ei wneuthur mor ymroddedig iddo. Ond wedi ail ystyriaeth, ni a farnasom nas gallem wneuthur tegwch hollol â'i goffadwriaeth ef trwy ei adael yn gwbl ddisylw. Mae yn ddrwg genym nas gallwn wneyd y tegwch hwnw âg ef, heb ddadguddio, naill ai anffyddlondeb ai diofalwch dirfawr ar ran yr eglwysi a'r cynnulleidfäoedd a wasanaethid ganddo. Mewn gwirionedd, yr oedd yn cael ei dalu yn gywilyddus! Y mae ei "*Ddyddiaduron*," am y pum' mlynedd diweddaf o'i oes, yn awr ger ein bron; ac ynddynt y mae wedi cofnodi yr amrywiol leoedd yn y rhai y pregethai; y testynau neillduol y pregethai arnynt; ac, am y pedair blynedd diweddaf o'i oes, yr oedd yn cofnodi hefyd,—y swm a delid iddo yn mhob lle am ei wasanaeth; ac, am rai o'r blynyddoedd, y cyfanswm a dalesid iddo yn ystod y flwyddyn. Ac, yn sicr, y mae

y cofion wedi ein synu ni. Cymmerer, er esiampl, y flwyddyn 1854. Troed y darllenydd yn ol i'r *tu dalenau* 709—711, ac fe gaiff ryw awgrym am ei lafur y flwyddyn hono. Eithr nid ydyw ond awgrym. Fe bregethodd, yn ystod y flwyddyn, 324 o weithiau; yn cynnwys ymweliad â *Liverpool, Runcorn, Manchester, Crewe;* teithiau trwy ranau o Siroedd Môn, Dinbych, Fflint, a Meirionydd; heblaw rhoddi ei bresenoldeb a'i wasanaeth mewn cyfarfodydd eglwysig yn ei gartref ei hunan, ac yn y capeli cyfagos; a'r cyfan a dderbyniodd am ei holl wasanaeth, trwy y flwyddyn, ydoedd *cant â deuddeg o bunnoedd;* o'r hyn y rhaid tynu allan yr holl gostau teithio yr oedd yn myned tanynt mewn cysylltiad â'i amrywiol gyhoeddiadau. Gall y darllenydd ddyfalu pa faint a allai fod ganddo ar ol hyny yn weddill,—yn wir dâl am ei lafur,—er ei gynnorthwyo i gynnal ei deulu. Cymmerer eto y flwyddyn 1856,—y flwyddyn ddiweddaf y bu efe byw,—ac un o'r rhai mwyaf llafurus yn ei holl oes. Gall y darllenydd a edrycho yn ol, ar yr hyn a ysgrifenwyd genym (*tu dal.* 724—738), gael rhyw olwg, ond golwg dra anmherffaith, ar ei lafur y flwyddyn hono. Pregethodd, yn ystod y flwyddyn, 360 o weithiau; yn cynnwys ymweliad â *Liverpool* ac â Llundain; teithiau trwy ranau o Siroedd Môn a Meirionydd a Dinbych, ac yn fanwl trwy Sir Drefaldwyn; heblaw, fel y nodasom am y flwyddyn 1854, ei wasanaeth yn ei gartref ei hunan, a'r capeli cyfagos, gydâ'r cyfarfodydd eglwysig, &c.;—a'r cwbl a dderbyniodd am ei holl lafur am y flwyddyn ydoedd,—*cant a naw a deugain o bunnoedd a naw swllt;* o'r hyn y rhaid tynu allan eto yr holl gostau teithio yr oedd yn myned tanynt! Dyma y swm mwyaf a dalwyd iddo erioed! Dyma y cwbl a roddid iddo pan wedi cyrhaedd ei addfedrwydd uchaf, a phan y cydnabyddid ef, heb gymmaint ag un eithriad, y pregethwr mwyaf poblogaidd yn Nghymru i gyd! Ond yr oedd y tâl y pryd hyny yn llawer iawn mwy nag y buasai unwaith. Yr ydym ni yn gwybod ei fod yn cael yn 1856, mewn rhai manau, y pum' cymmaint a'r hyn a roddid iddo, yn yr un lleoedd, bum' mlynedd ar hugain cyn hyny! Gwell genym beidio gwneyd y sylwadau sydd yn ymgynnyg i'n meddwl gydâ golwg ar yr achos hwn. Ond yr ydym yn gobeithio y bydd cymmaint a hyn o gyfeiriad ato, yn rhyw gymhorth i'n brodyr ieuainc yn y weinidogaeth, i ymdawelu yn ngwyneb yr hyn nas gallant hwy lai na'i olygu yn fesur mawr o galedi arnynt,—yn y tâl bychan a roddir iddynt yn fynych am eu llafur;—gan

gofio, ddarfod cyflawni yr un blinderau, mewn llïaws o rai rhagorol o'u blaen hwynt. Ac ni a obeithiwn hefyd, na cheir na blaenor nac aelod yn un lle, mor ddigydwybod ac annghristionogol, a chymmeryd mantais ar anffyddlondeb rhyw rai gynt, i gyfyngu ar y rhai a'u gwasanaethant hwy yn awr yn yr efengyl o ran eu hamgylchiadau, ac i ddannod iddynt, fod pregethwyr annhraethol well na hwynt wedi bod yn llafurio yn llawer caletach, ac yn llawer mwy effeithiol, ac am lawer llai o dâl. Er holl ymröad Mr. John Jones i'r efengyl, yr ydym ni yn gwybod nad oedd odid ddim yn ei flino ef yn fwy, na'r diofalwch a'r esgeulusdra a ddangosid gan yr eglwysi gydâ golwg ar gynnaliaeth y weinidogaeth.

Yn ychwanegol at, ac er cyflawni i ryw fesur y diffygion yn y darluniad hwn a geisiasom roddi o'i "*Nodweddau Neillduol fel Pregethwr,*" y mae yn dda iawn genym allu cyflwyno ger bron ein darllenwyr enghraifft o un o'i bregethau, wedi ei chymeryd air am air o'i enau, fel y traddodwyd hi ganddo ef. Ysgrifenwyd hi gan John Griffith, Ysw., *Egremont*, Birkenhead, i'r hwn yr ydym yn dra diolchgar am dani. Traddodwyd y bregeth ar nos Lun y Sulgwyn, Mai 28, 1849, yn hen gapel *Bedford Street*, *Liverpool.* Yr oedd y Parch. Emrys Evans, y pryd hyny o Abergele, wedi pregethu o'i flaen. Yr oedd y capel yn orlawn hyd y drysau, ac yn mhob congl; a'r pregethwr yn un o'i hwyliau goreu; a'r gynnulleidfa fawr wedi ei meddiannu ganddo yn hollol, o'r dechreu i'r diwedd. Fe ddywedir fod yr olygfa yn y capel, yn un o'r rhai rhyfeddaf a welwyd nemawr o weithiau erioed. Yr oedd sylw pawb wedi ei sefydlu ar y pregethwr o'r pryd yr agorodd ei enau; ac, fel yr elai rhagddo, yr oedd y bobl, megis yn anymwybodol iddynt eu hunain, yn cyfodi y naill ar ol y llall ar eu traed, fel y tybir nad oedd yno, am yr haner awr olaf, odid neb yn y capel yn eistedd. A rhwng bywiogrwydd a nerth ei ddarluniadau, ystwythder a phereidd-dra ei lais, hylithrwydd llifeiriol ei ddawn, ac yn enwedig yr eneinniad sanctaidd oedd, mewn modd nodedig y noswaith hono ar ysbryd y pregethwr ei hunan, yr oedd yr effeithiau ar deimladau y dyrfa yn annysgrifiadwy. At yr oedfa hon, fel y crybwyllasom eisoes (*tu dal.* 683), y cyfeirir gan lïaws o'i hen wrandawwyr yn *Liverpool*, fel yr hynotaf, yn ol eu meddwl hwy, a gafodd erioed yn y dref hono. Yn hytrach na thalfyru dim ar y bregeth, yr ydym yn ei rhoddi yn ei llawn hyd ger bron ein darllenwyr, yn gwbl sicr y byddant yn llawen iawn o'i chael, ac, fel ein hunain, yn ddiolchgar iawn am dani.

## PREGETH AR PSALM XCIII.

1. Yr ARGLWYDD sydd yn teyrnasu, efe a wisgodd ardderchawgrwydd; gwisgodd yr ARGLWYDD nerth, ac ymwregysodd: y byd hefyd a sicrhawyd, fel na syflo.

2. Darparwyd dy orseddfaingc erioed: ti wyt er tragywyddoldeb.

3. Y llifeiriant, O ARGLWYDD, a ddyrchafasant, y llifeiriant a ddyrchafasant eu twrf; y llifeiriant a ddyrchafasant eu tonnau.

4. Yr ARGLWYDD yn yr uchelder sydd gadarnach na thwrf dyfroedd lawer, nâ chedyrn donnau y môr.

5. Sicr iawn yw dy dystiolaethau: sancteiddrwydd a weddai i'th dŷ, O Arglwydd, byth.

Y MAE llywodraeth yr Arglwydd ar y greadigaeth yn un o byneiau sylfaenol crefydd. Fel nas gellir credu dim am drefn iachawdwriaeth heb gredu fod Duw, felly hefyd yr un modd y gellir dywedyd am lywodraeth Duw. Pe y golygem fod Duw yn anfeidrol mewn gallu, mewn gwybodaeth, mewn doethineb, a'i fod yn hollbresennol,—pe y gallem dybied hyny heb ei fod yn llywodraethu,—ni byddai dim a wnelem ni âg ef, na dim a wnelai yntau â ninnau: ni fyddai genym achos i ddiolch iddo, na sail i ymddiried ynddo na dysgwyl wrtho, nac i edrych arnom ein hunain yn ddibynol arno; mewn gair, gallem ystyried ein hunain yn ddirwymedigaeth iddo.

Fel hyn y mae yn rhaid i ni edrych ar bob peth—mewn rhyw gyssylltiad â llywodraeth Duw. Nid ydyw Arfaeth Duw ond cyfringynghor ei lywodraeth ef. Chwi a wyddoch fod llywodraethau yddaear yma yn arfer cadw rhyw bethau yn y dirgel—yn y cyfrin-gynghor, er fod llawer o bethau yn dyfod i'r golwg: felly, fy mhobl i, y mae Duw fel llywodraethwr mawr; y mae ganddo yntau ei gynlluniau dirgel, wedi eu tynu yn ei feddwl ei hun, wrth bai rai y mae yn bwriadu dwyn yn mlaen holl waith ei lywodraeth. Y mae rhyw bethau wedi eu hamlygu i ni—y rhanau hyny o'r cynllun ag yr ydym ni i'w gweithio allan; y pethau hyny sydd yn dwyn perthynas â'n dyledswydd ni.

Felly yr un modd yr ydym, dybygid, i edrych ar gyfryngdod ac iawn Crist—yn eu cyssylltiad â llywodraeth Duw. Gall y naill gymmydog faddeu i'r llall ei drosedd, os bydd yn meddu ar ddigon o drugaredd i hyny, heb iawn. Byddai iawn, mewn amgylchiad fel yna, yn myned yn erbyn maddeuant. Ond i'r gofynwr *faddeu* i'r dyledwr, nid rhaid i'r dyledwr wrth feichiau. Os daw y dyledwr a meichiau yn mlaen,

ni bydd arno eisieu maddeuant gan ei ofynwr. Y mae taliad yn gwneyd maddeuant yn afreidiol, ac y mae maddeuant yn gwneuthur taliad yn afreidiol. Ond, os meddyliwch chwi am y barnwr yn y llys gwladol yn condemnio yr euog i farw—y mae yn bosibl fod y barnwr yn meddu digon o dosturi tuag at yr euog, fel y dewisai, pe byddai bosibl, ei ollwng ef yn rhydd. Gwelwyd llawer barnwr yn cyhoeddi dedfryd yr euog, a'r dagrau yn treiglo i lawr ei ruddiau—yn teimlo mor ddwys nes yr oedd bron yn methu siarad. 'Paham ynte, na fuasai efe yn ei ryddhau ef?' Wel, nid oedd hyny ddim ar ei law ef. Dyn y gyfraith ydyw y barnwr; sefyll dros anrhydedd y gyfraith ydyw ei waith ef; ac nis gall wneyd dim ond cyhoeddi dedfryd y gyfraith: pe y gollyngai efe yr euog yn rhydd, fe syrthiai y gyfraith i ddianrhydedd. Mewn amgylchiad fel yna, y mae yn angenrheidiol, chwi a welwch, tuag at faddeu i'r euog, cael rhyw ddarpariaeth i foddloni y gyfraith, ac i ddiogelu ei hanrhydedd hi. Achos fel yna, fy mhobl i, ydyw yr achos rhyngom ni â Duw. Llywodraethwr mawr ydyw Duw, a ninnau yn wrthryfelwyr wedi mathru ei gyfraith; y mae yntau yn rhwym o sefyll dros anrhydedd ei gyfraith: ac mewn amgylchiad fel hwn, nid oes dim posibl gollwng y troseddwr yn rhydd heb iawn—heb ryw ddarpariaeth i ddïogelu anrhydedd y gyfraith: a thuag at hyny, y mae yn rhaid cael iawn digonol. Y mae maddeuant ac iawn yn cydgyfarfod yn nhrefn rhyddhad pechadur: y mae y ddau yma:—"Yr hwn a osododd Duw yn iawn, trwy ffydd yn ei waed ef, i ddangos ei gyfiawnder ef, trwy faddeuant y pechodau a wnaethid o'r blaen, trwy ddïoddefgarwch Duw." Beth bynag arall a allasai fod yn gofyn am iawn, yr oedd trefn llywodraeth Duw yn galw am hyny, neu ynte gospi yr euog.

Heblaw hyny, dyna ydyw yr awdurdod sydd wedi ei rhoddi i'r Arglwydd Iesu fel Cyfryngwr, sef, fod llywodraeth yr holl greadigaeth i gyd wedi cael ei hymddiried i'w law ef, i'w defnyddio i fod yn wasanaethgar i ddwyn yn mlaen ei amcanion mawr ef fel Ceidwad pechaduriaid. Y mae pob peth, yn ein byd ni o leiaf, os nad yn y bydoedd eraill yna hefyd, wedi ei roddi o dan awdurdod y Cyfryngwr, i fod yn wasanaethgar i ddwyn yn mlaen ddybenion mawrion angeu'r groes ar y ddaear. Bydd pob ffrwd wedi ei throi i redeg o blaid yr amcan hwn yn y man. Nid ydyw ein byd ni ond newydd ddechreu deall dybenion mawrion angeu'r groes: nid ydyw eto

ond megys ar gychwyn ; ond fe fydd pob peth yn gyssegredig i'r dybenion mawrion hyn cyn bo hir. Brysied y dyddiau !

Dyma, dybygwn i, ydyw drwg y greadigaeth yma i gyd—gwrthryfela yn erbyn llywodraeth Duw. Dyma ddrwg dynion a chythreuliaid hefyd. Ni wn i ddim beth am gasineb at Dduw fel *Bod*—ai felly y mae yr elyninaeth ddrwg yma sydd yn y pechadur yn gweithredu ai peidio—ond beth bynag am hyny, y mae am ei wrthod ef yn *Llywodraethwr*, ac am ymwrthod â'i gyfraith yn rheol i fyw wrthi. Dyna iaith gwrthryfel y byd i gyd,—"Drylliwn ei rwymau ef, a thaflwn ei reffynau oddiwrthym:" 'Ymaith â'i lywodraeth ef; ni a fynwn fod yn arglwyddi arnom ein hunain, i ddewis ein ffyrdd ein hunain, i wneuthur ein blysiau ein hunain, cymmeryd ein hewyllys ein hunain yn rheol bywyd, ac nid ewyllys Duw.'

Am a wn i nad dyna y mae trefn iachawdwriaeth yn ei wneyd—dyfod a dyn i lenwi ei le yn llywodraeth foesol y Duw mawr:—ei wneyd yn gymhwys i lenwi y swydd sydd wedi ei hymddiried iddo. Dim ond i ti ufuddhau i Dduw, trwy ddefnyddio y Ceidwad, byddi ar dir ag y medri wneyd dy hunan yn esmwyth fel deiliad o lywodraeth y Duw mawr yn dragywydd; dŵg hyny di i'w garu a'i wasanaethu; byddi yn esmwyth byth; ni ddaw dim i'th flino, ond bydd pob peth yn gweini i'th hapusrwydd,—yn y Duwdod ei hun, ac yn yr holl greadigaeth hefyd, i dragywyddoldeb.

Ond y mae yn debyg i'r Salm hon gael ei chyfansoddi yn amser rhyfel—felly y barna rhai—fel rheswm dros ymddiried yn yr Arglwydd yn ngwyneb rhyw beryglon mawrion. Fe allai mai yn amser gwrthryfel Absalom y cyfansoddwyd hi, pan oedd y "llifeiriant yn dyrchafu eu twrf," ac yn "dyrchafu eu tonau" yn ddychrynllyd. Y mae rhai yn tybied mai yn rheswm dros ymddiried yn yr Arglwydd yn ngwyneb peryglon felly y bwriadodd y Salmydd y Salm hon. 'Beth sydd genyt i'w ddyweyd yn ngwyneb yr holl beryglon yna, Dafydd, pan y mae pob peth yn dy fygwth ? A oes yna rywbeth y gelli di roi dy bwys arno ?' 'O, oes, mi a ymddiriedaf yn yr Arglwydd ?' 'Pa reswm sydd genyt dros ymddiried yn yr Arglwydd ?' 'Y mae pob peth at ei alwad ef: nid oes na brâd na dichell na thwyll nad oes ganddo ef oruwchlywodraeth arno: dim nad ydyw efe yn ei ganfod trwyddo ac hyd ei wraidd: beth bynag sydd yn bygwth, ni ddigwydd i mi ddim niwed, ond mi a fyddaf yn gwbl ddiogel; dim ond iddo ef ddangos ei fod yn anfoddlawn i'r

dinystr fyned yn mlaen, ac fe fydd yn ddigon i'w droi yn ol ar unwaith. "Yr Arglwydd sydd yn teyrnasu." Diolch i Dduw am gael byw mewn creadigaeth ag y mae ei lywodraeth ef ei hunan drosti. Yn wir, y mae hyn yn rhywbeth! Y mae hwn yn wirionedd, dybygid, ag y dylem oll dynu mwynhâd o hono, mai "Yr Arglwydd sydd yn teyrnasu."

Ond y mae yn angenrheidiol i ni geisio sylwi ychydig yn fanylach ar y geiriau hyn. Y mae yn dibynu llawer iawn ar y cymhorth a estynir i ni heno i ddyweyd tipyn wrthych, gyfeillion, yn deilwng o'r pwnc sydd genym, ac yn deilwng o'ch achos chwithau: dymunwn gan hyny arnoch anfon eich ocheneidiau i'r nef am y cymhorth sydd yn angenrheidiol. Ond y mae yn beth o werth mawr iawn, gyfeillion, mi dybiwn i, i ni gael un addas i eistedd ar orseddfainc yr holl greadigaeth. Yn wir, y mae hyn yn beth o gryn werth. Y mae hon yn swydd o'r fath bwys, yn sefyllfa o'r fath ymddiried, yn sefyllfa ag iddi ddylanwad mor fawr, fel mai oddi wrthi y mae pob dedwyddwch yn deilliaw ag sydd yn holl greadigaeth Duw. Y mae o bwys anfeidrol gan hyny i ni gael un addas i eistedd ar orseddfainc y greadigaeth; ac y mae yn foddlonrwydd i bob creadur sydd yn medru prisio dedwyddwch mai "Yr Arglwydd sydd yn teyrnasu." Y mae hwnw yn greadur salw, yn wir, sydd heb gael boddlonrwydd yn hyn. Y mae defnydd boddlonrwydd yn hyn yn mha le bynag y byddwn yn cael ein hunain. Ni wn i ddim, yn wir, pa bethau y deuais i drwyddynt, a llai na hyny y gwn i am y pethau sydd o fy mlaen; ond mi fyddaf yn medru ymddiried fy mywyd i ofal yr Hwn sydd yn llywodraethu y byd. "Yr Arglwydd sydd yn teyrnasu;" a diolch i Dduw am gael gwybod hyny. Pe y gollyngai y Duwdod awenau y greadigaeth allan o'i law, nis gallem ddysgwyl diogelwch am darawiad amrant. "Yr Arglwydd sydd yn teyrnasu." Y mae rhai, yr wyf yn deall, yn y dyddiau yma, yn ceisio ei wthio ef i fford oddiar yr orseddfainc—y mae hyny, o drugaredd, uwchlaw eu gallu—ond, pe medrent lwyddo, nid wyf yn credu y tueddai hyny ddim er ein mantais na'n dedwyddwch ni. Y mae yma aml un i'w gael yn *Liverpool* yma, yr wyf yn deall, yn gwaeddi yn gröew ar yr heolydd yna, "Ymaith âg ef; ymaith âg ef." Ond cyn i chwi benderfynu pwnc fel yna, gadewch i ni gael *just settlo* un mater yn gyntaf, oblegyd y mae hwn yn bwnc sydd yn perthyn i ni oll, chwi a wyddoch—*Pwy a gawn ni i lywodraethu yn ei le ef?* Rhaid i ni gael rhyw un. Nid oes dim

tebyg y gwasanaetha y greadigaeth yma i ni, oddieithr ei bod hi dan lywodraeth fanwl rhyw un sydd yn deall ein hachos ni yn bur dda—dim yn hwy nag y bydd dan arolygiaeth pur gywir. Pwy a gawn ni, gan hyny, yn ei le ef?

Os ydych yn troi allan i chwilio am dano, cofiwch fod yn rhaid i chwi gael un *hollwybodol*—un galluog i sylwi ar bob creadur, a hyny ar yr un pryd. Chwi a wyddoch nad oes yr un felly i'w gael ar y ddaear hon. Yr ydwyf yn meddwl na chewch chwi mo hono ychwaith yn mhlith yr angylion. Beth bynag ydyw gwybodaeth cerub, yr amser y sylwa efe ar un creadur, bydd yn rhaid iddo ef annghofio creadur arall. Os oes rhai o'r brodyr bendigedig hyny yn fy ngwrando yma heno, gobeithio na chymerant hyn yn un sarhâd: ond gydâ phob parch iddynt, pa faint bynag a wyddant hwy, nis gallant sylwi ond ar un creadur ar unwaith. Ond y mae yn rhaid i ni gael un i eistedd ar orseddfainc yr holl greadigaeth yma, a all gymmeryd sylw o achos pob creadur ar yr un pryd—un a all sylwi ar ein holl achosion ni i gyd—un hollbresenol yn yr holl greadigaeth faith i gyd, a'r cwbl yr un munudyn. Ni fedraf fi ddim cael y cymhwysder yma yn neb ond yn yr Hollwybodol ei hunan. Yn wir, fy mhobl i, os ydych am fod yn ddiogel, rhaid i chwi ei adael ar yr orsedd etto: rhaid i chwi waeddi 'Byw fyddo'r brenhin!' Gobeithio y byddwn ni oll yn addfed cyn y diwedd i floeddio,—'Yr Arglwydd a deyrnaso yn dragywydd.' Yr wyf yn meddwl yn wir, ein bod ni eisoes yn fwy addfed i'w adael ef ar yr orsedd. O Arglwydd, bydd Frenhin yn dragywydd! Mi a wn, yn o lew, beth a fu fy helynt drwy fy oes o dan dy lywodraeth di; ond wn i yn y byd, pa beth a fydd, os daw yna ryw un arall yn dy le. Yr Arglwydd a deyrnaso byth!

Heblaw hyny, rhaid i ni, fy mechgyn i, gael rhyw un *hollalluog*, onide nid oes dim tebyg y gwasanaethir ni gan yr holl elfenau sydd yma i'w rheoli. Pwy a gawn ni i arwain y bydoedd mawrion yna drwy eu cylchdröadau yn yr eangder? Pwy a gawn ni i wneyd "ffordd i fellt y taranau?" Rhaid i ni gael un abl i hyny, onide fe allai mai dy daro a wneiff y fellten yn swp o ludw wrth basio. Pwy a gawn ni i ddal y gwynt yn ei ddwrn, ac i'w ddwyn allan o'i drysorau? Y mae digon o gryfder yn yr elfen yna i'n curo yn ddrylliau yn erbyn y creigiau, oni chaiff fod dan lywodraeth fanol rhyw un hollalluog. Pwy a gawn ni i ddal y môr ar gledr ei law? O Arglwydd,

ni feddyliais i erioed dy fod mor gymwynasgar i mi. Bendigedig fyddo dy enw byth! Bydd Frenhin arnaf yn dragywydd, nid yn unig oddiallan ond oddifewn i mi hefyd. Rhaid i ni hefyd gael rhyw un abl "i beri i'r gwellt dyfu ar y mynyddoedd i'r anifeiliaid, a llysiau i wasanaeth dyn, ac i ddwyn bara allan o'r ddaear:" y mae yn rhaid cael braich hollalluog at hynyna o waith, onide ni ddaw blewyn trwy y ddaear byth! Pwy a gawn ni i lywodraethu rhanau tumewnol ein cyrff, i gadw y galon a'r ysgyfaint, a phob offeryn distadl yn y peiriant "rhyfedd ac ofnadwy" hwn, wrth eu gwaith yn ddidòr, pa un bynag ai cysgu ai effro y byddwn ni? Rhaid i ni gael rhyw un anfeidrol mewn doethineb a gallu i wneyd hyn. Teyrnased yr Arglwydd byth! O Dduw bydd Frenhin arnaf yn dragywydd! Bydd Frenhin ar ein calonau! Yn wir, gyfeillion, yr ydwyf fi yn teimlo fy hun yn foddlawn i'w adael i fod yn Frenhin arnaf fi; gobeithio eich bod chwithau oll yn dyfod felly. Bendigedig fyddo ei enw! O Dduw dyro i ni gael y fath adnabyddiaeth o'th ddaioni fel nas gallwn wasanaethu neb arall. Tuag at fod yn Frenhin, rhaid i ni gael y Duwdod ei hunan ar yr orseddfainc, onide nid oes dim tebyg y diogelir ein dedwyddwch am fynyd awr.

Pwy a gawn ni yn meddu digon o *amynedd* a *thosturi* hefyd? Y chwilen fach, nad yw yn werth genyt ti fyned haner modfedd allan o'th ffordd i arbed ei bywyd,—y mae yn werth gan Dduw ofalu am fywyd hono. Rhaid fod ei dosturi, fel ei allu, yn anfeidrol, pan y mae yn gofalu mor dyner am drigolion y llwch. O Arglwydd bydd Frenhin yn dragywydd. Yr Arglwydd, a deyrnaso byth! Yn enwedig, nid oes neb yn meddu digon o amynedd i drin achos hen droseddwyr fel nyni ond efe. Treiwch ddychymygu am un o'r bodau nefol yn y gogoniant yna yn llywodraethu achosion y ddaear. Pe byddai ganddo lygaid i weled holl ddrygau dynolryw, fel y gwel y Duwdod hwynt, ni ddysgwyliwn i ddim nad fy namnio mewn moment â gawn i, dim ond iddo gael gafael ar fraich Duw: na: fe fyddai yn rhaid iddo gael benthyg amynedd Duw hefyd, onide fe ddamniai'r byd mewn amrantiad, os ca'i fenthyg ei allu. Y mae yn well i ni ei adael ar yr orsedd yn wir. Bydd Frenhin, O Arglwydd yn dragywydd, ar yr holl greadigaeth yma i gyd, ac ar ein hysbrydoedd ninau hefyd.

Fe wyddoch chwi o'r goreu na fedraf fi ddim gwneyd cyfiawnder â phwnc fel hwn: gweddïwch am i ni gael yr Arweinydd mawr i'n dysgu

pa fodd i drin pethau fel hyn. Nid wyf fi yn ddigon o "ddifeinydd" i egluro i chwi y gweithrediadau hyny o eiddo Duw trwy ba rai y mae efe yn llywodraethu y greadigaeth yma: rhaid cael "difeinydd" at waith felly. Ond y mae y Duw mawr yn cynnal y greadigaeth mewn bod, chwi a wyddoch. Nid oes yr un o'r brenhinoedd eraill yma yn gallu gwneyd hyny â'u teyrnasoedd ond efe: rhaid iddynt hwy adael iddynt syrthio i ddiddymdra pan y gwêl efe yn dda. Ond am y Brenhin mawr, y mae efe yn cynnal ei deyrnas mewn bod—y mae efe yn cynnal y bydoedd yna i gyd "trwy air ei nerth." Y mae yn cynnal ei ddeddfau hefyd mewn grym. Y mae pob peth yn cael ei lywodraethu gan ryw ddeddfau: deddf i'r gwlaw, deddf i'r môr, deddf i'r gwynt, ac i'r elfenau eraill yna. Y mae wedi ordeinio deddfau anianol hefyd—wedi sefydlu blysiau neu reddfau yn y creaduriaid direswm, i'w cyfaddasu i lenwi eu lle yn y greadigaeth: y mae wedi gosod deddfau fel yna i lywodraethu y byd. Y mae y dysgedigion yna yn medru cael enwau arnynt; ond y maent yn dyweyd i mi na fedrant fyned fawr iawn pellach: gwyddant fwy na mi, mae'n wir: ond rhyngoch chwi a minnau, ychydig iawn a wyddant hwy, wedi'r cwbl. Y mae Duw yn llywodraethu trwy oruwch-lywodraethu deddfau natur i ddwyn yn mlaen ei ddybenion ei hunan mewn modd nas gwyddom ni. Pe baech yn meddwl am y llygriad neu y malldod sydd wedi syrthio ar ran o'n cynnaliaeth yn ddiweddar, yn y deyrnas hon, a thrwy wledydd Europe,—y mae rhai yn ceisio dyfeisio rhyw resymau neu achosion naturiol i ryw beth felly; hwyrach fod rhyw beth yn hyny; ond mi fentraf ddyweyd—er cymmaint a wyddant hwy, ambell un o honynt, yn fwy na nyni, pe gallent gael gafael ar yr achos naturiol,—ni wnelai hyny ddim i fy mhwnc i, oblegyd y mae llywodraeth Duw dros hwnw, pa beth bynag ydyw. Y mae sylw fel hyn yn bur ddiogel; ac yn wir y mae yn gysur meddwl, mai "Yr Arglwydd sydd yn teyrnasu." Fe gyffyrddodd ei fys â rhyw ddolen o'r gadwen oedd allan o gyrhaedd ein golygon ni, a'r effaith a ddaeth i'n golwg ni oedd llygriad ar ran o'n cynnaliaeth. Yn hytrach nag ymdroi gydâg ail-achosion, y mae yn llawer mwy diogel dyweyd wrthych ar unwaith, mai rhywbeth oddiwrth lywodraeth y Duw mawr ydyw: y mae ganddo ef rywbeth i'w siarad â chwi. Bydded i ninnau oll wrandaw a deall ei lais ef, ac ufuddhau iddo. Yr oedd yr hen seryddwr mawr hwnw yn Sir Fon, a fyddai yn gwneyd *Almanacs* er's talm—y mae

rhai yn gwybod llawer iawn am bethau felly yn y byd yma—yr oedd efe yn dyweyd y gallasai ragfynegu y tywydd am flynyddoedd lawer, oni b'ai am "drugaredd a barn." Ni wn i ddim; hwyrach y gallasai efe; ond y mae "trugaredd a barn" *yn bod*, fy mhobl i. Y mae y Brenhin mawr yn dwyn yn mlaen bethau fel yna trwy foddion nas gŵyr dynion ddim am danynt; ac nid oes genym ni ddim i'w wneyd, gyfeillion, ond cydnabod mai—"Yr Arglwydd sydd yn teyrnasu."

Y mae hefyd yn goruwch-lywodraethu gweithrediadau dynolryw i ddwyn yn mlaen ei ddybenion ei hun: yn goruwch-lywodraethu gweithrediadau dynion, yn dda ac yn ddrwg. Ond ni ddow'n ni byth i ben ag olrhain yr holl bethau hyn. Y mae ei lywodraeth, mewn gair, ar bob peth; yn ymestyn dros holl ysgogiadau a chynllwynion ellyllon a chythreuliaid uffern; dros holl weithrediadau a chynlluniau seneddau brenhinoedd a llywodraethwyr y ddaear; y mae ei lywodraeth dros bob peth ar wyneb y ddaear, a thros bob peth drwy yr holl greadigaeth fawr i gyd; ac yn mysg eraill, y mae ei lywodraeth fanwl drosot tithau hefyd. Yr wyt yn ei ddwrn,—yr wyt yn ei law; ynddo ef yr wyt ti "yn byw, yn symud ac yn bod," ac efe sydd yn rhoddi i ti "fywyd, ac anadl, a phob peth oll;" y mae dy ddedwyddwch di, bob mynydyn, yn dibynu yn gwbl ar ei ewyllys da ef. Y mae ganddo, heblaw hyny, lywodraeth foesol dros ei greaduriaid rhesymol: hon ydyw yr uchaf—y mae hon yn ddyben i'r llall: y mae y llywodraeth sydd ganddo dros y byd naturiol i fod yn wasanaethgar i hon; pethau gweledig,—y maent at wasanaeth pethau anweledig; pethau amser,— y maent i fod yn wasanaethgar i bethau tragywyddoldeb. Dyna ddyben amser, ydyw rhoddi cychwyniad i'r pethau hyny ag y mae Duw wedi bwriadu iddynt fod yn enw iddo ei hunan i dragywyddoldeb. Ond nid awn i dreulio amser heno ar hynyna ychwaith.

Llywodraeth eang iawn ydyw llywodraeth Duw. Y maent yn dyweyd fod llywodraeth brenhines Prydain mor eang a llywodraeth neb ar y ddaear,—nad ydyw yr haul byth yn machlud ar ei theyrnas hi: cyn iddo gilio o'n hynys fach ni, y mae yn cymeryd gafael ar Newfoundland, New Brunswick, a'r ddwy Ganada, a Honduras; yna ar New Zealand ac Australia; ac wedi hyny ar yr India; a chyn iddo golli ei afael ar y lleoedd hyny ag y mae gan y frenhines Victoria diriogaethau ynddynt, y mae yn gafaelu drachefn ar Brydain. Ond beth ydyw llywodraeth y mwyaf o frenhinoedd y ddaear yma mewn

cymhariaeth i lywodraeth Duw? Y mae y ddaear yma wedi ei rhanu rhwng llawer o honynt hwy; y mae pob un yn cael rhan o honi, ac nid oes neb o honynt byth yn cael digon, er eu bod, a dyweyd y gwir am danynt, yn methu haner llywodraethu hyny sydd ganddynt. Ond am lywodraeth Duw, nid ydyw y ddaear yma ond un o filiynau o'r bydoedd sydd yn gwneyd i fyny ei deyrnas ef: nid ydyw ond rhan fechan iawn o'i ymherodraeth ef. Y mae yna fydoedd lawer, chwi a wyddoch, heblaw ein daear ni. Hyhi ydyw un o'r rhai lleiaf hefyd: y mae yna fydoedd mwy o lawer yn nosbarth yr haul na'n daear ni. Y maent yn dyweyd i mi fod yna fydoedd gryn dri-chant-ar-ddeg o weithiau yn fwy na'n daear ni, yn yr un pentref a ni—yn nosbarth yr haul. Ac nid ydyw ein haul ni, drachefn, ond un o ugeiniau o filiynau o heuliau, mae'n debyg, sydd yn britho yr eangder mawr yna, a dosbarth o blanedau neu fydoedd, fel ein daear ni, yn perthyn i bob un o honynt. Nid ydyw ein haul ni a'i ddosbarth ond un pentref bychan yn ymerodraeth y Duw mawr; ac nid ydyw y ddaear yma ond y bwthyn bach braidd iselaf yn y pentref. Peth rhyfedd i'r Tragywyddol Fab ddyfod i'r fath fwthyn gwael a hwn. Iesu mawr! paham na fuasit yn ymweled â *Jupiter*, neu Sadwrn, neu rai o'r bydoedd fry yna, sydd yn fwy o lawer na'r hen ddaearen yma? Ond 'waeth heb siarad, yma y rhedodd ei gariad ef; yr oedd erioed yn "llawenychu yn nghyfanneddle" ein daear ni, ac yr oedd ei "hyfrydwch gyda meibion dynion." Nid ydyw y seryddwyr yna, er cymaint a wyddant, yn gallu dyweyd pa le y mae terfynau y greadigaeth: po cryfaf y maent yn gallu gwneyd eu *telescopes*, mwyaf oll y maent yn allu weled trwyddynt. Y mae un seryddwr mawr yn dyweyd, pe byddai yn bosibl i ni allu cael golwg ar yr holl greadigaeth, a phe byddai i'n haul ni a'i holl gyfundrefn syrthio i ddiddymdra, nad ymddangosai y golled yn fwy na cholli un tywodyn ar làn y môr. O Dduw mawr, beth ydyw maint dy gyfoeth? Y fath bleser sydd genyt mewn creu, ac mewn creadur! Mor anféidrol ydyw braint creadur o fod yn blentyn i ti! A ydyw yn bosibl codi abwydyn fel myfi i fod yn fab i ti? Yn wir, fy mhobl, nid oes dim yn y byd yma yn werthfawr ond hyn. Anwyl eneidiau, pa fodd nad edrychwn ni ar beth fel hyn yn fawr?—bod yn blentyn i Dduw ac yn etifedd iddo. O Arglwydd mawr, yn dy drugaredd, dwg ni i werthfawrogi y fath ragorfraint annhraethol.

Ond nid yn unig y mae ganddo lywodraeth eang, ond y mae ganddo

lywodraeth fanwl hefyd. Nid ydyw y frenhines Victoria ddim yn gallu llywodraethu yn fanwl: nid yn unig nid ydyw hi ddim yn gallu llywodraethu yr elfenau,—y gwynt a'r gwlaw, ac yn y blaen—ond nid oes ganddi fawr iawn o lywodraeth ar ei deiliaid uniongyrchol,—ychydig iawn a dyweyd y gwir, pe baech chwi yn gweled y cwbl. Ond y mae Duw, fy mhobl i, yn llywodraethu yn fanwl—yn llywodraethu yn berffaith fanwl dros ei deyrnas fawr i gyd. Fel megys ag y mae ei heangder yn anfeidrol, yn gwbl allan o gyraedd ein deall, felly hefyd y mae ei manylrwydd, yn llawn cymmaint, y tu hwnt i gyraedd ein dirnadaeth. Os gallwn weled trwy y *telescope* y bydoedd afrifed yna sydd yn cylchdroi yn yr eangder, ni a welwn drwy y chwyddwydr greadigaeth ag ynddi fodau filiynau mewn swm cneuen: y mae mewn dyferyn o ddwfr filoedd o greaduriaid yn byw, yn ysgogi, yn gweithredu, yn bwyta ac yn yfed a phob peth; "ac nid oes greadur" o'r rhai yna "yn anamlwg yn ei olwg ef;" y mae llygaid y Duw mawr yn canfod pob un o honynt; nid oes fodd i un o honynt fyw heb ei ofal ef. O Dduw mawr, beth ydyw dy feddwl di! Y mae yr holl greadigaeth yma yn nofio yn dy sylw, a phob creadur yn byw, yn symmud, ac yn bod ynot ti. Wrth feddwl am eangder difesur dy lywodraeth, a bod dy wybodaeth mor ddiderfyn fel nad oes dim yn hanfodi mewn un rhan o'th ymherodraeth heb fod dy sylw manwl arno, nis gallwn lai na gofyn, os nad ydyw Un fel Tydi i'w addoli, pwy sydd deilwng? O Arglwydd, dyro barch yn ein calon i'th fawrhydi anfeidrol. Nid oes gymmaint âg aderyn y tô yn syrthio i'r ddaear, heb ei sylw ef; ac nid oes dim un o'r cenawon llewod yn "rhuo am ysglyfaeth," nad ydyw efe yn "rhoddi iddynt eu bwyd yn ei bryd." Ac ychwaneg, fy mechgyn i, nid oes yr un o honoch chwithau sydd yn fy ngwrando yn y cyfarfod yma heno, wedi cael ei fara beunyddiol heddyw, nag un diwrnod erioed o'r blaen, heb i Dduw yn mlaen llaw feddwl am eich angen. Ei lywodraeth fanwl ef ydyw bywyd y greadigaeth i gyd. O! anwyl bobl, onid oes genym achos i addoli, cyn dychwelyd adref o'r cyfarfod yma? Yr Arglwydd a deyrnaso byth!

Heblaw hyny, Llywodraethwr da ydyw yr Arglwydd. Aeth yn ddrwg, chwi a wyddoch, rhwng y Ffrancod a'u brenhin. Y maent yn dyweyd mai wedi troi gormod ato ei hun yr oedd efe. Yr oedd wedi addaw bod yn frenhin ar y *Ffrancod* wrth ei goroni, ond yn lle sefyll

at hyny efe a droes yn frenhin *Ffrainc.* Fe esgeulusodd, meddant hwy, geisio daioni ei ddeiliaid: os ydyw hyny yn wir am dano, nid oes bai arnynt am ei daflu i ffordd; oblegyd dyna ddyben llywodraethau a chyfreithiau, ydyw lles y deiliaid—os na wnant hyny nid ydynt yn werth eu galw felly. Fel hyn y mae y Beibl yn darlunio brenhin da, fy mhobl i:—"Wele, brenhin a deyrnasa mewn cyfiawnder, a thywysogion a lywodraethant mewn barn." Beth a fydd efe i'w ddeiliaid? "Gŵr fydd megys yn ymguddfa rhag y gwynt, ac yn lloches rhag y dymhestl; megys afonydd mewn sychdir, megys cysgod craig fawr mewn tir sychedig." Dyna i chwi ddysgrifiad o frenhin da. Ond y mae y geiriau yn edrych trwy Hezekiah at Un mwy a gwell nag ef—Un a leinw y dysgrifiad yn fwy perffaith: fe wyddoch chwi yn burion pwy ydyw hwnw. Ond y mae y Brenhin mawr, yr ydwyf fi yn sôn am dano yn bresennol, yn llywodraethu yn dda: daioni ei ddeiliaid y mae yn ei geisio yn mhob ysgogiad: rhyw les y mae yn ei ddwyn yn mlaen yn wastadol: y mae ei drugaredd ar ei holl weithredoedd. Beth ydyw y drafferth sydd ar yr holl elfenau yna—y gwynt yn chwythu, y gwlaw yn ymdywallt, y taranau yn rhuo, y mellt yn saethu, a'r môr yn dygyfor? Mewn gwewyr y maent, yn ceisio esgor ar ryw gymmwynas i feibion dynion. Beth ydyw dyben yr holl chwyldröadau yna sydd wedi cymmeryd lle yn nheyrnasoedd y Cyfandir yna yn y misoedd diweddaf? Y mae hen ffurf-lywodraethau cedyrn, oedd yn ymddangos yn ddiweddar fel y mynyddoedd, bron yn ddiddattod, wedi chwilfriwio oddiwrth eu gilydd. Beth sydd yn bod? Duw sydd yn dwyn yn mlaen ryw les i drigolion y ddaear. Ac os wyt ti yn ei garu ef, y mae pob peth i gyd-weithio er dy ddaioni di. Nid oes genyt ti ddim i'w wneyd ond gweddïo,—"Gwneler dy ewyllys ar y ddaear." Brenhin da iawn, anwyl enaid, ydyw Duw: y mae efe yn peri i ddaioni ddyfod trwy y pethau hyny ag yr ydwyt ti yn eu cyfrif yn erbyn dy ddedwyddwch—drwy dy gystuddiau a'th brofedigaethau. Pan y mae yn cymmeryd oddiwrthyt wraig dy fynwes, a'th blant anwyl hefyd, yr wyt yn aml yn barod i ddywéyd mai yn erbyn dy ddedwyddwch y mae hyn oll; ond dy ddaioni di ydyw y dyben drwy y cwbl: "dyma yr holl ffrwyth, tynu ymaith dy bechod." A ydych chwi yn foddlawn iddo gael bod ar yr orseddfainc, gyfeillion? O diolch iddo am ddal gafael ynddi hyd heno! Yr wyf fi yn gobeithio ac yn dymuno mai efe a fydd y Brenhin yn dragywydd. Beth bynag

a fydd tragwyddoldeb, a pha beth bynag a welaf yn y byd rhyfedd hwnw, mi ddymunwn weled Duw yn Frenhin yno! Yr Arglwydd a deyrnaso byth! onide, fy mhobl i?

Ond y mae yma ddysgrifiad yn y Salm yma o hono fel Brenhin. "*Efe a wisgodd ardderchawgrwydd:*"—cyfeiriad, y mae yn debyg, at waith y brenhinoedd yna yn gwisgo rhyw beth ardderchog i ddangos mai brenhinoedd ydynt—fel yna y mae Duw wedi "gwisgo ardderchawgrwydd." Gwisgodd y perffeithiau hyny sydd yn ei gyfaddasu i lywodraethu y greadigaeth: gwisgodd hwynt fel dilledyn: fe a'u rhoes hwynt yn amlwg: gwthiodd hwynt i'r golwg. Y mae yn Frenhin nid yn unig mewn hawl ond mewn cymhwysder. Gelli ymddiried dy achos i'w law ef. "*Gwisgodd yr Arglwydd nerth.*" Y mae y brenhinoedd yna i gyd yn gwisgo nerth. Eu byddinoedd ydyw eu nerth hwynt; ond nerth Duw ydyw ei fraich ei hun. Ni raid iddo ofni na gwrthryfel na brâd o un man: ei nerth ef ydyw ei fraich ei hunan. "*Ac ymwregysodd*" hefyd. Y mae yn myned allan i ryfel: y mae ganddo ryfel yn cael ei ddwyn yn mlaen. Y mae yn rhyfela trwy ei ragluniaeth ar y Cyfandir yna yn y dyddiau hyn, ac yn India hefyd: ond trwy ei Air a'i Ysbryd y mae yn rhyfela yn ein mysg ni. Rhyfel esmwyth ydyw hwn: rhyfel cariad ydyw. Y Brenhin ei hun sydd yn sefyll i fynu yn lleoedd mwyaf amlwg y bobloedd, ac yn dyweyd,—"Deuwch ataf fi bawb ar y sydd yn flinderog ac yn llwythog, a mi a esmwythâf arnoch." Dyma ei ryfel ef yn *Liverpool* heno. Gobeithio, anwyl enaid, fod dy gleddyf yn syrthio o'th afael. O Dduw, pâr i ni oll ufuddhau i ti yn y rhyfel hwn. Yn wir yr oeddwn i yn teimlo fy hunan yn ildio, wrth glywed fy mrawd yn pregethu am ei gariad ef yn y dechreu, ac yn barod i roi fy arfau i lawr. Mi fedraf fi ymladd yn ei erbyn yn o lew, nes clywed am gariad tragywyddol y Tad yn anfon ei unig-anedig Fab i'r byd; ac am gariad anfeidrol y Mab yn ymostwng i gymmeryd fy natur, yn dyfod i ddyfnder tlodi, i ddyoddef poen, a gwaradwydd a dirmyg ar y ddaear, ac yn y diwedd, yn marw drosof ar bren melldigedig y groes: pan y cyfeiriaf fy ngolwg tua Chalfaria fryn, a gweled cariad Duw yn llifo oddiyno yn foroedd mawrion, y mae fy mraich yn myned yn ddiffrwyth; nid oes nerth ynddi mwyach i ymladd dim. O, diolch iddo! Ni wn i ddim beth ydyw addoli, fy mhobl i, os nad ydym ni yn addoli yrwan. O, diolch iddo, am mai fel hyn y mae yn rhyfela â ni. "Yr Arglwydd sydd yn teyrnasu."

"*Y byd hefyd a sicrhawyd fel na syflo*:" y mae y byd yma wedi ei sicrhau trwy ei deyrnasiad ef. Os bydd brenin doeth a galluog ar yr orsedd, y mae hyny yn sicrhau y deyrnas: ond os daw ffŵl i'r orsedd, y mae yn debyg mai yn chwilfriw yr aiff hi, fel y dygwyddodd yn ddiweddar yn Ffrainc, a gwledydd eraill y Cyfandir yna. Y mae ffolineb ar yr orsedd wedi dryllio llawer o ymherodraethau yn chwilfriw: dyna sydd yn gwneyd hyny bob amser. Ond os cewch chwi frenhin doeth, un yn medru "teyrnasu mewn cyfiawnder," a llywodraethu mewn barn; fe geidw un felly y deyrnas yn ddiogel. Y mae yn dda i ni fod genym un felly ar orseddfainc y greadigaeth. Y mae y byd yn cael ei sicrhau trwy ei lywodraeth ef byth—yr holl greadigaeth yn cael ei sicrhau trwyddo. Y mae pob elfen yn y bydoedd uwchben, ac hyd yn nod gweithrediadau cythreuliaid annwn, yn cael eu goruwchlywodraethu ganddo yn y fath fodd, ag i ddwyn yn mlaen ei ddybenion da ef ei hun. Y mae gweithrediadau mwyaf dirgel a dichellddrwg dynolryw yn cael eu troi ganddo i ryw ddaioni. Y mae y deyrnas yn ddiogel byth trwy fod yr Arglwydd yn teyrnasu. Y mae Duw wedi rhoddi heddwch i ni: iddo ef yr ydym yn rhwymedig am dano: Duw a drefnodd i ni heddwch. Buasai wedi myned yn wrthryfel yn nheyrnas Prydain fel yn Ffrainc, a gwledydd eraill, oni buasai fod y Duw mawr wedi llywodraethu cannoedd a miloedd o bethau i ddiogelu heddwch i ni. Efe a gadwodd ei law ar ysbryd terfysglyd y werin; "gwasgarodd y bobl sydd dda ganddynt ryfel;" efe a lywodraethodd weithrediadau holl senedd-dai Ewrop i gyd yn y fath fodd ag i ddiogelu heddwch Prydain; efe a wyliodd ysgogiadau meddwl y swyddog gwladol yn ei ystafell wely y nos, rhag iddo ddyfeisio mesurau a dueddent i beryglu ein heddwch ni. Bendigedig fyddo ei enw! Y mae wedi bod yn diogelu ein bywydau ni mewn llwybrau dirgel afrifed na wyddom ni ddim am danynt. O, diolch iddo! "Yr Arglwydd sydd yn teyrnasu." Y mae yn resyn genyf nas gallaf wneyd cyfiawnder â'r fath destyn â hwn: y mae hwn yn bwnc teilwng o alluoedd y Doctor Candlish; ïe, a dyweyd y gwir, un can' mil mwy ei alluoedd na hwnw, er cymmaint gŵr ydyw. O Arglwydd, gâd i ni gael iawn olwg ar werth dy lywodraeth!

Heblaw hyny, y mae yma ddesgrifiad yn y Salm hon o'r "*llifeiriaint yn dyrchafu eu twrf*," ac yn "*dyrchafu eu tonau*." Ond "*Yr Arglwydd yn yr uchelder sydd gadarnach na thwrf dyfroedd lawer, na*

*chedyrn donau y môr.*" Llifeiriaint o ba natur bynag, y mae "yr Arglwydd yn yr uchelder" yn gryfach na hwynt oll: llifeiriaint cystuddiau a phrofedigaethau—maent hwy yn sicr o dy gyfarfod; llifeiriant mawr angeu hefyd—y mwyaf o'r cwbl—llifeiriant ydyw hwnw sydd yn dynoethi y sylfaen; na saif dim o'i flaen ond y graig: eithr "Yr Arglwydd yn yr uchelder sydd gadarnach" na hwnw. Mi a fyddaf yn meddwl, weithiau, y bydd yn foddlonrwydd i mi yn angeu gofio mai "Yr Arglwydd sydd yn teyrnasu." Mi a dreiaf ollwng fy enaid i ddwylaw y Duw sydd yn llywodraethu, pan y byddaf yn myned trwy y llifeiriant mawr hwnw: mi a dreiaf sibrwd wrth dynu yr anadl olaf, 'Arglwydd Iesu, derbyn fy ysbryd;' 'tydi sydd yn llywodraethu; gafael ynddo; paid, atolwg, a'i ollwng o'th afael byth i law neb arall! —ni chaiff neb wneyd rhyw lawer o niwed iddo, os bydd yn dy gadwraeth sanctaidd di!' Nyni a allwn dynu cysur o hyn yn angeu: "Yr Arglwydd sydd yn teyrnasu" yn y gororau tywyll hyny. Ac am fy nghorff, cleddwch ef yn y man y mynoch chwi, fy mechgyn i, ond i chwi beidio myned ag ef y tu hwnt i derfynau ei lywodraeth ef! Nid ydyw fawr o wahaniaeth genyf yn mha lanerch y cleddir fi, ond iddi fod yn rhyw gongl o'i ymherodraeth ef. Diolch am gael gwybod mai efe sydd yn teyrnasu dros diriogaeth marwolaeth! Nid oes arnaf fi ddim eisieu ychwaneg o ddiogelwch, wrth feddwl y bydd fy llwch yn cael eu rhoddi dan briddellau y dyffryn, na chael gwybod y cânt eu eu dodi yn rhyw le yn nghyraedd ei lywodraeth a'i awdurdod ef. Y mae yr ystyriaeth o hyn yn ddigon o sicrwydd am adgyfodiad i'r corff mewn gwell agwedd nag a fydd arno yn myned i lawr.

A'r symudiad i'r tragywyddolfyd mawr—byd dyeithr iawn, na fûm i yn rhoi tro ynddo erioed—ni chefais olwg arno, ac ni welais neb erioed wedi bod yno—byd tywyll iawn: ond byd y rhaid i mi fyned iddo i fyw. Byd ydyw ag y mae pob peth ynddo yn annhebyg iawn i ddim a adwaenost ti a minnau ar y ddaear: y mae pob peth sydd ynddo yn fawr, yn bwysig, ac yn ofnadwy. Y mae yn rhaid newid llawer o bethau wrth symud yno i fyw: rhaid, rhaid! Rhaid newid cyfeillion, rhaid i mi adael perthynasau—y rhai anwylaf genyf ar y ddaear—ar ol: rhaid, rhaid! Rhaid i mi newid miloedd o bethau yn y symudiad mawr; ond mi a fyddaf, ambell fynyd, yn gallu tynu cysur o hyn—ni raid i mi ddim newid fy Mrenhin! O diolch iddo! Mi a wn pa fodd y triniodd ei Fawrhydi fy achos pan ar y ddaear; ac os caf fod yn

rhyw le dan aden ei lywodraeth ef yn y byd arall, mi wn yn o lew pa fodd y bydd hi arnaf yno. Byddaf, yn wir, yn cael tipyn o gysur wrth feddwl am hyn, ac yn gallu dygymmod yn well â'r byd dyeithr hwnw, wrth gofio mai "Yr Arglwydd sydd yn teyrnasu" yn y byd mawr tragwyddol. O diolch! fod genyf obaith syrthio i ddwylaw Anfeidrol Ddaioni yn fy symudiad i'r byd anweledig—am fod genyf ryw obaith cael bod dan lywodraeth Anfeidrol Gariad byth yn y byd arall! Yn wir y mae hyn yn esmwythâu ac yn lleddfu yr olwg ar ofnadwyaeth y byd tragywyddol i fy meddwl.

Yn awr, fy mhobl i, a ydych chwi yn myned i gymmeryd yr Arglwydd yn Frenhin arnoch? A ydych chwi am ymostwng iddo o'ch bodd? Mi a obeithiaf nad oes yma gymmaint ag un, yn niwedd y *Sassiwn* yma, am ddryllio ei rwymau, a thaflu ei reffynau oddiwrtho, a dywedyd na chymmer e' mo hono i deyrnasu arno. Derbyniwch ef i mewn i'ch calonau; rhoddwch yr orsedd uchaf iddo; a byddwch foddlawn iddo, trwy ei ras, lywodraethu arnoch byth. Bydded bendith yr Arglwydd ar hyn o sylwadau, Amen."

Dyma, can belled ag y gellid ei roddi ar bapur, gynllun teg o'r pregethu, mewn un wedd arno, ag y bendithiwyd ein cenedl am gynnifer o flynyddoedd âg ef, yn ngweinidogaeth gwrthddrych ein Cofiant. "Mewn un wedd arno,"—cofier. Oblegyd nid oes yn y bregeth hon, er rhagored ydyw, prin olwg ar y pregethwr yn manylder a nerth ei reswm, yn nghyfoeth ac arddunedd ei ddychymyg, yn mhriodoldeb a thlysni a chyfanrwydd ei gymhariaethau,—nac, yn neillduol, yn ei gyfeiriad uniongyrchol at a'i afael gref ar gydwybodau a chalonau ei wrandawwyr. Ond fe ganfyddir yma eangder a chraffder ei sylw ar y gwirioneddau neillduol yr ymdrinai â hwynt; grym a phrydferthwch ei iaith; tynerwch ac angerddoldeb ei deimlad; ffrydlif nerthol ei hyawdledd; yr agosrwydd cyfeillgar a'r rhyddid hollol a deimlid ganddo braidd bob amser rhyngddo a'i gynnulleidfa; ac, yn arbenig, ei ymdeimlad gwastadol â'r angenrheidrwydd am y dylanwadau dwyfol, er peri i'r pethau a draddodid ganddo fod yn fendithiol i'w wrandawwyr.

Ond y mae yn rhaid i ni yn awr derfynu. Mae ein gorchwyl ar ben. Ac er fod gorphen y gwaith yn ein rhyddhau oddiwrth gryn lawer o bryder, etto y mae yn chwith iawn genym ddarfod âg ef, ac

ymadael â'n hen gyfaill anwyl. Yn wir yr ydym, ar hyn o bryd, yn teimlo fel pe byddem yn ei ail gladdu. Cawsom lawer awr hyfryd yn ei gymdeithas yma, a chawsom adnewyddiad ar yr oriau hyny, lawer-oedd o weithiau, wrth eu hadgofio ac ysgrifenu am dano. Eithr nid ydym yn ymadael ond dros ychydig. Mae lliaws mawr o'n cyfeillion anwylaf a mwyaf mynwesol, er ei ymadawiad ef, ac er pan ysgrifen-wyd y tu dalenau cyntaf o'r gwaith hwn, wedi eu cymeryd ymaith, ac nid ydynt i'w cael mwyach ar dir y rhai byw. Cyn hir bydd raid i ninnau hefyd eu dilyn. Ond yr ydym yn gobeithio, wedi ein hymadawiad ni ac i'r oesoedd dyfodol, nad ystyrir ein llyfr yn gwbl annheilwng o goffâdwriaeth JOHN JONES, Talsarn; nac yn gwbl anfuddiol er symbylu a chynnorthwyo ein pregethwyr ieuainc, i ymgyraedd am y cymhwysderau hyny a'u galluogont, yn eu gwahanol gylchoedd, i gadw i fynu ac i ddyrchafu urddas, a dylanwad, a defnyddioldeb, gweinidogaeth yr efengyl yn ein gwlad.

"Mae'n OGONEDDUS heddyw ! O ! mor ffôl
Mor anfad yw tybied fod ein Duw—
Y Doeth a'r Dâ—yn creu yr ysbryd mawr
A gwir ardderchog, ie, a'i greu drachefn,
A'i lwyr sancteiddio ; a hwnw yn y màn
I ddiffodd megis canwyll, neu i lwyr
Ddiflanu megis tarth ! Nid felly y mae
Trefniadau'r greadigaeth. Am y dâ
A'r dedwydd ar y ddaear, diau ei fod
Yn ddâ a dedwydd uchod. Yno y mae
Yr enaid mawr yn cael diderfyn rwysg
I nofio ynddo. Yn seren ddysglaer fawr
Bu ar y ddaear enyd ; bellach mae
Yn seren fawr *sefydlog* yn y nef ;
Rhy bell yn wir i'w wel'd â llygaid noeth
O'r ddaear isod ; ond dysgleirio mae ;—
Dysgleiria'n mlaen yn ymyl Duwdod byth !"

GLAN ALUN : *Pregethwr y Bobl*, *tudal.* 37, 38.

# ATTODIAD:

## YN CYNNWYS DIWYGIADAU AC YCHWANEGIADAU.

---

NODIAD A. *Tu dalen* 18.

YR oedd Lewis William Lloyd, ail fab William Lloyd y Gorddunant, ac ewythr o frawd ei dad i dad Mr. John Jones, yn un o'r hen bregethwyr boreuaf yn mhlith y Methodistiaid yn Ngogledd Cymru. Ganwyd ef yn y flwyddyn 1705, yn y Gorddunant, yn mhlwyf Dolyddelen. Symudodd i fyw i le a elwir Penbrynbrwynog, uwchlaw Trefriw. Pan ddygwyd Morgan Griffith, Lleyn, tua y flwyddyn 1746, i Gonwy, fel carcharor am bregethu, yn ol fel y ceir yr Hanes yn "*Methodistiaeth Cymru*" (*Cyfrol* II. *tu dal.* 129—134), fe aeth llawer o bobl i'w weled; ac, yn eu plith, fe aeth Lewis William Lloyd a William Jones, Trwyn yr Wylfa. Ac fe fu y cyfarchiad difrifol a wnaed gan Morgan Griffith y pryd hwnw, yn foddion troedigaeth i'r ddau, fel y dychwelasant i'w cartrefi yn ddynion newydd: a buant ill dau yn gyfeillion calon o hyny hyd ddiwedd eu hoes. Dechreuodd Lewis William Lloyd, yn ddioed, gynghori ei gyd-ddynion gydâ golwg ar eu hachos tragywyddol. Ni adawai lonydd i neb, tlawd na chyfoethog, y cyfarfyddai ag ef, heb ddyweyd gair wrtho am ei enaid; ac âi o amgylch y gymmydogaeth, o dŷ i dŷ, i'r un amcan. Pregethai ar y cyntaf yn ei dŷ ei hunan bob boreu Sabbath. Cynnyddodd ei gynnulleidfa fel y bu raid iddo ychwanegu darn at y tŷ, er mwyn ei wneuthur yn fwy cyfleus i'r rhai a ddelent yn nghŷd. Arferai William Jones fyned i Benbrynbrwynog at y bregeth bob boreu Sul; ac yna elai gydâ'i gyfaill y pregethwr i ryw le yn yr ardaloedd cylchynol at yr hwyr. Pan byddai pobl dlodion yn myned at ddrws Penbrynbrwynog i gardota, gofalai y pregethwr, os gallai gyrhaeddyd, am fyned i'r drws ei hunan, er mwyn cael cyfleusdra i ddywedyd gair wrthynt am eu henaid. Rywbryd aeth hen wraig at y drws ag y dywedid am dani ei bod yn cymeryd arni ddewinio. Aeth Lewis William Lloyd, fel arferol, i'r drws, a dechreuodd ddywedyd wrthi yn ddifrifol am werth ei henaid a'r perygl o'i golli, gan dynu darluniad arswydus o drueni y colledigion. "Onid edifarhewch," meddai wrthi, "chwi a gewch eich gosod i grogi gerfydd eich tafod yn

uffern am dragywyddoldeb." Effeithiodd ei eiriau gymmaint ar yr hen greadures annuwiol, fel ag y rhoddes, mewn dychryn dirfawr, ysgrech ofnadwy nes cyffroi pawb yn y tŷ, a bu am gryn yspaid yno yn wylo ac yn gwaeddi mewn braw arswydus. Ond nid ydym yn gwybod pa beth a fu y canlyniad, gan nad oes dim yn ychwaneg o'r hanes am y tro ar gael.

Yr oedd ei frawd ieuangaf, Bleddyn Llwyd, yn trigiannu yn y Gorddunant, eu hên gartref, a'i feibion yn tyfu i fynu yn wylltion a digrefydd, yn ol dull y nifer mwyaf o ieuenctyd eu hoes. Nid oeddent o gwbl yn caru gweled eu hewythr o Benbrynbrwynog yn dyfod i'w cartref, ar ymweliad â'u tad. Yr oeddent yn teimlo felly, nid yn unig am y byddai raid iddynt ei wrandaw yn pregethu yn daranllyd yn erbyn eu pechodau, ond hefyd am na cheid ganddo, dros amser ei arosiad, ond rhywbeth am enaid, a chyflwr drwg, a barn, a byd arall, a'r pwys o gael adnabod Iesu Grist yn Geidwad, a'r perygl i angeu eu cyfarfod yn anmharod. Er eu bod yn hoff o hono fel dyn serchog a charedig, eto arswydent siarad yn ei ŵydd, a theimlent esmwythad wrth ei weled yn ymadael. Dywedir fod dylanwad mawr gan ei grefydd ar gydwybodau rhai tra annuwiol. Ryw noson, fe ladratäwyd y gaseg yr arferai deithio gydà hi yma a thraw i bregethu: ond torodd yn dymhestl fawr o fellt a tharanau, fel y tybir i'r lleidr ddychrynu a gollwng y gaseg yn ei hôl. Nid oedd dim yn hynod ynddo fel pregethwr ond ei ddifrifwch. Yr oedd bob amser yn ymddangos yn amcanu am achub ei wrandaẅwyr. Dywedir hefyd ei fod yn dra thueddol i ysbrydoli pob peth yn ei bregethau, ac yn gosod rhyw ystyr cyfriniol ar yr holl hanesion ysgrythyrol. Dywedai y diweddar Richard Williams, Hafod y Llan, Beddgelert, ei fod yn cofio ei wrandaw unwaith, er nad oedd ar y pryd ond ieuanc, rhy ieuanc i gofio nemawr ddim o'r bregeth. Yr oedd y pryd hwnw yn pregethu oddiar ei eistedd. Yr oedd mewn gwth o oedran, ac y mae yn debyg nad oedd nifer y gwrandaẅwyr yn llawer. Ei destyn y tro hwnw, oedd Job xxxix. 19:—"A roddaist ti gryfder i farch? neu a ddysgaist ti iddo ef weryru?" Buasai yn dra dyddorol cael rhyw adgofion o'r sylwadau a wneid gan yr hen ŵr ar y fath destyn. Parhäodd yn ffyddlawn hyd ei ddiwedd. Dïoddefodd gryn lawer yn ystod ei oes oblegyd ei grefydd. Bu farw yn y flwyddyn 1785 yn 80 mlwydd oed; a chladdwyd ef yn mynwent Llanbedr-y-cennin, yn Sir Gaernarfon. Dymunodd ar ei deulu gerfio yr adnodau 2 Cor. vi. 8, 9, 10, ar ei gareg fedd. Gellir golygu ei fedd-argraff fel tystiolaeth o'i eiddo ef ei hunan, sydd i'w chael hyd y dydd heddyw, ac a fydd i'r oesoedd a ddelont ar ol hyn, o'r dirmyg a'r erlid a ddioddefwyd ganddo yn ei gysylltiad âg efengyl Iesu Grist. Gellir gweled yr un peth hefyd oddiwrth y rhigwm pennill canlynol, a gyfansoddwyd gan ryw un yn ei ddyddiau:—

"Ribo fawr a Chrafnant fechan,
Brwynog isa', a thŷ Shôn Evan;
Penybryn,—ffenestri cochion,—
Lle mae tynfa'r Penau crynion."

NODIAD B. *Tu dalen 25.*

Mae y Parch. Robert Ellis (*Cynddelw*) yn garedig wedi anfon atom i gywiro ychydig gamgymmeriad yr arweiniasid ni iddo gydâ golwg ar Lyfr Angharad James. Fel y canlyn yr ysgrifena *Cynddelw* :—"Nid gwaith Angharad mo hono, ond Casgliad o waith hen feirdd. Cynnwysa 116 o gyfansoddiadau. Mae dau gyfansoddiad ynddo o waith Angharad ei hunan; sef, 'Penillion pan oedd cyfyngder a bygythion cyfraith ar W. P. ei gwr, yn y flwyddyn 1717;' a 'Cân Anerch Angharad James at ei hen gymdeithwraig, Alis Williams, Dolyddelen, a gwahoddiad i Penamman. Bu y llyfr gan Gutyn Peris am bythefnos, yn y flwyddyn 1804, ac efe a gopïodd ei gynnwysiad. Yr oedd y llyfr, y pryd hwnw, yn meddiant Lewis (?) Jones, Tan-y-castell, ŵyr i Angharad James. 'Mae'r llyfr,' yn ol geiriau Gutyn Peris, 'at faint Llyfr Gweddi Gyffredin; mae e gwedi ei rwymo yn dda, a chlaspiau arno i'w ddal yn gauad.' Yr wyf fi yn barnu mai lliw ei glawr sydd yn goch, ac nid yr inc, fel y dywedwch chwi. Y mae Gutyn yn ei alw yn '*Llyfr Coch*,' ond ni ddywed pa beth oedd yn goch ynddo. Ar awdurdod llawysgrif Gutyn Peris ei hunan, yr wyf fi yn dywedyd y pethau hyn oll. Dichon fod y llyfr ar gael eto yn rhywle tua chymydogaeth Dolyddelen." Os ydyw yr amseriad a roddir uchod, 1717, i gyfansoddiad y "Pennillion, &c.," gan Angharad James, yn gywir, o'r hyn yr ydym yn dra ammheus, y mae yn sicr fod y dyfaliad a wnaethpwyd genym ni, ei bod hi a Gwilym Cynwal "yn gyfeillion i'w gilydd" yn hollol ddisail. Ond, yn annibynol ar hyny, yr ydym yn awr yn gwbl argyhoeddedig nas gallasai hyny fod. Fe fu Edmund Prys, Archddiacon Meirionydd, farw, tua y flwyddyn 1624, yn 83 mlwydd oed; ac yr oedd Gwilym Cynwal wedi marw rai blynyddoedd, ugain mlynedd o leiaf, o'i flaen ef. Y mae yn anmhosibl, felly, y gallasai fod nain, hyd yn nod trwy ei merch ieuengaf, i un a anwyd yn y flwyddyn 1759, yn cydoesi âg un oedd yn marw tua y flwyddyn 1600. Os cymmer y darllenydd y drafferth o gasglu, oddiwrth y crybwyllion sydd genym ni yn ein testyn am ei disgynyddion, fe wel fod yn debygol nas gallasai, yn ol trefn gyffredin natur, fod wedi ei geni cyn y flwyddyn 1661, nac yn ddiweddarach na 1673. Y tebygolrwydd mwyaf ydyw iddi gael ei geni tua 1663. Buasai felly yn y flwyddyn 1717, yn 54 mlwydd oed, a'i gŵr yn 94.

NODIAD C. *Tu dalen 62.*

Oddiwrth ei frawd, y Parch. William Jones, y cawsom ni yr adroddiad yma am ei ymuniad â'r eglwys, ac nid, fel y dywedir yn llin. 5 o'r tu dalen hwn, y Parch. David Jones.

NODIAD D. *Tu dalen 175.*

Arweiniwyd ni yma i gamgymeriad dibwys. Nid y Parch. John Elias, fel y dywedir genym ni, oedd yn pregethu ar ol Mr. John Jones

y pryd hyn, yn y capel yn Llangeitho. Yr oedd Mr. Elias, y noswaith hono, yn Nhregaron; a'r Parch. Robert Roberts o'r Parc, gerllaw y Bala, yno gydâg ef. Y mae Mr. Robert Roberts yn cofio yn dda eto, yr ymddyddan rhwng Mr. Elias a Mr. Richard y noswaith hono yn nghylch Mr. John Jones; a'r ganmoliaeth uchel a roddid gan Mr. Elias iddo, fel y mwyaf ei ddawn naturiol i bregethu a wrandawsai efe erioed. Nid ydym yn gwybod pwy oedd yn cydbregethu â Mr. John Jones yn Llangeitho y tro hwnw.

NODIAD E. *Tu dalen* 298.

Wedi ysgrifenu ac argraffu yr hyn a ddywedir yma am y bregeth gan Mr. Powell, fe ddaeth copi o honi i'n llaw. Y mae y Wyneb-ddalen fel y canlyn:—"Crist wedi marw dros bawb: neu Bregeth a bregethwyd oddiwrth 2 Cor. v. *Ben.* a'r rhan flaenaf o'r 15 *Adnod.* Lle dangosir, *Yn gyntaf*, Cyflwr y *pawb* ag y bu Crist farw trostynt. *Yn ail*, Pwy a feddylir wrth y *pawb* ag y bu Crist farw trostynt. Ac *Yn drydydd*, Sylwi ar rai o ddybenion marwolaeth Crist, eu bod wedi eu cyflawni mewn rhan, ag y byddant sicr o gael eu cyflawni yn gyflawn cyn y diwedd. *A bregethwyd ac a gyhoeddwyd* gan Jonathan Powell, Gweinidog yr Efengyl yn *Rhosymeirch* a *Bethlem*, yn *Sir Fôn*. Caernarfon: Araraphwyd gan T. Roberts, 1803." Mae "Y Rhagymadrodd" wedi ei ddyddio,—"Ynys Fôn, Chwefror 19, 1803." Llyfryn bychan yw y Bregeth, heb fod, rhwng y Wyneb-ddalen a'r Rhagymadrodd ac Emyn yn y diwedd, yn 12 o du dalenau. Mae yr awdwr yn dadleu dros Brynedigaeth Neillduol yn ei ffurf fanylaf, heb wneuthur unrhyw sylw ar y berthynas a allai fod rhwng marwolaeth Crist a galwad gyffredinol yr efengyl, neu ar ddigonolrwydd yr Iawn ynddo ei hun, yn sail i bechadur, fel y cyfryw, obeithio am gadwedigaeth trwyddo.

NODIAD F. *Tu dalen* 305.

[Darllener yr hyn a ganlyn ar ol y cyfeiriad at y traethodyn,—"Gwir Gredo yr Arminiaid.] Tua y pryd hwn, fe gyhoeddwyd "*Mene Tecel:* neu Adolygiad *(Review)* ar Lyfran bychan o waith Mr. Wesley, yr hwn a elwir *Dyrnod at y Gwraidd*, yn cynnwys Sylwiadau ar uwchlaw Triugain o Bynciau. Gan CHRISTMAS EVANS. Caernarfon: Argraphwyd gan T. Roberts, 1806." Mae hwn yn llyfryn deuddegplyg, yn cynnwys 48 o du dalenau. Ar ei ddiwedd y mae 31 o "Bennillion yn dangos fod galluoedd, neu gynheddfau enaid pob dyn wrth natur, yn farw mewn camweddau a phechodau; ac nid oes neb mewn gallu i roddi bywyd i'r marw ond Duw yn unig. Ynghŷd â chywir ddangosiad am boenus gyflwr duw'r Arminiaid." Ni ddygwyddodd i ni erioed weled y traethodyn o eiddo Mr. Wesley a adolygir yma. Y mae yn amlwg wrth rai dyfyniadau o hono, a wneir gan Mr. Christmas Evans, ei fod yn cynnwys amryw bethau nad ydynt i'w cael yn y traethodyn Seisonig o'r un enw, sydd yn argraffedig yn y casgliad

sydd genym ni o holl waith Mr. Wesley (*Works*, *Vol. X. pages* 864—869). Mae yn eglur fod yr haeriadau a wneid gan awdwr y "*Llyfran*," wedi cynhyrfu Mr. Christmas Evans drwyddo: ac y mae yn ei drin ef a'i ganlynwyr yn dra diseremoni; gan sefyll yn dyn dros y golygiadau Calvinaidd ar y pynciau mewn dadl, a dangos fod dysgeidiaeth Mr. Wesley yn dra gwahanol i eiddo yr Apostolion. Mae y gân sydd yn y diwedd, yn neillduol mewn rhai rhanau, yn ddoniol iawn.

NODIAD G. *Tu dalen* 323.

Trwy garedigrwydd Mr. John Parry, Plas, Llanarmon Iâl, Sir Ddinbych, fe anfonwyd i ni gopi o'r traethodyn o eiddo Mr. Jones, y cyfeirir ato ar y tu dalen hwn. Y mae ei wyneb-ddalen fel y canlyn: —"ATEB BYR i Bapurlen o Sylwiadau a wnaed yn ddiweddar, gan Mr. Owen Davies o Ddinbych, ar Lyfryn a gyhoeddasid gan T. Jones, er y Mis Medi, 1808. Dinbych, argraffwyd gan Thomas Gee, dros T. Jones, 1811." Nid ydyw ond deuddeg o du-dalenau ond wedi ei argraffu mewn llythyrenau mân. Y mae y darluniad a roddwyd genym ni o'r traethodyn, allan o'n côf, yn lled gywir, oddieithr fod Mr. Jones ynddo yn cynnyg nifer mwy o wobrwyon nag a nodasom ni,—sef deg punt, pum' punt, a dwy bunt—i Mr. Davies, os gallai brofi fod yr haeriadau hanesyddol a wnelsid ganddo yn gywir. Y mae y cyfansoddiad, er nad yw ond bychan, yn dwyn profion pendant i onestrwydd a thegwch Mr. Jones yn y ddadl; yn gystal ag i'r argyhoeddiad oedd erbyn hyn yn ddwfn yn ei feddwl, nad oedd llawer o ddibyniad am y rhinweddau hyny i'w roddi ar ei wrthwynebwr.

NODIAD H. *Tu dalen* 347.

Yn mhen rhyw gymmaint o amser, fe ddaeth awdwr y "Llythyr at y Parchedig John Elias," allan drachefn, gydag atebiad i Edward Roberts. Y mae y Wyneb-ddalen fel y canlyn:—"Gwirionedd a Chyfeiliornad yn cael eu cyferbynu: sef Sylwadau Difrifol ar amryw Bynciau Calfinaidd, a amddiffynir mewn llyfr a gyhoeddwyd yn ddiweddar o dan yr enw 'Llythyr o Amddiffyniad i'r Parch. John Elias,' gan John Griffith o Ddinbych. Dolgellau: Argraffwyd, dros yr Awdwr, gan R. Jones." Mae y "Rhagfynegiad" wedi ei ddyddio, "Dinbych, Medi 25, 1822." Mae yn llyfryn lled helaeth, yn cynnwys 139 o du dalenau; ac y mae y cyfansoddiad, o ran ysbryd ac iaith, yn rhagori yn ddirfawr ar yr eiddo Edward Roberts; i'r hwn, fwy nag unwaith, y mae yn rhoddi codwm têg, yn y syniadau Antinonaidd a ddysgid ganddo. Ond nid oes ynddo, hyd ag y gwelwn ni, mwy nag yn llyfryn Edward Roberts, un pelydryn o oleuni newydd ar y pynciau oeddent mewn dadl.

NODIAD I. *Tu dalen* 387—394.

Yn ychwanegol at y llyfrau a'r traethodau a nodir genym yn nghorph

y gwaith, gall y darllenydd, er mwyn cael golwg fanylach ar y ddadl hon yn mhlith y "*Presbyteriaid Unedig,*" ymgynghori â'r llyfrau canlynol:— "Opinions on Faith, Divine Influence, Human Inability, the Design and Effect of the Death of Christ, Assurance, and the Sonship of Christ, Expressed in the Published Writings of John Brown, D.D., Edinburgh, 1841;" "Statements on certain Doctrinal Points, Made Oct. 5, 1843, before the United Associate Synod, at their request, By their two Senior Professors, Robert Balmer, D.D., and John Brown, D.D., Edinbugh: 1844;" "Irenicum: An Inquiry into the real amount of the Differences Alleged to exist in the Synod of the Secession Church, on the Atonement, and Doctrines connected with it. By Hugh Heugh, D.D., Glasgow: 1845;" "Letter to the Rev. Andrew Marshall, D.D., LL-D., explaining and enforcing Certain Propositions embodied in a Petition to be presented to the Synod, in condemnation of his Views of the Atonement. By the Rev. Andrew Roberston, Stew-Edinburgh: 1845;" "The two Gospels: or, Brief Notes in Support of the United Associate Synod's View of the Doctrine of Atonement, as opposed to that of Dr. Andrew Marshall, and Others. By the Rev. P. Davidson, Edinburgh. Edinburgh: 1845." Dichon fod rhai eraill; ond dyma y cwbl sydd yn ein meddiant ni.

NODIAD J. *Tu dalen* 404.

Ni a ddylasem yma yn arbenig nodi—"Pregeth oddiwrth 1 Corinthiaid, xv. 3. Lle y dangosir fod yr Athrawiaeth o fod Crist wedi marw yn Iawn dros Bechodau, yn ol yr Ysgrythyrau. Gan Thomas Phillips, Gweinidog yr Efengyl yn y Neuaddlwyd. Caerfyrddin: Argraphwyd ac ar werth gan John Evans. Pris tair ceiniog." Y mae "Y Rhagymadrodd" wedi ei ddyddio,—"Ebrill 15, 1803." Mae y llyfryn yn cynnwys 36 o du dalenau; a Hymn ar y diwedd, ni a dybiem o eiddo Mr. Phillips ei hunan. Amddiffyniad i'r gwirionedd am natur iawnol marwolaeth Crist ydyw y bregeth, ac nid ydyw yn cyffwrdd dim â'r cwestiwn am helaethrwydd yr iawn. Ac er fod yma amryw ymadroddion yn arwyddo mai y golygiad manwl, yr hwn oedd ar y pryd braidd yr unig olygiad yn mhlith y Calviniaid yn Nghymru, a goleddid gan yr awdwr, eto yr ydym yn cael yma rai brawddegau yn arwyddo ei fod ar gyffiniau y golygiadau eangach, y daeth Mr. Roberts, Llanbrynmair, a Mr. James Griffiths o Dy Ddewi, yn mhen rhai blynyddoedd ar ol hyny, i hynodrwydd neillduol oblegyd eu pregethu. Cymmerer er enghraifft yr ymadroddion canlynol:—"Y mae yn eglur wrth ddarllen llyfrau Moses, yn enwedig Lef. xvi., a Num. xix., fod y pech-aberth yn cael ei roddi yn lle y pechadur, ac i fod yno drosglwyddiad o'r pechod trwy gyfrifiad: felly dywedir i Dduw roddi ar Grist ein hanwireddau ni i gyd; ac Efe a archollwyd am ein camweddau ni, efe a ddrylliwyd am ein hanwireddau ni: cospedigaeth ein heddwch ni oedd arno ef: Esa. liii. 5, 6. Y mae y Tad yma i'w ystyried fel *Rhoddwr cyfraith*, fel *gofynwr*, ac fel *Barnwr* yn amddiffyn gogoniant ei briodoliaethau a'i lywodraeth *foesol*, ac yn

dangos ei gasineb at bechod. Yma byddai yn fuddiol i sylwi, mai nid pwrcasu trugaredd, hynawsedd, a chymmodlonedd yn y Duwdod, yw natur a diben marwolaeth Crist, ond atteb diben llywodraeth *foesol*. Sylwn hefyd, nad oes un gwrth'nebiad rhwng neb o briodoliaethau na llywodraeth Duw, oblegid trugaredd sanctaidd yw trugaredd Duw; ac ni chwennychodd erioed gadw un pechadur, ond yn gyson âg anrhydedd cyfiawnder, &c." (*tu dal.* 8).

NODIAD K. *Tu dalen* 576.

Dymunir yn neillduol ar i'r darllenydd sylwi ar y Nodiad, yn ngwaelod *tu dalen* 578, er cywiriad ar amseriad y Cymdeithasfaoedd yn y Bala ac yn Nghaernarfon, y cyfeirir atynt ar y tu dalen hwn.

NODIAD L. *Tu dalen* 709.

Derbyniasom yr hyn a ganlyn oddiwrth Mr. William Jones, Tyddyn Charles, Llanberis, gydâ golwg ar y dyfyniad a wneir yma allan o hanes tâd Mr. John Jones.—"Yn Rhifyn 9 o Hanes Bywyd y Parch. John Jones, tu dalen 708 a 709, y mae camgymmeriad bychan a dibwys. Pan yn enwi y chwiorydd a fyddent mewn hwyl yn yr hen Gapel, rhoddir enw un yn Ann Rolant. Ann *Roberts* ydoedd ei henw hi; ond wrth yr enw '*Nanws Ychrobert*' y gelwid hi gan bawb a'i hadwaenent, nid yn unig yn Nolwyddelen ond yn mhob man arall. Y mae ychydig o'i hanes yn yr hen '*Oleuad*' am y flwyddyn 1828, os cofiwyf yn iawn, a gymmerais i beth o hono, o'i genau hi ei hun. Dynes (Henferch) ryfedd ydoedd. Ni welais hi erioed, ac ni chlywais i neb arall ei gweled, yn '*Gorfoleddu a Neidio*' [Nid ydyw Mr. John Jones yn sôn dim am Neidio mewn cysylltiad â hi], ond byddai bob amser mewn pwyll difrifol, yn rhoddi *bloedd* o 'Amen,' 'Gogoniant,' 'Bendigedig,' a 'Diolch,' drwy y lle, pa le bynag y byddai; a phob bloedd yn ei lle, a'i hamser mor gywir a *thip clock*.

Adwaenwn yn dda bob un o'r hen chwiorydd y cyfeirir atynt. Y Cathrin Griffith a enwir, ydoedd enedigol o Feddgelert; priododd â dyn o Ddolwyddelen. Yr oedd Rowland Davies, Manchester, gynt, ryw nos Sabbath yn pregethu yn hen gapel Dolwyddelen, oddiar Amos iv. 12. Yr oedd hi wrth y pulpud o'i flaen, mewn hwyl ddâ yn gwrando; a rhywbeth yn ei Hamen, y noswaith hono, yn fwy hynod na chyffredin. Ddydd Llun, hi a gododd yn foreu, i fyned gydâ gwraig arall i hel *Cen*. Ond cyn chwech ar y gloch y boreu hwnw, hi a syrthiodd dros graig, a thorodd ei gwddf. Bu farw ar darawiad amrant."—Mae yn dêg i ni ddywedyd i ni, yn y dyfyniad y cyfeirir yma ato, ddilyn yn hollol yr adysgrif o eiddo Mr. John Jones, a anfonwyd i ni gan ei fab, Mr. Thomas Lloyd Jones.

NODIAD M. *Tu dalen* 722.

Dylasem hysbysu yma, mai y diweddar Mr. Richard Davies, Adeiladydd, Caernarfon, oedd yr un a ddaeth allan yn yr "*Amserau*," dan yr enw "*Llenor*," i amddiffyn Mr. John Jones.

NODIAD N. *Tu dalen* 736.

Mae Mr. Thomas Lloyd Jones, yr hwn a ysgrifenodd y pregethau o enau ei dad ag y cyfeirir atynt yma, wedi adysgrifenu hefyd wyth ar hugain o bregethau allan o'i bapurau ef, y rhai, ni a obeithiwn, a ddygir allan trwy y Wasg cyn hir. Y maent ar y testynau canlynol:—Ioan xv. 8; Jeremiah xiv. 19; Psalm lxxi. 1; Esaiah v. 16; Pregethwr v. 1; Diarebion xxiii. 31—35; Psalm cxix. 13; Zechariah iv. 9; Psalm xv. 1; Esaiah xi. 10; Psalm xxxvi. 7; Diarebion i. 24; Psalm lxxv. 1; Ioan iii. 8; 2 Cor. v. 1; 2 Cor. v. 5; eto yr un testyn; Zechariah iv. 2; Job xvi. 19; 1 Samuel iv. 22; Luc xvi. 23; Iago i. 22; Jeremiah viii. 22; Genesis xxxii. 26; Psalm cxix. 24; Nahum i. 6; Genesis xx. 1, 2; Deut. xxxii. 29. Fe genfydd ei hen wrandawwyr, fod amryw o'r pregethau hyn yn mhlith y rhai mwyaf nerthol a bendithiol a draddodwyd ganddo erioed; ac y mae yn anhawdd genym feddwl na byddai yn dda iawn gan gannoedd o honynt, gael rhyw adgofion eto am danynt.

NODIAD O. *Tu dalen* 806.

Hen forwyn i Mr. Rowland, yr hon a fuasai yn ei wasanaeth am dair blynedd, ac oedd yn gwasanaethu gydag ef pan y bu efe farw, ond a symmudodd i Lundain, ac oedd yn byw yno ac yn aelod yn *Jewin Crescent* am rai blynyddoedd wedi ein sefydliad ni yno, a roddodd i ni yr adroddiad am ei "meistr," fel yr arferai hi ei alw, yn myned yn wastadol i'w wely am ddwy awr ar ol pregethu. Yr oedd Mr. Rowland, pan aeth hi i'w wasanaeth, rai blynyddoedd dros ddeg-a-thriugain oed; fel nad ydym yn sicr a oedd hyny yn arferiad ganddo cyn ei fyned i hen ddyddiau. Yr un pryd, dichon ei fod yn lled foreu wedi cael ei ddwyn i ddeall, oddiar ei brofiad ei hunan, fod cysylltiad agos iawn rhwng cwsg ac adferiad yni gwefrol ein natur. Y mae yr hanesyn canlynol yn teilyngu sylw pregethwyr ar hyn. Gofynai Dr. Lawson o Selkirk, olynydd Mr. John Brown o Haddington fel Athraw Duwinyddiaeth yn mhlith y "*Seceders*" yn Scotland, i un o'i efrydwyr, wedi hyny y Dr. H. Thomson, Penrith,—pa beth a olygid ganddo ef fel y parotoad goreu i bregethu yn dda ar y Sabbath. Cyfeiriodd y Dr. Thomson, yn ei atebiad, at y rhagddarpariadau cyffredin o fyfyrdod a gweddi. Ond, meddai Dr. Lawson,—"Un o'r parotoadau goreu tuag at bregethu yn dda ydyw gallu cysgu yn dda" (Macfarlane's *Life and Times of Dr. Lawson: page* 109. (Edinbugh, 1862).

NODIAD P. *Tu dalen* 817.

Yr oedd teimladau rhyfedd yn y wlad, pan y collwyd Robert Roberts. Fe ddywedir na welwyd nemawr o weithiau erioed, y fath wylo ag oedd yn mynwent Clynnog, yn ei gladdedigaeth. Pan oeddid yn gollwng y pridd arno, fe dorodd ei frawd, y Parch. John Roberts o Langwm wedi hyny, allan i waeddi:—"O Robin! Robin anwyl! Oh fy mrawd anwyl! O angel Duw i drigolion Cymru! Ydynt

hwy yn dy roddi di yn y bedd? Ond ni waeth i chwi heb roi pridd arno. Fe ddaw i fyny yn wir! fe ddaw i fyny yn wir! Y mae ei gorph o fewn y cyfammod. Ac Oh! fe fydd gwedd ogoneddus arno y diwrnod hwnw! Bydd wedi colli y cemni i gyd; a digon o nerth ynddo i ddal tragywyddoldeb o wasanaeth heb flino byth, &c."

NODIAD Q. *Tu dalen* 926.

Fe'n cam-arweiniwyd ni, gan y "*Drysorfa*," gydâ golwg ar amcan Mr. Rees yn myned o Wrexham i Sir Fôn. Fe'n hysbysir ni yn awr gan ei ferch, Mrs. Davies, mai myned yno yr ydoedd i fedyddio plentyn bychan i Mr. a Mrs. Williams, Bodafon. Ac y mae yn lled sicr ei fod wedi rhoddi addewid felly i fyned i Fôn, am ei fod yn gweled y cài trwy hyny gyfleusdra i weled ei ferch a'i fab-yn-nghyfraith a'r plant, unwaith drachefn ac am y tro diweddaf yn y Benarth, cyn iddynt gychwyn dros y tymhor Seneddol i Lundain, heb un bwriad i ddychwelyd i'r Benarth mwy.

NODIAD R. *Tu dalen* 989.

Fe anfonwyd i ni Dôn llais Mr. John Jones, mewn nodau cerdd, wedi ei chymmeryd yn fanwl ac yn gywrain gan Mr. Owen Owen, *Scholar of Jesus College, Oxford,* oddiar yr efelychiad hynod a wneir o honi, gan Mr. Owen Jones, Plasgwyn, gerllaw Pwllheli. Ond, wedi ymgynghori â rhai cerddorion cyfarwydd, ac â chyfeillion ereill o berthynas iddi, ac wedi gwrandaw ar rai cerddorion galluog, hyd yn nod rhai yn cofio Mr. John Jones yn dda, yn ceisio ei darllen, yr ydym yn ofni mai i ychydig, hyd yn nod o gerddorion medrus, dieithr iddo ef, y gall roddi unrhyw ddirnadaeth am dano, ac y gall arwain rhai i syniad tra gwahanol i'r hyn fyddai gywir o berthynas iddo. Pa fodd bynnag, yr ydym yn ei dodi i mewn, gan obeithio y gall roddi *rhyw* ddrychfeddwl am dano. Rhaid cofio nad oes yma un amcan i'w ddangos yn yr amrywiadau rhyfedd, a diddiwedd agos, a hynodent ei lais ef. Rhaid cofio, hefyd, fod y llais hwnw yn ddwfn ac yn gryf annghyffredin, a chorff dirfawr iddo. Nid yw y geiriau a arferir, yn yr enghraifft hon, yn *hollol* yn eiriau Mr. John Jones; ac y mae yr ail a'r trydydd cynnyg ar Iesu Grist, a wneid ganddo ef, wedi eu gadael allan yn gwbl. Ceir cyfeiriad at y bregeth, fel y clywsom ni hi yn Nghaersws, *tu dal.* 677—682.

DOH F. *(Sombre Resonance.)*



| d :l, .ta, :l, .l, :l, .l, .l, .l, | l, ,l, ,l, :d ,l, ,- :l, .l, :d ,l, ,-

Wel, ynte, mhobol anwyl i, ni awn i fendithio'r ddau dy-wys-og,



| l, ,l, ,l, :d ,d ,- :d ,d ,t, :t, :l, | l, .,l, :d.l, :-.l, :l, .,ta, :l, ,l, ,- :ta, .se, :l,

acmi gewch chwithau gyfle i roi'ch Amen fel cefnogaeth i'r naill fendith neu'r llall.



| l, .l, d ,l, ,– :l,,l,,l, :l, .ta, :m, .l, | l, .l, :r :d .d :t, .t, :l,,l,,l,
Ni ddechreuwn gyda'r tywysog diafol; mi gaiff o'r cynyg cynta' arni hi:—



| d .,t, :d .d :d .d :d ,d ,d | d :d ,d ,d :d ,d ,d :d .d :–.
Ben - di - ged-ig fyddo Belzebub, ty - wysog llywodraeth yr a-wyr,



| d .,d :d :d :d :— | d ,d ,d :d .d :–.d :— | l, .l, :l,,l,,l :l, .,d
ge-lyn dyn a Duw, penaeth y fagddu fawr; ac os ydach chi'n caru



| d .d :d .d :d :— :d :— | .dem :m .d :d,t,,l, :l, .l :t, .m,m :t, m,–
'ny-na dwedwch A - men. Rhag ofn nad ydach chi ddim yn deall yn iawn,

DOH D.



| .d :d ,d ,r :m :r,de,r :f :m :d,t, ,l, | f .,m :m .m :r .r :d .,t, :l, .
Fe allai mai teg fyddai rhoi ail dro arni hi. Bendigedig fyddo Belzebub,



| .l, :f ,m ,m :r ,r ,d :d .l, | f .,m :m :r :d ,t, ,l,
ty-wys-og llywodraeth yr a - wyr, ge-lyn dyn a Duw,



| f ,m ,m :r .d :d ,t, ,l, | l,,l, .l,,l :d :l, .m :m .m | m .m :m :—
penaeth y fagddu fawr; ac os ydach chi'n hoffi 'nyna, dwedwch A -



m: :— | l, :m :d :t, .t, :l, ,l, ,l, | .d :t, .l, ,l, :l, ,m ,m
- men. Wel dowch fy mechgyn anwyl i, os ydach chi'n ga-ru o,



| .m :m ,m ,m :m ,r .d ,d :d ,d ,d :t, .m :d .l, | .d :t, .l, ,l,
arddelwch o, fel y byddwch chi tua ffair Bangor yna. Os ydach chi'n

:l, .m .m | d .l, :l, .m :m  :d .t, :l, .m | .d :d .,t, :l, .l, .l, .l,
bleid-io fo, dyma gyfle braf i chwi wneyd. Rhag ofn nad ydach chwi ddim

:l, .m :d .,r :m :r.t, :m .m :r :d.r .m | .d :d .d .r :m .,d :f .m
we-di clyw - ed, neu ddeall yn iawn, fe allai mai teg, yn ol yr

:m .r :d .t, .l | .l, :f .m :m .r :r .d :d .t, .l, | .l :f .,m :m .m
hen ddi - ar - eb, y trydydd tro y bydd y goel, mai teg i minau

:m .m :m .m :r .d :d .d :l .l :l, .l, .l, | m .,m :m .m :m .m :m .m .m
ydyw rhoi un cynyg e - to arni, mhobol i. Ben di - gedig fyddo Bel-zæ bub,

| .m :m .m .m :m .m .m :m .m :— | :m .,m :m :m :— :m :—
ty-wys-og llywodraeth yr a - wyr, ge - lyn dyn a Duw,

:m .m .m :m .m :d :— | d .,t, :t, .l, .l, :l, .m :m .m | m .m :m :—
penaeth y fagddu fawr ; Ac os ydach chi'n hoffi 'nyna, dwedwch A -

:m :— || *distawrwydd.* Doh A. | t, m, .,d :l, .ta, :l, .l, :l, .l, .l | .l, :l, .l,
- men. Wel, yn - te, mhobol anwyl i, os nad yd-

l, .l, :l, .d :d .d .l, :d .l, .l, :l, .l, :ta, .l, | d .d :d .d .d .d
- dach chi'n caru 'nyna ni treiwn hi'r ochor ar-all. Ben-di - ged - ig fy - ddo

:d .d .d :d .d | .d :d .d :d .d :d .d | .d :d .d .d
Arglwydd Dduw Israel, ty - wys-og llu yr Arglwydd, E - ma - nu - el,

| d .d ,d | d : — : — | d ,d :d ,d .d ,d :s, .d
Duw gyd-a ni. Ac os ydach chi yn ho - ffi

| d .d :d :d :d : — :d : —
'ny - na, dwedwch A - men.

*Amen cyffredinol.*

*Ni fwriedir i'r banau ranu yr amser yn gyfartal. Gellir cael cywirach drychfeddwl am yr hyn a fwriedir ei gyfleu ger bron, yn yr ymgais hwn, trwy beidio cadw yn hollol fanwl at yr amser, nac hyd yn nod y seiniau mewn rhai manau. Ond gofaler am ganu mewn seiniau dyfnion, pruddaidd.*

Wedi cysodi ac argraffu yr enghraifft flaenorol o dôn llais Mr. John Jones, ni a dderbyniasom un arall, wedi ei chopïo yn gelfydd, oddiar yr efelychiad rhagorol a wneir o hono, gan Mr. Elias Pierce, *Birkenhead.** Mae y geiriau, yn yr enghraifft hon, yn hollol yn eiddo Mr. John Jones; ond y mae y sylwadau a wnaed genym yn nghylch yr un flaenorol, o rau yr amser a'r seiniau, i'w cymhwyso yn gwbl at hon hefyd. Yr un pryd, yr ydym yn gobeithio y gall y rhai cydnabyddus â nodau cerdd, rhwng y ddwy, gael drychfeddwl lled gywir am y dôn a arferid ganddo; er fod yr amrywiadau lliosog a nodweddent ei lais ef, hyd yn nod pan yn yr un nôd cerddorol, yn gyfryw ag y mae yn analluadwy eu gosod i lawr ar bapur. Ond trwy gymhorth yr enghreifftiau hyn, fe all y rhai yn mhlith ein cerddorion ag sydd yn ei gofio ef, ddysgu ei dôn i ereill, a hwythau drachefn i ereill, fel ag i'w chadw mewn côf, o genhedlaeth i genhedlaeth.

Doh C.

r m f s s s s s s s f f m m m r d r d
Rhyw beth sydd yn perthyn i mi eisoes yd - yw tragwyddol bar - had.

r m f s s s s f m r d s m m m re re re
Fe fydd hy - ny yn fy nychryn i weith - iau. Yr wyf fi, ar ryw o -

m s s s s f m r s m m f s s s s s s
- lwg, yn an - feidrol mewn par - had; yn a - teb i'r Duw an - feidr - ol ei

s f m r s f f m m m s s s s s fe fe m
nun mewn par - had. Nid wyf yn cyf - at - eb idd - o mewn unrhyw ys - tyr

* Gwel Nodiad T., *tu dalen* 1041.

r s || f f f f f f f f m r f s f f m
ar - all ;—mewn gallu, doeth-i-neb, na gwy - bod - aeth : ond mewn par-

r s s s s s s s s r s f m r s s s s s
had, mi a'i me-sur - af Ef ;— mewn par-had, yr ydwy'n o -

s s s s r s f m r s s s s s s s s s
- gy-hyd ag Ef ;— mewn par-had, yr wyf yn a - teb i'r anfeidr-

s s f f f fe s s s s fe fe f f f f f f
- ol Dduw. Mi fydd-af yn syrthio i'r dim wrth gymhāru fy hunan â'r

m r s f m d m f s s s s s s s s s s
haul mawr y -na ; ond y mae yn-tau yn syrthio'n o gymaint a

m s f f s s s s s s s m r s f r r r
hy - ny, wrth ei gy-mha-ru â minnau mewn parhad. Pan y bydd

f f f f f f f f r r r f f f f f r r
o we - di ca-dw ei noswyl, y byddaf i yn dechreu 'myd. Pan y

r r f f f f f f f f f r r r f f f f
bydd ef wedi dy - ben - u ei holl la - fur, y byddaf fi yn dechreu

f f f f f f
gwy-bod fy mod yn ddyn.

NODIAD S. *Tu dalen* 1008.

Heblaw y dyfynion a roddwyd genym eisoes (*tu dal.* 688, 689) o lythyr a dderbyniasom oddiwrth y Parch. Robert Jones, Gweinidog y Bedyddwyr yn Llanllyfni, yr ydym yn ychwanegu yr hyn a ganlyn, allan o'r un llythyr:—" Ychydig a feddyliais, amser yn ôl, y buaswn yn gweled dydd marwolaeth fy hen gyfaill parchus, a'm cymmydog talentog, John Jones, Tal-y-sarn. Er fod agos i ddwy fil wedi eu claddu yn hen fynwent Llanllyfni yn fy oes i, a miloedd a myrddiynau cyn hyny, eto yn rhywfodd y mae yn fwy syn genyf feddwl fod John Jones, Tal-y-sarn, yn gorwedd yno na'r cwbl o honynt. Yr oeddwn yn ei adwaen ef er yr amser cyntaf y daeth efe i ardal Tal-y-sarn. Byddwn yn arfer ei wrando yn fynych yn nghapel Llanllyfni a Thal-y-sarn, yn nghydag amryw o dai annedd yn yr amgylchoedd. Yr wyf yn ei gofio am flynyddau yn gweithio yn chwarel Tal-y-sarn. Yr oedd wedi dysgu gwaith chwarel yn dda, ac yn weithiwr diddiogi. Byddai Mr. Griffith Williams, goruchwyliwr y gwaith, yn bur garedig wrtho. Er mai dyn digrefydd ydoedd, ni chai neb, os gwyddai, daflu y dirmyg lleiaf ar John Jones, a chai bob rhyddid i fyned a dyfod, bron fel y mynai, pan byddai arno eisiau myned i ryw le i bregethu. Yr oedd John Jones, yn y tymhor hwn, yn nodedig o lafurus, rhwng dilyn ei orchwyl yn y chwarel a llafur dybryd gydà phethau crefydd. Heblaw llafurio yn ddiwyd i barotoi pregethau, yr oedd yn llafurus iawn gyda chyfarfodydd canu a phethau ereill. Yr oedd ganddo lais canu rhagorol iawn, a gwybodaeth lew am beroriaeth er yn ieuanc. Gydag ef, yn fachgenyn, y dechreuais i gymeryd hyfrydwch mewn canu. Yr wyf yn cofio, y dydd hwn, mor soniarus y byddai efe yn canu hen dônau ardderchog, ar ganol y llawr yn hen gapel Tal-y-sarn, yn y cyfarfodydd wythnosol a gynhelid yno. Byddai llawer o hên bobl, a phobl ieuainc, yn gwrando arno gydâ dystawrwydd synedig, fel pe buasai rhyw angel mawr wedi disgyn o'r nef. . . . . . .

Ond i ddychwelyd at gyfnod boreuol ei weinidogaeth. Gallaf ddywedyd yn ddibetrus ei fod ef wedi bod yn ddiwyd a llafurus iawn yn y tymhor hwn. Llafuriodd hefyd o dan anfanteision dirfawr, gan nad oedd yn deall dim Saesonaeg. Yr oedd y llyfrau Cymraeg hefyd yn ychydig iawn y pryd hyny, mewn cymhariaeth â'r dyddiau hyn. Yr oeddwn i yn rhywfodd, er yn fachgen, yn gwneyd mwy o sylw o bregeth na nemawr o'm cyfoedion: yr wyf, trwy hyny, yn *gwybod* rhywbeth am bregethau boreuol John Jones. Bu am ysbaid hir yn pregethu ar yr wythfed bennod o'r Epistol at y Rhufeiniaid. Yr oedd hyny yr amser cyntaf y daeth efe i'r ardal. Gallaf sicrhau fod ôl myfyrdod a llafur ar amryw o honynt, a llawer o feddyliau ardderchog ynddynt. Byddai yr amser hwnw yn pregethu yn fynych yn nghapelydd yr ardal hon, ac yn fynych yn nhai y gymmydogaeth ar nosweithiau yr wythnos. Er i mi ei glywed ddegau o weithiau, ni chlywais yr un bregeth ganddo fwy nag unwaith; a golygwn y pryd hyny eu bod yn bregethau tra rhagorol. Yr oedd ffurf a mater ei bregethau yn ffrwyth ei fyfyrdod a'i ymchwiliad ei hun. Yr oedd

llawer o wreiddioldeb yn ei feddylddrychau, heblaw fod amryw o honynt yn rymus iawn. Ychydig iawn o fantais a gefais i glywed ei bregethau goreu yn ei amser goreu (a'r adeg oreu i minau allu barnu), oblegyd fy mod yn llafurio mewn maes arall. Yr wyf yn ystyried yn golled fawr i'r wlad na fuasai mwy o'i bregethau goreu wedi eu hysgrifenu. Dichon na fuasai o gymaint budd *argraphu* llawer o honynt yn *gyfain;* ond pe buasai modd cael y *gemau* allan o honynt, yr wyf yn meddwl y gallesid casglu perlau a fuasent yn synu yr oesoedd.

Yr oedd amryw bethau yn cydgyfarfod ynddo i'w wneuthur ef yn bregethwr poblogaidd. Yr oedd llafur mawr yn fynych yn ei bregethau; llawer o athrylith; dawn anarferol; a llais yn llawn o beroriaeth. Yr oedd ganddo yn wastad feistrolaeth drwyadl arno ei hunan ac ar ei lais, fel y medrai gadw ei nerth at ddiwedd ei bregeth. Mwy na'r cwbl, y mae yn ymddangos fod neges pregethu yn bwysig ar ei feddwl, nes y byddai difrifoldeb yn cynhyrfu y fath hyawdledd nad oes dim arall a all ei gynnyrchu. Yr oedd mantais arall ganddo ef, sef ei fod yn gyffredin yn berwi ei bregeth gymmaint yn ei feddwl, hyd nes y byddai nid yn unig y *mater*, ond y *geiriau*, a'r dull o'u traddodi, wedi eu hargraffu ar ei gôf. Byddai yn encilio yn fynych i ryw le neillduedig am ddarn o ddiwrnod,—yn cerdded yn ol ac yn mlaen i'r perwyl hwn. Byddai ei bregeth ef yn ei feddwl, a'i feddwl a'i ysbryd wedi ymdoddi yn ysbryd ei bregeth. Y mae yn bosibl cyfansoddi pregeth dda, mewn ysbryd ac amcan da, a bod wedi hyny yn ddilewyrch wrth ei thraddodi, o ddiffyg llafur priodol i'w chael ar y meddwl, a chael geiriau ac agwedd meddwl priodol pan yn ei thraethu. Yr oedd John Jones nid yn unig yn cymeryd trafferth i barotoi ei bregethau, ond yr oedd yn llafurus ac ymdrechol yn yr areithfa. Anfynych y clywid ef yn dywedyd gwir fel dyn yn dweyd celwydd. Cymmerodd lafur mawr i fyned o gwmpas i bregethu. Ychydig yn ei oes a bregethodd fwy nag ef. Nid oes nemawr gongl yn Nghymru na bu efe yn dyrchafu ei lais yno. Ychydig o ddynion yn Nghymru na'Lloegr, o dan y fath anfanteision, a ddarfu gyrhaedd y fath enwogrwydd. Yr oedd dynion penaf y Dywysogaeth, gan nad beth fyddai eu syniadau, yn cyrchu i'w wrando. Nid wyf yn meddwl fod neb yn Nghorph y Methodistiaid, yn y ganrif hon, yn fwy poblogaidd, oddigerth yr enwog John Elias yn unig. Ond er maint a bregethodd, ac mor boblogaidd a dylanwadol ydoedd, llwybr dreiniog a gafodd efe fel llawer yn y byd hwn. Er ei fod gydá'r enwad mwyaf poblogaidd, yn enwedig yn Ngogledd Cymru, ac yntau yn un o'r pregethwyr mwyaf dylanwadol a feddent, y mae yn gywilyddus ac yn alarus meddwl iddo gael ei dalu mor wael. Y mae yn syndod meddwl mai y dynion mwyaf galluog ac ymroddgar yn Nghymru, yw y dynion y mae y Cymry yn fynych yn gwneyd lleiaf o honynt. Mor fynych y mae dynion didalent a dilafur, rhai na fydd mwy o son am danynt yn mhen ychydig, mwy na phe buasent heb eu geni, yn cael eu hanrhegu â chadwyni aur a'r cyffelyb, tra y mae dynion galluog ac ymroddgar, heb gael anrheg gan neb! Ni chafodd John Jones ddim erioed am ei

NODIAD S. *Tu dalen* 1008.

Heblaw y dyfynion a roddwyd genym eisoes (*tu dal.* 688, 689) o lythyr a dderbyniasom oddiwrth y Parch. Robert Jones, Gweinidog y Bedyddwyr yn Llanllyfni, yr ydym yn ychwanegu yr hyn a ganlyn, allan o'r un llythyr:—"Ychydig a feddyliais, amser yn ôl, y buaswn yn gweled dydd marwolaeth fy hen gyfaill parchus, a'm cymmydog talentog, John Jones, Tal-y-sarn. Er fod agos i ddwy fil wedi eu claddu yn hen fynwent Llanllyfni yn fy oes i, a miloedd a myrddiynau cyn hyny, eto yn rhywfodd y mae yn fwy syn genyf feddwl fod John Jones, Tal-y-sarn, yn gorwedd yno na'r cwbl o honynt. Yr oeddwn yn ei adwaen ef er yr amser cyntaf y daeth efe i ardal Tal-y-sarn. Byddwn yn arfer ei wrando yn fynych yn nghapel Llanllyfni a Thal-y-sarn, yn nghydag amryw o dai annedd yn yr amgylchoedd. Yr wyf yn ei gofio am flynyddau yn gweithio yn chwarel Tal-y-sarn. Yr oedd wedi dysgu gwaith chwarel yn dda, ac yn weithiwr diddiogi. Byddai Mr. Griffith Williams, goruchwyliwr y gwaith, yn bur garedig wrtho. Er mai dyn digrefydd ydoedd, ni chai neb, os gwyddai, daflu y dirmyg lleiaf ar John Jones, a chai bob rhyddid i fyned a dyfod, bron fel y mynai, pan byddai arno eisiau myned i ryw le i bregethu. Yr oedd John Jones, yn y tymhor hwn, yn nodedig o lafurus, rhwng dilyn ei orchwyl yn y chwarel a llafur dybryd gydà phethau crefydd. Heblaw llafurio yn ddiwyd i barotoi pregethau, yr oedd yn llafurus iawn gyda chyfarfodydd canu a phethau ereill. Yr oedd ganddo lais canu rhagorol iawn, a gwybodaeth lew am beroriaeth er yn ieuanc. Gydag ef, yn fachgenyn, y dechreuais i gymeryd hyfrydwch mewn canu. Yr wyf yn cofio, y dydd hwn, mor soniarus y byddai efe yn canu hen dônau ardderchog, ar ganol y llawr yn hen gapel Tal-y-sarn, yn y cyfarfodydd wythnosol a gynhelid yno. Byddai llawer o hên bobl, a phobl ieuainc, yn gwrando arno gydâ dystawrwydd synedig, fel pe buasai rhyw angel mawr wedi disgyn o'r nef. . . . . . .

Ond i ddychwelyd at gyfnod boreuol ei weinidogaeth. Gallaf ddywedyd yn ddibetrus ei fod ef wedi bod yn ddiwyd a llafurus iawn yn y tymhor hwn. Llafuriodd hefyd o dan anfanteision dirfawr, gan nad oedd yn deall dim Saesonaeg. Yr oedd y llyfrau Cymraeg hefyd yn ychydig iawn y pryd hyny, mewn cymhariaeth â'r dyddiau hyn. Yr oeddwn i yn rhywfodd, er yn fachgen, yn gwneyd mwy o sylw o bregeth na nemawr o'm cyfoedion: yr wyf, trwy hyny, yn *gwybod* rhywbeth am bregethau boreuol John Jones. Bu am ysbaid hir yn pregethu ar yr wythfed bennod o'r Epistol at y Rhufeiniaid. Yr oedd hyny yr amser cyntaf y daeth efe i'r ardal. Gallaf sicrhau fod ôl myfyrdod a llafur ar amryw o honynt, a llawer o feddyliau ardderchog ynddynt. Byddai yr amser hwnw yn pregethu yn fynych yn nghapelydd yr ardal hon, ac yn fynych yn nhai y gymmydogaeth ar nosweithiau yr wythnos. Er i mi ei glywed ddegau o weithiau, ni chlywais yr un bregeth ganddo fwy nag unwaith; a golygwn y pryd hyny eu bod yn bregethau tra rhagorol. Yr oedd ffurf a mater ei bregethau yn ffrwyth ei fyfyrdod a'i ymchwiliad ei hun. Yr oedd

llawer o wreiddioldeb yn ei feddylddrychau, heblaw fod amryw o honynt yn rymus iawn. Ychydig iawn o fantais a gefais i glywed ei bregethau goreu yn ei amser goreu (a'r adeg oreu i minau allu barnu), oblegyd fy mod yn llafurio mewn maes arall. Yr wyf yn ystyried yn golled fawr i'r wlad na fuasai mwy o'i bregethau goreu wedi eu hysgrifenu. Dichon na fuasai o gymaint budd *argraphu* llawer o honynt yn *gyfain;* ond pe buasai modd cael y *gemau* allan o honynt, yr wyf yn meddwl y gallesid casglu perlau a fuasent yn synu yr oesoedd.

Yr oedd amryw bethau yn cydgyfarfod ynddo i'w wneuthur ef yn bregethwr poblogaidd. Yr oedd llafur mawr yn fynych yn ei bregethau; llawer o athrylith; dawn anarferol; a llais yn llawn o beroriaeth. Yr oedd ganddo yn wastad feistrolaeth drwyadl arno ei hunan ac ar ei lais, fel y medrai gadw ei nerth at ddiwedd ei bregeth. Mwy na'r cwbl, y mae yn ymddangos fod neges pregethu yn bwysig ar ei feddwl, nes y byddai difrifoldeb yn cynhyrfu y fath hyawdledd nad oes dim arall a all ei gynnyrchu. Yr oedd mantais arall ganddo ef, sef ei fod yn gyffredin yn berwi ei bregeth gymmaint yn ei feddwl, hyd nes y byddai nid yn unig y *mater*, ond y *geiriau*, a'r dull o'u traddodi, wedi eu hargraffu ar ei gôf. Byddai yn encilio yn fynych i ryw le neillduedig am ddarn o ddiwrnod,—yn cerdded yn ol ac yn mlaen i'r perwyl hwn. Byddai ei bregeth ef yn ei feddwl, a'i feddwl a'i ysbryd wedi ymdoddi yn ysbryd ei bregeth. Y mae yn bosibl cyfansoddi pregeth dda, mewn ysbryd ac amcan da, a bod wedi hyny yn ddilewyrch wrth ei thraddodi, o ddiffyg llafur priodol i'w chael ar y meddwl, a chael geiriau ac agwedd meddwl priodol pan yn ei thraethu. Yr oedd John Jones nid yn unig yn cymeryd trafferth i barotoi ei bregethau, ond yr oedd yn llafurus ac ymdrechol yn yr areithfa. Anfynych y clywid ef yn dywedyd gwir fel dyn yn dweyd celwydd. Cymmerodd lafur mawr i fyned o gwmpas i bregethu. Ychydig yn ei oes a bregethodd fwy nag ef. Nid oes nemawr gongl yn Nghymru na bu efe yn dyrchafu ei lais yno. Ychydig o ddynion yn Nghymru na'Lloegr, o dan y fath anfanteision, a ddarfu gyrhaedd y fath enwogrwydd. Yr oedd dynion penaf y Dywysogaeth, gan nad beth fyddai eu syniadau, yn cyrchu i'w wrando. Nid wyf yn meddwl fod neb yn Nghorph y Methodistiaid, yn y ganrif hon, yn fwy poblogaidd, oddigerth yr enwog JOHN ELIAS yn unig. Ond er maint a bregethodd, ac mor boblogaidd a dylanwadol ydoedd, llwybr dreiniog a gafodd efe fel llawer yn y byd hwn. Er ei fod gydá'r enwad mwyaf poblogaidd, yn enwedig yn Ngogledd Cymru, ac yntau yn un o'r pregethwyr mwyaf dylanwadol a feddent, y mae yn gywilyddus ac yn alarus meddwl iddo gael ei dalu mor wael. Y mae yn syndod meddwl mai y dynion mwyaf galluog ac ymroddgar yn Nghymru, yw y dynion y mae y Cymry yn fynych yn gwneyd lleiaf o honynt. Mor fynych y mae dynion didalent a dilafur, rhai na fydd mwy o son am danynt yn mhen ychydig, mwy na phe buasent heb eu geni, yn cael eu hanrhegu â chadwyni aur a'r cyffelyb, tra y mae dynion galluog ac ymroddgar, heb gael anrheg gan neb! Ni chafodd John Jones ddim erioed am ei

holl lafur yn Nhal-y-sarn, oddigerth ychydig o bunnoedd unwaith; y rhai a aberthwyd yn ol, bron i gyd, at y Capel newydd a adeiladwyd yno. Gwrthododd gymeryd dim erioed yn Nhal-y-sarn, er mwyn eu galluogi i gynnorthwyo dïeithriaid a ddeuent yno. Gwnaeth ef a'i briod serchus lawer o garedigrwydd i ddïeithriaid heblaw hyny. . .

Darfu i John Jones dynu gŵg llawer o'i frodyr, oblegyd y tybiai llawer o honynt nad oedd ei athrawiaeth yn unol â Chyffes a barn y Corph y perthynai iddo. Yr oedd efe yn ddyn annibynol a phenderfynol iawn. Wedi iddo unwaith benderfynu ei feddwl beth oedd yn uniawn, fe âi yn mlaen yn ddidroi yn ol beth fynag a fyddai y canlyniad. Barnodd yn rhywfodd yn gydwybodol fod llawer yn y Corph yn gwyro yn ormodol at Antinomiaeth,—bod rhwymedigaeth dyn i Dduw yn cael ei adael yn rhy ddisylw. Ni ddarfu i mi erioed ddeall ei fod ef yn annghredu yr egwyddorion a ddysgai yr hen bobl, ond ei fod yn gweled llawer o'i frodyr, yn ei dyb ef, yn sefyll gormod ar y pethau hyny, a thrwy hyny yn esgeuluso pethau pwysig ereill. Pa un ai cywir ai annghywir oedd ei dyb ef yn hyn, y mae yn ddiammeu iddo ddangos llawer o wroldeb a gonestrwydd. Y mae gan y *Calvin* zelog wirionedd ardderchog i'w ddysgu, ac y mae gan yr *Armin* zelog hefyd: ond *darn* o wirionedd yn gyffredin sydd gan y naill a'r llall. Y mae y naill yn dyweyd yn ardderchog am ras Duw a thrueni dyn, a'r llall yn dyweyd yn ardderchog am alwad gyffredinol yr efengyl, a rhwymedigaeth gyffredinol dynion i ufuddhau i Dduw. Y mae y ddau wirionedd hyn yn y Beibl, a dylai y ddau gael eu dal i fynu. Os oedd rhai o hen gyfeillion John Jones yn llithro yn ormod ar un tu, nid yw yn anmhosibl nad allai ein hen gyfaill syrthio, yn ddiarwybod, braidd yn ormodol i'r tu arall. Y mae yn hawdd iawn gwneyd niwaid wrth ddal gormod ar un gangen o wirionedd, pa mor bwysig bynag y byddo. Ychydig, fe ddichon, o ddynion zelog a gwrol sydd, nad ydynt yn syrthio i'r amryfusedd yma mewn rhyw gyfnod neu gilydd o'u hoes. Y mae pob cangen o wirionedd yr efengyl yn bwysig; y mae bendith a budd yn mhob un o honynt. Y mae annghredu neu wadu unrhyw gangen yn sicr o'n hamddifadu o effeithiau bendithiol y gangen hono. Wedi y cwbl, pa wirionedd bynag a gymerir yn destyn dadl neu bwnc plaid, y mae hwnw, yn gyffredin, yn syrthio yn lled ddifudd i'r rhai a'i daliant. Y mae hyn yn dangos y pwys o ddal yr *holl* wirionedd; a dal y cwbl mewn cariad, heb ddigter na dadl.

Yr oedd John Jones yn ddyn haelfrydig a dibartïol iawn. Yr oedd yn ormod o ddyn i fod yn ddim amgen. Yr oedd efe yn gallu cadw cyfeillgarwch serchus tuag at ddynion a fuasent yn dipyn allan o'i ffordd ef, os meddyliai eu bod yn ddynion teilwng. Yr oeddwn i yn byw yn yr un gymydogaeth âg ef, a chydâg enwad arall, ac wedi bod yn zelog iawn (yn enwedig yn nhymhor fy ieuenctyd) i amddiffyn golygiadau yr enwad hwnw. Er fy mod yn awr yn credu yr hyn a gredwn y pryd hyny, eto ni phetrusaf gydnabod fy mod, lawer pryd, wedi bod yn rhy anngharedig ac annoeth. Yr oedd John Jones yn gallu fy mharchu trwy y cwbl; ac ni oddefai i neb fy nirmygu ar un

cyfrif. Hyd yn nod ar ei wely angeu, yr oedd cystal ganddo fy ngweled a neb fu yn ymweled âg ef ar y pryd. Nid er dyrchafu fy hun yr ydwyf yn dywedyd hyn, ond er mwyn dangos ysbryd haelfrydig yr hen Batriarch o Dal-y-sarn. Pe buaswn i yn ddyn mor ardderchog ag y tybiai ef, y mae yn lled debyg y buaswn yn rhy dda i fod ar y ddaear, er ys talm o amser. . . . . . . .

Yr oedd ein hen gyfaill wedi rhoddi y byd i fynu yn llwyr yn ei amser diweddaf. Pregethu oedd ei gwbl ef y pryd hyny. Buasai yn dda genyf pe cawsai fwy o amser i adnewyddu ei nerth [wedi iddo ymadael â'r gloddfa], oblegyd yr oeddwn yn golygu y buasai yn fwy gloyw gydà'i bregethu nag y bu ef erioed, Ond barnodd yr hwn y mae ei ffyrdd yn y mor, a'i lwybrau yn y dyfroedd dyfnion, yn addas ei gymmeryd megys yn nghanol ei ddyddiau. Bum yn ei weled ryw wyth niwrnod cyn ei ymadawiad. Dygwyddodd ei fod yn esmwythach y pryd hyny nag y buasai er ys dyddiau. Dangosodd ryw serch rhyfeddol tu ag ataf, a chefais gyfeillach mor hyfryd nad allaf ei hannghofio tra b'wyf yn y byd. Wrth ofyn am ei brofiad, dywedai fod yn dda ganddo ei fod wedi bod yn onest gydà'i bregethu, yn ol yr hyn a wyddai, er nad oedd hyny yn ddim i ddibynu arno. Wrth ofyn, a fuasai yn hoffi byw yn hwy? dywedai nad oedd arno eisiau byw er mwyn dim yn y byd hwn, ond y dymunasai fyned trwy y capelydd, am unwaith, i draethu rhyw wersi neillduol a ddysgasai ar ei wely cystudd. Dyna yr olwg ddiweddaf a welais arno ar dir y rhai byw. Meddyliais lawer y pryd hyny, ac ar ol hyny, y fath waith pwysig yw pregethu yr efengyl, ac mor egnïol y dylem fod gydà neges pregethu, tra fydd ein dydd yn parhau. Y mae bod yn offerynau i achub eneidiau yn fraint wedi cael ei hymddiried i ddynion; yn fraint y buasai angel yn falch o honi; yn fraint a gollir pan yn gadael y ddaear, ac na cheir mo honi yn y nef."

### NODIAD T. *Tu dalen* 1036.

Dyma y llythyr a dderbyniasom oddiwrth Mr. Eleazer Roberts, *Liverpool*, yn rhoddi hanes y modd y copïwyd yr ail Dôn, a ddodir i mewn genym, o lais Mr. John Jones:—"Ar eich cais, darfu i ni y noswaith o'r blaen geisio ysgrifenu i lawr dôn llais Mr. John Jones, oddiar yr efelychiad rhagorol a wneir o hono gan Mr. Elias Pierce, *Birkenhead*. Ysgrifenwyd y dôn i lawr gan fy mab John, clust yr hwn sydd yn fwy teneu, at fân raniadau seiniau cerddorol, na'r eiddof fi. Yr oedd hefyd yn bresennol, ar y pryd, Mr. William Parry, *Birkenhead*, a Mr. John Edwards, Arweinydd y canu yn Nghapel *Prince's Road*: a dyma i chwi y dynesiad agosaf, a allasem ni ei wneuthur rhyngom, at efelychiad Mr. Pierce o lais Mr. John Jones."

Mae yn sicr genym y bydd ein darllenwyr cerddorol yn teimlo yr ymddiried llwyraf yn y cerddorion galluog uchod, y rhai a fuant mor garedig ag ymgymmeryd â'r drafferth yma er eu mwyn.

# MYNEGAI.

WREXHAM: ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN HUGHES A'I FAB.

